

Engraved on Steel by W T Fry

REV. JOSEPH HARRIS.

*Late of Swansea.*

dHc

# GWEITHIAU AWDUROL

Y DIWEDDAR

# BARCH. JOSEPH HARRIS,

(GOMER;)

GYDA

## CHOFIAINT YR AWDWR A'I DEULU,

A

NODIADAU EGLURHAOL.

GAN D. AP RHYS STEPHEN.

LLANELLI:

ARGRAFFWYD GAN D. REES A J. THOMAS, ~~YN~~ SWYDDFA'R DIWYGIWR.

1839.

TO THE

# REV. MICAH THOMAS,

## ABERGAVENNY.

---

YOUR long and eminent services to the Denomination with which the Author of this Volume was connected, the mutual esteem and affection which existed between you during his life-time, and the high respect in which you hold his memory; together with the weighty obligations, under which your valuable instructions and uniform kindness have placed me, combine to induce me, to do myself the honour to inscribe this work to you. I do so with every sentiment of duty, regard, and affection, earnestly wishing you all possible happiness during the remainder of your useful and honourable life.

D. RHYS STEPHEN.

*December* 1, 1839.

# RHAGFYNEGIAD.

Y MAE yr amser wedi dyfod i Gyhoeddwr a Golygydd y Gwaith hwn anerch ei wladwyr am y tro olaf o barthed iddo. Dymuna yn gyntaf dim gyflwyno ei ddiolchgarwch gostyngedig i ARGLWYDD PAWB am einioes ac iechyd iddei ddwyn allan. Y mae hefyd yn dymuno mynegu ei rwymau i'r cyfeillion cariadus a'i cynnorthwyasant—byddai yn hyfryd iddei deimladau pe gallai enwi amryw o'r sawl a frysiasant iddei galonogi, yn enwedig amryw o Weinidogion yr Eglwys Sefydledig, a'r Anymddibynwyr, yn gystal â rhifedi lliosog o Weinidogion a chyfeillion cyssylltiedig â'r enwad y perthynai yr Awdwr, ac y perthyn y Golygydd, iddo; ond y mae hyn yn anghyfleus, ac nis gellir ei wneuthur. Dymunir arnynt fod gyfwyned â derbyn ei gydnabyddiaeth galonog drylwyr.

Y mae yr Argraffydd wedi gwneuthur ei ran yn dda, nid yn fynych yr ydys wedi dwyn allan lyfr ar well papur, nac ag harddach argraffwaith; ac y mae y Golygydd dan rwymau mawrion i Mr. John Thomas am gymhorth pwysig gyda'r prawfleni.

Y mae y Golygydd wedi ymdrechu yn ffyddlon yn y "Nodiadau Eglurhaol" yma a thraw, ac yn "y Cofiaint," i osod Llafur Awdurol, gydag Hanes y Llafur hwnw, ac Hanes Bywyd JOSEPH HARRIS yn nwylaw y Cymry,

# TRAETHAWD

AR

# FYWYD, YSGRIFENADAU, A NODWEDDIAD

Y DIWEDDAR

# BARCH. JOSEPH HARRIS,

## ABERTAWY, &c.

---

## RHAN I.

"Of all the species of literary compositions, perhaps Biography is the most delightful. The train of incidents through which it conducts the reader, suggests to his imagination a multitude of analogies and comparisons; and while he is following the course of events which mark the life of him who is the subject of the narrative, he is insensibly compelled to take a retrospect of his own. In no other species of writing are we permitted to scrutinize the character so exactly, or to form so just and accurate an estimate, of the excellencies and defects, of the lights and shades, the blemishes and beauties of an individual mind." ROBERT HALL.

"HARRIS ddwys gudeg oedd eres ddysgawdwr,
Gwyddai brig ieithoedd, gwiwdda bregethwr;
Eirian i'r eithaf, gywrain areithiwr.
Uniawn a gweddus, fedrus iawn fydrwr,
A gwir hawddgar wladgarwr,—odiaethol,
Da wr iawn ethol, nid rhyw wenieithwr."
ISAAC DAVIES, *Llanfynydd.*

---

GANED JOSEPH HARRIS yn mhlwyf Llantydewi, gerllaw Hwlffordd, yn y flwydddyn 1773. O barthed ei rieni, ychydig o hysbysiaeth a feddwn. Yr oeddent yn ddynion crefyddol, yn perthyn i eglwys Loegr; ond deallwn idd ei dad ddyfod yn Fedyddiwr rai blwyddau cyn ei farwolaeth, a rhoddi ei hun yn aelod yn Beula, Castellnewydd-bach. Bu farw William Harris dydd Nadolig, 1825. JOSEPH oedd cyntaf-anedig ei rieni; ac am na feddent gyfoeth ni fedrent roddi iddo nemawr o ddysgeidiaeth; y cwbl a gafodd oedd yr ychydig a ddysgir yn ysgolion cyffredin y wlad. Nid oedd Mr. HARRIS yn hynod nac yn anghyffredin yn hyn yma; amryw o'r dynion defnyddiolaf yn yr oes ddiweddaf, a ddyged i fynu dan yr un anfanteision. Y cwbl o freintiau dysgedigawl yr enwog Andrew Fuller, oedd yr hyn a fedrai gyrhaedd mewn ysgol rydd yn Soham, pentref ei enedigaeth; ac nid ydym yn clywed dim am dano yn y dyddiau

boreuol hyny, ond yn unig ei bod yn ddywediad fod Andrew yn deall gramadeg yn well nâ'i feistr! Ac y mae yn amheüus a gafas Dr. Carey gymmaint o fraint â hyn, er ei fod yn awr yn un o benieithyddion y byd! Nid ydys yn crybwyll hyn o bleidgarwch at yr wrthddadl a gyfodir oddiyma yn erbyn Athrofäau; gwendid truenus yr hon a ymddengys oddiwrth y ffaith, mai ychydig, ïe, ychydig iawn, a feddant alluoedd ac ymroddiad Fuller, Carey, a HARRIS.* Yr unig amgylchiad ar goffa o barthed dyddiau bachgenaidd Mr. HARRIS, yw, ei awydd angherddol am wybodaeth, ynghyd â'i ymroddiad diachor i ddarllen pob llyfr o fewn ei gyrhaedd er ei feddiannu. Efallai nad oes nemawr o ddynion wedi bod yn enwog mewn unrhyw gangen o wybodaeth erioed, a fuasent yn ddiog yn eu hieuenctyd. Y mae enghreifftiau lawer o ddynion alwyd at waith Duw, o ganol annuwioldeb gor-gyffredin, ac wedi dyfod yn nodedig o wasanaethgar yn achos yr Iachawdwr; ond yn gyffredin, os nid bob amser, yr oeddynt hyd y nod yn eu drygedd, yn sychedig am addysg a gwybodaeth. Arferion meddylgar ein dyddiau ieuengaidd a gyfansoddant reddf-lywodraeth, yr hon sydd yn ail natur, ac y mae ei dymchweliad y nesaf peth i annichonolrwydd. Er bod yn ddeiliad dychweliad at Dduw, anaml y dystrywir y greddfau hyn: os diog ac anwybodus *cyn* hyny, *baban yn Nghrist* ond odid a fydd y dyn drwy y rhan fwyaf os nid cydol ei oes. Os ymroddgar, diwyd, a gwybodus, yn llanc; wedi dyfod i eglwys Dduw, onid oes rheswm i ddysgwyl gwybodaeth helaeth o athrawiaethau yr efengyl, a defnyddioldeb a gwasanaethgarwch gydag achos Crist? ac onid yw amgylchiadau a chymmeriadau llawer o weinidogion adnabyddus i ni yn profi hyn? Canfyddid y *Gomer* dyfodol yn HARRIS ieuanc; pob math o lyfr a ddeuai idd ei ffordd a gai ddarlleniad ganddo; ac nid oedd modd attal na gwanhau y brwdfrydedd hyn. Ei dad, meddynt, a'i ceryddai am ddwysder a dyfalwch ei ymlyniad wrth ddarllen; ond aneffeithiol oedd y cerydd i wahanu rhyngddo a moddion gwybodaeth. Wedi methu efelly, rhoddai waith i Joseph a'i cadwai yn brysur drwy y dydd; ond yn hytrach nâ dyoddef ymddifadiad o'i fyfyrdodau, eisteddai i fynu nosweithiau cyfain! Diau iddo bryd hyn osod i lawr sylfaen ei gymmeriad; ac i'r amgylchiad ffodiog hwn y mae i ni briodoli ëangder ac amrywiaeth cymhwysderau a thrysorau ei feddwl, y rhai a'i hynodai yn mhlith ei frodyr, ac a'i galluogai i wasanaethu ei genedl, efo medrusrwydd mor nodedig, ac effeithiolaeth mor anghyffredin.

Yn ei ddyddiau boreuaf, dygai ei rieni Mr. HARRIS i wrando y gair i'r Eglwys Sefydledig, a chyrchai ar amserau i wrando gweinidogion yr Ymneillduwyr. Er ei fod yn trigfanu amryw filldiroedd o Langloffan, cawn ei fod, pan tua 18 oed yn myned yno yn aml i wrando; a dywedir fod effeithiau amrywiog pregethiad yr efengyl, yn ganfyddadwy arno yn fynych. Taranau bygythion Dwyfol a ddylenwai ei enaid â dychryn ac

* At y rhai y gellir ychwanega Samuel Drewe, Dr. Lee, &c., &c., &c., &c.

â braw, tra y byddai Iachawdwriaeth Crist, yn ei chyflawnder a'i rhadlonrwydd, yn ei gynhyrfu â gobeithion hyfryd a gogoneddus. Yr effeithiau hyn a addfedasant i benderfyniad y dilynai Iesu Grist; ac nid oes amheuaeth yn awr nad oedd yn benderfyniad calonog, diragrith, a santaidd. Efe a fedyddiwyd yn y flwyddyn 1793, yn 19 oed, gan y Parch. a'r defnyddiol H. Davis, tad un o weinidogion parchus presennol Llangloffan. Y diweddar hybarch Ddr. Ryland, mewn Cyfarfod Cenadol yn Llundain rai blynyddau yn ol, a ddywedai gyda gwynfydiaeth santaidd, "Yn y flwyddyn 1783, myfi a fedyddiais *Grydd* yn yr afon Nen; ychydig a feddyliais pryd hyny y buasai yn llanw gorsaf mor wir bwysig ac anrhydeddus y dydd heddyw—*Y Crydd hwnw yw Dr. Carey!*" Gyda phob addefiad o'r gwahaniaeth rhwng y pleidiau, nid ydym yn amheu na theimlai yr hybarch Henry Davies gryn foddiant yn yr adgof, ei fod wedi cael yr anrhydedd o fedyddio Joseph Harris. O barthed ei rodiad a'i gymmeriad, fel aelod eglwysig, digon o brawf o'r cymmeradwyaeth a'r parch a dderbyniai gan ei frodyr crefyddol yw, iddynt yn fuan ei annog i bregethu yr efengyl. Nid oes amheuaeth nad oedd ei arferion diwyd, a'i dueddiadau meddylgar yn cael eu cryfhau a'u hychwanegu gan ddylanwad gwir grefydd: nid oedd *yn ddiog mewn diwydrwydd, ond yn wresog yn yr ysbryd yn gwasanaethu yr Arglwydd.* Ymlyniad ffyddlon a diysgog wrth foddion gras, ac ymroddiad dyfal a phenderfynol i gasglu gwybodaeth, oeddent deithi yn ei nodweddiad a'i darganmolai i sylw ei frodyr; ac ar eu hannogaeth dechreuai bregethu *efengyl y tangnefedd* yn y flwyddyn 1796, ac ynteu yn 22 oed. Wedi pregethu ynghylch tair blynedd yn ei gymmydogaeth artrefol, gyda defnyddioldeb, a chymmeradwyaeth, a pharch cynnyddol o ddydd i ddydd, cymmerodd daith drwy rai o'r eglwysi tu allan i gylch ei gydnabyddiaeth; a daeth i Abertawy gyntaf yn y flwyddyn 1799, y lle a amcanesid gan Ragluniaeth Dwyfol i fod yn faes ei lafur, ac yn orphwysfa iddei lwch. Yn yr amser hwnw ffynai rhyw ymryson rhwng y Parch. Daniel Jones a'r Eglwys yn yr Heol-gefn o barthed gwahaniaeth yn eu barnau, yr hwn yn fuan a derfynodd yn ymadawiad y gweinidog, ac ymddifadiad canlyniadol yr eglwys. Wedi cael llawer o foddlonrwydd yn ngweinidogaeth ac ysbryd Mr. Harris, rhoddasant iddo wahoddiad taer i ddychwelyd atynt wedi terfynu ei daith. Yntau a gydsyniodd, ac wedi pregethu yn eu plith rai misoedd, cawsant allan nad oeddent wedi eu siomi yn eu dysgwyliadau.

Canfyddasant ei fod yn meddu galluoedd, ysbryd, a chymhwysderau angenrheidiol ereill, i fod yn *weinidog cymhwys y Testament Newydd,*—ei fod *yn weithiwr difefl, yn iawn gyfranu gair y gwirionedd.* Wedi ystyriaeth dyfal a difrif-ddwys, cytunodd yr eglwys ei alw i waith y weinidogaeth yn eu plith, gan ddymuno arno, yn daer a serchog, gymmeryd eu gofal yn yr Arglwydd. Erbyn hyn darostyngid Mr. Harris i gyfyngddewisiad. Y cyfryw oedd ei barch yn mysg ei frodyr yn Llangloffan, a'r cyfryw oedd eu golwg arno, fel y mynent ar bob cyfrif ei gadw, gan

anfoddloni a gomedd rhoddi gollyngdod iddo symud i Abertawy. Tra ar y llaw arall, taerineb ei gyfeillion newydd, a'r taerineb hyny yn cyfodi oddiar argyhoeddiad o'i addasrwydd a'i gymhwysder i fod yn ddefnyddiol, a weithiai ar ei feddwl fel arall. Fel hyn y bu am agos i ddwy flynedd, yn aros ychydig o fisoedd yn Abertawy, gan ddychwelyd eilwaith i Langloffan. Ond wedi pwyso ac ystyried y mater fel hyn yn ddyfal, penderfynodd ddyfod i Abertawy i aros, gan gymmeryd arno fugeilwaith yr Eglwys; yr hyn a gymmerth le yn y flwyddyn 1801. Urddasid ef y flwyddyn flaenorol yn Llangloffan: ac ychydig cyn hyny priodasai â Miss Martha Symmons, gerllaw Castellnewydd-bach, yr hon a ddygasid i fynu yn grefyddol a pharchus, ac a fedyddiasid yn Llangloffan agos yr un amser â Mr. HARRIS. Gwedi dyfod i Abertawy, teimlodd Mr. HARRIS ddiffyg ac anghyfle o herwydd ei anwybodaeth ymarferol â'r Saesonaeg: a'r canlyniad fu iddo, drwy gydsyniad ac annogaeth yr Eglwys, fyned i Athrofa y Bedyddwyr yn Nghaerodor, pryd hyny dan olygiaeth yr hawddgar a'r hybarch Ddr. Ryland. Amcanesid iddo aros yno am flwyddyn; pa fodd bynag amgylchiadau Eglwysig a theuluaidd a'i analluogasant i aros yno fwy nâ phedwar mis: *ac wele y cwbl o addysg Athrofäol a dderbyniodd Gomer.* Er byred oedd tymmor ei arosiad yn yr Athrofa, bu ei fynediad yno yn amgylchiad pwysig a chanlyniadol yn ei fywyd. Drwy ddyfalwch a diwydrwydd cyrhaeddodd wybodaeth o elfenau, cystrawen, a phriod-ddull y Saesonaeg, yr hyn, ynghyd â'i ymlyniad canlynol wrth ei efrydaeth, a'i galluogodd yn dra buan i bregethu yn yr aeg hòno, gyda derbyniad a pharch, yr hyn a wnaeth wedi hyny drwy gydol ei fywyd. Yr amgylchiad soniedig hefyd a'i harweiniodd i gydnabyddiaeth ag amrai o weinidogion y Bedyddwyr yn Lloegr; ac yn enwedig yr amser hwnw y dechreuodd cyfeillgarwch rhyngddo â Llywydd duwiol yr Athrofa, yr hwn gyfeillgarwch a barodd i gynnyddu a gwresogi drwy eu bywydau. Digon o brawf o'r parch a feddai Mr. HARRIS i'r Dr. yw galw o hono ei anwyl Ieuan Ddû yn John Ryland, a'i ferch henaf yn Eliza Ryland. Gohebiaeth a chyfeillgarwch y ddau enwogion hyn a attaliwyd am ychydig o fisoedd yn unig; yna ymgyfarfuasant drachefn yn ysbrydion perffeithiedig, ar drigfanau gwynfyd anfarwol, lle nad oes *modd* i luddias cyfrinach y trigolion dedwydd.

Nid oes le i bryder o barthed idd ei arweiniad i Abertawy, gan yr hwn *sydd yn cadw traed ei saint.** Y mesurau a fabwysiadwyd gan yr eglwys

* Yn 1811, bu Mr. HARRIS rai misoedd yn y Brif-ddinas yn pregethu i gynnulleidfa o Fedyddwyr Cymreig, yn yr amser yr oedd Arglwydd Sidmouth yn ymdrech darbwyllo y Seneddr Frutanaidd i gwttogi ar freintiau crefyddol yr Ymneillduwyr, drwy gymhell arnynt ddeddf i reoleiddio a sicrhau dybenion (meddai efe) y *Toleration Act.* Yr oedd Mr. HARRIS yn nhŷ yr Arglwyddi pan symudwyd ail ddarlleniad yr ysgrif atgas. Yn y llythyr canlynol y mae yn rhoddi hanes y ddadl; yn Saesonaeg yr ysgrifenodd Mr. HARRIS, a chyfieithad yw hwn:—

"*Llundain, Mai* 11, 1811.

"ANWYL SYR,—Gwedi anfon ysgrif Arglwydd Sidmouth yr wythnos ddiweddaf, yn amgauedig mewn llythyr, gan ddeisyfu arnoch gaffael cynnifer o enwau ag y buasai

a gyflawnhawyd gan amgylchiadau dilynol, gan ymroddiad dyfal a diflin Mr. HARRIS i gyflawni gwaith efengylwr,—gan y llwyddiant a goronai ei lafur yn nychweliad pechaduriaid, ac adeiladaeth credinwyr. Pregethai dair gwaith bob Sabboth am agos i ugain mlynedd. Am y llafur gofynol i bregethu tair gwaith bob Sabboth, heblaw yr amryw achlysuron a ddygwyddant mor aml i alw am lafur cyhoeddus gweinidog, yn nghlyw yr *un pobl*, ni ŵyr ond y sydd brofiadol o hono. *Hwy* a allant brisio *llafur myfyrdodawl* a *chymmeriad* y dyn a'i gwna dros gynnifer o flynyddau. At hyn chwanegir ei lafur yn y cymmydogaethau o amgylch, a gwelwn ddigon o achos i benderfynu nad *segura* a wnaeth yn ngwinllan ei Arglwydd. Yn gwybod ei fod gwedi ei gynnysgaeddu â galluoedd i fod yn wasanaethgar idd ei gyd-greaduriaid, fod Duw wedi ei alw yn rasol at y gwaith hwnw a elwir mewn ffordd o wahaniaeth, ac o

ddichonadwy, wrth Archiad at yr Arglwyddi, fel na chai y cyfryw ysgrif ei gwneyd yn ddeddf, gafaelwyf yn yr adeg flaenaf i eich hysbysu, ynghyd â'm cyfeillion yn gyffredin, nad rhaid i chwi wrth chwaneg o lafur yn ei gylch. Ysgrif Arglwydd Sidmouth a gollwyd! Gwrthodwyd hi gan ornifer mawr o'u harglwyddiaethau neithiwr, wedi dadlu agos chwech o oriau. Yr oedd y Tŷ yn llawn iawn, a'r edrychwyr tu cefn i'r bar (gweinidogion Ymneillduedig gan amlaf) a wthiasid gymmaint, fal y tybiaswn yn ddiau y cawsai y rhai mwyaf corffol o honynt eu llethu: fodd bynag, bu y cwbl yn dda. Aethum i'r Seneddr-dŷ o gylch pedwaran wedi pedwar o'r gloch yn y prydnawn, a *sefais* yno hyd tua phedwaran cyn deuddeg; nid oedd lle i eistedd. * * * * Iarll Stanhope a gyflwynai nifer mawr o eirchion oddiwrth Ymneillduwyr Protestanaidd yn erbyn yr ysgrif, gan sylwi fod rhifedi yr enwau yn agos pum mil. "Yn awr," ebai, "wyf yn dyfod â hwy i mewn wrth y miloedd; ond os eich arglwyddiaethau a aroswch, wyf yn sicr y gallwn eu cyfrif wrth y miliynau." Dug Norfolk a gyflwynai faich mawr o eirchion yn y lle nesaf. Arglwydd Holland a ddeuai yn mlaen â chymmaint o eirchion ag y medrai yn dda eu dwyn. Yna Arglwydd Erskine a ddynesai at y bwrdd â llwyth trwm o femrwn yn cynnwys 250 o wahanol eirchion. Arglwydd Grey a ganlynai gyda chryn nifer o'r unrhyw, o wahanol barthau, yn erbyn yr ysgrif. Y bwrdd a'r llawr o'i gylch a lenwid yn llythyrenol â memrwn. Credwyf iddeu harglwyddiaethau gael cymmaint o fraw wrth yr olwg, ag y gawsai yr Ymneillduwyr pan y gwelsant gyntaf ysgrif elynol Sidmouth. Er yr holl eirchion hyn, ei arglwyddiaeth a annogai ail-ddarlleniad yr ysgrif mewn araeth o awr a hanner, debygwn. (Er y gallai llawer crefftwr, &c., y sawl a ddirmygai efe, fel yn ymddifad o ddeall, ddywedyd y cwbl yn y drydedd ran o'r amser a dreuliodd ei arglwyddiaeth.) Haerai fod y Weithred o Oddefiad wedi cael ei chamarfer—nad oedd yr yneid yn ei deall—synai yn fawr fod yr Ymneillduwyr yn erbyn ei ysgrif, am nad oedd yn amcanu niweidio eu hachos; gan hyny, rhaid eu bod yn ei chamddeall, &c. Arglwydd Llynlleifiad a gymmeradwyai amryw ranau o'r ysgrif; ond ag ystyried pob peth, cynghorai ei gyfaill urddasol Sidmouth idd ei thynu yn ol. Archesgob Caergaint oedd yn ffafriol i ddarpariadau yr ysgrif, ond yn gymmaint â bod y fath ddylif o eirchion wedi cuddio bwrdd y Tŷ, meddyliai y byddai yn gynghoradwy peidio cymhell yr ail ddarlleniad. Dau bendefig a gynnalient yr ysgrif, (nis gwn eu henwau). Arglwydd Erskine mewn araeth hyawdl, a barhausai awr, a wrthwynebai yr ysgrif, gan nad oedd angen am dani.—Efe a fyntumiai fod Gweithred y Goddefiad yn ddigon eglur; ac od oedd rhai o'r yneid yn ei chamddeall, arnynt eu hunain oedd y bai, ac nid ar yr Ymneillduwyr; ac ewyllysai wybod pa ran o'r gyfraith a ddeallent yr yneid yn yr un goleu. Arglwydd Holland a ddirdynai ac a lusgai yr ysgrif aelod oddiwrth aelod. Ffieiddiai y gair *goddefiad*; am hyny, efe a ddywedai

ragoriaeth yn "waith Duw," ymosododd at y gorchwyl efo brwdfrydedd a gwrolder. *Pregethodd y gair, yn daer mewn amser ac allan o amser, argyhoeddodd, ceryddodd, annogodd gyda phob hirymaros.* Fel hyn y parhaodd Mr. HARRIS, gan gynnyddu yn ei boblogrwydd, ei barch, a'i ddefnyddioldeb hyd y flwyddyn 1823. Hon oedd flwyddyn orlawn o ddygwyddiadau pwysig a chanlyniadol iddo ef a'i deulu. Bryd hyn haul dysglaer a thanbeidiol ei fywyd a ddechreuai soddi yn y gorllewin, cymylau llawn o aeth ac helbul a ymdyrent uwch ei ben, gan ymbarotoi i gyfansodddi tymestl i ymruthro arno, pan y rhoddid arch gan Lywydd y bydysawd. Gauaf ei oes oedd yn awr yn dynesu. Ei gwpan a redasai drosodd o fwyniant oedd yn awr i gael ei orlanw o adfyd ac o boen. Fel y mae dryghin mor anghenrheidiol a gwasanaethgar â thegwch, efallai, yn y byd naturiol; efelly y mae trallod a chystudd yn rhan anhebgorol o ddysgyblaeth foesol dyn yn ei gyflwr hwn o brawf. Amrywiol ydynt

RHYDDID CREFYDDOL! ac a ddadleuai drosto! argyhoeddid ef nad oedd gan y llywodraeth un achos ymyryd â chrefydd unrhyw blaid, tra na aflonyddent heddwch y deyrnas. Efe a safai arno, fod rhaid i ryddid gwladol a rhyddid crefyddol sefyll neu syrthio yn nghyd; ond gan fod pob oes wedi dwyn rhai dynion a dueddid i erlid ereill byddai yn fwy ei wyliadwriaeth i amddiffyn rhyddid *crefyddol* nâ rhyddid gwladol. Yna cyfeiriai at araeth yr archesgob, yr hwn a ddywedai fod *llifeiriant* o eirchion wedi gorchuddio y bwrdd. "Ië, fy arglwyddi," ebe Arglwydd Holland, "myfi a ddywedaf y rheswm o hyny; y *pechod* o ddwyn yr ysgrif i mewn a barodd y *dylif* o eirchion i guddio y bwrdd." (Chwerthiniad mawr.) Arglwydd Stanhope a ddywedai na chyfodasai i ddywedyd yn erbyn yr ysgrif atgas, am y gwyddai ei bod eisioes wedi derbyn ei hergyd marwol, ac nad oedd un dyn call a syrthiai allan â hi—y *gelain dlawd!* ond gan fod yr arglwydd urddasol (Sidmouth) mor hoffus o wneuthur ysgrifau, efe a'i cyfeiriai at ddeddf o eiddo Edward VI, yn yr hon yr oedd yr holl gyfreithiau cospawl yn cael eu rhoffo ymaith ar un waith. (Chwerthiniad.) Cynnygiwr urddasol yr ysgrif hon a ddywedasai fod y grefydd sefydledig yn gyfran o'r Ffurf-lywodraeth Frutanaidd, ac y dylesid ei chynnal drwy ymyraeth seneddol? Beth? oni all crefydd sefyll o honi ei hun heb gyfraith?—Os felly, nid yw deilwng o gynnaliaeth. A ddywed rhywun wrthyf, a feiddia rhyw un ddywedyd wrthyf nad oes crefydd yn America? Y mae yn ddigon hysbys nad oes grefydd sefydledig yno. Yn un o'r taleithiau cyfunol meddyliasant am gael eglwys sefydledig, ond y trigolion a ommeddent dalu yr offeiriad, am na wnaethasai yr auoncst yn well, (chwerthiniad) a phaham y dylit ei dalu os na wnelsai les? Efe a derfynai trwy roddi rhybudd y byddai iddo, yn eisteddiad nesaf y Senedd, gynnyg ar fod i'r holl ddeddfau cospawl yn erbyn yr Ymneillduwyr gael eu diddymu; gan sylwi, *na foddiesid ef gymmaint trwy gydol y tri deg o flynyddau a eisteddasai yn y Tŷ hwnw, â'r noson hòno, drwy weled cynnifer o eirchion ar y bwrdd.* Arglwydd Grey a dybiai nad oedd gan yr Ymneillduwyr lawer o achos diolch i Arglwydd Sidmouth am ei ofal mawr yn darparu gyferbyn â pharchusrwydd eu gweinidogion; ac od oedd rhyw beth yn wallus yn *Neddf y Goddefiad,* taw y Neillduwyr eu hunain, ac nid Sidmouth, a ddylasent achwyn am hyny: efe a gytunai ag Arglwydd Holland ei bod yn gabldraeth ar y Neillduwyr i ddywedyd eu bod wedi cam-ddeongli tueddiad yr ysgrif.

"Efelly, anwyl gyfaill, wyf wedi rhoddi i chwi grynodeb byr, gybelled ag y cofiwyf, o'r hyn a gymmerea le neithiwr. Dangoswch y llythyr hwn i bawb a ddymuno ei weled. Ydwyf yr eiddoch yn barchus, "JOSEPH HARRIS."

"*Mr. Thomas Walters, Abertawy.*"

y ffyrdd drwy y rhai y cerydda yr Arglwydd y sawl a gara. Nwydau hanfodol eu hanian a wneir yn offerynau gwae. *Serch tadawl*, er mor ganmoladwy yn nghyfrif dynolion, ac er y mwyniant goblygedig yn ei ymarferiad, gan ei glwyfo drwy symudiad y gwrthddrych ar yr hwn y gweithredai, a geir yn aml yn anfeddyginiaethol—a'r hyfrydwyf tyner ac hawddgar hwn a goledda farwolaeth, ac a gofleidia y bedd!

John Ryland Harris oedd unig a chyntaf-anedig fab gwrthddrych ein Cofiant. Anhawdd yw i ni farnu faint y gofal pryderus a lenwai fynwesau ei riaint am eu hanwyl Ieuan; ac er hyfrydwch eu calonau canfyddent ynddo bob peth a allent ddymuno. Fal y cyfodai i fynu, cynnyddai mewn dysg, gwybodaeth, dawn, a pharch. Amledd ei rinweddau, anamledd ei wendidau, cyfaill a chynghorwr ei dad, yr amcanion a ffurfiasid erddo, y dysgwyliadau gwresoglawn a feithrinasid am dano, ac ystyriaethau nifeiriol ereill a gyfansoddent gydgynnulliad o ddeniadau yn mherson Ieuan Ddu. A phaham y syna neb fod calon ei dad wedi ei gosod mor gyflwyr arno, a bod ei fywyd megys wedi ei gyd-gorffori ag eiddo ei blentyn? Mor ansicr yw bywyd dyn! Cyn cyrhaedd 21 oed, symudwyd John i fyd yr ysbrydoedd! "Pa lygaid (i ddefnyddio geiriau y tad galarus) eill ballu deigryn wrth ganfod blodeuyn mor hardd yn cael ei daro â malldod angeuol, pan oedd yn dechreu gwasgaru ei beraroglau adfywiol ar led; haul mor ddysglaer yn machludo cyn hanner dydd, a chwmwl mor anghenrheidiol yn cael ei yru ymaith gan wynt anorchfygol, pan oedd yn dechreu tywallt allan ei drysorau buddlawn."

Nis gallwn orfodogi y brofedigaeth i ddyfynu geiriau y dysgedig a'r hybarch Ddr. W. O. Pughe ar yr achos hwn, gan faint eu teleidrwydd serch-gynhyrfiol.

"Mynych y dyluniais yn fy meddwl y boddineb yr addfedai amser ein cyfeillach cu, dechreuol rai blynyddau heibio, er mai heb adnabod gwyddawl rhyngddo ef a minnau: hoff y rhagdremiais hefyd ar y dyddiau y cwnai efe i daenu goleuni parhaus a gogoneddus, er cyfarwyddo ei gywleidiadon i dreiddiaw dirgelion gwybodaeth lesawl iddynt: ond diffoddid y goleuni hwn! Dwys cydymdeimlwyf ag ei rieni galarus, o fachludaw haul eu gwynfyd daearawl: can mai maith a gwresawg yr hyderynt ar ei dirioni, i fywhau anwyldra einioes, yn oed hwyr dawelwch y dyddiau hyny, pryd y delynt genadon angeu i rybuddiaw ei nesàd at eithafion y byd amserawl hwn: do, machludodd yr haul hwn! Yna gwael fyddai yr ymgais o esmwythâu briwiau dyfnion eu mynwesau âg eli geiriau gweigion, ïe, gwael fyddai hyn pan yw iachâd cyflawn yn hywel iddynt. Pan y tywyna Haul Cyfiawnder trwy y cymmylau trymion yn tywyllu eu llygaid anianawl, y tywyna, meddaf, yr Haul hwn yn ei ogoniant ar olygon eu ffydd; dyna fywyd gobaith y rhieni truain ac ymddifaid hyn; o synied mai nid o amser cyn y gwelont etto eu mab anwylaf; cyn y gwelont ef mewn gwisg wen o anfarwoldeb, yn mhlith gleinion ac angylion, gosgordd afrifedi Brenin y gogoniant a frysia i

sathru ei elynion dan ei draed, er seilio ei deyrnas ar y ddaear, megys yn y nef. Yno minnau gwelaf IEUAN DDU, os erioed nis gwelais ef!"

IDRISON.

Yr amgylchiad hwn a gafodd effaith nodedig o ddwfn ar galon Mr. HARRIS, fel y gwelir yn ei eiriau ei hun:—

"Marw'm JOHN row's ystyr geiriau
Gwell nâ holl eirlyfrau'r llawr;
Gofid, galar, o ran ystyr,
Sy'n dra eglur i mi 'nawr;
Calon glwyfus, chwerwedd enaid,
Dwys ochenaid, chwerw hynt,
Dagrau heillition, coll gysuron,
Hiraeth calon, gwn beth ynt."

Y dygwyddiad galarus hwn, gan adael argraff annilëadwy ar ei galon, a brofodd yn achlysur ei glefyd angeuol. Nid oes nemawr o wirioneddau yn amlycach nâ bod y Goruchaf wedi cyssylltu cyflawniad ei amcanion ag ail-achosion, a goruchwyliaeth ei greaduriaid. Y moddion trefnedig gan Ragluniaeth i derfynu einioes GOMER oedd angeu IEUAN. Marwolaeth ei unig, ei gyntaf-anedig, a'i anwyl Fab, a dòrodd y cwlwm a'i cyssylltai â daear, a ymlidiodd y swyn a berai iddo serchu mewn pethau gweledig; gan gynhyrfu yn ei galon awydd angerddol am ymadael â chyflwr o gyfnewidiad, o siomedigaeth, ac o fraw, ac "hedeg fry uwchlaw teganau'r byd." Uniawn y dywedai wrth derfynu "Galar Tad ar ol ei unig Fab"—

"Bellach IEUAN Bach 'rwy'n tewi
Rhag i'm meithni feichio'r wlad;
Tewi allaf, ond d' anghofio,
Llwyr anmhosibl yw i'th dad;
Ti ge'st deimlo eithaf angeu
'Chydig ddyddiau o'm blaen i,
Buan daw y wŷs i'm cyrchu
Ar dy ol o'r anial du.

Effeithiau llymboenus a marwol, fel y profasant yn y diwedd, yr amgylchiad soniedig ar Mr. HARRIS a osodir o flaen y darllenydd yn ei eiriau toddedig a chynhyrfiol ei hun. Wedi nodi amryw resymau, a berent ac a gyfreithlonent ddwysder ei alar, gweda, "Yr ystyriaethau dywededig, ac amryw ereill, a barhant i glwyfo'm teimladau hyd heddyw; ac er fy mod yn ymdrechu bod yn siriol yn mhob cyfeillach, i'r dyben i ysgafnhau ychydig ar fy meddyliau, a pheidio blino ereill; etto, pan fyddwyf wrthyf fy hun, fy nagrau yn aml a lifant mor naturiol â'r mynyd cyntaf. Ac er bod yn agos i flwyddyn oddiar pan gladdwyd fy hyfrydaf John Harris, gorfu arnaf roddi heibio fy ysgrifell amryw weithiau wrth ysgrifenu y Cofiant hwn, am fod fy nagrau yn dallu'm llygaid. Bum amryw wythnosau cyn, ac wedi ymadawiad y Blaguryn Peraidd, yn methu yn deg â chyflawni un gwasanaeth cyhoeddus, a meddyliais amryw weithiau mai trugaredd fawr oedd i mi fy mod mor brysur, a mwy o waith

genyf nag a allaswn ei gyflawni heb orchest, neu roddi y cwbl i fynu, yr hyn a'm rhwystrai i fagu a meithrin fy hiraeth, ac o dan Dduw, am a wn i, a'm cadwodd rhag colli fy synwyrau: gwn y gallasai yr Arglwydd ddefnyddio moddion ereill i'r un dyben; eithr yr hyn a gyfrifwn yn galedi mawr, a fu yn dra bendithlawn i mi."

Dywedai Mr. Harris fod ei iechyd mor gadarned, a'i ysbrydoedd cyn fywioced ag y buasent erioed, hyd un boreu Sabboth, ag y canfuaï Ieuan Ddu yn eistedd yn yml ei fam, wedi gorfod ymadael â chôr y cantorion gan wendid. Golwg wanaidd, welw, a chlafaidd, hyfrydwch ei lygaid a archollodd ei galon i'r byw. "Ow, fy John," ebai, "pa fodd y'th roddaf i fynu," &c. "O'r pryd hwnw allan," meddai, "yr oedd genyf res newydd o deimladau, a'u cyffelyb ni bu genyf erioed o'r blaen, ac nis credaswn cyn hyny fod fy meddwl yn addas neu yn ddarostyngedig i'r fath deimladau: meddyliwn fy mod yn teimlo archoll yn llythyrenol yn fy nghalon, neu fod darn o'm calon mewn gwirionedd wedi ei dynu o'm cnawd." Wedi hyn, ei sirioldeb, ei weithgarwch, a'i gymdeithasgarwch a fadawent, gan ei adael yn ysglyfaeth i dristyd, a galar, a phoen. Gorchwyl caled oedd iddo ar droion argymmeryd ei sirioldeb gynt; a'r man y carai fod oedd ei lyfrgell, gan nacâu caniatâd i nebun dòri i mewn ato; ac yno y treuliai agos yr oll o'i amser yn aberth diofrydedig i drallod meddwl a galar enaid. Er cadarned cyfansoddiad Mr. Harris, anhyall oedd iddo ymgynnal dan y fath ymdrinfa. Gwendid yn ei liniau, a methiant yn ei lais, a diboeniad mewnol oeddent gyd-fynedolion anhyfryd a rhybuddiawl ei alar; ac nid hir y buwyd cyn cael profion diymwad fod y darfodedigaeth wedi gafaelyd ynddo. Gorfu arno roddi fynu ei hoff waith o bregethu yr efengyl, ac nid oedd ganddo yn awr ond rhag-ddysgwyl awr ei ymddattodiad. O herwydd y siomid yr eglwys ar ryw Sabboth yn mis Mawrth, 1825, yn ei dysgwyliad am frawd dyeithr, a'i bod yn Sabboth cymundeb, ymdrechodd am y tro olaf fyned i addoldŷ yr Heol-gefn i weinyddu iddei bobl yr ordinhad, o'r hon y cyd-gyfranogasant gynnifer o weithiau, a hyny gyda chymmaint o adeiladaeth ac hyfrydwch. Ei ymddangosiad a'i ymagweddiad y tro hwn a barodd i bobl ei ofal gan mwyaf benderfynu taw hwnw oedd y tro olaf ag y gweinyddasai eu hanwyl Harris iddynt. O hyny allan, edrychai Mr. Harris rhagddo gyda theimladau, er nad o helaethrwydd llawenydd, ond o dawelwch, o ymddiried, ac o esmwythder, am amser ei ryddhad oddiwrth ac oddidan ei faich o gnawd. Ymddiriedasai ei enaid i ofal ei Iachawdwr grasol lawer blwyddyn heibio. Cawsai ras iddei wasanaethu gyda ffyddlondeb a gweithgarwch; a theimlai yn ddiofn a diarswyd i ymorphwys arno yn awr yn amser cyfyngder a gwasgfa. Efelly yr aeth i wared i lyn tywyll marwoldeb dan ofal gwarcheidiol yr *Hwn a aeth yn angeu i angeu, ac yn dranc i'r bedd.* Ar y degfed dydd o Awst, 1825, yn 52 oed, bu farw Joseph Harris, er galar a cholled nid bychan iddei deulu, yn cynnwys *gweddw a thair merch*, yr eglwys dan ei ofal—corff y Bedyddwyr, Ie, Tywysogaeth Cymru!

"Aeth i lawr yn ei fawredd;—e gariodd
Ei goron i'r diwedd—
Eurfur f'o ar ei oerfedd;
Di-ail f'o ei adail fedd."—GWILYM DDU GLAN HAFREN.

"Coffadwriaeth y cyfiawn sydd fendigedig," nid yn unig yn y nef, ond ar y ddaear; nid yn nghyfrif Iôn yn unig, ond hefyd yn nghyfrif dynolion. Prawf o hyn a gafwyd yn y parch mawr a chyffredinol a dalwyd i goffadwriaeth *Gomer*, gan ddynion o bob enw crefyddol, ac o bob graddau mewn dysg, dawn, a meddiant drwy Gymru a Lloegr.

---

## RHAN II.

"Gwael a llwm yw gwely llaith—y cadarn
Fu'n codi'r Omeriaith:
Priddwyd cyfaill pereiddiaith,
Tôa gro atteg yr iaith!"

ERYRON GWYLLT WALIA.

WEDI arwain o honom ein darllenwyr at derfyniad gyrfa ddaearol Gwrthddrych ein Cofiant, ac wedi cauad o honom arno byrth tywyllion y bedd; adgyrchwn i gip-dremio ar ei lafur awdurol, drwy yr hyn y canfyddwn ddadblygiad ac ymëangiad graddol a chynnyddol ei feddwl, ac y cyfarfyddwn â phrofion diymwad o effeithiau hynodion *ymroddiad*—hyd yn nod *dan anfanteision lawer*. Amgylchiadau llëenyddol y Dywysogaeth yn amser ymddangosiad cyntaf Mr. HARRIS oeddent yn gyfryw ag a roddent ddigon o gyfle ac o faes i ymdrechion awdurol. Anamledd llyfrau sylweddol a gwasanaethgar ar agos bob pwnc o wybodaeth grefyddol, wladol, neu gelfyddydol, a alwai yn uchel am lafur y sawl a garent ac a ddymunent lwyddiant hen Walia. O'r tu arall, absennoldeb galarus ysbryd darllengar, ac annhueddiad cyffredinol i fyfyrdod dwys ac ystyriol oedd ddigon i ddigaloni ymdrechion ysgrifenwyr Cymreig: tra yr oedd cybydd-dod, neu dlodi, neu y ddau, yn effeithio cymmaint i attal gwerthiad llyfrau, nes lluddias dyn ystyriol a chyfiawn i fyned i'r wasg, heb yn gyntaf wneuthur i fynu ei feddwl i redeg yr antur o fod yn golledwr arianol drwy yr amgylchiad. Yn lle derbyn tâl am eu llafur, gorfyddai i'r rhan fwyaf o awdwyr y ganri ddiweddaf, gydag eu llafur myfyrdodawl, roddi llawer o dreuliau ereill, drwy deithio yn mhell at yr Argraffydd, myned ar draws y wlad i werthu eu llyfrau bychain, ac yn y diwedd, efallai, cael gwaith caled i werthu digon i dalu am yr argraffwaith. Nid dim ond gwladgarwch a allasai dueddu y cyfryw lafur, dan y cyfryw amgylchiadau; ac y maent y dynion a ysgrifenasant i hyfforddi a llwybreiddio y Cymry yn y ganri ddiweddaf, er dystadled yr ymddengys rhai o'i cyfansoddiadau i *ddoethion hunan-ddigonol* yr oes hon, yn teilyngu ein mawr-barch gwresocaf, ac ein coffa anrhydeddusaf. Yn nechreu y ganri bresennol, pan y dechreuai ambell i baladr gobeithiol dywynu ar fryniau moelion gwlad y

cenin, gwnaeth Mr. HARRIS ei ymddangosiad *fel Awdwr*. Ysbryd ymofyniad a gynhyrfasid i raddau eisioes yn mysg y Bedyddwyr gan yr enwog Morgan John Rhys ac ereill. Amryw ddewrion yn awr a gyfoded i wasanaethu eu brodyr drwy yr argraffwasg yn gystal ag o'r areithfa. Amryw o honynt wedi gwasanaethu eu dydd a'u cenedlaeth gyda ffyddlondeb anrhydeddus, ydynt wedi ymadael â'r fuchedd hon, *gan fyned i mewn i lawenydd eu Harglwydd*, tra y mae amryw ereill etto yn aros ar y maes, yn dysgwyl yn hyderus ac amyneddgar am ddydd eu hymddatodiad.

Yr ydym yn cael Mr. HARRIS, yn y wasg mor foreu â 1796, pryd y cyhoeddodd Bigion o Hymnau. Wedi hyny, yn 1802, pan y daeth allan y Rhan gyntaf o lyfr cyfieithedig o'r Saesoneg, dan yr enw, "Yr anghyffelyb broffeswr yn ei ganol-ddydd dysgleirdeb." Yn y flwyddyn 1804, daeth allan ei "Fwyell Crist yn nghoed anghrist." Atebiad oedd hwn i lyfryn bychan a gyhoeddasid gan Mr. Josiah Rhys, o'r Gellygron, un o benaethiaid y Sosiniaid, neu yr Undodiaid Cymreig, y dyddiau hyny. Nid yw y llyfryn hwn ychwaneg nâ 24ain tu-dalen; cynnwysa er hyny olygawd tra chywir a galluog ar brif bwyntiau y ddadl fawr hon. Ymddengys Mr. HARRIS yn ymwybodol o'i rym, gan gymmeryd ei safle ar yr ysgrythyrau santaidd, yn eu hystyr amlwg a diwyrdroedig. Y mae yn ymosod yn dra ysbrydlawn a dilwfr ar adeilwaith y gwrthwynebwr, ac yn ei lwyr ddymchwelyd. *Efelly yr ymddengys i mi o leiaf.* Nid oedd hyn ond dechreuad llafur Mr. HARRIS o blaid y pwnc hwn—pwnc ag sydd yn goblygu holl hanfodolion Cristionogaeth, ac i olygiadau cywir ar yr hwn y perthyna pwysigrwydd anfeidrol. Yn y flwyddyn 1816, cyhoeddodd Mr. HARRIS ei "Draethawd ar briodol Dduwdod ein Harglwydd Iesu Grist, ynghyd ag atebion i holl wrthddadleuon y Sosiniaid," yn *Saesonaeg;* a'r flwyddyn ganlynol yn *Gymraeg*. Y *Traethawd* ar ei gyhoeddiad, a ddenodd sylw, ac a greodd gynnwrf mwy nâ chyffredin. Yn mysg y sawl a gredent yr athrawiaeth amddiffynedig ynddo, cafodd dderbyniad gwresog a chroesawgar. Credinwyr yn Nuwdod yr Iachawdwr a anghofient eu gwahaniaethau ar bynciau ereill, llai pwysig a chanlyniadol, ac edrychent ar Mr. HARRIS, nid fel *Bedyddiwr* yn awr, eithr fel *Gweinidog da i Iesu Grist*, fel un wedi ei osod *i amddiffyn ffydd yr efengyl.* Esgob Tyddewi,* a Ficer Abertawy,† gan golli golwg ar ddrygedd ac amryfusedd Ymneillduaeth oddiwrth yr "Eglwys lân Gatholig," a ystyrient Gomer yn gyd-was iddynt yn ngwasanaeth Iesu. Yn ymddygiad y blaenaf canfyddwyd golygfa ddyeithr ac anarferol.—*Arglwydd Esgob*, yn anerch ei offeiriaid, ac yn darganmol idd eu sylw manylaf, lyfryn a ysgrifenwyd gan *Ymneillduwr!* Yr olaf a wasanaethai Mr. HARRIS, gybelled ag y medrai yn mysg ei gyffeillion, ac aelodau ei eglwys. Y gwahanol bleidiau o Neillduwyr uniawngred a ymddygent yn gyffelyb. Yr amrywiaeth ffynadwy o barthed Calfiniaeth ac Arminiaeth,

* Dr. Burgess. † Dr. Hewson.

Trochiad a Thaenelliad, Anymddibyniaeth ac Henaduriaeth, yn awr a adawid, a chytunent i dderbyn yn ddiolchgar, a defnyddio yn galonog, lafur Gweinidog Bedyddwyr Abertawy. Nid oes bryder nad oedd y llafur hwnw yn dra theilwng o'r derbyniad dihafal a gafodd. Cynnwysa y llyfr rhagorol hwn yr arddangosiad tecaf, efallai, o alluoedd ymresymiadol a chyrhaeddiadau duwinyddol yr Awdwr. Y mae wedi llwyddo yn hynod i grynhoi agos pob ystyriaeth amddiffynol ac ymosodol sydd o bwysigrwydd cyffredinol. Gesyd i lawr yn drefnus a grymus y rhesymau ysgrythyrol a'i darbwyllai i gredu yr athrawiaeth amddiffynedig ganddo. Ond nid yn y rhan hyn o'r gorchwyl y mae canfod ei alluoedd hynodion. Mewn *ymosodiad* y dysgleiriai JOSEPH HARRIS fwyaf, pan yr ymwnelai â'r gwrthddadleuon a gyfodid yn erbyn ei ddaliadau, y canfyddid gweithrediadau penaf a chadarnaf ei feddwl: bryd hyny, ymgynhyrfai ei athrylith, ymëangai holl alluoedd ei enaid, ymaflai yn ei arfau gyda phenderfyniad gwrol-ddyn, gan ymosod o hono ar ei wrthwynebwr gydag yni, llymdra, prysurdeb, ac arbwyll, a'i gyrai yn fuan ar ffo. Hyn a fu yn y ddadl dan sylw i raddau tra anghyffredin.

"Gwelais amryw lyfrau rhagorol ar y pwnc mewn dadl," medd ysgrifenydd galluog†, "eithr y rhan amlaf o honynt, er yn cynnwys eystal profion ysgrythyrol, a adawent y gwrthddadleuon heb sylwi nemawr arnynt: tebyg i fyddin y brenin yn codi castell gyferbyn â chastell y gwrthryfelwyr, heb ymroddi, fel breninoliaid dewrion a ffyddlon, i yru y gelyn o'i amddiffynfa: eithr yma y mae yr awdwr, nid yn unig yn coffâu y testunau grymusaf dros y gwirionedd anorfod mewn llaw, ond bob amser fel milwr medrus yn amgaeru ei orsaf ddisyfl drwy resymau diymwad, i ddangos fod yr adnodau dyfynedig yn berthynol i'r pwnc dan ystyriaeth, ac nid i ddim arall; gan hollol ddirymu gwrthddadleuon llafurus ei wrthwynebwr cyfrwysgall: ac yr un pryd yn symud ymaith yr esboniadau twyllodrus o'r eiddynt hwy. Nid yw yr awdwr hwn yn gadael ei waith megys ar yr hanner. Nid yn unig y mae yn adeiladu ar y graig, ond hefyd yn ymarllwys o'i ysgrifell afon y gwirionedd ag sydd yn ysgubo gyda hi yr holl dywod a'r anialwch o gylch ei lŷs gorwych gan orllif ei llifeiriant nerthol, fel y gall pawb onid deillion weled grym ac ardderchogrwydd yr adeilad. Mae yn wir mai nid efe a wnaeth y graig i adeiladu arni, mwy nâ defnyddiau yr adeiladaeth: ond tebyg i Bezaleel ac Aholiab, derbyniodd gyfarwyddyd a deall i iawn gyssylltu yr adeilad hon. Y mae yr un gloddfa o flaen y naill a'r llall. Ond am yr adeiladaeth wrthwynebol, wrth sylwi ar ei chwymp bendramwnglawg, anhawdd yw dywedyd pa un ai mwyaf tywodlyd y sylfaen, ai mwyaf afluniaidd yr oruwchadail. Ni wn i ai y sylfaen sydd yn ymollwng odditanodd, ai yr adeilad sydd yn cwympo oddiarnodd, gan mor ddisymwyth mae'r garnedd yn ymchwalu fel barclodiad y gawres. Nid yw codi castell golygwych ond hanner ei foddio tra fyddo castell y gelyn yn sefyll ar ei gyfer; gan hyny efe a

† P. A. Mon.

ddynesa ei fagnelau trystfawr i fwrw allan eu pelau dinystriol oni fyddo yn gymmysgfa anelwig. Yna efe a saif mewn agwedd fuddugol yn ngolwg caredigion llywodraeth Emmanuel, gan adael Seir ac Edom i ochain mewn gwewyr marwol dan effeithiau y clwyfau anaele a roddes iddynt. * * * Y mae y gystrawen yn y llyfr hwn yn gywir, yr iaith yn esmwyth, yr ymadroddion yn gryfion a pherthynasol; yr ehediadau drych-feddyliol yn fywiog ac uchel, yr atebion yn benderfynol a meistrolgar, y saethau yn wastad yn taro at y nôd, a'r gwrthwynebwr yn cael ei gwympo gynted ag y codir ef i fynu yn nôd i saethu ato. Y mae o hyd i lawr cyn iddo godi ei hun i fynu. Dylai pob Cristion ddarllen y llyfr hwn er cadarnhâd iddei ffydd, yn sylfaeni iachawdwriaeth dragywyddol ei enaid. Dylai yr ymofyngar ei ddarllen er mwyn gwybodaeth gyffredinol mewn dadl orchestol—y Cymro dysgedig er mwyn cywreinrwydd a grym iaith ramadegol, a phob darllenydd cyffredin er mwyn helaethu ei amgyffrediadau yn y Gymraeg, a deall ei throellau a'i lluniau ansoddol." Ni bu y Traethawd yn aflwyddiannus i aflonyddu ar yr Undodiaid, fel eu galwant eu hunain. Mr. John Rhys, pregethwr gynt yn mysg y Bedyddwyr, oedd y cyntaf a ddaeth allan i'r maes yn erbyn Mr. Harris. Ond canwaned oedd ymdrech y gŵr hwn i amddiffyn credo Sosinus, fel na wnaeth amgen cynhyrfu dibris-dal a dirmyg; nid y Triadodiaid yn unig, ond y Sosiniaid hefyd. Yn fuan wedi ei gyhoddiad wele Mr. Richard Awbrey, Gweinidog y Sosiniaid yn y dref hon, yn cyhoeddi llyfryn i'r un pwrpas, dan yr enw "An examination of the Rev. J. Harris's Treatise." Hyn a barodd i Mr. Harris ddywedyd "Gan nad pa un a bod llyfr Mr. Awbery yn cynnwys atebiad i'r eiddof fi ai peidio, eglur yw ei fod yn atebiad digonol i gyhoeddiad Mr. Rhys; ac am hyny ni raid i mi fyned i'r drafferth i ateb hwnw; canys pe barnesid fod yr atebiad cyntaf yn ddigonol, pa raid i weinidog y blaid gyhoeddi atebiad arall, heb son mwy am y cyntaf nâ phe buasai Mr. Rhys wedi gosod ei ysgrifen yn y tân, yn lle ei danfon i'r argraffwasg."

Cydnebydd Mr. Awbrey alluoedd Mr. Harris fel dadleuwr; eithr achwyna yn erwin ar ei ysbryd. Eithr cyn cyfaddef cyfiawnder y cyhuddiad, buddiol fai ystyried,—

Fod gwahaniaeth rhwng gwresogrwydd ysgrifenydd pan yn teimlo ei bwnc ag ysbryd erlidigaethus. Y mae yn wir fod yr hwn yr ysgrifenir yn ei erbyn yn barod i ystyried pob gair gwresog yn ddigofaint ato ef yn bersonol, pan na fo yr ysgrifenydd yn meithrin y gradd lleiaf o hyny, namyn dadleu o ddifrif o blaid yr hyn a ystyria yn wirionedd pwysig a safadwy. Dyma yr amgylchiad ag y cafodd Harris ei hun ynddo, yn amddiffyn pwynt HANFODOL I GRISTIONOGAETH yn ei fryd ef. Annichonadwy oedd cylafareddu â'r gwrthwynebwyr heb fradychu ei achos: yr oeddynt hwy yn ei olwg ef yn diosg yr Efengyl o bob peth a'i gwerthfawrogai, yn gadael y gyfundrefn Gristionogol yn gorff dienaid, yn gysgod disylwedd—yn arddangosiad o

wendid ac anghallineb dihafal—yn gwneyd parotoadau dros filoedd o flynyddoedd, drwy gysgodau, addewidion a phroffwydoliaethau gyferbyn â genedigaeth dyn—dyn ffaeledig! PARTURIUNT MONTES; NASCETUR RIDICULUS MUS. HOR. Dywedai Dr. Priestly fod yn rhaid iddo ef a'i frodyr ystyried y Trindodiaid yn eilun-addolwyr, ac nas gallent fod yn feius am eu galw felly. *Priestley's Familiar Letters.—Let.* VI. Mr. HARRIS o'r tu arall a ystyriai y gyfundraeth Sosinaidd yn "ffordd sicr i ddinystr, ac yn rhagflaenydd yr ail farwolaeth:"—nis gallai yntau fod yn feius am ddywedyd efelly. Gallai fod Mr. HARRIS wedi myned i eithafion drwy ddefnyddio ymadroddion rhy gryfion (canys pwy sydd yn anffaeledig?) ond ei fod iddei feio am ddywedyd yn y modd mwyaf penderfynol ei olygiadau am y gyfundraeth a wrthwynebai nis cyfaddefwn ar unwedd—a bod hyny yn arddangos ysbryd erlidigaethus, yr ydym yn gwadu yn bennodol. Dywedir yn gyffredin fod llawer mwy o hynawsedd yn ysgrifenadau y Sosiniaid nag yn eiddo Trindodiaid; ond teilynga ymofyniad y sawl a orfoleddant yn hyn, pa un ai hynawsedd ai difaterwch am y gwirionedd yw?

Yr ydym yn meddwl ein bod yn arfer rhoddi gormodd o glod i'r Sosiniaid am yr hyn a elwir EU HYNAWSEDD. Camsyniwn yn fawr os na fyddai darlleniad gofalus rhai o'u llyfrau enwocaf yn ddigon i argyhoeddi y diduedd eu bod yn alluog o gymmaint o chwerwder ac annhegwch â neb o'u gwrthwynebwyr. Nid ydys yn gwneuthur y sylw hwn i gyfiawnhau mewn un gradd y pethau hyn, pan eu hamlygir gan y Trindodiaid; (pa du bynag i'r ddadl y ceir hwynt, y maent yn gyffelyb *feius* a *ffiaidd;*) ond er arafu ychydig ar frwdfrydedd y sawl a gymmerant bethau yn ganiatäol yn fynych, heb ystyried yn ofalus a diduedd y ffeithiau a ddygant berthynas â'r pwnc mewn llaw.

Gwahoddir y darllenydd yn y lle nesaf i edrych ar Mr. HARRIS yn amcanu darpariaeth gyferbyn â diwalliad addysgiadol yr holl Dywysogaeth. Pan ystyriwn bwysigrwydd a defnyddioldeb Cyhoeddiadau Cyfnodol—yn trosglwyddo gwybodaeth yn ei holl gangenau—yn hyrwyddo lledaeniad newyddion o bob math—yn creu a meithrin awydd cyffredinol am hyfforddiant—ac yn rhoddi cyfle i ieuenctyd ac ereill i ddyfod o flaen y cyhoeddus, ag na feddent gyfle modd arall, nis gallwn lai nâ galaru fod y Cymry wedi eu gadael cyhyd yn amddifad o'r breintiau hyn. Nid oedd neb yn fwy teimladwy o'r ystyriaethau soniedig nâ GOMER; a meddai ddigon o wladgarwch i ymdrechu cyflawni mewn rhan y diffyg. Cafodd gan nifer o foneddigion, ei gyfeillion, gyduno i gyhoeddi *Newyddiadur yn y Gymraeg*, y cyntaf o'r fath. Dydd Sadwrn, Ionawr 1, 1814, daeth allan y Rhifyn Cyntaf o "Seren Gomer, neu Hysbysydd Wythnosol Cyffredinol dros holl Dywysogaeth Cymru." Mr. HARRIS ei hun oedd y Golygydd. Mewn Anerchiad i'r Cymry, gesyd o flaen y cyhoeddus natur ac amcanion y cyhoeddiad:—"Bydd i Seren Gomer wynebu ar derfynau anwybodaeth," meddai, "a gwahodd y

preswylwyr yn gariadlawn i fwynhau pleserau gwybodaeth. Bydd yn cynnwys hanesion pellenig a chartrefol, am ryfel a heddwch; newyddion gwladol ac eglwysig; crynodeb o'r cyfreithiau newyddion a wneir yn ein hamser; ymdrechiadau a llwyddiant y Cenadon Cristionogol yn mhlith eilun-addolwyr; pris yr ŷd, ac amryw bethau ereill; amser ffeiriau yn y Dywysogaeth, a phob peth arall a fyddo yn gysson â moesoldeb tra fyddo lle: canys tra bo yn llewyrchu ar achosion y fuchedd bresennol, fe ymdrechir ei thebygu i'r Seren yn y Dwyrain i dywys at Seren Jacob, neu at yr hwn a anwyd i fod yn Frenin i'r Iuddewon. Saif Seren Gomer hefyd yn yr adwyau rhwng yr hoff-iaith Gymraeg a'i gelynion, drwy annog a denu pobl i ddarllen, hysbysu cyfansoddiadau gwerthfawr, a chefnogi ymdrechiadau barddonol yn yr iaith hon, ynghyd â derbyn ysgrifeniadau yn tueddu i'w phuro a'i diwygio," &c. &c. Er dyngarwch ac haelioni y boneddigion a sefydlasant y Seren, ynghyd â doniau ac athrylith y Golygydd clodfawr, anffyddlondeb y Cymry, ysywaeth, a fu yn gyfryw ag i luddias y gorchwyl. Yn Rhif. 81, dyddiedig Gorph. 12, 1815, y mae anerchiad yn dywedyd, "Fod y perchenogion, gyda thrymder calon, yn gorfod mynegu fod yr annogaethau a gawsant yn y gorchwyl yn annigonol i'w galluogi i barhau y gwaith. Yr ydym (meddynt) dan rwymedigaethau neillduol i lawer o'n gwladwyr hynaws am ein cynnorthwyo yn mhob modd y gallasent; ond o herwydd nad ydynt yn ddigon lliosog, eu hymdrechiadau hwy a ninnau ydynt aneffeithiol. Nid ydym yn meddwl cyhoeddi ond Pedwar Rhifyn ar ol hwn; ac ni fuasem yn cyhoeddi un ond yn unig o barch i'n cefnogwyr ffyddlonaf, ac i beidio cymmeryd ein cenad oddiwrthynt yn ddirybudd. Credu yr ydym y bydd yn edifar gan lawer Cymro iddo roddi heibio derbyn ein Newyddlen pan fyddo yn rhy ddiweddar." Efelly y maeddwyd un o'r cynnygion mwyaf penderfynol ac anhunangar a wnaed erioed i fuddioli ein cenedl—holl lafurwaith Mr. Harris—ac nid oes neb a edrych dros Rifynau y Seren heb ganfod ei fod agos yn ddihafal—a aeth yn ofer, yn agos efelly, o leiaf; a thueddiadau haelfrydus y perchenogion a wobrwywyd drwy *golled o amryw gannoedd o bunnau!!* Dyma fel yn gyffredin y telir cymmwynaswyr eu cenedl!*

Etto, gyda llawenydd y medrwn gofnodi, fod ychydig o Gymry iddeu cael bryd hyny yn medru canfod teilyngdod, a phrisio nodweddiad y Gwron a ymorchestai gymmaint dan anfanteision i lesoli ei wladwyr. Gwyneddigion Llundain a'i anrhegasant â *Thlws Arian;* gyda'r hwn yr

* Meddiannwyr y Seren Gomer Wythnosol oeddynt y diweddar John Voss, ysw.; John Walters, ysw.; Thomas Walters, ysw.; David Walters, ysw.; Mr. Harris; a'r Argraffydd, Mr. Dafydd Jenkin. Collasant rhyngddynt wrth y Seren *dros fil o bunnau!* Yn mysg gohebwyr Mr. Harris pryd hyn yr oedd ysgrifenwyr galluocaf y Dywysogaeth, yn offeiriaid, gweinidogion neillduedig, beirdd, ac uchelwyr; megys y diweddar ddysgedig a Pharchedig Eliezer Williams, Llanbedr; Tegid; Daniel Ddu; P. A. Môn; Iolo Morganwg; Gwilym Morganwg; Parch. Christmas Evans; Parch. D. Saunders; Parch. John Roberts, Llanbrynmair; Iago Trichrug, &c., &c., &c.

anfonwyd y llythyr canlynol oddiwrth ysgrifell eu Cofiadur hybarch, Mr. Roberts, Llwynrhudol:—

"*Fy Nghydwladwr Diledryw!*—Goddefwch i mi, yn enw a thros Gymdeithas y Gwyneddigion, eich anerch â Bathodyn Arian, megys arwydd dyladwy o'u parch i chwi, yr hwn a arddangosant drwy eich anrhegu â'r tlws cynnwysedig, am eich ymegniad clodwiw yn cynnal a choleddu y Frythonaeg, fel Golygydd Seren Gomer, yr hon Seren oedd gyfrwng tra buddiol i'n gwlad a'n cenedl yn gyffredinol, ond, ysywaeth, sydd yn awr wedi machlud, mae yn debyg, am byth! Er hyn oll, ac er cymmaint y gofid o'i achos, yr ydys yn llwyr obeithio y bydd i'ch diwydrwydd chwi wneyd i fynu y golled mewn gradd helaeth drwy y cyhoeddiad a grybwyllasoch, 'naill ai yn bythefnosol neu yn fisol,' pa un bynag a dybir oreu gan y rhan fwyaf o'ch gohebwyr lliosog; ond o'm rhan i, meddyliwn mai goreu pa amlaf y cyhoeddir yr hyn a fai dda a dymunol, ac yn llwyr anghenrheidiol, fal y buddiolir gwerinos ein gwlad drwy daenu ac ëangu gwybodaeth hyd eithaf pob dynol allu yn mhlith ein brodyr y Cymry uniaith! Yr ydwyf fi yn dymuno i chwi lwyddiant yn y gorchwyl, ac yn gobeithio y bydd i chwi gael y fath gynnorthwy gan y wlad ag ydych haeddiannol o hono, am eich llafur a'ch dymuniad i gynnal a choleddu yr hen iaith odidog, sef yr Omeraeg. Chwi a welwch ar wyneb y Bathodyn ddarluniad hardd o HU GADARN, ac o'i gylch yn yr hen lythyrenau, fel y canlyn:—'HU GADARN yn arwain y Cymry i Ynys Brydain; ac ar y tu cefn iddo chwi a welwch wedi eu tòri yn drefnus iawn y geiriau hyn,—'Anrheg Cymdeithas y Gwyneddigion i'r PARCHEDIG JOSEPH HARRIS, O ABERTAWY, er parch iddo am ei lafur diflin a'i fedrusrwydd yn coleddu yr Iaith Gymraeg," &c.—Llundain, Awst, 1815." *Vide North Wales Gazette, Dec.* 7, 1815.

Er y digalondid a ddaeth iddei ran drwy ei ymdrech blaenorol, nid oedd hyny yn ddigon i lwfrhau Mr. HARRIS, nac i orchfygu ei awydd i wasanaethu ei genedl. Yn ei anerch ymadawol i ddarllenwyr y Seren Wythnosol, gwnelsai gynnyg i gyhoeddi llyfryn pythefnosol neu fisol, &c. mal y sonioddd Mr. Roberts, yn ei lythyr. "Da fyddai genym (ebai) wneuthur ein Cyhoeddiad *i berthyn i'r Cymry fel y cyfryw*, ac *nid i un blaid neillduol* o honynt, gymmaint fyth ag y gallem. Methu a wnaeth, mae yn debyg, a chael cefnogaeth digonol iddo yn y dull hwn; o herwydd yn Ionawr, 1817, daeth allan, nid Cyhoeddiad yn perthyn i'r *Cymry, fel y cyfryw*, ond y Rhifyn 1 o *Real y Bedyddwyr.* Am yr anghytundeb ymddangosiadol rhwng ei amcan a'i ymddygiad yn hyn o beth, gweler ei eiriau ei hun: "Mwy dewisol gan rai fyddai cael Cyhoeddiad Cylchynol a berthyna i bawb enwau crefyddol yn ddiwahaniaeth, a dymunol gan y Cyhoeddwr fyddai hyny, pe medrid cyssylltu y gwahanol bleidiau i raddau cyn belled â'u dwyn i gyd-weithredu yn awyddus. Eithr pan wnawd cynnyg o'r fath drwy ddirfawr draul, methodd a llwyddo, a hyn mewn rhan o ddiffyg cydymegniad: hefyd, dichon fod manteision y cynllun hwn yn ddigon i wrthbwyso ei anfanteision; yn neillduol pan ystyrir y bydd derbyniad i gyfansoddiadau buddiol ein gwladwyr yn gyffredin, gan nad i ba enw y perthynant; ac er mai anghenrhaid yw gosod ar rifedi o ddynion pennodol, medrus mewn ysgrifenyddiaeth, trwy yr amrywiol siroedd Cymreig i gynnorthwyo y Grëal â'u hysgrifenadau; etto, ni bydd hyny yn rhwystr ar ffordd ereill i wneuthur eu rhan." Cynnwysa y rhifyn hwn yn y lle cyntaf Draethawd rhagorol ar "Athrawiaeth Iachus." Achlysurwyd y traethawd gan yr amgylchiad canlynol:—Pan oedd Mr.

HARRIS yn Athrofa Caerodor, ffynai dadl yn mysg y Myfyrwyr o barthed *pechadurusrwydd cyfeiliornad.* HARRIS a gymmerai yr ochr gadarnhaol gan amddiffyn ei olygiadau yn fedrus a galluog. Cynhyrfwyd y mater un diwrnod o flaen un o'r Athrawon. Boddlonwyd hwnw yn fawr gan gymmedr ein gwladwr, ac wedi iddynt roddi heibio, gwedai wrtho, *Brother* HARRIS, *put your thoughts on this subject, to paper.* Hyny yn ganlynol a wnaed, yn Saesonaeg, wedi hyny a gyfieithwyd i'r Greal. O barthed iddo, digon yw dywedyd ei fod ar bob ystyr yn *deilwng o* JOSEPH HARRIS. Cynnwysa y rhifyn hwn hefyd Bregeth dra rhagorol ar Rhuf. 8, 32. Sylwadau Athronyndol, &c.

Tyngedasid Mr. HARRIS i gael siomedigaeth yn yr anturiaeth hon etto—ni chafodd gefnogrwydd—ni ddaeth allan byth ran arall o'r Greal. Paham? Atebwn yn ngeiriau ysgrifenydd enwog,* Golygydd parchus presennol Greal y Bedyddwyr:—"O herwydd nad oedd ei frodyr yn gyffredinol mor hewydus ac ymdrechgar ag efe i amaethu gwybodaeth, a derchafu meddyliau yr annysgedig at wybodaethau a'i gwnaent yn fwy defnyddiol a heirdd mal gwladyddion a chrefyddolion." Yr amgylchiad hwn a yrodd Mr. HARRIS yn ol at ei *amcan gynt;* ac ar y dydd cyntaf o Ionawr, 1818, daeth allan Rhif. 1 o "SEREN GOMER, neu *Gyfrwng gwybodaeth gyffredinol i'r Cymry.*" Ymroddodd yn awr yn ddyfal a gweithgar i olygiaeth y SEREN, nes iddi gyrhaedd sefydlogrwydd a derbyniad, a dyfod yn un o'r breintiau gwerthfawrocaf a roddwyd erioed i genedl y Cymry. Anhawdd fyddai gwedyd, gyda gradd canolig o gywirdeb, pa faint o'r SEREN a ysgrifenasid gan y Golygydd ei hun. Nid oes achos ond dywedyd o honom taw efe oedd *Llywelyn*, ac *Iorwerth*, a *Gwrthddiffynwr*, *Gedeon*, *&c.* er hysbysu y darllenydd gwybodus a hyddysg fod rhai o'r traethiadau dadleuyddol galluocaf a ddaethant drwy yr argraffwasg Gymreig erioed, yn gynnyrch ei fyfyrdodau. Pe goddefai ein terfynau, hyfryd fyddai genym ddwyn anghreifftiau i brofi hyn, ond rhaid ymattal. Dylid cofio hefyd fod yr holl ohebiaethau dienw yn y SEREN hyd y flwyddyn 1825, yn bigion, neu yn gyfieithadau o'i eiddo ef.

O barthed y Bibl Dwyieithawg, nid oes achos dywedyd nemawr; mae y gwaith yn ddigon adnabyddus yn Nghymru. Yr oedd hwn fel y lleill o'i oruchwylion, yn amlygiadol o'r un meddwl mawr—a'r un amcanion cariadlawn ac haelfrydus i wasanaethu achosion pwysicaf ei gydgreaduriaid. Gellir cymhwyso yr un sylw at ei lyfr Hymnau. Profion digonol o'i ragorolwydd yw y defnydd cyffredin a wneir o hono yn eglwysi y Bedyddwyr drwy y Dywysogaeth, ynghyd â'r cymhorth a'r boddlonrwydd a rydd i gantorion Sion.

Ar brydnhawn Sabbath, Medi y 7fed, 1806, traddododd Mr. HARRIS bregeth *Saesoneg* ar yr Ordinhad o Fedydd i'w gynnulleidfa yn Abertawy, oddiar Mat. 3, 6; yr hon a argraffwyd ar daer ddymuniad amryw o'i gyfeillion. Yn y bregeth hon dengys yr awdwr ei fod yn ymresymydd cadarn,

* Mr. J. M. Thomas, Aberteifi.

ac yn dduwinydd galluog; ac yn ein bryd ni, nid oes modd gosod allan yn eglurach ddull a deiliaid bedydd.

Yn y ddadl ar Fedydd, a gynhyrfwyd yn y Deheubarth gan y Parchedigion Williams, o Lanwrtyd, a Phowel, bryd hyny o Aberhonddu, yn y flwyddyn 1822, cyhoeddodd Mr. HARRIS lyfryn bychan, dan yr enw "Gair Duw yn erbyn Dychymmyg dyn; neu hawl Plant Bychain i'r Ordinhad o Swper yr Arglwydd, wedi ei brofi trwy yr Ysgrythyrau, yn ol ymresymiadau T. Powel, Gweinidog yr Efengyl yn Aberhonddu." *Gan Gyfaill Babanod.* Ymresymiad y llyfr hwn sydd ar yr *argumentum ad hominem.* Yr amcan yw profi hawl babanod i gymundeb â'r un profion a ddug Mr. Powel, dros eu hawl i fedydd. Nid yw yr *onus probandi* ar yr achos hwn yn gorphwys ar HARRIS, eithr ar Powel—os oedd rhesymau yr olaf yn profi y dylid bedyddio babanod, profant yr *un rhesymau* yn nwylaw y blaenaf, y dylid rhoddi cymundeb iddynt. Mae yn ymdrechu dangos fod yn rhaid i'r sawl y perthyn iddynt amddiffyn taenelliad, naill ai cyfaddef annigonoldeb rhesymau eu gwron dros eu harferiad, a gadael Bedydd Babanod i syrthio i'r llwch, nes cael allan resymau newyddion a chadarnach o'i blaid; neu, os dadleuant dros nerth a digonoldeb y rhesymau soniedig, rhaid iddynt, er mwyn cyssondeb, gyfaddef nerth a digonoldeb *yr un rhesymau* i brofi hawl babanod i gymundeb.

Deuwn yn awr at gynnyrch olaf ysgrifell GOMER, *Cofiant Ieuan Ddû.* Pwy a ddarllena hwn, ynghyd â "Galar Tad ar ol ei unig Fab," heb wylo? Nid ydym yn meddwl fod cymmaint o *dynerwch* a *theimladrwydd* mewn unrhyw lyfr arall yn y Gymraeg. Ei ddarlleniad ystyrgar a berai hyfforddiant i'r Athronydd o barthed *phenomena* y meddwl dynol. Hyfrydwch anhylon yr enaid cystuddiedig i boeni ei hun drwy fyfyrio yn ddiymdor ar ei wae—cywreinrwydd arswydus y meddwl i wrthod pob cysur—ei ymroddiad diflin i gynnal a chynnyddu ei arteithiau, er eu dygned a'u poenused, ydynt addysgiadol i'r sawl a garo adnabyddiaeth o dueddiadau a gweithredion y *Byd Bychan.* Yr arwyddion hyn ydynt ganfyddadwy iawn yn y Cofiant dan sylw. Er holl annogaeth ei gyfeillion iddo ymatal rhag ei ysgrifenu, yr oedd y cwbl yn annhyciannol: gyda phenderfyniad, cyfagos i ystyfnigrwydd, ymroddodd at, a pharhaodd yn y gorchwyl; er bod pob llinell a ysgrifiai yn peri clwyf anaele ar ei galon, a phob gwahanran a gyfansoddai yn trywanu ei enaid ag aeth angeuol!

Llyma ni wedi tremio ar Mr. HARRIS yn llafurio er lles y Cymry drwy y Wasg, dan lawer o anfanteision a digalondid; er hyny yn ymdrechu yn wrol a phenderfynol i fod yn ddefnyddiol yn ei ddydd a'i genedlaeth, ac yn llwyddo yn hyn yma i raddau tra anghyffredin. "Gwasanaethodd ei genedl mewn modd rhagorol," i ddefnyddio geiriau un a'i hadwaenai yn dda, (y Parch. John Herring, Aberteifi,) "cododd ynddynt ymofyniad am wybodaeth gyffredinol, dysgodd iaith ei hen deidau iddynt, ac ymlidiodd o'u plith y bwbachod a'u brawychent ddydd a nos. Bydd enw GOMER yn gyd-oesol â llawer sydd etto heb eu geni."

# RHAN III.

"Courage and resolution were constituent to his nature: they also received an impetus from his moral system, and the importance which he attached to an upright and decided conduct. The heroism blended with his character is strongly marked in the style and tenor of his writings, in the similes employed in the illustration of his subjects: all breathe a martial air and bid defiance to the enemy. He appeared most in his element when surrounded with difficulties, and exposed to the attacks of numerous opponents: then he could 'ride in the whirlwind and direct the storm.'"
MORRIS'S MEMOIRS OF FULLER, P. 486.

ACHWYNAI *Dr. Johnson* fod Bywgraffiadau yn aml yn syrthio i ddwylaw ysgrifenwyr anhyddysg yn natur y gorchwyl; neu ry anofalus o barthed ei gyflawniad.* Anfynych y cyfranant unrhyw hysbysiaeth nas gallem gael yn y papurau cyhoeddus, gan ystyried eu gwaith yn gynnwysedig yn unig mewn cofnodi rhes o ddygwyddiadau yn amseryddol, ac nad oes yn ofynol ond gwedyd wrth y darllenydd lle y ganed, y bu fyw a marw gwrthddrych eu coffa, ynghyd â rhai o'r amgylchiadau hynotaf o berthynas iddo. Can lleied o sylw a delir i ymarweddiad, tueddiadau, ac arferion meddylgar y sawl yr ysgrifenir am danynt, fal y cyrhaeddem fwy o wybodaeth am eu *cymmeriad* wrth ymddyddan hanner awr ag un o'u cyd-oeswyr, nâ thrwy ddarlleniad gofalus o Fuchdraeth proffesedig, yn dechreu gydag eu hachyddiaeth, gan derfynu yn eu claddedigaeth. Pan yr elom i ddarlunio *nodweddiad*, nid yw yn anghenrheidiol, debygid, i goffâu pob dygwyddiad dibwys yn mywyd ein gwrthddrych. Y mae cymmaint o *unrhywiaeth* yn mucheddau meibion dynion, fel yr ymgyfarfyddant oll mewn cannoedd o amgylchiadau; a chyda golwg ar y rhai hyn, y mae cofiant un yn gofiant dynolryw yn gyffredinol. Y gorchwyl dan ein sylw sydd gynnwysedig mewn ymaflyd yn mhrif nodweddau gwahaniaethol y person ger ein bron—eu harddangos yn eu gweithrediadau amrywiol—yn eu tebygiaeth a'u hannhebygiaeth i eiddo ei gyd-oeswyr, ac yn eu heffaith arno ef ei hun; gan roddi *ffurf* a *gwedd* idd ei gymmeriad—gan gymhell a rhywiogi ei ymddygiad.

Nis gellir gwneuthur hyn heb ymdrechu at gynnal hunaniaeth *(identity)* yr hwn y soniwn am dano, fel y bo ein darluniadau yn perthyn *iddo ef yn bersonol,* ac nid o'r rhyw gyffredin a diwahaniaeth hono ag y fyddai yr un mor briodol i ryw un arall. Nis derbyniwn addysg na hyfrydwch oddiwrth ddesgrifiadau annhennodol a fyddent yr un mor wired am ddynion, y mwyaf annhebyg iddeu gilydd; am *Julius Cæsar* a *Rowlands, Llangeitho;* am *Buonaparte* a *John Howard.* Ped ysgrifenem Gofiaint am y pedwar enwogion hyn, byddai o anghenrheidrwydd ryw debygiaeth yn ganfyddadwy—yr oeddent ill pedwar yn *ddynion, &c. &c.* Ond gwyddom hyny heb gymhorth cyfrol fywgraffiadol. Nid er mwyn cael hysbysiaeth o'r effeithiau adnabyddus hyn y darllenwn hanes eu bywydau, ond er canfod ffynnonell a dirgelwch eu mawrfrydigrwydd, priod-ddulliau

* Rambler. No. 60.

gwahaniaethol eu gweithrediadau meddylgar, a chyffroadau nerthol eneidiau mawrion dan gymhellion gor-gyffredin o drachwant, o falchder, neu o rinwedd. Efelly canfyddwn amrywiaeth annifeiriol tueddiadau dynion, oll yn cyd-gyfarfod er hyny, naill ai yn nghymmeradwyaeth neu anghymmeradwyaeth eu hymddygiad yn ngwydd yr Hwn *sydd yn chwilio calonau ac yn profi arenau meibion dynion*. Os darluniwn gymmeriad er ateb y dybenion hyn, y mae *ffyddlondeb* yn anhebgorol. Nid gwiw i ni osod allan ein gwrthddrych fel angel, yn *ddifai*, am na fyddai hyny yn wirionedd, ac am y digalonai y darllenydd crefyddol a chydwydodol, o herwydd fod ei wybodaeth o ddrygedd ei galon ei hun, a'i adnabyddiaeth o'r byd yn gyfryw ag i wahardd ynddo ef bob dysgwyliad am gyrhaedd perffeithrwydd yn y fuchedd hon. Os bydd y bywgraffiedydd yn orhoffus o'i wrthddrych; neu yn ysgrifenu ar ddymuniadau perthynasau a chyfeillion iddo; y mae mewn perygl i ŵyro dros derfynau cywirdeb anghyhuddadwy, a dwyn allan glodydd digymmysg. Llawer a'i hystyriant yn hyfforddiad oddiwrth dduwiolder i guddio gwendidau a beiau eu cyfeillion ymadawedig; ac felly, yr ydym yn aml yn cyfarfod â molawd cyflawn a dieithriad. "Bydded i mi gofio," ebai y *Barnwr Hale*, "pan y'm tueddir i dosturio wrth y drwg-weithredwr, fod fy ngwlad yn teilyngu tosturi hefyd." Os ydym ninnau mewn dyled o barch i goffadwriaeth y marw, cofiwn fod arnom ddyled o barch hefyd i wybodaeth, i rinwedd, ac i wirionedd.

Efallai ei bod yn annoethineb yn yr ysgrifenydd i wneuthur y nodiadau uchod cyn dechreu o hono ar ei orchwyl o ddesgrifio nodweddiad Mr. HARRIS, rhag y bydd iddo fethu dyfod i fynu at y maen prawf a osodwyd i fynu ganddo ef ei hun. Pa beth bynag fydd y canlyniad, caniateir iddo ddywedyd nad yw am gael ei arbed rhag beirniadaeth y darllenydd gwybodus a diragfarn; ac er nad yw yn ddigon calonog i ddyfod i'r maes gan waeddi *Fiat justitia ruat cœlum*, dymunolach ganddo gael collfarniad gan oleuni a gwirionedd, nâ derbyn canmoliaeth anhaeddiannol gan anwybodaeth ddallbleidgar.

Os bydd y darllenydd gyfwyned â galw iddei gof yr amrywiol ddygwyddiadau a wnaethant i fynu fywyd Mr. HARRIS, odid na rydd ei gydsyniad, pan y dywedir mai un o brif elfenau ei nodweddiad oedd PENDERFYNIAD. Goblyga yr elfen nodweddawl hon *ddoethineb* yn y dewisiad o foddion, a chyfleusderau i gyrhaedd yr amcan mewn golwg, ynghyd ag *ymroddiad diysgog* yn y cymhwysiad a'r defnyddiad o honynt. Drwy hyn, tra y ceidw oddiwrth ofnogrwydd plentynaidd ar y naill law, y mae yr un mor ddiogel rhag ystyfnigrwydd direswm ar y llaw arall. Y mae llawer dyn dan ddylanwad nwydau drygionus, megys llid, trachwant, &c. yn ymroddi mor gyflwyr tuag at gyflawni ei ddyben, fel y defnyddia bob moddion, drwg yn gystal â da, er hyny; ond y cyfryw sydd debygach i anifail afresymol nag i ddyn; ac os ydynt y fath deimladau yn rhyglyddu ein mawl, ac yn gorchymyn ein parch, teilyngir yr un mawreddiad gan y

*tarw ffyrnig* a ddilyna y llanc ofnus dros y clawdd a'r ffos; neu, gan y *costowcci* a drenga cyn gollwng ei afael. Tra gwahanol yw y penderfyniad sydd yn cyfodi oddiar argyhoeddiad rhesymol o deilyngdod y gwrthddrych, sydd yn gynnwysedig mewn ystyriaeth ddwys, ddyfal, a deallgar o'r rhwystrau, yn gystal â'r anhawsderau; yr anfanteision cyssylltiedig â'r anturiaeth fel y manteision, ag sydd yn amlygedig drwy ymroddiad cyflwyr a diysgog, ond call a myfyrgar, er caffaeliad y dymunol-beth. Hyn yw taerni diorfod angerddoldeb wedi ei dymheru gan ddystawrwydd effeithiol gorddwysder. Penderfyniad fel hyn, yn tarddu oddiar oleuni a challineb, a rydd fanteision annifeiriol iddei berchenog, gan ei alluogi i ymaflyd yn yr amrywiol ddygwyddiadau a'i cylchynant, a'u gwneuthur yn is-wasanaethgar i ddygiad oddiamgylch ei fwriadau. Yn hyn yma y canfyddir gwahaniaeth rhwng y diysgog a'r cyfnewidiol: y blaenaf a lywodraetha ddygwyddiadau, a'r olaf a lywodraethir ganddynt. Y naill a ddygir yn mlaen drwy gydol ei fywyd gan oliant o amgylchiadau,—yn cael ei ddwyn rhagddo mewn cyflwr o oddefgarwch digymhorth, heb unrhyw egwyddor bennodol yn ei gymmeriad ei hun yn ei alluogi i gymhell y dygwyddiadau i wasanaethu amcan a ffurfiasid ganddo yn flaenorol, ac mewn gwrthwynebiad iddynt. Yr amgylchiadau a ymaflasant ynddo fel darn difywyd, ac nid efe yn ymaflyd ynddynt hwy. Ond y dyn arall, yn myned rhagddo drwy ei fywyd, gan feddiannu penderfyniad meddwl anorchfygol, y mae yn peri i ddygwyddiadau bywyd, gan nad beth ydynt, i blygu iddei fwriad, fel ped eu hamcanesid gan allu goruchel i effeithio y cyfryw ddyben. Y mae yn nodadwy pa fodd y mae hyd y nod damweiniau bywyd, yn ymgrymu i ysbryd anhyblyg sydd yn gwrthod ymostwng iddynt hwy, gan ymroddi i wasanaethu dyben, ac y bygythient, yn eu tuedd ymddangosiadol cyntaf, ei ddiddymu.†

Canfyddai Harris, pan yn ieuanc, amddifadrwydd ei wladwyr o foddion gwybodaeth. Yn yr amddifadrwydd hyn ymgyfranogai ei hun, drwy ddiffyg dysgeidiaeth; a diau drwy ddiffyg llyfrau hefyd. Ond nid oedd ei ysbryd i gael ei orchfygu gan amgylchiadau anffodiog fel hyn; er tybied o'i dad nad oeddynt ddigon heb iddo yntau ychwanegu ei wrthwynebiad. Nid oedd hyn oll ond cynnyddu yr awydd a genedlasid yn ei feddwl (bachgenaidd y pryd hyny) drwy osod y gwrthddrych a ddymunai yn mhellach, ac efelly ei wneuthur yn werthfawrocach yn ei olwg. Gorchfygodd y rhwystrau, cyrhaeddodd mewn rhan ei ddymuniad, a theilyngodd wahoddiad ei frodyr i sefyll i fynu mewn cymmeriad dysgawdwr. Nid oedd hyn yn boddloni ei orawydd am wasanaethu ei genedl; tybiai y gallasai fod o ddefnyddgarwch helaethach iddynt, heb roddi i fynu wasanaeth y cyssegr. Byddai yn ddifyrus, pe meddem ar wybodaeth hanesyddol o'i feddwl, i ganfod yr amgylchiad, neu yr amgylchiadau a roddasant *fôd* iddei amcanion i wasanaethu Cenedl y Cymry, drwy roddi Cyhoeddiad Cyfnodol iddynt yn eu hiaith eu hunain. Wedi ffurfio

† Foster's Essays, p. 96, 9th Edition.

o hono y penderfyniad, nid oedd modd, gallwn fod yn sicr, ei orthrechu. Hawsed fuasai gorchfygu a chyfnewid y ddeddf sydd yn cario y dwfr i waered. Yr oedd yr amcan hwn yn dra chydrywiol â chwaeth a thueddiadau ei feddwl, gan ei gynnysgaeddu ag ëangder a helaethrwydd i ymdroi ynddo. Hyd yn hyn cyfyngasai ei ymdrechion i gylch bychan a chyfyng, mewn cymhariaeth. Y mae yn wir ei fod wedi aflonyddu ar wadwyr Duwdod ein Hiachawdwr, drwy godi ei *Fwyell alluog yn nghoed Anghrist:* wedi gweinyddu cerydd haeddiannol i ryw Brydydd a ddirmygasai athrawiaethau gras, mewn *Sen lem i absenwr llym;* ac wedi amddiffyn ei frodyr rhag anair a roddesid iddynt gan un a gyfoded yn eu plith, drwy *Werth ceiniog o glod* dair gwaith i'r enwog a'r galluog RICHARDS O LYN. Nid oedd y naill na'r llall o'r gorchwylion hyn er hyny wedi cael, nac wedi eu bwriadu iddei gael ond sylw a darlleniad lleol; er eu bod yn arddangos galluoedd ac athrylith uwch y cyffredin, ac yn addaw rhyw beth enwog a nodedig mewn amser dyfodol. Pan y cafodd HARRIS ei hunan yn golygu SEREN GOMER, canfyddai yr holl Dywysogaeth yn ddysgyblion iddo—yn derbyn addysg wythnosol odditan ei ddarpariaeth —yn ymgynghori ag ef o barthed amgylchiadau a berthynent yn agos ac anwahanol â llwyddiant a llesoldeb gwybodaethol Meibion Gwalia, gan ei ystyried yn gyfarwyddwr ac yn gymmwynaswr ei genedl. Nid cynhyrfu balchder ac hunangarwch dan ei fron a wnaeth hyn; ond yn llwyr wahanol. Wedi cael ei amcan mewn rhan, drwy osod i fynu *Bapyr Wythnosol,* a derbyn yr ymddiried a'r anrhydedd goblygedig yn ngolygiaeth y cyfryw, ymwrolodd yn ddiflino i deilyngu y parch a roddasid iddo. Yr anturiaeth treulfawr hwn a fethodd: ond gybelled oedd hyny oddiwrth orfodi ymdrechion HARRIS, fel na wnaeth ond eu bywiogi. Un o arwyddion dynodawl meddwl mawr a phenderfynol yw, ei fod yn derbyn cadarnhad ychwanegol oddiwrth bob anffawd—ac fel bo gwrthddrych ei ddymuniad yn cael ei amgylchu ag anhawsderau fwy-fwy, ei *benderfyniad* yntau iddei gyrhaedd yn derbyn adgyfnerth cyfartal.

Wedi y methiant hwn, safodd Mr. HARRIS, gan edrych o'i amgylch gan fwrw, a chymharu, ac ymystyried. Penderfynodd gynnyg ei wasanaeth iddei frodyr, gan ofni nad oedd amgylchiadau y Dywysogaeth yn gyfryw ag i gael gan ei holl drigolion, yn ymranedig i gynnifer o bleidiau, i gyduno i gynnal *un Cyhoeddiad.* Nid oes amheuaeth na chostiodd y penderfyniad hwn aberthiad poenus o rai o'i ragddysgwyliadau dymunolaf; ond gwell ganddo fod yn wasanaethgar mewn cylch cyfyngach nâ bod yn segur. Yn nhynged y *Grēal,* pa fodd bynag, cafodd ei argyhoeddi; os bychan aidd y Cymry, fel y cyfryw, dros ei amcanion, dysgai taw llai fyth oedd eiddo y corff crefyddol ag y perthynai iddo. Diau i'r amgylchiadau hyn gynhyrfu ynddo gariad gwresocach at ei fwriad cyntefig; ac wedi derbyn amryw wersi buddiol a gwerthfawr drwy ei brofiad blaenorol, a'i ymdrafnidaeth â'i wladwyr, yr oedd erbyn hyn yn addasach nag erioed iddeu gwasanaethu. Yn fwy penderfynol ac ymroddgar fyth, gwnaeth

gynnyg hewydus drachefn: ***hwn a goronwyd â llwyddiant cyflawn.*** Anhawdd yw i ni yn awr amgyffred y boddiant a dderbyniai wrth edrych ar bump neu chwech Cyfrol o Seren Gomer wedi sefydlu ganddo drwy gymmaint o draul a gofal—nid oes a allant fyned i mewn i'r cyfryw deimladau, ond y sawl a ŵyr beth yw cyrhaedd gwrthddrych dymunol wedi gorfodi llawer o'r rhwystrau, a gorthrechu llawer o wrthwynebion. Y teimladau goruchel hyn a wnant i fynu ran o wobr mawrfrydigrwydd dyngarol, a addurnant goron penderfyniad gwrol a chanmoladwy.

Mewn cyssylltiad â'r nodwedd flaenorol, yr oedd y CYWIRDEB MANYLAF yn perthyn i gymmeriad Mr. Harris. Anhyall, agos, yw cyflawni gorchwyl pwysig, heb ddarostwng o honom ein herlyniadau i drefn, a dilyn y drefn hòno efo manylwch. Gwir diymwad yr hen ddiareb, "Gofalwch am y mynydau, gofalant yr oriau am danynt eu hunain." Y mae cadw at reolau gosodedig yn dra anhawdd mewn tref boblogaidd fel Abertawy, yn bendifaddeu i wŷr cyhoeddus sydd â llawer o alw arnynt allan i blith eu cyfeillion, ac i ymyru mewn llawer o amgylchiadau na pherthyn iddynt yn bersonol. Bryd hyn y mae manylwch cywir yn effaith penderfyniad disyfyd; ac anhawdd i'r naill fodoli heb y llall. Y cyfryw oedd cywirdeb Mr. Harris, fel nad arosai allan un amser wedi deg o'r gloch yn yr hwyr. Gan nad yn mha gyfeillach bynag y byddai, a chan nad pa bwynt a fyddai dan sylw, pan ddelai yr amser, cymmerai allan ei oriawr, ac hysbysai y gyfeillach fod ei ddyledswyddau yn ei alw adref, ac ymadawai: yn gwybod ei anhyblygrwydd, nid oedd neb o'i gyfeillion a geisient ei ddarbwyllo i aros. Yr un trefniadau a reolent ei deulu; pob aelod o'r hwn a wyddai mor ofer fuasai eu troseddu, fel na chynnygai aros allan un amser dros yr awr bennodedig. Teimlasai Mr. Harris bwysigrwydd y cyngor apostolaidd, *Gwneler pob peth yn weddaidd ac mewn trefn.*

Wrth ganfod cymmaint o benderfyniad anhyblyg, a manylwch diysgog yn myned i mewn i gymmeriad Mr. Harris, tybia y darllenydd, efallai, fod ei arweddiad cyffredin yn sarrug, a thauog, a gwaharddus. Nid felly yr oedd. Yn ei gyfrinachau â'i gyfeillion, yr oedd sirioldeb a bywiogrwydd yn ei hynodi; ac yr oedd agos a bod yn ddihafal yn mysg ei frodyr am ei ddifyrwch diniwed, ei ffraethineb a'i arabedd.* Yr oedd yn

* Fel enghraifft o'i arabedd:—Ar ddydd Llun, wrth ymddyddan ag aelod na welsai yn yr Addoldy y Sabboth blaenorol, gofynai, "B'le buoch chwi ddoe, Tomos?" "O, Syr, (oedd yr ateb,) fi gefais bregeth ryfedd y ddoe." "Yn mh'le, Tomos?" "Fi aetho'i lan y môr, Syr, ag oedd y *tide* yn pregethu yn rhyfedd iawn fawredd a gallu Duw." "Ië, Tomos bach, (ebai Mr. Harris,) yr oedd y môr yn ei le, *ond yr oeddech chwi allan o'ch lle.*"

Etto, wrth deithio rhwng Caerfyrddin ac Arberth, tarawodd wrth ddau grachfoneddig a ewyllysient gael difyrwch ar draul y pregethwr. "A ydych chwi yn pregethu weithiau?" gofynai un o honynt. "Ydwyf," ebai Harris. "Beth fyddwch yn ddweyd wrth y bobl?" oedd y gofyniad nesaf, gyda phwyslais dirmygllyd. "Mi fyddaf weithiau (ebai Gomer) yn cynghori fy ngwrandawyr i beidio gofyn cwestiynau ffol ac anmherthynasol."

nodedig o fyw i'r holl deimladau perthynasol a serchiadol. Yn ei deulu, tra y rhoddai ei ddiysgogrwydd iddo lywodraeth gyflawn, ei dynerwch a'i fwyneidd-dra a sicrhaent iddo barch a chariad, yn gystal ag ufydd-dod ac ymostyngiad. Anhawdd oedd gwybod pa egwyddor oedd gryfaf yn mynwesau ei blant; yr ymostyngiad mwyaf parodol iddei drefniadau a'i eirchion, neu eu serchogrwydd cariadlawn a gwresog ato. Prawf digonol o hyn yw y ffaith anghyffredin, *na ddarfu iddo erioed ddefnyddio gwialen, nag un offeryn cospawl yn y teulu;* gair, neu edrychiad oddiwrtho a effeithiai yr oll a ddymunai. Nid oes neb a ddarllenodd Gofiant IEUAN DDU a all amheu ei *serch tadawl.* Dyma amgylchiad yn ei fywyd (nid gwiw i ni ei gelu) sydd wedi derbyn coll-farniad gerwin gan amryw. Pa un a oedd ei alar yn hyn yn anghymhedrol a phechadurus sydd bwnc anhawdd i ni yn awr benderfynu; nid gwiw i ni farnu achosion fel hyn wrth faen-prawf o berffeithrwydd dychymmygol; cyn dyfod o honom at iawn-brisiad gweddus, rhaid myned o honom drwy gyffelyb amgylchiadau ein hunain. Rasselas, tywysog o Abyssinia, yn ei ymofyniad am ddedwyddwch, a gyfarfu ag athronydd oedranus, hybarch, a doethgall, yr hwn a draddododd araeth ar *Lywodraethiad y tymherau;* gan gymhell yn nodedig o hyfedrus y ddyledswydd bwysig. Syn-wrandawai y tywysog, a chynhyrfid ei gywreingarwch a'i foddiant gymmaint, fel nad oedd dim a wnai ond cydnabyddiaeth bersonol â'r dysgawdwr, gan dybied ei fod yn awr wedi cyrhaedd holl ddymuniad ei galon. Wedi dychwelyd, gwedai wrth Imlac ei gydymaith, "Cefais allan ddyn a ddysg bob peth angenrheidiol ei wybod; yr hwn, oddiar orsedd ddiysgog gwrolder rhesymol, a edrych i lawr ar ddygwyddiadau cyfnewidiol y byd. Llefara, a gwrandawiad a wylia ei wefusau. Ymresyma, ac argyhoeddiad a derfyna ei frawddegau. Y dyn hwn a fydd fy nghyfarwyddwr dyfodol, dysgaf ei athrawiaethau, efelychaf ei fywyd." "Na fyddwch yn rhy brysur," ebai Imlac, "i ymddiried a chlodfori dysgawdwyr moesoldeb; er ymadroddi o honynt fel angylion, *y maent yn byw fel dynion.*" Ond nid oedd ddichonadwy cael gan Rasselas gyfnewid ei amcan—yn mhen ychydig o ddyddiau ymweloddd drachefn â'r athronydd; ond beth oedd ei syndod iddei gael mewn ystafell hanner goleu—ei lygaid yn niwlog, a'i wyneb yn welw. "Syr," ebai, "daethoch ar amser pan y mae pob cyfeillgarwch dynol yn ddiddefnydd—yr hyn a gollais nis gellir ei ddychwelyd: *Fy merch, fy unig ferch,* oddiwrth dynerwch yr hon y dysgwyliwn holl gysuron fy hen ddyddiau, a fu farw neithiwr o dwymyn. Fy ngolygiadau, fy amcanion, a'm gobeithion ydynt yn awr ar ben—ydwyf yn awr yn unig—yn wahanedig oddiwrth ddynolryw." "Syr," meddai y tywysog, "marwolaeth sydd ddygwyddiad na all synu y doeth; gwyddom fod angeu bob amser yn agos; dylem, gan hyny, ei ddysgwyl bob amser." "Ddyn ieuanc," atebai yr athronydd, "ymddyddenwch fel un nad yw erioed wedi teimlo loesion ysgariad." "A ydych chwi, gan hyny," ebai Rasselas drachefn, "wedi anghofio y rheolau a gymhellech mor alluog? Onid oes gan ddoethineb

allu i arfogi y galon yn erbyn drygfyd? Ystyriwch fod pethau gweledig yn gyfnewidiol; gwirionedd a rheswm ydynt bob amser yr un." "Pa gysur," ebai y galarwr, "a rydd rheswm a gwirionedd i mi yn awr, *ond gwedyd wrthyf na ddychwel fy merch byth yn ol?*" Anmhrofiad a'm hanalluoga i farnu o barthed diniweidrwydd, neu bechadurusrwydd galar tra mawr Mr. HARRIS ar ol ei anwyl IEUAN.

Os yw y darllenydd wedi colli *mab—mab hynaf—uniganedig fab*, bwried farn; ac os bydd y farn hòno yn anffafriol i wrthddrych ein cofiant, ni fydd i mi wrthwynebu y ddedryd, am y gwn nad yw y goreu o ddynion ond dynion ar y goreu; ac nad oedd JOSEPH HARRIS heb ei fai; er y byddai yn anhawd genyf roddi coel am radd cyffredin o harddwch cymmeriad i'r dyn a allai beidio cyd-ymdeimlo ag ef. Serch naturiol, ebai Melancthon, sydd nodedig o rymus mewn meddyliau gorgyffredin; ac yr oedd efe ei hun yn brawf o gyfiawnedd y sylw. Dyn enwog mewn dysg a alwai un diwrnod wrth dŷ Melancthon, ac er ei fawr syndod, yn lle ei gael yn mhell oddiwrth ei deulu, yn gauedig yn ei fyfyrgell, cafodd ef yn ysgwyd cawell ei blentyn ag un llaw, a llyfr yn y llaw arall! Dywedir am y seneddwr enwog Fox, wedi dal o hono y Senedd-dŷ am bedair awr ynghyd mewn syndod boddus, gan eu swyno â dysgleirdeb ei dalentau, a fflam ei hyawdledd gorthrechol, y gwelid ef boreu drannoeth yn chwareu pel â bachgenyn bychan, ac yn ymgyfranogi o'i ddifyrwch plentynaidd. Wrth yr hawsder â'r hwn yr ymostwng meddyliau mawrion o'u dyrchafiad, gan ymgymmysgu â ni yn ngoruchwylion cyffredin y bywyd, yr ydym, ar un golwg yn prisio eu mawredd.* Anaml y cawn olygfa harddach yn ein cyflwr presennol, nâ chanfod dynion a roddant addysg iddeu cenedl yn y pethau pwysicaf, ac a dreuliant eu galluoedd nerthol a threiddgar,—

"I hòni trefn Rhaglunìaeth erioed a byth,
A chyfiawnhau i ddynion lwybrau Duw."

—yn dyfod i lawr iddeu teuluoedd, yn ymgyfranogi yn nifyrwch plentynaidd eu rhai ieuainc, yn cydymdeimlo â hwy yn eu gofidiau bychain a diachos, a phan eu gelwir ymaith, yn galaru ar eu hol gyda dwysdra galar poenus ac anghreifftiol. Yma y canfyddwn y cyd-gymmysgiad rhyfeddol o dueddiadau a theimladau a drigant yn mynwes dyn. Egni, penderfyniad, a mawrfrydigrwydd, yn derbyn agweddiad gan dirionwch a chariad, a serch. Y cydgorfforiad nodadwy hyn a wna i fynu brydferthwch dengar ac hyfrydlawn y cymmeriad dynol.

Tremiwn yn frysiol etto ar NODWEDDIAD CRISTIONOGOL Mr. HARRIS. Pennodiad tra chywir o hwn a gynnwysir yn y llinell Saesonaeg hòno, "*Lively but not light; serious and yet not sad.*" Ni feddyliai fod gwir dduwioldeb yn gynnwysedig mewn argymmeriad o santeiddrwydd mwy nâ chyffredin—ystumiau crefyddol, a gwynebddulliau galarus a chwynfanus. Y mae yn llawer o drueni, debygwn i, fod crefydd yn hagru

* Morris's Memoirs of Fuller, p. 48.

wynebau dynion. Diau nad amcanesid hi erioed i afluneiddio gwedd ei harddelwyr. Y mae iddei alaru yn drwm fod neb yn ein gwlad mor dwylledig â meddwl ei bod yn anhebgor i gyrhaedd cymmeriad gwir Gristionogol iddynt ocheneidio yn ddwys a mynych yn mhob cyfeillach; gwneuthur gweflau santaidd, (os caniateir defnyddio y gair yn y fath gyssylltiad) a gwneyd a allant i roddi celwydd i'r holl ysgrythyrau a ddarluniant dduwioldeb yn ffynnonell hyfrydwch a gwir fwyniant. Pa ddaeth o *lawenydd annhraethadwy ogoneddus* yr apostolion? o *gariad Duw wedi ei dywallt ar led yn y galon?* Ai nid gwir fod y cyn-Gristionogion yn *gorfoleddu dan obaith gogoniant Duw?* fod *ffyrdd doethineb yn ffyrdd hyfrydwch, a'i llwybrau hi yn heddwch?* Ai camsyniol oedd yr apostol pan y gwedai, *Llawenhewch fy mrodyr; a thrachefn meddaf wrthych, Llawenhewch?* Golygai Mr. HARRIS yr efengyl wedi ei hamcanu i adferu pechadur i ffafr Duw; ac er ei bod yn cynhyrfu ac yn meithrin y galar dwysaf am bechod, egyr ffynnonau annyspyddadwy o fwyniant sylweddol, gan arwain i *bresennoldeb Duw, lle mae digonolrwydd llawenydd;* ac at ei *ddeheulaw, lle mae digrifwch yn dragywydd.* Efelly, yr oedd yn siriol heb ysgafnder, yn sobr heb hurtwch, ac yn ddefosiynol heb bendrymder. Dywedir hyn am ei *ymarweddiad cyffredinol.* Efallai ei fod weithiau, gan hylif ei arabedd, yn cael ei ddwyn i derfynau ysgafnder; nis gwn am ffeithiau i brofi hyn; ond nid yw yn annichonadwy, nac, efallai, ar y cwbl yn annhebygol. Ond diau taw prif ddarlun-linell ei wynebpryd Cristionogol oedd *sirioldeb*—sirioldeb yn cyfodi oddiar grediniaeth ddiysgog o wirioneddau gogoneddus datguddiad, ac yn cael ei reoleiddio gan gymdeithasiad dwys ac agos â sylweddau ofnadwy byd a ddaw.

*Bydded i'r sawl a gredasant i Dduw,* (ebai ysgrifenydd ysbrydoledig) *ofalu am flaenori mewn gweithredoedd da.* Mr. HARRIS a deimlai rym y gorchymyn hwn, ac a ymddygai at ei gyd-ddynion yn gyfatebol. Heb enwi yr amrywiol rinweddau a nodweddent ei drafnidiaeth â'r byd, rhaid cyfeirio at ei onestrwydd trylen a dibaid. Pan y gosodir gweinidog gan Ragluniaeth mewn tref boblogaidd, os bydd iddo ddoniau a'i darganmolant i sylw cyffredin, nid oes efallai un o'i rinweddau mewn mwy o berygl nâ hwn: ei swydd a'i gwna yn wr boneddig, ond anfynych y mae ei swydd yn ei gynnyrchu â moddion i fyw i fynu i'r cymmeriad hwnw; ei swydd hefyd a'i gesyd mewn amgylchiadau yn y sawl y ca goel gan ei gyfeillion a'i gymmydogion. A rhagddo am dro, ond gorfydd arno yn y man wybod sut y mae yn sefyll. Y mae (efallai) wedi rhedeg i ddyled! Nid yw yr hyn a dderbynir ond digon, (a phraidd hyny) iddei gynnal yn barchus, *rhaid* iddo gadw i fynu ymddangosiad allanol gweddus—*rhaid* iddo gael llyfrau &c. Pa fodd y mae i dalu ei ddyled? Teilynga llawer o eglwysi Cymru barch am eu hymddygiad pan y dygwyddo amgylchiad fel hyn, am eu tirionwch, a'u cyd-ymdeimlad: etto, yr wyf yn rhyfygu amheu, a chrybwyll fy amheuaeth o'u *doethineb* cyffredin yn hyn o beth.

Yr oedd y gweinîdog yn ddyn ieuanc, yn amddifad o'r medr hwnw i drin ei amgylchiad a rydd profiad yn unig—heb fod erioed o'r blaen yn gorfod trefnu ei amgylchiadau bydol. Pan y rhedo y dyn hwn i ddyled, dylent y rhai a flaenorant yn yr eglwys ystyried eu hunain yn gyfranog yn y bai. Dylasent ei gyfarwyddo yn brydlawn, neu os wedi esgeuluso hyny, y cawsant ef mewn cyfyngder, dylasent yn ddioedi gael digon o benderfyniad a gonestrwydd i ddywedyd wrtho am ei ffaeledd, a digon o haelioni iddei ryddhau o'i ofid, a digon o barch i Dduw a'i achos, ac iddeu gweinidog hefyd (h. y. os gwnaent gydwybod i gyfranu at ei gynnaliaeth) i roddi ar ddeall iddo eu bod yn ystyried y rhinwedd o onestrwydd yn anhebgorol yn nodweddiad yr hwn a'u bugeilio hwy yn enw ac awdurdod yr Arglwydd Crist. Dyledswyddau cyffredin Cristionogion at eu gilydd a ddylent eu cymhell i gŷmmeryd y cam cyntaf; yr ystyriaeth fod y gweinidog wedi myned i ddyled yn eu gwasanaeth hwy, a'u rhwyment i gymmeryd yr ail; a chyfiawnder cyffredin gerbron Duw a dyn a wnai yr olwg yn ddyledswydd arnynt.

Gyda Mr. Harris ni chafwyd neb o'r gofidiau hyn erioed. Dysgasai gan yr Apostol *i beidio bod yn nyled neb o ddim, ond cariad;* ac er sicrhau hyn, nid arbedai ei hun un amser rhag llafur dyfal a diflin. "Y cyfryw oedd ein petrusdod (ebai) rhag na thalai y swyddfa ei ffordd, fel na cheisiasom un cyssodydd ond fy Ieuan bach, dros agos i bedair blynedd; llafuriai ef a'i Dad yn galed yn yr yspaid hwn, Ieuan yn cyssodi y cwbl; *a'i Dad yn cadw ysgol ar hyd y dydd, ac yn darllen prawfleni yn yr hwyr.*" Nis gallwn lai na theimlo fod ein Gomer yn gorfod myned trwy y fath boenuswaith, ond hyn a wnai yn rhwydd *rhag na thalai y Swyddfa*, rhag myned o hono i ddyled, rhag tynu ei deulu i wasgfa a thlodi, a rhag iddo ddianrhydeddu athrawiaeth Duw ei Iachawdwr. Dywedai y papurwr â'r hwn yr ymfasnachai Mr. Harris dros flynyddau wrth gyfaill i fi, a chyfaill i Mr. Harris hefyd, David Walters, ysw., o'r dref hon, "Yr oedd eich gweinidog yn ddyn gwir onest—ni bu genyf fwy o ymddiried mewn dyn erioed, rhoddaswn goel iddo am unrhyw swm gyda'r hyfrydwch mwyaf." Mr. Walters ei hun a ddywed wrthyf, "Adwaenwn Mr. Harris dros fwy nag ugain mlynedd, dros ran fawr o'r amser cymdeithaswn yn fynwesol a beunyddiol ag ef, ac annichonadwy cael geiriau rhy gryfion i osod allan ei onestrwydd,—ni *fynai* fod yn nyled undyn."

Fel pregethwr, cafodd Mr. Harris dderbyniad helaeth a chyffredinol hyd ddiwedd ei oes. Yn ei ddyddiau ieuainc gwedir wrthym ei fod yn dilyn y rhan fwyaf o arferion a dulliau gwrthwynebus pregethwyr ei wlad y dyddiau hyny. Llefarai yn hynod o brysur, nes colli llywodraeth ar ei lais; gosodai ei law ar ei gern, er ei gynnorthwyo i waeddi; a medrai boeri yn yr areithfa, gystal, efallai, â neb o'i gyfoedion. Nid oes i ni ryfeddu iddo gymmeryd i fynu y defodau chwithig a dibarch hyn; buasai lawer yn rhyfeddach pe amgen: 'yn hyn yr oedd yn fwy anffodiog na beius. Buasai yn dra annysgwyliadwy gweled llanc yn tra rhagori yn ei

agweddau ar y rhan fwyaf o weinidogion ei ddydd. Y mae yn anrhydedd nid bychan iddei goffadwriaeth, fod oedran a sylw wedi ei ddysgu i adael y cyfryw anweddeidd-dra, ac i lefaru fel creadur rhesymol, yn anerch rhesymolion, o barthed eu cyflyrau ysbrydol a thragywyddol. Mor llwyr y gorchfygodd yr arferion soniedig, fel nad oedd gweinidog yn y Dywysogaeth a ymddygai yn foneddigeiddiach yn yr areithfa. Medrai draddodi ei bregethau gyda'r pwyll a'r meistrolaeth mwyaf. Yr oedd ei lais fel pregethwr (ebe un o'i frodyr) yn lled anfanteisiol; ond efe a gyflawnai y diffyg yn y *swn* gan *sylwedd* ei ymresymiadau. O barthed ei olygiadau crefyddol, yr oedd yn dra hoffus o ysgrifenadau yr enwog a'r doniol ANDREW FULLER:* odid y cytunai â'r awdwr hwnw yn mhob peth; ond y mae yn ddiamheuol y golygai farn Mr. F., yn ei phrif bwyntiau, yn gysson ag ysgrythyrau y gwirionedd; am hyn y mae genym ei eiriau ei hun: yn ei ragdraeth i lyfryn Fuller ar Gyfrifiad, &c., dywed:—"Dyma y trefniant lleiaf ei anhawsderau, a gadael y Bibl yn unig reolwr credo, a'r a sylwais i erioed arno, o herwydd ei fod yn cymmeryd y Bibl i gyd, ac nid rhan o hono i'w fynwes; gan wneuthur colledigaeth dyn i fod o hono ei hun, a'i gadwedigaeth o ras Duw o'r dechreu hyd y diwedd."

Deua MR. HARRIS yn awr i ein gwydd fel YSGRIFENYDD AC AWDWR. O ran cynnwysiad ei weithiau, llesiant a gwasanaethgarwch a olygid benaf: ac, o ran eu cyfansoddiad, nodweddir hwynt gan grynodeb, byrdra, eglurdeb, a chadernid ymadrodd. Nid ymestynai gymmaint at y *prydferth* ac at y *defnyddiol*. Gosodai lawer mwy o bwys ar ansawdd a gwerth y nwyddau, nac ar harddwch offeryn eu trosglwyddiad. Wedi cael o hono ddrychfeddyliau, a deilyngent sylw y darllenydd, boddlonai ar hyny, ond eu gosod o'i flaen mewn ymadroddion cedyrn a dealladwy. Pan yn darllen ei ysgrifau, tarewir ni gan addasrwydd, neu newydd-der, neu gryfder ei ymresymiad, yn hytrach nâ chan ystwythdra, hyblygrwydd perseiniol a theleidrwydd ei frawddegau. Er, diamheu ei fod wedi myfyrio cystrawen y Gymraeg yn ddyfal a gofalus; nid oedd wedi ymroddi gymmaint, dybygid, at gyrhaedd gwybodaeth ymarferol o honi yn ei "chyflawnder, heb ormodedd; ei heofnder, heb haerllugrwydd; a'i mwynder, heb fursendod." Ymddengys ein hiaith yn ei ysgrifenadau yn "llawn banau uchelion, a llifeiriaint rhuadwyllt; ac nid cymmaint fel y mae ynddi "gefnenau lleddfiadawl—neint tirionsain,—ynghyd â maesydd tònog gan ŷd, llwythog gan wair, gwyrddion gan borfäoedd—ac aroglbêr gan feillion a blodau." Ond y mae rhai eithriadau i gymhwysder y sylwadau hyn, gyda golwg ar rai o'i ysgrifau dadleugar. Dylid nodi yn enwedigol ei ateb i Frutus, dan yr enw Gedeon, yn y Seren am Hydref, 1824, lle y mae yn ymddangos yn *wirioneddol o hyawdl*. Ond y mae hyn, efallai, iddei briodoli yn hytrach i hyawdledd ei feddyliau, dan gynhyrfiad nerthol dylanwadau gwladgarwch, nac iddei allu, neu ei arfer, i ysgrifenu yn gywreiniol a hoyw.

* Y Parch. Andrew Fuller o Kettering, un o ysgrifenwyr Dwyfyddol galluocaf yr oes ddiweddaf.

Nid ydym, gan hyny, wrth ddarllen gwaith Harris, yn syn-ryfeddu wrth ganfod dillynion ieithyddol, prydferth a theleidwiw; ond yn cael ein sobreiddio gan yr hyn sydd bwysig, ein haddysgu gan yr hyn sydd newydd, a'n hadeiladu gan yr hyn sydd fuddiol. Nid yw ymadroddion amgen offerynau trosglwyddiad meddyliau, nac o werth yn y byd ond er y gwasanaeth hyny. Gyda phob addefiad o ddymunoldeb llithrigrwydd, a thlysni brawddegau, gwell genym ddrychfeddyliau o bwysigrwydd a llesoldeb, mewn gwisg waelach a mwy cartrefol, nâ gorfod boddloni ar feddyliau cyffredin, neu orwaelion, mewn chwyddiaith fursenaidd a chymen.

Nis gwn i a dybia y darllenydd hyddysg yr hyn sydd wedi ymgynnyg i mi, neu beidio, sef yw hyny, fod llawer o debygolrwydd rhwng priod-ddull ysgrifenadau Mr. Harris ag eiddo Mr. Fuller. Wrth *briod-ddull* yma, golygir y modd yr ymaflai yn, ac y triniai ei bwnc. Fod Harris yn dra hyddysg yn ngweithiau Fuller, sydd ddiamheuol: ei fod wedi cymmeryd i fynu ei ddull (yn anfwriadol efallai) sydd i mi yn gredadwy iawn, er nas gallaf brofi hyny yn ddiymwad. Nid yw Fuller yn cadw y darllenydd yn hir a dyfal wrth y drws, ond gesyd y pwnc o'i flaen yn uniongyrch, mewn ychydig o eiriau, at y pwrpas. Efelly y gwna Harris bob amser. Wedi pènu o Fuller ar fater i fod dan sylw, nid oes achos i chwi ofni y gedy ef, gan fyned at ryw beth anmherthynasol cyn gwneyd a amcanai: nid yw Harris byth yn cymmysgu ei bwyntiau. Canlyna Fuller ei bwnc yn rheolaidd, ac eglur, a goleu; annichon i undyn a ddeallo y Gymraeg fethu *deall* meddwl, a *chanfod* amcan Harris, pa un ai cymmeradwy ai anghymmeradwy fyddont yn ei fryd wedi hyny. Wedi i Fuller draethu ei olygiadau, nid yw yn cymmeryd i fynu amser y darllenydd ag esgusawd hanner gostyngedig, ac hanner balch, am na chyflawnasai y gorchwyl yn well; â chyfaddefiadau gostyngedig o annheilyngdod; a gobeithion, er hyny, y bydd ei waith o ryw les. Gynted y derfydd Harris sôn *am y pwnc dan sylw*, dystawa, gan adael y darllenydd i farnu am deilyngdod, &c., cyflawniad y gorchwyl. Mewn *ymresymiad* a dadleuaeth y dysgleiriai Fuller yn benaf: dyma brif gyfleusderau arddangosiad galluoedd Harris. Dywedir i mi, gan un o'i gyfeillion mynwesol, a'i gwrandawai dros fwy nag ugain mlynedd, nad oedd un amser gymmaint yn ei elfen â phan y byddai yn dynoethi geuddadleuaeth, ac yn gwrthbrofi cyfeiliornad. Yn ei flynyddau diweddaf, pan oedd cymmaint o waith ar ei ddwylaw, fel y cedwid ef weithiau heb lawer o barotöad gyferbyn a'r Sabboth, gwnelid y diffyg i fynu yn dra chyflawn os byddai y testun yn arwain at *ymresymiad*. Y fath gydnaws oedd rhwng ei feddwl â rhesymeg, fel yr ymglyment yn union, a swynid y blaenaf yn ddiwrthwynebiad gan yr olaf. Dadleuaeth a gyffyrddai âg enaid Harris gyda holl nerth gwefrdyniad *(electricity,)* gan gynhyrfu yn drwyadl bob cyhneddf o hono. Mewn dadl yr oedd Fuller yn fwy tawel a phwyllog: yr oedd Harris yn danbeidiach, ac ar y cyfrif hyn, efallai, nid mor sicr bob amser. Yr oedd gwahaniaeth arall rhwng yr enwogion hyn o barth eu

hymddygiad at eu gwrthwynebwyr. Dynothai Fuller wendid rhesymau yr hwn a'i gwrthwynebai: nid oedd HARRIS yn boddloni ar hyn bob amser, heb roddi iddo sèn hefyd. Digon gan Fuller oedd dangos iddei wrthwynebwr fod ei olygiadau yn gamsyniol: ymostyngai HARRIS weithiau i ymddifyru ar ei draul.—Boddlonid Fuller gan daro ei wrthwynebwr i lawr, gan adael iddo deimlo hyny ei hun: ond HARRIS a ddywedai wrtho ei fod wedi cwympo, gan orfoleddu yn ei fuddugoliaeth.

Yr wyf wedi nodi hyn am fod gwirionedd yn galw; ac hefyd am fy mod yn meddwl fod dull Mr. HARRIS yn hyn o beth wedi cael ei efelychu yn rhy ffyddlon gan lawer o ysgrifenwyr y Cyfnodolion Cymreig. Y mae y tafod drwg, y cyfeiriadau personol anfoneddigaidd, yr arferiad diegwyddor o gyhoeddi enwau priodol ysgrifenwyr a ddefnyddiant ffug-enwau, pan na fo galwad am hyny ar gyfrif yn y byd; ac ereill gyffelyb bethau, yn adlewyrchu rhywbeth heblaw anrhydedd ar foesau llëenyddion Cymreig. Pell rhagom fo dywedyd fod Mr. HARRIS wedi rhoddi enghraifft na chefnogaeth i un o'r arferion difoes uchod; etto, y mae yn anwadadwy, debygid, fod ei ddull gwresog, hewydus, a buddugoliaethus, wedi cynhyrfu tueddiadau cyffelyb mewn llawer o ysgrifenwyr Cymreig ganwaith llai eu doniau nag ef, a chymmaint â hyny yn fwy eu hunan-garwch, efallai. Fal y dygwydda yn gyffredin gydag efelychwyr, ymaflant yn meiau a gwendidau yr hwn a efelychant, gan eu bod yn amddifaid o alluoedd meddyliol i argymmeryd eu rhagorion. Yn Mr. HARRIS, yr oedd y gwrés a'r aidd y soniwn am danynt yn gyssylltiedig â dirnadaeth trylwyr o'i bwnc, a medr iddei drin yn eglur ac yn adeiladol; ond ynddynt hwy cyssylltir hwynt â gwendid truenus i ganfod gwahaniaeth rhwng pethau y mae gwahaniaeth rhyngddynt. Ei danbeidrwydd ef mewn cymdeithas â chymmaint o ragorion oedd yn esgusadwy o leiaf, ac weithiau yn hynod o ardderchog; ond am wres ei efelychwyr yn nghyf-eillach gorwaelder méddwl, ac anfedrusrwydd gweithred, y mae yn anfeidrol ddirmygus.

Llyma ni yn awr wedi cof-nodi dygwyddiadau mwyaf nodedig Bywyd JOSEPH HARRIS, wedi adolygu ei ysgrifenadau—ac wedi cynnyg darlun o'i gymmeriad. Beth ydynt y myfyrdodau a ymgynnygant i'r meddwl yn yr adolwg?

Fe wel y darllenydd, a gwahoddir y darllenydd *ifanc* i sylwi yn enwedig fod *gweithgarwch a diwydrwydd* yn anhebgor i gyrhaedd gwybodaeth a rhagoriaeth, a bod yn *ddichonadwy* cyrhaedd gwybodaeth fuddiol, hyd yn nod er gwaethaf anfanteision. Cofia yn enwedig taw *gwir grefydd* yw unig sylfaen gwir ragoroldeb; ac mai y dyn a ofno Dduw yw y dyn sydd yn wir barchus gyda dynion. Os myni fod yn wasanaethgar yn dy ddydd, yn barchus gan dy gyd-ddynion, yn anrhydeddus yn dy fywyd, ac yn dangnefeddus yn dy farwolaeth, EDIFARHA A CHRED YR EFENGYL; ac yna, *na fydd yn ddiog mewn diwydrwydd; ond yn wresog yn yr ysbryd yn gwasanaethu yr Arglwydd.*

# COFIANT

Y DIWEDDAR

# JOHN RYLAND HARRIS,

(IEUAN DDU, O LAN TAWY,)

*Yr hwn a ymadawodd â'r byd hwn Rhag.* 4, 1823,

## MAB Y PARCH. J. HARRIS, ABERTAWE,

**GAN EI DAD:**

YNGHYD A

## GALAR TAD AR OL EI UNIG FAB.

---

DICHON rhai darllenwyr farnu nad cymhwys yw i Dad ysgrifenu Cofiant ei Fab, o herwydd fod mawr serch y blaenaf at yr olaf, a'i hiraeth trwm, yn dueddol i'w gyffroi i ganmol gormodd ar rinweddau yr ymadawedig. Rhaid i mi gyfaddef fod fy ngalar yn dra dwys, a bod testun y Cofiant hwn mor anwyl i mi â'm henaid fy hun, yr hyn i raddau a duedda i'm hanghymhwyso at y gorchwyl. Ond o'r tu arall, y mae rhai amgylchiadau o'm tu; y rhai, fel yr hyderaf, a wrthbwysant yr holl anfanteision.—Nid oes neb a ŵyr gymmaint am fy IEUAN â myfi, a gobeithiaf na wna fy nghariad cryf at anwyl blentyn wanychu fy serch at wirionedd; ffiaidd genyf yr holl anwireddau a glywaf yn aml mewn angladdau, o eneuau perthynasau trencedigion; canmolir y mwyaf cynhenllyd, anfoesol, ac anfad, wedi ei drancedigaeth, megys pe buasai mor dangnefeddus, duwiol, a rhinweddol ag angel y goleuni. Os yw ymddygiadau'r lluaws yn amlygiad cywir o'u hamgyffredion, rhaid eu bod yn ystyried tymmor galar yn dymmor o rydd-did i ddywedyd anwireddau diorchudd, a bod eu holl gymmydogion yn rhwym i gredu yr hyn a *wyddant* sydd anwireddus yn yr amser hwnw. Yr hyn a ffieiddiaf mewn arall a gredaf sydd atgas ynof fy hun, am hyny, ymdrechaf gadw at y gwir. Hefyd, pa lesiant dywedyd anwiredd? Pwy a foddlonir trwy hyny? Nid fy anwylaf JOHN, a gadael ei fod yn hoffi gweniaeth, canys ni wel efe linell byth ond hyny, o dan law ei dad, nac un llyfryn mwyach o *Swyddfa Seren Gomer*, yr hon a fwriadasid i fod yn Swyddfa iddo ei hun. Nis gellir boddio Duw ag anwiredd, canys efe a ffieiddia gelwyddwyr, yn gystal â

lladron, llofruddion, ac eilun-addolwyr. Ac nis boddlonir fy nghydwybod fy hun, (a minnau yn prysuro i'r farn,) â'r ystyriaeth fy mod wedi ysgrifenu, yn fwriadol, yr hyn nad yw wirionedd. Yn mhellach, ni bydd i mi ddywedyd nemawr mewn ffordd o ganmoliaeth, ond yr hyn a glywais ereill yn ei ddywedyd, y rhai nad oeddynt dan un radd o brofedigaeth i wenieithio i mi na neb o'm teulu. Bernais yn anghenrheidiol i ddywedyd cymmaint â hyn cyn dechreu yr hanes a ganlyna:—

Ganwyd John Ryland Harris, yn y tŷ nesaf ond un at y Tabernacl, Heol Ifan, Abertawe, ar yr 20fed o Ragfyr, 1802. Pan oedd yn ieuanc iawn, yr oedd yn ngwedd ei wyneb yn debyg iawn i mi; yr olwg gyntaf a gefais arno erioed a'm cynhyrfodd i ddywedyd, "Dyna berffaith ddelw ei dad." Lleihaodd y tebygoliaeth wynebprydawl hyn gryn lawer wedi iddo dyfu i'w faintioli.

O herwydd fod agos holl plant y dref yn defnyddio Saesneg, ni wyddai John Harris ond y peth lleiaf o Gymraeg, nes gadael yr ysgolion, eithr wedi hyny mawr oedd ei hyfrydwch ynddi a'i sel drosti, er fod ychydig lediaith Saesneg arno dros flynyddau wedi hyny.

Nid oedd dim anarferol o nodedig ynddo yn ei blentyndod; yr oedd yn dysgu yn dda yn yr ysgol, yn well o lawer nâ'r nifer amlaf o'i gyfoedion. Diderfyn fyddai adrodd holl ystranciau diniwed ei flynyddau cyntaf (y rhai a wahaniaethent oddiwrth blant ereill) ei deganau difyrbwyll, ei fwydydd dewisol, a'i holiadau duwinyddawl, athroniaethawl, seryddawl, a chelfyddydawl. Ond er nad dywenydd i'r cyffredin fyddai clywed llawer am hyn, myfi a gofiaf tra fyddwyf, am ei ymadroddion ymofyngar, ei resymaeg ddifyrgar, a'i oriau chwareugar, pan oedd yn ieuainc iawn. Yr oedd arno eisieu gwybod y cwbl am nefoedd, daear, ac uffern, a fu, sydd, neu a fydd. Gofynai gannoedd o holiadau na fedrai neb eu hateb i berffeithrwydd, pan oedd o gylch dwy flwydd oed, &c. Wrth uchder y tŷ y byddai yn mesuro pob uchelderau, megys dwy, tair, pedair, cant, neu fil o weithiau yn uwch nâ'r tŷ. Wrth gryfdwr gôf, (W. Gruffydd,) i dŷ yr hwn y dygid ef yn fynych, a'r hwn a alwai efe "y dyn," y byddai yn ffurfio amgyffredion am nertholrwydd; a meddyliai y gallasai gyflawni pob gorchestwaith pe cawsai "nerth a gordd y dyn."

Pan oedd fy anwylaf Ieuan rhwng naw a deg oed bwriadwn ei ddanfon i ryw athrofa i ddysgu'r ieithoedd dysgedig, eithr efe a gymmerodd hyfrydwch mawr yn y gelfyddyd o Argraffu, a threuliai gryn lawer o'i amser yn swyddfa Mr. D. Jencin. Yr oedd yn daer wrthyf agos bob dydd am ei rwymo yn egwyddor-was i ddysgu'r alwad. Ei daerineb dibaid ef, a'r ystyriaeth y byddai efe yn ddigon ieuanc i ddysgu ieithoedd, wedi treulio allan flynyddau ei egwyddoriad, ynghyd â'r meddwl na wnelai crefft ddim drwg iddo, can nad beth fyddai gan Ragluniaeth hollddoeth ar ei fedr, a'm tueddodd i gydsynio â'i gais, a rhwymwyd ef dros saith mlynedd, pan oedd yn ddengmlwydd oed. Eithr yn mhen ychydig wedi tair blynedd, rhoddod Mr. Jencin yr alwad heibio, ac efe a

ryddhawyd oddiwrth ei rwymedigaeth. Dygwyd ni i radd o gyfyngdra gan yr amgylchiad hwn. Mwy tueddol oedd fy IEUAN byth i gyssodi nâ dysgu Lladin, &c.—Nid oedd eisieu ei wasanaeth yn y dref hon; ac anhyfryd genym feddwl ei ollwng i le pellenig, o herwydd ansawdd canolig ei iechyd, a rhag y llygrid ei foesau dysglaer gan ymddyddanion drwg, ac anhawdd genym adael i waith y tair blynedd ddiweddaf fyned yn ofer. Am hyny penderfynasom i osod Swyddfa i fynu ein hunain, prynasom wasg a'r llythyrenau perthynol i'r hen SEREN; a dechreuasom weithio. Cyhoeddwyd "Greal y Bedyddwyr," a'r "Traethawd ar Dduwdod Crist" yn Gymraeg, ac amryw lyfrynau ereill, pan oedd efe rhwng 13eg a 15eg oed. Y fath oedd ein petrusdod rhag na thalai'r swyddfa ei ffordd, fel na cheisiasom un cyssodydd ond fy IEUAN BACH, dros agos i bedair blynedd; llafuriodd ef a'i dad yn galed yn yr yspaid hwn: IEUAN yn cyssodi y cwbl, a'i dad yn cadw ysgol ar hyd y dydd, ac yn ysgrifenu a darllen prawfleni yn yr hwyr. Prin y meddyliaf fod nemawr o gyssodydd wedi gwneuthur cymmaint o waith yn y cyfryw amser, ag a wnaeth fy hyfrydaf IEUAN, er ieuenged a thynered ydoedd; er hyny, ni chafodd well iechyd erioed nâ'r pryd hyny, a rhai blynyddau wedi hyny. Efe ei hun a gyssododd y SEREN i gyd, a phob llyfryn a argreffid genym yn 1818 a 1819. Pymtheg oed ydoedd ef yn dechreu ar hyn.

Anaml iawn oedd ei fanteision i ddysgu ei gelfyddyd. Nid oedd ei feistr wedi ei dysgu ei hun, a dywedai'r blaenor yn y Swyddfa, pan ofynid iddo am gyfarwyddyd, nad oedd neb yn ei dalu ef am ddysgu egwyddorweis: nid oedd yr amser i ddysgu ond byr, a blynyddau ei oedran ond ychydig. Er yr holl anfanteison hyn, efe a ddaeth yn brif argraffydd, efe a gyssodai yn dra chyflym, a hyny gyda chywirdeb mawr, fel nad oedd raid treulio nemawr amser wrth y gâreg wrth ei waith ef; ac am graffder, (un o brif gymhwysderau argraffydd,) i ganfod gwallau mewn prawfleni, ni welais i un erioed i'w gystadlu ag ef. Efe a ganfyddai fai oddiyma draw, ac a nodai allan wall yn y llythyrenau, neu'r metel ei hun, yn gynt nag y gwelai llawer cyssodydd yr unrhyw yn y brawflen. Gellasid meddwl fod natur wedi ei fwriadu i hir arolygu Argraffdŷ, a bod yn fendith i'w wlad, eithr nid ein meddyliau ni yw meddyliau Duw.

Yn nechreu y flwyddyn 1819, pan oedd *Hyfrydwch fy Llygaid* newydd gadael ei 17eg mlwydd, daeth ei ewythr, brawd ei fam, y diweddar Mr. Job Symmons, i waered atom o Lundain, i gyssodi, ac i arolygu y Swyddfa; efe ydoedd ddyn ieuanc sobr, gofalus, a synwyrol, a chydag addasrwydd neillduol y gelwid ef yn *Job*. O hyn allan ymroddodd fy anwyl IEUAN i ddysgu'r ieithoedd dysgedig yn ol y byddai amser yn caniatâu; weithiau byddai agos i wythnos gyfan yn yr athrofa, bryd arall wythnos gyfan heb fod ynddi; meddyliaf, a gosod un pryd ar gyfer y llall, ei fod yn treulio tua hanner ei amser wrth yr ieithoedd, a'r hanner arall yn y Swyddfa, yn darllen a diwygio cynsgrifau i'r egwyddorweis, darllen prawfleni, ysgrifenu yn lle ei dad, a chyssodi pan fyddai

achos neillduol yn galw am ei gymhorth. Bu yn myfyrio gyntaf dan Mr. Jennings, yn athrofa Mr. Hamsworth, yn y dref hon; wedi hyny gyda'r dysgedig a'r parchedig D. Williams, (Iwan) hyd onid aeth yr olaf yn rhy wan a chlafaidd i roddi yr hyfforddiadau gofynol. Aeth yn ol drachefn at Mr. Jennings, gyda'r hwn yr arosodd hyd oni orchfygwyd ei natur lesg gan y darfodedigaeth llofruddiog. Rhoddid gair mawr iddo gan ei ddau athraw, fel dysgydd rhagorol, perchenog cynheddfau cedyrn odiaethol, a thymherau mwynion detholawl; ystyrid ef gan y ddau fel cyfaill a chydradd, yn hytrach nag fel dysgybl neu ddysgydd. Daeth yn gryn feistr ar y Lladin, a dechreuai ymhyfrydu yn y Groeg a'r Hebraeg; ac edrychai weithiau i ieithaduron y Ffrangaeg, Eidalaeg, a'r Ellmynaeg. Edrychai ei dad ar ei gynnydd gydag hyfrydwch annhraethadwy: gan feddwl, gan nad p'un ai ar dir y byw trallodus, neu yn mhlith y meirw digyffro y rhifid ef ei hun, y byddai ei IEUAN anwylaf cyn hir, yn cael ei resu yn mysg prif ddysgedigion y wlad. Ond ow! mor siomedig yw y byd twyllodrus hwn. Rhifwyd fy mhlentyn hawddgaraf yn gynnar gyda thrigolion pyrth angeu! Meddyliais mai rhwymedig arnaf oedd rhoddi iddo holl fanteision dysgeidiaeth a fedrwn—nis medraf feio fy hun am hyny hyd heddyw—credaf etto mai gwneuthur ein dyledswydd a wnaethum i ac yntau yn hyn—eithr pa ddyben a atebodd y cyflawniad o'n dyledswydd! Nid oedd eisieu Lladin, Groeg, Hebraeg, nac un iaith estronol arall ar fy hyfrydaf fab! "Ffyrdd fy Nuw sydd yn moroedd, a'i lwybrau yn y dyfroedd dyfnion." Efe a ddatguddia etto yr hyn sydd dywyll yn ei oruchwyliaethau, os bydd hyny yn rheidiol er dyddanwch a dedwyddwch ei bobl.

Mawr oedd hyfrydwch fy IEUAN yn yr iaith Gymraeg; parod ydoedd i'w hamddiffyn yn ngwyneb pob gwrthwynebwr, trwy ysgrifenu yn Gymraeg neu yn Saesneg o'i thu pan fyddai achos. Prin y gallasai oddef cyfeillach dynion cyfrifol (o ran amgylchiadau bydol,) a ffugient fod yn well ganddynt Saesneg nâ Chymraeg, ac yntau yn gwybod nas medrent fyw heb gymhorth yr olaf; hwy yn aml a'i hanerchent ef mewn Saesneg anieithadurol, yntau a'i hatebent mewn Cymraeg croyw. Yr oedd mor gyfarwydd â'r geiriau mwyaf anghyffredin yn y Gymraeg ag oedd â'r mwyaf sathredig a chynnefin; deallai waith mwyaf gorchestol y beirdd Cymreig yn gystal ag ymddyddanion cyffredin, heb achos troi, ond anfynych iawn, i un geirlyfr. A droddai lawer o "*Goll Gwynfa,*" (cyfeithiad Dr. Puw, o *Paradise Lost,*) ac esboniai bob gair aneglur i'r gwrandawyr gyda'r un parodrwydd ag y rhoddai iddynt (pe gofynol fyddai) ystyr y geiriau, "Tad a mam, neu brawd a chwaer." Cyddeithiodd o Landysul i Aberystwyth, yn y Mehefin diweddaf a welodd ef yn y byd, gyda'r Parch. C. Evans, o Fon, yr hwn a ddywedodd wrthyf, iddo weled mwy o ardderchawgrwydd yn iaith ei fam, yn ystod fer y daith hono nag a welodd erioed o'r blaen; a bod fy IEUAN bron a chynhyrfu awydd ynddo i ddysgu iaith "Coll Gwynfa," yn ei hen ddyddiau. Pe dywedasid, mewn gwrthwynebiad i gyfieithydd y gwaith rhagorol

uchod, a gweithiau gorchestol ein beirdd, nad yw yr iaith a arferant o un defnydd, oblegid nad yw lliaws offeiriaid, pregethwyr, cyfreithwyr, na meddygon ein gwlad, yn deall ei hanner, (a gadael y werinos heb son am danynt) atebasai'm serchogaidd IEUAN, "Os felly, nid yw lluaws ein hoffeiriaid, ein pregethwyr, &c., yn deall hanner iaith eu tadau. Pa un ai hwy neu y rhai a ymdrechant ddeall yr holl iaith sydd yn gwneuthur yn iawn, barned y clywedydd."

Ei fawr serch at iaith ei fam a'i cynhyrfodd i gynnyg ffurfio Cymdeithas o Gymreigyddion yn Abertawe, pan oedd o 17 i 18 mlwydd oed; llwyddodd ei gynnygiad—ymunodd amryw foneddigion, offeiriaid, pregethwyr, ac ereill cyfrifol, â'r gymdeithas, a chafwyd gan W. Fechan, ysw., o Lanelay, fod yn nawddwr iddi; bu'm yn eu plith rai gweithiau. Y tro olaf, pan oedd Mr. Fechan yn y gadair; ni welais, ac ni chlywais am ddim anghydweddol â brawdgarwch, gwladgarwch, a moesoldeb yn eu mysg. Casglais y troion y bu'm yno, mai fy IEUAN oedd un, o leiaf, o'r rhai a wnaent i fynu fywyd ac enaid y gymdeithas; ond wedi hyny cefais le i derfynu mai efe oedd, nid yn unig ei sylfeinydd, ond ei phrif ategydd, canys fel y clafychodd ef, clafychodd y sefydliad, ac yn ebrwydd wedi ei symudiad galarus ef, darfu am y gymdeithas flodeuog hon!

Efe a drysorai lawer o gyfansoddiadau barddonol yn ei gof, fel y byddai ganddo bennill yn barod wrth law, perthynol i unrhyw bwnc y byddai yn ysgrifenu arno, a mawr yr hyfrydwch a gymmerai i ddysgu pennillion moesol ac Hymnau Cymreig i'w ddwy chwaer fechan, rhai o honynt a gofir ganddynt, ond odid, tra fyddont byw.

Efe a ysgrifenodd lawer yn Gymraeg a Saesneg ar wahanol bynciau, a chyhoeddwyd amryw o'i ysgrifau, ac y mae cryn lawer yn aros etto mewn cyflwr anorphenedig, heb eu cyhoeddi. Y peth cyntaf, hyd wyf yn gofio, a ysgrifenodd, pan oedd oddeutu 11 neu 12 oed, oedd y llyfryn a elwir "Cymhorth i Chwerthin," yr hwn sydd yn llawn ffraethineb, ac a bigwyd ganddo o'r SEREN GOMER wythnosol, ac o rai llyfrau Seisnig; argraffwyd y llyfryn ddwywaith, ac y mae'r ail-argraffiad wedi ei werthu oll. Efe a gyfansoddai gyda chyflymdra mawr mewn rhyddiaith a phrydyddiaeth rydd. Y peth cyntaf a welais o'i waith prydyddol, a gyfansoddwyd ganddo ar droedigaeth gweinidog ymneillduedig i fod yn eglwyswr. Daeth Mr. O—i'r tŷ, gan ddywedyd, "Y mae y Parch. Mr.—wedi troi yn offeiriad." Parodd y newydd beth syndod i ni oll, o herwydd nid oeddem wedi clywed sill am hyny o'r blaen. Rhedodd fy nhirionaf IEUAN BACH i'r llofft, a chyfansoddodd chwe neu saith o bennillion gwychion perthynol i'r achos, a dychwelodd mewn ychydig fynydau; gan eu darllen cyn i'r gwr a ddygodd y newydd fyned allan. Ymddangosodd amryw o'i gyfansoddiadau o bryd i'w gilydd yn SEREN GOMER; efe oedd *Madog*, yr hwn a gyfieithodd "Hanes rhyfedd y Mynach Anllad," SEREN 1818, tudal. 187. Eglurodd yr arwyddair ICH DIEN, a chyfieithodd "Hanes Emrys Benaur," a gwnaeth nodiadau ar "Hyawdledd Gymreig a Seis-

nig," SEREN 1819, tu-dal. 69, 99, a 260. Yn 1823, ymddangosodd ysgrifau o'i waith ar "y gair Twco—Gwŷr ceintachlyd—y gair HELP—a diweirdeb Dwynwen," tu-dal. 8, 230, 337, a 372. Yn 1821, ar "Doli Geiriau—ar y gair Abertawe," tu-dal. 235. Yn 1822, ymddangosodd ei ysgrifau ar "Ysgolion Cymreig—Adolygiad ar Araeth G. Jones, ysw." —Ar y seiniau Cymreig *ch* ac *ll*—ac ystyr enwau amryw leoedd, tu-dal. 51, 147, 301, a 369. Ac yn 1823, ymddangosodd ei amddiffyniad o'i ysgrif ar y gair *Abertawe*—Gosod y Bibl ar ei gefn, &c. tu-dal. 108, a 245. Efe a ysgrifenodd Ragymadrodd y SEREN am y blynyddau 1821, a 1822, ac efe oedd yn ysgrifenu Cynnwysiad y SER bob blwyddyn oddiar 1819, hyd onid aeth yn rhy wan, yn 1823. Ymddangosodd ei sylwadau ar seiniau *ch* ac *ll* mewn rhai newyddiaduron Seisnig, ac yn *Monthly Magazine* Syr Rd. Philips. Anrhegwyd ef yn 1819, pan oedd efe rhwng 16 a 17 oed, â llyfr o "Goll Gwynfa," gan y cyfieithydd Dr. O. Puw, ar gyfrif un o'i gyfansoddiadau a ymddangosasai cyn hyny yn y SEREN; ni wyddai y *Doctor* bryd hyny pwy oedd efe; eithr ceisiodd genyf roddi y llyfr i'r hwn a alwai ei hun "*Ieuan Ddu o Lan Tawy*," (megys y gwnaeth cyn ac wedi hyny, gyda golwg ar rai ereill, ysgrifenadau y rhai a'i boddient,) fel arwydd gwobrwyawl o'i gymmeradwyaeth.

Yn y flwyddyn 1821, pan oedd fy IEUAN rhwng 18 a 19 oed, bu brwydrau poethion rhyngddo â Mr. T. J., Cyfreithiwr, (fel y clywais wedi hyny) o sir G——n, yn nghylch yr iaith Gymraeg, yn y *Cambrian*.—Dygid y brwydrau hyn yn mlaen yn yr iaith Seisnig; y Parch. D. W., Rumsey, a ddechreuodd y ddadl; atebwyd ef gan IEUAN; amddiffynwyd D. W., gan T. J., gwrthwynebwyd yr olaf mewn ail lythyr go faith gan fy JOHN; cyhoeddwyd atebiad hirfaith i'w ail lythyr ef gan T. J., i hwn ysgrifenodd IEUAN atebiad, mewn trydydd llythyr, ac ar hyn gosododd Golygydd y *Cambrian* derfyn ar y ddadl. Argraffwyd 200 o'r trydydd llythyr, heblaw yn y Newyddiadur dywededig, y rhai a roddodd fy machgen mwynlon agos oll i'w gyfeillion pell ac agos. Onid yw fy nheimladau tadol yn dallu fy synwyr, efe a brofodd yn yr ymdrech hwn, ei fod yn feistr ar ei bwnc—yn medru sefyll yn ddiysgog yn ngwyneb rhuthriadau ffyrnicaf y gelyn, dwyn yn mlaen ryfel ymosodol yn ei dro—canfod y manau gweinion yn ngwersyll y gwrthwynebwr oddiyma draw—gwneuthur y defnydd goreu o honynt—dilochesu'r wrthblaid o'i hamddiffynfeydd twyllodrus—troi agos pob amgylchiad yn fanteisiol iddo ei hun—a dychwelyd o'r maes wedi ei goroni â buddugoliaeth gyflawn a therfynol. Eithr gadawaf i arall lefaru.

*Llythyr at* IEUAN *oddiwrth Weinidog tra chyfrifol o'r Eglwys Sefydledig, yn swydd Faesyfed.*

"SIR,—I have to acknowledge the receipt of your communication containing your Printed Letter on the Welsh Language to T. J., dated Oct. 4, 1821, which had appeared in the Cambrian Newspaper, and I avail myself of this opportunity to thank you for the same. You certainly came forth as an intrepid champion, in behalf of your

native tongue, and displayed no small ability on the occasion. I expect that T. J., was heartily sorry for what he had said against the mode of speech used by his Forefathers, and will not enter again readily into a controversy, from which he gained so little credit.

With my best respects,—I am,—sir,—your humble servant,

*Jan.* 28, 1822. R.*

Yn yr un flwyddyn efe a gyfieithodd gryn lawer o *Paradise Regained* i'r Gymraeg, ar yr un mesur ag y cyfieithwyd *Paradise Lost* gan y Dr. Puw. Ymddangosodd cymmaint o hono ag a lenwai agos i dair tu-dalen o SEREN GOMER yn y *Cambro Briton*, am Dachwedd a Rhagfyr, 1821; ynghyd â nodiadau Golygydd y cyhoeddiad hwnw ar y gwaith. Rhoddwn hwynt yma yn iaith y Golygydd ei hun, yr hwn, wedi gwneyd rhai sylwadau rhaglithiol, a ddywed;—

"With these prefatory observations, we have great pleasure in giving publicity to the following brief specimen of a version of PARADISE REGAINED, which we understand to be designed for publicaton as soon as completed. It is the work of Mr. HARRIS, jun. of Swansea, and is highly creditable to his talents, especially when the youth of the writer is taken into consideration. We purpose to give an additional extract in the next number."

ADFEDDIANT GWYNFA.

Myfi, a gyntaf ganwn am yr ardd,
Trwy gàm un dyn a gollid, canaf nan
Am Wynfa enilledig i'r holl ryw,
Trwy ufyddâad un dyn a brofid gan
Bob profedigaeth, ac yr budydd hyll
Gorchfygai yn ei holl ddichellion blin,
Ac Eden derchai mewn anialwch gwyllt.

Yn y rhifyn canlynol, dywed y Golygydd dywededig, wedi nodi o hono allan yr hyn a farnai yn ddiffygiol yn y cyfieithad:—

"For the rest, we have no difficulty in repeating, what we observed last month, that the performance is, in most essential respects, highly creditable to the talent, as it is to the patriotism, of Mr. HARRIS, and cannot fail to prove a respectable accession to our national literature."

Tebyg iawn y buasai'm hanwyl IEUAN wedi cyfieithu holl *Adfeddiant Gwynfa* cyn ei farwolaeth, oni buasai fod cymmaint o'i amser yn cael ei gymmeryd i fynu i ddysgu ieithoedd, a phethau ereill rhag-grybwylledig.

Efe a gyfansoddodd ddwy o'r Hymnau sydd yn nghasgliad ei dad, gan gymmeryd yr amgyffredion o lyfr Dr. Rippon; sef Hymn 601 a 606. Peth tra nodedig oedd iddo ef gael ei dueddu, pan oedd mor iach ag y bu erioed, i gyfansoddi y cwbl ag sydd o'i waith yn y llyfr uchod, ar ogoniant a dedwyddwch y nef. A! fy mhlentyn tirion! ychydig a feddyliais ei fod mor agos i borth angeu ag yr oedd pryd y cânodd:—

Ar lan'r Iorddonen sefyll wyf,
Gan fwrw golwg brudd
Ar hyfryd diroedd Canaan draw,
Lle mae trysorau'm ffydd, &c.

* Rev. J. W. Rees, Casgob.

Y gwaith olaf a gyfansoddodd ac a gyssododd ef ei hun, ydoedd "Grisiau Cerdd Arwest," neu hyfforddiadau Cymreig i ddysgu canu tônau yn gywir wrth eu gweled. Onid wyf yn gamsyniol, nid oes un cyhoeddiad yn y Gymraeg ar y testun a gystadla â hwn. Yr alwad fywiog sydd am dano a'm cadarnha yn hyn. O herwydd nad oes un o bob cant a ddarllenant lyfrau ereill, yn chwennych dysgu Peroriaeth yn berffaith, meddyliais y buasai 500 yn llawn ddigon i argraffu, eithr i foddloni'm IEUAN, caniateais i ychydig fwy nâ mil fyned trwy'r wasg; eithr prin cant sydd heb eu gwerthu; er nad anfonais at neb gweinidogion i geisio eu gwerthu, ond yn unig eu hysbysu ar glawr y SEREN. Clafychasai fy mhlentyn tirionaf fisoedd cyn gorphen y gwaith; eithr am nad oedd neb yn y swyddfa bryd hyny a fedrai gyssodi peroriaeth ond ei hun, ni fynai roddi heibio nes ei orphen.

> Diolwch pur a dalaf—i IEUAN
> A'i hoyw-waith a folaf;
> Fwyn wr hoff—i fynu'r af
> I'w Risiau; ni arosaf.——*D. ab Gwilym.*

Dichon perchen plant ddirnad yn hawddach nâ thraethu, ansawdd fy nheimladau, pan roddwyd y llythyr canlynol, oddiwrth gyfaill gerllaw Caerdydd, yn fy llaw, yn mhen dwy awr yn gymhwys wedi i'm serchocaf IOAN adael y byd hwn:—

"ANWYL GOMER,—Cefais y fraint o feddiannu y llyfr tra gwerthfawr hwnw a elwir "Grisiau Cerdd Arwest," yr hwn sydd yn debyg i fod yn dra defnyddiol yn ein gwlad; ac wedi i amrai o'm cyfeillion ei weled, annogasant fi i geisio 18 o honynt yn ddioed, i ddechreu; ac y maent yn barod i waeddu allan, *Hir Oes* i IEUAN DDU! &c., &c.
Ydwyf, &c., T. JONES."

Ow! fy IEUAN! eb fi, a'm llygaid yn ffrydio dagrau, y mae efe wedi dechreu ei oes dragywyddol er ys dwy awr, mewn gwlad, fel yr hyderaf, lle cenir yn hyfrydlon byth heb gymhorth Grisiau Cerdd.

Yr oedd yn ei fryd i gyhoeddi Geiriadur Saesneg a Chymraeg, lawer lluosocach mewn geiriau, a pherffeithiach mewn iaith nag un a gyhoeddasid etto; i'r perwyl hyny, parodd i Eiriadur cyffredin gael ei rwymo, a dalen o bapur gwyn rhwng pob dwy ddalen argraffedig; modd y byddai lle iddo ysgrifenu ei ychwanegiadau a'i ddiwalliadau arnynt. Ni fedrodd hàner perffeithio y gwaith hwn cyn clafychu, eithr y mae llawer o'r dail wedi eu britho yn lled gyffredin ganddo. Hefyd, efe a ysgrifenodd amryw bapurlèni o'r hyn a elwai, "Y Geirlyfr Barddawl," gyda bwriad i'w gyhoeddi ryw bryd; yr hwn a fuasai o fawr wasanaeth i feirdd ieuainc, ac i hen feirdd byr eu cof, gan ei fod yn cael ei fwriadu i gynnwys yr holl gydseiniau yn yr iaith, ac o'r un rhif eu sillafau, nesaf at eu gilydd, ynghyd ag arwyddocâd pob gair anghyffredin, fel na byddai raid troi i eiriadur am ystyr gair dyeithr, megys, gwaith, maith, saith, taith, iaith; am fod y rhai a ganlyn yn annealladwy i'r cyffredin, y mae eglurhad ar bob un o honynt,—aith, naith, paith, rhaith, haith, daith, praith, traith, &c. &c., ac felly am seiniau ereill. Cydsynio â chais ei dad a wnaeth

wrth ddechreu hwn, a'i ddwyn yn mlaen pan fyddai hamdden ganddo, ond yr angeu blwng a derfynodd holl lafur gwasanaethgar fy anwyl Ieuan.

Ymhyfrydai'm hawddgaraf John yn fawr mewn peroriaeth; efe a ddysgodd egwyddorion Cerdd *(Gamut)* yn fore, heb nemawr cyfarwyddyd, ond a gaffai mewn llyfrau; dysgodd ganu chwibanon *(flute)* pan oedd yn dra ieuanc; wrth gofio ei hyfrydwch yn ei chwibanon fwyn, yr hon sydd yn fud yn fy myfyrfa hyd heddyw, bydd fy nychymmyg yn ei osod megys ger fy mron yn aml, nes tybied fy mod yn ei weled yn estyn a lledu ei fysedd meinion tyner at wahanol dyllau'r offeryn cerdd. Efe, yn mlynyddoedd olaf ei iechyd oedd yn seinio y nod gyntaf o bob tôn yn addoldy yr Heolgefn, bob amser. Ac efe a ddewisodd ac a gyfleodd yr holl dônau a osodir o flaen yr Hymnau yn nghasgliad ei dad. Gobeithiaf fod fy anwyl-ddyn heddyw yn seinio cân yn uwch nag erioed yn y ddinas lon sydd a'i heolydd o aur pur.

O ran ei ymddygiad, yr oedd bob amser yn fywyd i hyfrydwch y gymdeithas y byddai ynddi; medrai gymdeithasu â boneddigion dysgedig, ac â thlodion diddysg, heb un arwydd allanol ei fod allan o'i elfen, gyda'r naill na'r llall, yr hyn a ennillodd iddo luoedd o gyfeillion yn mysg amrywiol raddau. Yn agos pob cymdeithas, ei ffraethineb a'i ddiniweidrwydd a barent iddo gael ei ystyried fel un (o leiaf) o'r teilyngaf o sylw yn eu mysg. Cynnyddai ei ostyngeiddrwydd gyda'i ddyddiau a'i wybodaeth. Llawer o'i hen gyfeillion yn Abertawe, a ddygant dystiolaeth dros hyn. Ac yn mysg ereill o'm alldrefedigion, clywed fy nghyfaill, y Parch. D. D. Evans, Caerfyrddin, yn dywedyd iddo glywed amryw yn amlygu eu syndod, am fod dyn ieuanc mor helaeth ei wybodaeth, ac mor gyflawn o Ffraethineb, mor amddifad o feddwl mawr am dano ei hun, a roddai foddlonrwydd nid bychan i mi, o herwydd fod hyn yn fy nghadarnhau yn fy marn, mai nid fy serch tadawl yn unig a welai y rhinweddau hyn yn fy Ieuan. Yr anrhydedd a gaffai a eisteddai mor naturiol arno ef, fel mai anaml iawn oedd y rhai a fedrent genfigenu wrtho. Amryw o'i gydchwareuyddion a'i gyd-ysgolheigion gynt, wedi tyfu i'w maintiolaeth, a rhai gryn yspaid cyn hyny, a ymroddent i afradlondeb ac anfoesoldeb, gan aros allan yn hwyr, yfed i ormodedd gyda'r meddwon, attegu pob maswedd, ac ymgyfeillachu â benywod ag ydynt warth i ddynoliaeth; medrai fy anwyl fab ymddyeithrio oddiwrth y rhai hyn, heb eu tramgwyddo; atebai hwynt gyda phob sirioldeb pan gyfarfyddai â hwy, eithr gofalai na fyddai neb yn gyfeillion iddo ond moesolion a chyfrifolion. Gofalai bob amser i ddyfod i'r tŷ yn brydlawn yn yr hwyr; nid oedd un gyfeillach mor felus, nac un brofedigaeth mor gadarn, ag a fedrai ei gadw allan wedi yr awr osodedig gan y teulu. Gwyddai nad oedd modd cadw trefn a thangnefedd mewn teulu, heb lynu wrth reolau perthynol, am hyny, ni fynai mewn un modd i dòri y rheolau hyny. Efe a wyddai fod llawer o ddynion ieuainc wedi cael eu llygru trwy aros allan yn rhy hwyr, am hyny, nid elai i wyneb profedigaeth yn ddiraid. Carai gymdeithas hedd-

ychol oddiar pan oedd yn blentyn, a'r fath oedd ei ymlyniad wrth wirionedd, fel nad wyf yn credu iddo ddywedyd un celwydd o'i grŷd i'w fedd. Ni wnaeth un achos erioed i'w rieni golli awr o gysgu, tywallt deigryn, nac i ocheneidio un ochenaid. Mewn gair, yr oedd ei ymddygiad moesol* yn gyfryw ag y gallai *tad* a *mam* ddymuno fod eiddo mab anwylaf, oddigerth fod perffeithrwydd yn ddysgwyliadwy yn y fuchedd hon.

Nid oedd fy Ieuan wedi uno â'r eglwys; ffynodd rhyw amgylchiadau i rwystro hyny; eithr credaf fod y Duw sy'n hoffi maddeu pechodau wedi myned heibio i'r diffyg hwnw ynddo; ei ymddygiadau parhaus yn ei flynyddau olaf a brofai fod ganddo barch calonog i grefydd a chrefyddwyr; ymddangosai ei fod yn teimlo cymmaint hyfrydwch â neb o'r aelodau ffyddlonaf pan fyddai'r achos da yn llwyddo, ac mor ofidus â hwythau pan fyddai aflwyddiannus. Hyfrydwch ei galon oedd bod yn nghyfeillach gweinidogion yr efengyl. Nid oedd raid un amser ei gymhell i'r addoliad. Nid oedd ei le ef byth yn wag gymmaint ag unwaith, os iach fyddai, ar y Sabboth, ac anfoddlon ganddo fyddai bod yn absennol fyth yn yr wythnos. Gwyn fyd na fyddai hanner proffeswyr Cymru mor awyddus i fyned i dŷ Duw ag oedd efe. Nid ymhyfrydu dyfod i'r cyssegr, a dim ond hyny, a wnelai'm serchogaidd Ieuan, eithr byddai agwedd dyn yn gwrando arno agos bob amser; canwaith y sylwais ar ei lygaid mynegawl yn datgan im' ei fod yn gwrando yn ystyriol.† Ymddangosai yn fynych fod yr hyn a wrandawai yn effeithio ar ei galon, a medrai ddangos wedi'r addoliad ei fod o leiaf yn *gwrando*, canys adroddai, pan fyddai galwad, gryn lawer o'r hyn a glywsai.

Bu fy machgen tirion dros gryn yspaid yn ddiwyd iawn, fore a phrydnawn, ynghyd â'i ewythr, yn athrawon yr ysgol Sabbothol, a hyny bob Sabboth, ac ni chlywais mo'r un o honynt yn dywedyd ei fod yn ystyried hyny yn gaethiwed neu galedwaith, eithr achwynent ar ddifaterwch anesgusodol ereill. Ni raid i mi ddywedyd y buasai genym ysgol dra blagurog, yn amser iechyd fy John, pe buasai un o bob ugain o'r aelodau mor ffyddlon â hwy eill dau. Blagurodd yr ysgol o'r newydd wedi i destun y cofiant hwn glafychu; da iawn oedd ganddo glywed hyny, a blin ganddo na's gallasai estyn llaw o gymhorth yn yr achos pwysfawr hwn.

Pan gytunodd yr eglwys i osod casgliad wythnosol ar droed tuag at helaethu ein haddoldy, cymmerodd fy John ei *garden*, ac ni bu neb yn fwy ffyddlon, na neb yn fwy llwyddiannus, nag ef (oddigerth un, yr hon a feddiannai bryd hyny fwy o amser rhydd,) yn y gwaith hwn. Mynych

* Defnyddiaf y gair *moesol* yma yn yr ystyr y deallir ef yn gyffredin, er fy mod yn hyderu fod Ieuan yn foesol mewn ystyr helaethach, neu lythyrenol.

† Gellir gwybod lawer gwell, pa un a fydd dyn yn gwrando ai peidio yn yr addoliad, wrth edrych ar ei lygaid, y rhai ni chlywant, nac wrth edrych ar ei glustiau, y rhai a fedrant glywed; a phrin y credaf fod un o gant o'r rhai a ddywedant eu bod yn medru gwrando yn well â'u llygaid yn nghau nag â hwy yn agored, gan osod pwys eu penau ar y bwrdd, &c. yn dywedyd y gwir.

y gwelid ef, wedi i bawb ereill ddarfod â'u gwaith, a myned i rodio, neu i orphwys, yn cychwyn at ei danysgrifwyr i dderbyn eu ceiniogau, eu dwy geiniogau, &c., gyda'r un hyfrydwch ag yr elai at ei ymborth angenrheidiol; a chyda'r un ewyllysgarwch y rhoddai haner ei arian llogell, neu yr hyn a ganiataid iddo i wario wrth ei bleser, bob wythnos, at yr un achos da.

Deallais, trwy'r amgylchiad canlynol, ei fod yn llawn fwriadu uno â'r eglwys. Gan wybod pa fodd y dylai proffeswyr ymddwyn, dywedodd wrthyf, ychydig cyn clafychu o hono, mai peth cywilyddus oedd fod y dyn a'r dyn a'r ddynes a'r ddynes, y rhai a enwodd efe, yn cael eu goddef ar enw Crist; gwyddwn ei fod yn dywedyd y gwir, ond am nas mynwn ei gefnogi lawer yn y ffordd hon, dywedais, "Beth yw hyny i ti, JOHN *bach*? Nid wyt ti yn aelod eglwys dy hun, am hyny nid wyt ti yn teimlo'r gwarth a deflir arni." Ei ateb oedd debyg i hyn, "Yn wir, fy nhad, yr ydych yn camsynied, y mae arnaf lawer o chwant i uno â'r eglwys er ys tro." "Pa beth, gan hyny, sydd yn dy rwystro," eb fi? atebai yntau, "Methu gweled fy hun yn ddigon addas, ac ofni nad wyf yn teimlo megys y teimla dynion duwiol." Ar hyn daeth rhyw rai i'r ystafell, a lluddiwyd y gyfrinach, ac yn mhen ychydig wythnosau wedi hyn, dechreuodd fy mhlentyn anwyl achwyn ar anhwylder, yr hwn a gynhyddodd yn raddol nes dwyn ei einioes werthfawr oddiarno. Gofynwyd iddo wedi iddo glafychu, os dewisol ganddo oedd cael ei fedyddio bryd hyny? Atebodd yn debyg i hyn, "Da iawn genyf pe buaswn gwedi cael fy medyddio pan oeddwn iach, eithr fy meddwl yw, i ordinadau yr efengyl gael eu bwriadu i ddynion mewn iechyd, i ogoneddu Duw, a dangos cariad Crist, ac na amcanwyd na bedydd na swper yr Arglwydd i fod yn geidweid i gleifion yn ngwyneb angeu, i ffoi atynt am iechydwriaeth." O ieuenctyd mwynion Cymru, sydd â pharch cywir yn eich mynwesau at grefydd Iesu, peidiwch oedi eich ufydd-dod i ordinhadau'r efengyl—gwelwch fod hyn wedi dolurio meddwl yr hawddgaraf IEUAN DDU!

Eithr credaf iddo gaffael edifeirwch i fywyd. Cyfrifai ei hun y penaf o bechaduriaid, er mor ddichlyned oedd ei fywyd; llwyr ymwadai â phob teilyngdod ynddo ei hun, a phwysai yn holloll ar ras Duw yn Nghrist, am iechydwriaeth rad i'w enaid trud, a gweddiai yn daer am ran yn nghyfiawnder cyfrifol Crist; ac er iddo achwyn wrthyf yn fynych ar dywyllwch ei feddwl, credaf i'w weddiau gael eu hateb:—medrai o'r diwedd ymddyddan am angeu yn ddiarswyd, ac un o'r pennillion diweddaf a gyfansoddodd ac a ysgrifenodd ei law dirion, a gynnwysai hèr gyflawn i frenin y dychryniadau. Hyderaf i gysgod angeu droi yn oleu ddydd o'i flaen.

O ran ansawdd iechyd fy anwyl JOHN, prin y gellir dywedyd iddo dreulio nemawr o'i oes fer yn holliach; blinid ef o'i fabandod gan y clefri poeth *(scurvy;)* dyoddefodd gymmaint oddiwrth y clefyd hwn pen oedd o bedair i chwech mlwydd oed, fel y tybiem y buasai cyn hir yn

terfynu ei einioes; ac er ei fod yn anwyl iawn bryd hyny, braidd na ddymunasai ei rieni ei weled yn y bedd; eithr o hyny allan daeth yn wellwell bob blwyddyn; a phan oedd o 14eg i 19eg oed, yr oedd agos a bod yn hollol rydd oddiwrtho, o leiaf mewn ymddangosiad, a gobeithiem oll y byddai iddo ei lwyr wisgo ymaith, ond cyfnewidiol yw mwynderau goreu daear. Yn y fl. 1822, ymddangosodd arwyddion yr hen glefyd ychydig yn fwy grymus nag yn y blynyddau a aethant heibio; ac i'r dyben i'w lwyr ddiwreiddio, fel y gobeithiem ni, efe a aeth at ffynnonau Llanwrtyd, lle yr arosodd ychydig wythnosau, ac yn yr hon gymmydogaeth y cafodd amryw gyfeillion gwresog, na's gwelodd erioed o'r blaen; yn enwedig Mr. P. Jones, Llwyncus, a'i wraig, ac ereill, caredigrwydd y rhai a gofiodd efe tra fu byw. Ar yr achlysur hwn canodd D. ab Gwilym, Buallt, iddo fel hyn:—

Groesaw Gymreigydd grasawl—i'n brodir,
Ni' brydwn ei lwysfawl,
A'i eiriau hoff rhagorawl;
Gwyn ei fyd a gano'i fawl.

Ieithydd, Cymreigydd mawrygawl—ydyw,
Un odiaeth rhagorawl;
I iaith Gomer leuerawl,
Uchel, fwyn, e chwilia fawl.

Ni wnaeth y ffynnonau ddim lles iddo ef; daeth adref yn hytrach yn waeth nag yn well; eithr gwellhaodd ychydig wedi hyny, gan ddilyn ei alwedigaethau fel arferol; ac nid oedd neb o honom yn meddwl fod perygl yn bod. Parhaodd felly hyd tua diwedd y Ionawr canlynol, pryd y dechreuoedd achwyn fod rhyw boen yn ei ochr, yr hwn oedd dra ysgafn, fel na feddyliodd neb fod eisieu moddion meddygol; eithr cynnyddodd y dolur o radd i radd, a bu'm Ieuan saith wythnos o dan law un o brif feddygon y dref, nes aeth yn deneu ac yn wan iawn. Wedi ymatal oddiwrth foddion meddygol, gwellodd ychydig yn ei wedd, ond y poen yn ei ochr a arosodd ac a gynnyddodd, ac ymddangosai megys pe byddai yn y cryd a'r mwyth *(ague;)* weithiau yn crynu gan anwyd, ac yn ganlynol yn chwysu'n llif gan wres twymynol; er hyn oll nid oeddwn i yn meddwl fod ei einioes serchoglawn mewn perygl; eithr yn mhell cyn hyn efe ei hun a ddywedodd, lawer o weithiau, fod y darfodedigaeth wedi ei feddiannu, ac na wellai efe byth o hono; efe a'r diweddar Barch. Titus Lewis, Caerfyrddin, yn unig a welais i yn y darfodedigaeth a'r na fyddent yn meddwl gwella o hono. Er fod fy anwyl John yn credu fod ei glefyd yn angeuol o'r dechreu, etto, ni pheidiai ag arferyd â moddion iachäol, canys byddai caredigrwydd cyfeillion pell ac agos, yn eu cymhell i'w annog i gymmeryd y peth hyn a'r peth arall, ag ydoedd wedi eu llwyr wellhau hwy, neu eu cyfeillion, pan oeddynt yn gymhwys yn yr un cyflwr ag yntef, neu yn llawer gwaeth, fel y dywedent. "Wel, (eb fy John) nid oes genyf wrthddadl i brofi hyn, 'nid oes dim yn anmhosibl gyda Duw,' er hyny, nid wyf fi yn meddwl y gwellaf byth."

Barnwyd mai buddiol fyddai iddo fyned oddicartref i farchogaeth, a newid yr awyr, felly boreu dydd Gwener, Mehefin 6ed, efe a gychwynodd ar geffyl trwy Lanelli a Chaerfyrddin, i gymanfa Llandysul, ac oddiyno i Aberystwyth, Aberduar, Castellnewydd-yn-Emlyn, ac Aberteifi, ac o Aberteifi dychwelodd i Abertawe, wedi bod bedair wythnos a diwrnod oddicartref. Daeth adref â'i galon yn llwythog o ddiolchgarwch i'r holl gyfeillion a fu mor garedig iddo yn ei holl daith. Y rhai, meddai'm IEUAN, a ddangosasant gymmaint serchawgrwydd, cyd-ymdeimlad, a pharch iddo, â phe buasai yn Dywysog Cymru. Taled yr Arglwydd iddynt oll am eu caredigrwydd. Er bod agos i flwyddyn a hanner oddiar hyn, cofio am dano a'm galluogai i ysgrifenu fy niolchgarwch iddynt oll â'm dagrau, ar un awr o'r dydd.

Ar y dydd yr aeth fy machgen oddicartref, bu farw ei ewythyr, yr hwn a fu amser maith yn dihoeni o'r un clefyd. Anfonais lythyr i gyfarfod â'm JOHN i hysbysu'r newydd galarus, ond dysgwyliadwy; yntau yn ei atebiad o Aberystwyth, Meh. 14, a ddywed,—

"ANWYL DAD,—Er na's gallasid yn rhesymol ddysgwyl dim ond yr hyn a gymmerodd le, etto, pan dderbyniais eich llythyr, yn Nghaerfyrddin, natur a orchfygodd, a ffrwd o ddagrau a ganlynodd; yr unig gysur gadawedig yw, bod i ni sail i obeithio fod fy ewythyr wedi diauc oddiar ei ofidiau i drigfanau tangnefedd."—

Wedi hyny efe a rydd hanes cyflawn am ei deithiau oddiar pan gychwynodd hyd Aberystwyth.

"Dymunasoch arnaf (medd ef) roddi hanes holl amgylchiadau fy iechyd, yr hyn sydd anhawdd i mi ei wneuthur, am fy mod un diwrnod yn lled wych, a'r dydd nesaf yn wael dros ben; yr ydwyf yn gyffredin yn well yn y boreu, ac yn waeth y prydnawn; oddeutu 5 neu 6 o'r gloch yr wyf yn crynu gan anwyd, ac ychydig waëw yn fy mhen yr un pryd; yn y nos y mae fy ochor aswy yn anoddefol; prin y gallaf orwedd ar un ochor; y poen a saetha i fynu i'm hysgwydd, ac yn ol, bob tro y byddwyf yn peswch, neu yn cymmeryd anadliad hir; ynghyd â gloesogi yn barhaus.—Yr ydwyf lawer gwell yn nghymdeithas gweinidogion, dyna y prif reswm a'm dygodd i yma o'r gymmanfa.—Yr wyf yn gyffredin yn weddol gysurus ar gefn ceffyl, pan fedrwyf gadw fy hun yn ddigon gwresog, a chael cymdeithas. Y bobl yma, (yn neillduol Cadben Julian a'i wraig,) ac yn mhob man arall, ydynt dra charedig wrthyf, ond fod llawer yn fy mlino â'u *cwynion* —"Druan bach, mae e'n dost iawn, fe fu machgen anwyl i farw o'r *decay* ddwy flynedd yn ol, yr oedd ef fel chwi yn gymhwys, yn peswch, a sut boen yn ei ochr e';" yr hen wragedd a blethant eu dwylaw, ac a siglant eu penau yn dra ystyrlawn, pan ddywedant, O druan bach!*

* Er bod fy anwyl JOHN yn credu ei fod yn meddiant y darfodedigaeth, etto efe a edrychai ar y sawl a lefarent yn y modd uchod yn hollol anfoesgar a diddysg; "Pa lesiant, eb ef, yw ceisio soddi ysbryd dyn claf trwy ei daro ar y man gwanaf? Nid oes yn hyny duedd i barotoi dyn i fyw nac i farw." Dygwyddodd i bregethwr mynyddig ddyfod i'w weled un tro, pan oedd yn wael iawn, yn eistedd yn ei gadair, a'i ben ar glustog ar y bwrdd heb ddywedyd dim wrth neb,—yn mysg pethau ereill, gofynodd y pregethwr i mi, "Ai'r *decline* sydd arno ef?" Clywodd IEUAN ef, ac a'i ceryddodd mewn geiriau byrion nes gwridio o hono; cododd y claf ei ben, ac atebodd yn swrth, "Nagê—y *cwmshinshwn* sydd arnaf fi;" gan seinio'r gair fel pobl wledig, ac yna rhoddodd ei ben i lawr drachefn. O'r tu arall, blinid ef gan gyfeillion y rhai a dybiai ef oeddynt yn gwenieithio iddo; trwy ddywedyd ei fod yn edrych lawer gwell, &c.

"Cofiwch fi at fy mam a'm chwiorydd, a'm cyfeillion oll (gan enwi llawer,) gobeithiaf fod fy mam yn gysurus, ac nad yw hi yn galaru yn anghymhedrol ar ol fy ewythyr. Gobeithiaf, fy anwyl dad, eich bod chwi yn gallu dwyn eich gofid a'ch lludded yn weddol; y peth penaf sydd yn fy ngofidio ar fy nhaith yw, fod arnaf ofn y drygwch chwi eich iechyd trwy ormod ymdrech; o barthed i mi, ni chelai'r byd, na neb yn y byd, ddim colled pe byddwn i wedi myned, eithr gweddiaf ar Dduw i gynnal eich iechyd chwi, er fy mwyn fy hun tra yr aroswyf yn y byd hwn, ac er mwyn y lleill o'r teulu pan fyddwyf fi wedi myned****—atolwg, ysgrifenwch lythyr hir o atebiad mor gynted ag y byddo bosibl, ysgrifened fy mam bob newyddion a allo gofio.

Ydwyf, eich serchiadol fab,

"JOHN HARRIS."

Ar yr 21ain o Fehefin, ysgrifenodd fy machgen mwynlon atom o dŷ'r Parch. T. Thomas, Aberduar; pigion o'i lythyr a ganlyn:—

"ANWYL DAD,—Daethum yma echnos, ac yr wyf mewn gofid mawr oddiar hyny am na dderbyniais lythyr oddiwrthych chwi—gobeithiaf nad oes un ddamwain o natur deuluaidd (heblaw yr hyn a wn eisioes) wedi eich lluddias.—Atolwg, ysgrifenwch yn ddioed, can nad beth a ddygwyddodd, am nas gallaf fod yn esmwyth nes clywed oddiwrthych.—Gadewais Aberystwyth ar y 18fed, gan fwriadu myned i Landdewi Aberarth, (14 milldir,) eithr methais fyned yn mhellach na Llanrhystyd, (9 milldir,) drannoeth daethum oddiyno yma, (20 milldir) yn glaf iawn yn wir. Meddyliaf fy mod ryw beth yn well tra yn Aberystwyth, nag oddiar y daethum oddigartref; ond yn ddioed wedi ymadael aethum yn waeth, ac felly yn parhau hyd yn awr;—aeth y Parch. Mr. Thomas, gyda mi at y Dr. Thomas, eithr ni roddodd yr olaf y lle gwanaf i obeithio y medrai ef wneuthur lles i mi—y mae'r tywydd yn wresog yma y dyddiau hyn, ac felly yn cadw ymaith y cryndod arferai fod arnaf.—Esgusodwch y modd trwsgl yr ysgrifenir y llythyr hwn, canys prin y gallaf ysgrifenu mwy nâ dryll-ymadrodd heb orphwys.

Pedwaran awr wedi chwech,—ysgrifenaf yn awr wedi *tê*, (yr hwn a ddaeth i gyd yn ol,) o gylch yr amser y byddai Griffiths, Roberts, &c., yn arfer dyfod i ymweled â'm hewythyr, pan oedd efe yn fyw—fy serch i'm holl gyfeillion, rhy aml i'w henwi.—Pa fodd y mae fy mam a'm chwiorydd?—nid wyf hanner mor gysurus wrth deithio â phan oeddech chwi gyda mi; da dros ben genyf pe byddech yma yn awr—diflas iawn yw marchogaeth yn unig, yn neillduol mewn gwlad ddyeithr,

Eich serchiadol fab,

"JOHN HARRIS."

Pigion o lythyr amseredig, *Cottage*, Castellnewydd Emlyn, Meh. 26, 1823.

"ANWYL DAD,—Derbyniais eich llythyr, amseredig Meh. 23, fel y daethum i'r lle hwn, a da iawn genyf ei gael,—nid wyf etto wedi cael y llythyr a ysgrifenasoch ataf i Aberduar, yr hyn sydd flin genyf, canys pob peth oddiwrthych chwi yn awr sydd dra chysurlawn i mi. Drwg genyf fynegu i chwi nad wyf ddim gwell, a da genyf pe gallaswn ddywedyd nad wyf waeth—y mae fy archwaeth at fwyd yn ddrwg dros ben, ac ni erys yr hyn a allwyf lyncu ond ychydig amser yn fy nghylla—fy nhraed a'm coesau, er ys pedwar niwrnod, a chwyddant gymmaint fel mai gydag anhawsdra mawr y gellir tynu fy motasau, meddyliais mai bai'r cegyddion a'm rhwystrai i fwyta mewn rhai manau, ond yma nis gallaf achwyn ar hyny, canys caf beth bynag a allwyf ddymuno, wedi ei drin yn y modd godidocaf, eithr nid oes nemawr blâs ar y danteithion mwyaf trudlawn—bûm yn ceisio chwŷad a phŷs gleision yn mhob man oddiar pan ddaethum oddicartref; yma mi a'u cefais, eithr fy archwaeth sydd wedi fy ngadael, prin y medraf wahaniaethu rhwng cyw iâr a chwŷad. Madam Brigstock, Miss Brigstock, a Mrs. Jones, eu Golygwraig, ydynt garedig anghyffredin wrthyf; dywedant fod pob peth yn eu meddiant, neu a fedro arian brynu, yn hollol at fy ngwasanaeth; gan gynnyg i mi faint a fynwn o arian, od oedd eisieu; anmhosibl yw rhagori ar eu

caredigrwydd. Lle hyfryd iawn yw hwn, eithr yr ydwyf fi yn rhy wan, marwaidd a phoenus, i fwynhau dim o'u serchusrwydd."

Wedi rhoddi hanes manwl o'r modd y teimlai bob dydd oddiar yr ysgrifenasai o'r blaen, efe a ddywed,—

"Pawb yma a'm cynghorant i aros yma hyd oni ddychwelwyf adref, a pheidio myned yn mhellach—rhoddwch eich cyngor i mi ar y pen hwn, a gwnaf yn gymhwys fel y dywedwch: pa fodd bynag, bwriadaf fyned i Aberteifi y fory, a dysgwyliaf eich atebiad yno. Yr ydwyf dra annedwydd am na fedraf gyd-ffurfio â'ch cyngor daionus chwi, o ran cadw fy ysbryd yn siriol, ymdrechaf wneuthur hyny, eithr pan fyddwyf yn unig, ac mewn poen mawr, llwyr annichonadwy yw ei wneuthur. Gwelwch yn dda i ysgrifenu yn ddioed—fy serch at y teulu a'm cyfeillion oll. Pa fodd y mae fy mam ar ol marwolaeth fy ewythyr? Gorphwysaf eich serchiadol ac ufydd fab,

"JOHN HARRIS."

Wedi hyn aeth fy IEUAN i Aberteifi, lle yr ymgeleddwyd ef yn y modd mwyaf croesawus, gan Mr. T. Jones, a'i deulu, a llawer ereill, y rhai a enwodd efe gyda diolchgarwch gwresog. Ond er pob ymgeledd, yr oedd terfyn ei yrfa yn nesâu, ac felly, efe aeth wanach wanach; dychwelodd i'r *Cottage*, gyrodd ei geffyl adref efo'r cludydd, ac anfonodd Mrs. Brigstock gerbydan *(chaise)* i'w ddwyn i Gaerfyrddin, a'r rhagddywededig Mrs. Jones, gydag ef, i ofalu am dano, yr hon a ddaeth gydag ef i Abertawe yn y cerbyd oddiyno. Pan ddisgynodd o'r cerbyd, yr hyn oedd ar nos Sadwrn, gwenieithais i mi fy hun ei fod yn edrych yn well nâ phan aeth oddicartref, eithr yn yr addoliad drannoeth (dygwyddodd fod gwr dyeithr yn pregethu) teimlais fy mynwes ar unwaith yn glwyfus iawn; ymddangosai côr y cantorion yn ddyeithr dros ben, am nad oedd fy JOHN yno. Ei olwg wanaidd, welw, a chlafaidd yntau, yn ochr ei fam, a archollodd fy nghalon i'r byw, "Ow fy IEUAN! (eb fi wrthyf fy hun) pa fodd y'th roddaf i fynu; Och! pa fodd y gallaf feddwl ymadael â thi fy anwyl, anwyl IEUAN! O! fy nhirionaf JOHN HARRIS, a raid i mi mewn difrif dy golli di fy mab? Rhuthrodd ei rinweddau aml i'm cof fel diluw anwrthwynebol; dagrau dystaw a ffrydiasant o'm llygaid, ac ing annhraethol fy meddwl oedd braidd yn anoddefadwy. O'r pryd hwnw allan yr oedd genyf res newydd o deimladau, eu cyffelyb ni bu genyf erioed o'r blaen, ac nis credaswn cyn hyny fod fy meddwl yn addas, neu yn ddarostyngedig i'r fath deimladau; meddyliwn fy mod yn teimlo archoll llythyrenol yn fy nghalon, neu fod darn o'm calon mewn gwirionedd wedi ei dynu o'm cnawd. Gwyddwn fy mod yn ei garu yn anwyl erioed, ond ni theimlais rym angherddol y cariad hwnw hyd yn awr. Ymddangosai'r byd megys pe buasai wedi ei droi i'r gwrthwyneb, ac i berffeithio fy helbul, ni fedrais weddio yn gyhoeddus dros fy anwylaf blentyn, yn neillduol o hyny allan; gwnaethum ddau gynnyg, un yn yr addoldŷ, a'r llall yn y teulu; gallwn o'r braidd weddio dros gleifion yn gyffredin, ond fel y cyfeiriwn ato ef yn neillduol, y teimladau a friwient, y dagrau a ffrydient, ac a'm tagent, fel nas gallwn lefaru, er ymdrechu i'r eithaf. Dichon rhai pregethwyr wylo a phregethu yn hwylus yr un pryd;

eithr eu dagrau hwy, yn ddiamheu genyf, ydynt yn nes i'r glânau nâ'r eiddo fi, ac a ddeuant allan wrth lai o loesion tufewnol; poenus i mi bob amser yw areithio ar unrhyw bwnc heb ei deimlo, eithr teimlo gormodd sydd gynddrwg â theimlo rhy fach i'n hanaddasu i wasanaeth cyhoedd, er adeiladaeth y gwrandawyr. Gwyddai'm IEUAN am hyn, a dywedai unwaith wrthyf, "Gweddiwch dros y cleifion oll, fy nhad, gŵyr Duw fy mod i yn un o honynt." Dywedais wrtho fy mod yn gweddio yn dra mynych, teimladwy, a thaer drosto yn ddirgel, gan obeithio ei fod yntef yn gweddio drosto ei hun, "Yr ydwyf yn wir, eb efe, yn daer iawn, ac yr wyf yn hyderu yn ddiragrith."

O'r dydd uchod hyd drancedigaeth *Hyfrydwch fy llygaid*, mynych mynych yr wylwn ac y gweddiwn drosto ef yn bennodol: credaf i mi lawer gwaith ostwng fy nghliniau 12 o weithiau yn y dydd yn fy myfyrfa, gerbron Tad y Trugareddau, gan agor fy mynwes friw, ac ymbil yn y modd taeraf a mwyaf gostyngedig am arbediad ei fywyd anwylaf, os da gan ei enw; os amgen, ei wisgo â mantell iachawdwriaeth, a'i addasu i fyd gwell. Gwir yw y byddai'r dagrau yn atal fy ngeiriau yma yn gystal ag mewn lleoedd cyhoeddus; eithr gwyddwn nad oedd hyny rwystr yn y byd i Dduw ddeall fy ngweddi, er y buasai yn fy anghymhwyso yn hollol i fuddioli ereill.

Ond i ddychwelyd. Annogwyd fy mhlentyn tyner, gwanaidd, ac afiach, i fyned oddi cartref dros ychydig eilwaith, ac am fod perthynas iddo yn wr meddygol yn Hwlffordd, cychwynodd ef a'i fam tuag yno, yn y cerbyd, ar ddechreu Awst; buont yno ac yn y gymmydogaeth tua thair wythnos, dychwelasant heb fod ddim gwell, eithr y claf yn glafach, a'r gwan yn wanach. Mewn un o'i lythyrau ataf, o'r dref uchod, wedi mynegu ansawdd ei gorff, &c. efe a ddywed:—

"Yr ydwyf yn dra rhwymedig i chwi, fy anwyl Dad, am y cyngor mwyn a thadol cynnwysedig yn eich llythyr. O ran fy ngolygiadau am gyflwr i ddyfod, nid wyf yn ymddibynu ar ddim ond gwaed y groes i'm puro, a thrugaredd rad Duw am fynediad i drigfanau tangnefedd. Yn bresennol y mae fy enaid mewn llawer o dywyllwch; yr wyf yn gweddio yn gysson, ac (yr wyf yn credu) yn daer, ac o'r galon, ar Dduw am faddeuant o'm pechodau aml, ac am ryw gysur ar wely cystudd; credaf fod gwaed y groes yn ddigon rhinweddol i'm glanhau, a bod pechaduriaid cynddrwg â minnau wedi cael maddeuant; dyma'm hunig gysur yn wyneb marw.—Nid wyf yn ymddibynu yn y mesur lleiaf ar un rhinwedd dybiedig mewn gweithredoedd da o'r eiddof fi am gyfiawnhad; canys gwn nad yw fy nghyfiawnladau goreu ond budreddi a ffieidd-dra (ynddynt eu hunain) yn ngolwg yr Arglwydd, &c. &c. Eich ufydd, ond cystuddiol, fab,

JOHN HARRIS."

"*Adieu, my Father!*"—*Ah! my* JOHN, *Adieu!*

Wedi dychwelyd o Hwlffordd, ychydig cyn diwedd Awst, parhaodd yn yr un cyflwr ag o'r blaen, gan oeri, poethi, gloesogi, a methu bwyta nac yfed, ond ychydig iawn. O anghenrheidrwydd, yr oedd yn myned wanach wanach bob wythnos, eithr gwanychai mor raddol, fel mai prin y medrem ni, ag oeddym gydag ef bob dydd, ganfod gwahaniaeth yn ei wedd.—Parhaodd i gyfodi o'i wely, a dyfod o'i ystafell i'r ymddyddanfa

*(parlour)* bob dydd, hyd o fewn pedwar diwrnod i'w ymadawiad; eithr yr oedd dros fisoedd cyn hyny yn rhy wan i esgyn na disgyn ar hyd y grisiau ei hun; ei dad bob amser a'i cymmerai i fynu ac i lawr ar ei gefn. Y tro cyntaf y cydsyniodd i mi ei gymmeryd ar fy nghefn i'r llofft, efe a ddywedodd,—"Wel, fy nhad, yr wyf yn cofio'r amser y darfu chwi fy nghario i lawer gwaith, a meddyliais mai fy nhro i fuasai eich cario chwi nesaf:—*but*

> *"God moves in a mysterious way*
> *His wonders to perform;*
> *He plants his footsteps in the sea,*
> *And rides upon the storm."*

Gair cyfaddas iawn yw hwna, eb fi, i ni yn ein hamgylchiad presennol. "Ië'n wir, fy nhad, (eb IEUAN) yr ydwyf wedi canfod llawer o ogoniant yn ddiweddar mewn amryw bennillion Cymreig a Saesnig, y rhai nad oeddwn yn gweled dim anarferol ynddynt o'r blaen, eithr yn awr perthynant yn neillduol i'm cyflwr."

Un diwrnod pan oedd fy machgen tirion yn dywedyd wrthyf fod amser ei ymadawiad gerllaw; atebais ef i'r perwyl hyn, "Fy anwylaf JOHN, nid da yw myned i gwrdd ag angeu cyn y delo, eithr braint yw bod yn barod i'w gyfarfod, can nad pa bryd y galwo am danom; gan fod yn rhaid i ni oll fyned oddiyma cyn hir, nid yw o nemawr pwys, ond cael rhan yn Nghrist, pa un o honom a elwir gyntaf, nid hir y bydd y sawl a adewir heb ganlyn; etto, rhaid i mi addef, os ewyllys yr Arglwydd yw dy gymmeryd di, fy anwyl JOHN, ymaith yn awr, y bydd y fath wagle yn y byd, yn fy ngolwg i, a'r nas llenwir byth tra fyddwyf fi byw.—"Gwir, fy nhad, (eb yntau,) gallaf ddywedyd yr un peth; meddyliais lawer gwaith, mai anialwch hollol ddiffrwyth i mi fyddai'r byd hwn pe gelwid fy nhad o hono o'm blaen; ac felly, nid oeddwn un amser yn meddwl eich bod chwi i'm rhagflaenu trwy borth marwolaeth, er hyny, nid oeddwn ychwaith, hyd yn ddiweddar, yn meddwl y byddwn i farw o'ch blaen chwi; eithr trefnai'm dychymmyg i ni'n dau farw o gylch yr un pryd. Ewyllys yr Arglwydd a wneler tuag atom oll."

Wedi gofyn un boreu i'm plentyn cystuddiol, pa fath orphwysdra a gawsai y nos o'r blaen, efe a ddywedodd ei fod yn cael ei flino gan freuddwydion.—"Pa fath freuddwydion? (eb fi) ai rhai dychrynllyd oll yr ydwyt yn weled?"—"Nagê, fy nhad, rhai hyfryd dros ben ydynt oll."—"Da iawn, JOHN bach, (atebwn innau) rhagora'r rhai hyny yn mhell ar weledigaethau dychrynllyd."—"Meddyliaf eich bod yn camsynied, fy nhad."—"Pa fodd gall hyny fod, fy anwyl JOHN?"—"Breuddwydion twyllodrus ydynt, fy nhad; canys yn mysg pethau ereill, breuddwydiaf fy mod yn gwella, neu wedi gwella yn holliach; eithr pan ddihunwyf siomir fi; yn lle bod yn holliach, wele fi yn meddiant y darfodedigaeth, neu glefyd yr afu; yn lle bod yn mharadwys, wele fi yn nghanol yr anialwch."—"Wele, fy mhlentyn anwylaf, yr wyf yn tewi; rhoddaf fy mhwnc

i fynu—ond os siomedig yw breuddwydion, fy mhlentyn clafaidd, ni siomir neb a ymddiriedo yn Nuw."—"Na wneir, na wneir, dyma'm cysur yn ngwyneb pob siomedigaeth; hyderaf fod gras Duw yn ddigon i mi."

Bryd arall, pan aethum i'w ystafell, y peth cyntaf a ddywedodd wrthyf oedd i'r perwyl hyn, "Fy nhad, yr ydwyf wedi bod yn meddwl mai peth croes iawn i natur ydyw marw, er marw yn yr Arglwydd; etto, cysurus yw meddwl na raid marw ond unwaith; ac am fod yn rhaid myned trwy wlad brenin y dychryniadau, ef allai mai goreu pa gyntaf yr elwyf drwy'r ymdrech terfynol hwnw. Ac yr wyf wedi meddwl amryw weithiau mai gwell i mi farw o'r clefyd hwn nâ gwella, rhag ofn y byddwn, fel y gwelais lawer ereill, yn fwy pechadurus wedi gwella nâ chyn clafychu." "Ië, ïe, fy mab, gelyn i dduwiolion ydyw angeu, ond gelyn a ddinystrir ydyw; ac am nad oes ffordd i dŷ ein Tad nefol ond trwy ei diriogaeth, ymfoddlonwn i fyned yn amser Duw, y mae Iesu Grist yn ddigon i'n cynnal wrth fyw a marw." "Ydyw, ydyw, (eb IEUAN,) dyna'm cysur wrth edrych o'm blaen."

Goddefodd fy hyfrydaf JOHN ei hir gystudd yn amyneddus iawn; ei ysbryd oedd dra gostyngedig, toddedig, ac ennillgar; a diniweidrwydd, neu ddiddichellrwydd yn argraffedig yn ei wedd. Bob tro yr ymddyddenais ag ef am bethau tragywyddol, ymddangosasai ei fod yn dra hunanymwadol, yn pwyso yn gyfan-gwbl ar deilyngdod ei Brynwr am fywyd tragywyddol, ac yn taer weddio am gael ei santeiddio yn fwy er gogoniant i Dduw.

Ni chefais i na neb ereill nemawr o'i enau yn wythnosau diweddaf ei einioes, gan ei fod mor waned fel na allasai lefaru heb boen mawr, a phob cynnyg i lefaru a gynhyrfai'r peswch cryf a'i rhwygai; am hyny, trwy awgrymau gan mwyaf yr amlygai efe ei ddiffygiadau, a'i gydsyniad, neu ei anghydsyniad, â'r hyn a ddywedid wrtho; parhaodd felly hyd foreu angeuol dydd Iau, y 4ydd o Ragfyr, 1823, pryd yr ymadawodd fy hyfrydlawn IEUAN DDU â'i holl gyfeillion isloerawl, ac â'r byd hwn am byth, ar y pryd yr oedd awrlais y teulu yn taro chwech; a phan ydoedd o fewn 16eg diwrnod i 21ain oed.* Trengodd heb na rhoch nac ochenaid, nac

* Cymmerodd lawer o hyfrydwch, yn ei glefyd, yn ei chwaer fechan, Hannah, (Mrs. D. R. Stephen yn'awr,) yr ieuengaf ond un, yr hon oedd 8 mlwydd oed, ond wedi cyrhaedd ei 9 mlwydd cyn iddo ef ein gadael; o herwydd hi a ymbleserai yn rhyfedd i wasanaethu arno; er ei bod brydiau ereill yn hoffi chwarae diniwed, fel plant ereill, yn awr hi a hoffai aros gydag ef trwy'r dydd, pan na fyddai yn yr ysgol, heb feddwl am fwy o hyfrydwch nag a darddai oddiwrth weini i'w brawd cystuddiol; pan fyddai ei fam neu minnau yn ei gynnorthwyo gerfydd ei fraich, i symud o un lle i'r llall, neidiai yr eneth fechan at y fraich arall, megys pe gallai fod o wasanaeth mawr; a pheth hynotach fyth yw, mai hi oedd yn tòri ei farf dros amryw fisoedd, nid ag ellyn, ond â'i gwelleifyn *(scissors)* bychan, yr hyn a wnelai mor laned ag y medrai un eilliwr ei wneuthur; ei ddewisiad pendant oedd cael tòri ei farf yn y ffordd hyn, ac ni chydsyniai, fodd yn y byd, i anfon am eilliwr hyd onid aeth yn wanaidd iawn. Ymddygiad caruaidd yr eneth fechan a effeithiodd yn fawr ar ei deimladau.—Llawer gwaith y dywedodd wrthyf,—"Fy nhad,

un arwydd o gyfnewidiad ond bod yr anadl wan wedi gorphwys. Amlygwyd galar tra chyffredin trwy y dref a'r gymmydogaeth, pan aeth y newydd allan; tyrodd llawer o wahanol raddau a golygiadau i weled ei gorff marw ar y dydd hynodol uchod, a'r dyddiau canlynol; ac anaml iawn oedd tlawd neu gyfoethog, hen neu ieuanc, a fedrent ymattal rhag tywallt ffrwd o ddagrau wrth weled ei babell briddlyd yn amddifad o'i thrigiannydd arferol. Rhwng dau a thri o'r gloch y dydd Llun canlynol, hebryngwyd cymmaint a adawodd angeu o JOHN HARRIS i'r tŷ rhagderfynedig i bob dyn byw; ac er nad oedd pregeth i ddenu neb i'r angladd, ac er bod annymunoldeb yr hin yn tueddu yn hytrach i'w gwahardd, cynnullodd tyrfa fawr o bob graddau i ddangos yr arwydd olaf o'u parch i'r trengedig; heblaw trigolion y dref boblog hon, daeth llawer o'r cymmydogaethau oddiamgylch, a rhai o gryn bellder, i'r angladd. Clywais un ag oedd yn nghymmanfa fawr Llangloffan, yn 1822, yn dywedyd fod cynnifer o ddynion yn yr angladd ag oedd yn y gymmanfa hòno; eithr meddyliaf fod hyn yn myned yn rhy bell, pa fodd bynag nid wyf yn cofio i mi weled angladd erioed â chynnifer o ddynion ynddo. Y cynnulliad mawr hwn a dueddai i'm cysuro mewn rhan, trwy ddangos fod parch gan lawer hebof fi i goffadwriaeth yr hyglod IEUAN DDU.

Meddyliaf i angladd fy IEUAN adael argraff ddwys ar feddyliau llawer yn y dref. Lliosogrwydd y dyrfa ynddo a dynai sylw'r cyffredin at yr olygfa gyffrous, a thueddai'r drefn y cychwynai llawer o honynt o'r tŷ i'r fonwent i wneuthur llawer anystyriol yn ystyriol. Yn flaenaf oll, cychwynai Ficer y plwyf, yr hwn hefyd sydd ynad yr heddwch, yn ei wisgoedd swyddol, pedwar o weinidogion yr Ymneillduwyr, a chyfaill arall, yn ddau a dau; ar eu hol hwy, rhes hir o foneddigasau ieuainc, dwy a dwy, oll mewn gwisgoedd gwynion, o'r coryn hyd y droed; wedi hyny arch fy hyfrydaf JOHN a'i chynnwysiad, a'r rhai oedd yn ei dwyn; yn nesaf canlynai ei dad a'i chwaer anwylaf, Hannah, wedi hyny ei ewythr a'i chwaer ieuengaf, Mari, (ni fedrai ei fam a'i chwaer henaf gychwyn o'r tŷ,) ac ar ol hyny torf o foneddigesau ieuainc, dwy a dwy, oll mewn gwisgoedd duon, a thorfeydd ereill o'r ddau tu i'r dorf drefnus, yn llenwi yr heolydd o'r tŷ i'r llàn. Amryw gyfeillion a fynasant gyflawnwisg (*suit*) o ddillad galar ar yr achos poenfawr hwn. Eu cydymdeimlad tyner hwy, a phawb ereill, a amlygasant gymmaint parodrwydd "i wylo gyda'r rhai oedd yn wylo," a argraffodd ddiolchgarwch yn ddwfn ar fy nghalon drom.

Ar y Sabboth canlynol, traethwyd dwy bregeth dra chyffrous ar yr achos galarus hwn, y naill yn y boreu, yn Gymraeg, gan Mr. J. Thomas, o Gastellnedd, i gynnulleidfa dra lliosog a gwrandawgar, oddiwrth 1 Cor. xv. 26, "Y gelyn diweddaf a ddinystrir yw yr angeu." A'r llall yn yr

cofiwch roddi fy oriawr, a phob peth a berthyn i mi, ag a ddichon fod o les iddi hi, i Hannah'm chwaer, oni bydd arnoch eu heisiau eich hun, eithr dymunwn i chwi roddi un o'm llyfrau i bob un o'm cyfeillion neillduol," (gan enwi amryw.)—Cyflawnwyd, a chyflawnir, fy hyfrydaf Ieuan, dy ddymuniad, hyd ag y medro dy dad.

hwyr, yn Saesneg, gan Mr. Davies,* o gerllaw Aberteifi, (ond cyn a chwedi hyn yn athrofa Caerodor,) oddiwrth 1 Sam. xv, 32, "*Surely the bitterness of death is past.*" Dywedir wrthyf i gannoedd o ddynion tra chyfrifol orfod myned adref o ddrws yr addoldŷ o ddiffyg lle oddifewn, canys yr oedd y tŷ wedi ei lenwi hyd yr eithaf, ac nis gallasid clywed oddiallan; a'r fath oedd y teimlad cyffredin oddifewn, fel y gellasid galw'r lle yn ffrydle dagrau.

Nid pobl gyfagos yn unig a amlygent eu galar a'u cyd-ymdeimlad, eithr llawer o gyfeillion pellenig, amryw o'r rhai na welsant fy anwyl JOHN erioed, yn eu gohebiaeth, a ddangosasant eu tristwch am y tro. Nis gallaf ymatal rhag gosod pigion o rai o'r llythyrau a dderbyniais ar yr achos gerbron y darllenydd. Ni roddir enwau y Gohebwyr yn llawn ar ol eu llythyrau, o herwydd na fwriadasid, ysgatfydd, gyhoeddi neb o honynt; eithr y mae enwau yr ysgrifenwyr yn llawn wrth y llythyrau oll, y rhai a ellir weled gan ba gyfaill bynag a ewyllysio. Pan glywodd cyfaill caredig yn Llundain, gwaith yr hwn a ymddangosodd lawer o weithiau yn y SEREN am glefyd peryglus fy JOHN, efe a ddywedodd:—

"Nis gallaf lai nâ galaru am gystudd IEUAN DDU, a chydymdeimlo â chwi yn nghyfyngder eich meddwl; gofidiaf mor galonog am dano ef, ag y gwnawn am frawd, a'm cydymdeimlad â chwi sydd mor ddidwyll ag y byddai â fy nhad, mewn cyffelyb amgylchiadau. Llawen iawn fyddwn pe byddai un peth o fewn cyrhaedd i mi a fedrai laesu eich gofid chwi, a lleihau ei boen yntau; pe medrai deng mil o weddiau adferu eich mab i iechyd, buasai yn holliach cyn hyn. Un cysur sydd i mi a chyfeillion lluosog IEUAN DDU a chwithau, bod genych eill dau gymhorth Athroniaeth a Chrefydd i ddwyn eich rhan o drallod yn nyffryn dagrau," &c. I. B. J.†

Oddiwrth wr boneddig o gerllaw'r Fenni.

"Dymunwn eich cysuro, pe medrwn, yn yr amser blin a gofidus yma, ond y mae yn lled debyg nas gallaf hyny, ond efallai y goddefwch i mi gyd-alaru â chwi, am yr ymweliad chwerw anadgyweiriol hwn: credu yr wyf eich bod wedi llefaru amryw weithiau, 'O, fy mab, IEUAN! fy mab, fy mab, IEUAN, O na buaswn farw drosot ti, IEUAN DDU, fy mab, fy mab!'—Etto, ni a glywn yr un gwr yn dywedyd, 'I ba beth yr ymprydiwn,' &c.—IEUAN anwyl, er na welais i erioed o hono, yr oedd ei waith yn felus a hoff genyf, a chan ereill sydd yn hoffi yr hen Iaith Gymraeg yn yr ardal hon; yr ydym yn hiraethlawn a gofidus ar ei ol.—Nid i ychydig oedd ei ymadawiad yn golled, oud i'r holl Gymry ag ydynt yn hoffi iaith eu gwlad.—Gwyn ei fyd, nid oedd y ddaear yn deilwng o hono." J. M.‡

Oddiwrth Offeiriad, o Geredigion, yr hwn sydd wedi enwogi ei hun fel bardd, &c.

"MR. GOMER,—I heartily condole with you on the great loss you have lately experienced. I sincerely wish yw well as the father of all our Welsh publications. I hope the SEREN will never be deserted, as IT was the first to give impulse to Cambrian genius," &c. D. E.§

Oddiwrth wr cyfrifol, gerllaw Pontypwl.

"Nid oes modd genyf eich cysuro am y golled o'ch anwyl IEUAN DDU; gobeithiaf y gwna'r Arglwydd hyny, yr hwn a ddichon wneuthur pob colled i fynu; y tro galarus hwn, yn ddiamheu a fydd yn golled i Gymru yn gyffredin," &c. E. G.

* Yn awr o Tottenham. † Mr. I. B. Jones. ‡ J. Morgan, ysw., Clydach.
§ Parch. D. Evans, (*Daniel Ddu.*)

Oddiwrth weinidog yr Ymneilldnwyr, gerllaw Dinbych, Gwynedd.

**"Gwelais trwy gyfrwng y SEREN fod eich anwylaf IEUAN DDU wedi ymadael â'r fuchedd drancedig hon. Gallaf ddywedyd fy mod yn cyd-ymdeimlo, ac yn cyd-ofidio â chwi o herwydd y tro galarus; yr Arglwydd a ymwel â'i bobl yn fynych trwy bethau ofnadwy, etto efe a wna bob peth yn ddoeth a da, er nad ydym ni bob amser yn canfod hyny. Pe byddai fod llawer ereill yn gofidio, â'u gruddiau yn wlybion herwydd yr amgylchiad profedigaethus hwn, yn gwneuthur y tro, ni byddai genych chwi fawr o achos galaru; eithr gwn na symud hyn mo'ch galar chwi, etto, cysur yw fod cynnifer yn teimlo drosoch, ac yn neillduol y dystiolaeth a adawodd eich TLWS ar ei ol," &c.**

J. K——Y.*

Oddiwrth weinidog y Trefnyddion (bardd enwog) o Gaerludd.

**"Y mae weithian dros flwyddyn wedi llithraw heibiaw er pan gefais gyf-ymweliad cyfeillachol â chwi—yn yr yspaid hyny mae llawer tro ar fyd wedi dygwydd; y mae adsain ergydion blyngion angeu wedi cyrhaedd o Abertawy i Gaerludd. Clywsom i chwi'n gyntaf golli eich brawd yn nghyfraith; wedi hyny IEUAN DDU! Ond yma gwell y lleiaf a ddywedwyf, rhag i mi ail friwio bron friwiedig eisioes—medraf gyd-ymdeimlo a chydalaru yn ddiffuant â chwi, ond nis medraf fi na neb ereill adferu eich colled; da genyf weled, a boddhaus genych chwithau yn ddiau ydyw gweled, bod y wlad yn gyffredin yn galaru am dano, ond er hyn oll ni ddaw y golled yn ol. Nid oes ond ymostwng dan alluog law Duw, a dywedyd, "Yr Arglwydd a roddodd," &c.**

I. T——G.†

Oddiwrth aelod (Deacon debygaf) o eglwys y Parch. J. Roberts, Llanbrynmair, swydd Drefaldwyn.

**"Nis gallaf lai nâ chydalaru â chwi am yr haeddbarch JOHN HARRIS; wrth feddwl am ei ddoniau a'i fedrusrwydd yn y cwbl a welais i o'i waith; ond caffed amynedd ei pherffaith waith," &c.**

R. D.

Oddiwrth weinidog o Lynlleifiad.

**"Gobeithiaf eich bod yn cael nerth yn ol eich dydd, dan brofedigaeth mor danllyd â cholli o'ch golwg eich mab, eich unig fab, IEUAN; yr ydwyf o'm calon yn cydymdeimlo â chwi a'ch priod, eithr nid oes dim yn y byd hwn a leinw'r blwch; cofio i Dduw roddi ei unig Fab i ni a ddichon eich tawelu. Colled gyffredinol oedd colli IEUAN DDU; ni adwaenaf yn awr un dyn ieuanc o'i fath; yr Arglwydd a'ch cefnogo er mwyn y rhai sydd yn ol o'ch teulu," &c.**

D. J.‡

Oddiwrth gyfaill gerllaw Llanboidy.

**"Drwg genyf mai o ddyffryn helbul yr ydych yn ysgrifenu atom, o achos ymadawiad eich anwyl IEUAN DDU, o *Lan Tawy;* gobeithiaf y deuwch o'r dyffryn ar frys, gan ymfoddloni i drefn Rhagluniaeth; yr ydwyf fi fy hun wedi galaru ar ei ol. Dyn ieuanc ag oedd yn fy ngolwg i yn debyg o fod gyda'r mwyaf yn y Dywysogaeth," &c.** T. L.

Oddiwrth gyfaill gerllaw Arberth, Dyfed.

**"Gwelais yn newyddiadur Caerfyrddin fod eich *anwyl fab* wedi myned i fyd yr ysbrydoedd, a Phen y bydoedd sydd yn gwybod, nid heb golli dagrau y darllenais y newydd, er nad oeddwn i yn ei adnabod yn bersonol; eithr da chwi, na ddigalonwch, os collwyd ef yma, fe'i cafwyd fry; gwn mai mawr yw eich hiraeth; Duw'r nefoedd a'ch diddano," &c.**

W. T.

Oddiwrth weinidog yn Aberteifi.

**"Mewn perthynas i'ch anwyl IEUAN DDU chwi, ac un o'm cyfeillion goreu innau, yr hwn pan glywais am ei farwolaeth, ac yn neillduol pan ddarllenais yn y SEREN yr**

* Parch. John Kelly. † Parch. James Hughes, *(Iago Trichrug.)* ‡ Parch. D. Jones.

ohebiaeth brydyddol fu rhyngoch ill dau, nis gallwn lai nâ gwlychu fy ngruddiau â'm dagrau. Gofynais iddo (pan oedd yma,) a fu ynddo ddim tuedd i fyned at grefydd? Atebodd, "Do, ac nad oedd meddwl am hyny yn mhell oddiwrtho yn awr, ond fod ei glefyd yn ei attal, gan ei fod yn gweled y byddai cymmeryd ei fedyddio yn awr, yn rhoddi achos i ddynion feddwl ei fod yn ystyried hyny yn ammod iechydwriaeth."—Gof.—A ydych yn gweddio? At. Ydwyf. Gof.—A ydych yn cael budd wrth weddio? At. Nid cymmaint ag y dymunwn, neu a dybiwn fod rhai ereill yn gael wrth y gorchwyl. Gof.—A ydych yn cael budd wrth glywed ereill yn gweddio? At. Ydwyf, wrth glywed y sawl a weddiant yn ol fy ngolygiadau a'm teimladau fy hun. Yn nghorff yr ymddyddan rhyngom, yr wyf yn cofio yn dda ei ddywediad, "Ei fod yn diolch llawer i Dduw am dad mor dyner yn ei gynghorion dwys a mynychol iddo." D. M.§

Derbyniais amryw lythyrau ereill, cynnwysiad y rhai sydd i'r un perwyl â'r rhai blaenorol; rhy faith fyddai cyhoeddi'r cwbl. Gwelir galargwyn am fy Ieuan, gan Iago Emlyn, a Ieuan Goch, Glan Towy, yn Seren Ionawr, tu-dal. 28. Llythyr toddedig *Idrison*, (Dr. W. O. Puw,) yn Seren Chwef. tu-dal. 57. Barddoniaeth rydd Caerfallwch, ac Englynion X. (bardd Cadeiriol,) yn Seren Mawrth, tu-dal. 87. Awdl o Goffadwriaeth am J. R. Harris, gan Isaac Dafis, ac Englyn D. S. yn Seren Ebrill, tu-dal. 117, 118; ac Englynion Rob. Owen, ar yr un testun, yn Seren Mehefin, tu-dal, 183.

At hyn ni ychwanegaf ond darn o hanes Cymreigyddion Tredegar, yn Seren Awst, tu-dal. 252, yr hwn a ddengys fod coffadwriaeth fy anwyl Ieuan yn barchus yno, er fod bryd hyny agos i saith mis oddiar pan gladdesid ef, ac nad oedd nemawr o'r aelodau wedi gweled ei wedd erioed:—"Yna cymmerid saib fêr eilwaith, ac yfid llwydd a chofion am amrai enwogion perthynol idd ein cenedl, ac yn mhlith y cyfrai, cofid am y diweddar garwr ei genedl, sef, ein hanwyl gymrawd Ieuan Ddu, Glan Tawy; ar hyn llyma ddystawrwydd pruddaidd trwy yr holl Gymdeithas. Gwedi cyd-alaru dros ychydig am ein cyfaill trengedig, cyfodes ein Llywydd (Gweinidog clodfawr o'r Eglwys sefydledig) ar ei draed, a dywedai lawer am deithi teilwng ein cyfaill, a'r golled ddirfawr a gafodd ei gydwladwyr ar ei ol; ac wrth glywed hyn prin y medrai un llygad ymatal rhag tywallt dagrau hiraethlon."

Gan fod cymmaint o amlygiadau galar trwy'r Dywysogaeth yn gyffredin, a pharthau o Loegr hefyd, hyderaf na farna neb yn afresymol alar dwys ei dad; heblaw'r undeb agos iawn sydd rhwng rhieni a phlant yn gyffredin, y mae genyf resymau neillduol dros fod yn hiraethlon iawn ar ol fy anwyl Ieuan Ddu.

1af. Fy *nghyntaf* anedig—fy nghyntaf anedig *fab*—a fy *unig* anedig *fab* ydoedd; ac yn y Bibl darlunir marwolaeth y cyfryw fel achos o'r galar trymaf, Jer. vi, 26; Amos viii, 10.

2. Unig fab aml iawn ei rinweddau, ac anaml ei wendidau ydoedd, gan dyfu i fynu yn gymhwys fel y gallasai tad cariadlawn ddymuno ei fod; ac, fel y sylwyd, yn debyg o ymresu yn mysg enwogion penaf ei wlad, o

§ Y diweddar Barch. D. Matthias.

ran dysgleirdeb doniau a dysgeidiaeth, diniweidrwydd bwriadau, a defnyddioldeb cyffredin. Pa lygad eill ballu deigryn wrth ganfod blodeuyn mor hardd yn cael ei daro â malldod angeuol, pan ydoedd yn dechreu gwasgaru ei beraroglau adfywiol ar led;—haul mor ddysglaer yn machludo cyn haner dydd,—a chwmwl mor anghenrheidiol, yn cael ei ŷru ymaith gan yrwynt anorchfygol, pan oedd yn dechreu tywallt allan ei drysorau buddlawn!

3. Mab ag ydoedd Gyfaill a Chynghorwr i mi ydoedd; ac ar ryw olwg yr unig gyfaill a feddwn i yn y byd oedd efe. Caethder fy sefyllfa, a'm rhwystrai i gyfeillachu nemawr â neb ereill: eithr cawn ei gymdeithas ef, o leiaf, ar bob pryd bwyd; a chefais ynddo bob rhaghanfodiad cyfaill; megys bod o'r un chwaeth *(taste,)* tueddiad, a golygiadau, â minnau am agos bob peth.—Parodrwydd mawr i amgyffred unrhyw beth newydd a osodid gerbron, can nad beth fyddai'r testun, ac hyfrydwch neillduol i droseglwyddo amgyffredion newyddion i'r sawl oedd ewyllysgar a galluog i'w hamgyffred; gan garu rhoddi neu dderbyn addysg, yn ol y byddai amgylchiadau yn gofyn.—Teilwng o bob ymddiried a ellir roddi mewn dyn, yn hollol ddiddichell a dihoced, fel y gallasid gweled trwyddo fel trwy ddarn o wydr tryloyw. O ganlyniad, ni wnawn nemawr ag oedd o bwys yn ei flynyddau diweddaf heb ymgynghori ag ef.

4. Cefais golled anadferadwy yn ei farwolaeth; i'w ofal ef y traddodwn bob peth dyrys a phwysig yn y Swyddfa;—efe ydoedd gofiadur tŷ ei dad; ac er nad oedd efe ond anaml iawn yn y gwerthdŷ, nac un gradd o ofal hwnw arno, etto pan ymofynid am ryw lyfr, neu ryw beth arall, na fyddid yn werthu ond yn anaml, y dywediad agos bob amser fyddai, pan fethid ei gael, "Gofynwch i John a ydyw y llyfr ar llyfr genym a'i peidio;" ei ateb yntau bob amser fyddai gywir, a difeth, er ei anfanteision i ateb y fath holiadau. Pan anfonid atom hen dônau, dan enw rhai newyddion, efe a ddatguddiai'r twyll yn fuan. Weithiau mynai rhai gohebwyr ymddyeithrio trwy newid eu henwau, eithr efe a adwaenai ysgrifen pob gwr ag y gwelsai ei waith ond unwaith o'r blaen, wrth edrych ar gyfarwyddyd y llythyr yn unig. Crybwyllais eisioes am ei wasanaeth yn diwygio 'sgrifau gwallus cyn eu rhoddi i'r egwyddorweis i'w cysodi, a'i graffder neillduol i ganfod gwallau'r wasg. Prin y medraf ddarllen cymmaint ag un brawflen o'r Bibl Dwyieithawg hyd heddyw, a'r na byddo'r dymuniad ofer hwn yn rhuthro i fy meddwl, "O na buasai John yma yn awr." Mewn gair, o'r braidd y meddyliaf fod un tad yn y dywysogaeth wedi cael cymmaint colled ar ol ei fab ag a gefais i, oddigerth y sawl a ymddibynai am fywioliaeth ar fywyd ei blentyn.

5. Ymddangosai fod gan fy Ieuan serch mawr at, a pharch mwy nâ chyffredin, i'w dad. Wrth fanwl sylwi ar y byd, deallaf mai peth arferol gan blant, cyn tyfu i'w cyflawn faintioli, yn neillduol os canmolir hwy gan gymmydogion ac ereill, fel rhai cywrain a gwybodus, yw cyfrif eu hunain yn gallach nâ'u rhieni, a diystyru addysgiadau tad a mam; nid felly

John Harris; efe a roddai'r ufydd-dod parotaf a siriolaf i eirchion ei dad; ac er ei fod yn cael cryn dderchafiad, ni ddiystyrai yr addysg a roddwn iddo; chwennychai bob amser i mi edrych dros ei ysgrifau cyn eu hargraffu, a diwygio neu gyfnewid yr hyn a welwn yn rheidiol, hyd yn nod pan ysgrifenai ar byncíau, (megys Grisiau Cerdd, &c.,) ag y gwyddai ei fod yn eu deall yn well nâ mi. Ei ofid penaf yn ei glefyd, pan oedd oddicartref, fel y dengys un o'i lythyrau toddedig, oedd rhag bod ei dad yn peryglu ei iechyd. Dymunasai fy mod i gydag ef yn teithio, er cael cyfeillion tyner dros ben yn mhob man. Pan oedd yn dihoeni gartref, ac yn gallu rhodio ychydig allan, nid boddlon ganddo bwyso ar fraich neb ond ar eiddo ei dad; os marchogaeth ychydig a wnelai, neb ond ei dad a'i boddiai i arwain y ceffyl; ac er bod amryw yn y Swyddfa yn gryfach nâ myfi, a ymhyfrydent i wasanaethu arno, nid neb a wnelai'r tro i'w gario i fynu ac i lawr ar hyd y grisiau ond ei dad. Byddid yn prynu gwahanol ffrwythydd iddo bob dydd, neu bob yn ail ddydd, hyd nes aeth yn rhy wan i fwyta ond y nesaf i ddim, eithr meddyliai bob amser mai ei dad a fedrai bigo'r ffrwythydd goreu at ei archwaeth, am hyny, myfi a elai fynychaf o neb i'r farchnad i geisio'r pethau hyn. O, fy Ieuan hawddgar! tuhwnt i gariad gwragedd oedd dy gariad purlon ataf fi!—Gobeithiaf nad oes ddyn yn ngwlad trugaredd mor ddideimlad a drwgdybus a meddwl fod genyf mo'r dyben wrth grybwyll yr amgylchiadau dibwys hyn (i'r cyffredin) heblaw dangos mawr serch fy Ieuan anwyl ataf, a bod tuedd cryf yn yr adgofiad o'i fawr serch, i gynhyrfu hiraeth cadarn a pharhaus yn fy mynwes glwyfus.

6. Marwolaeth fy nhirionaf Ieuan a ddinystriodd agos fy holl gynlluniau daearol, a siomodd fy nysgwyliadau hyfrydaf, ac a orchuddiodd fy rhagolygfeydd dysgleiriaf â chaddug dudew. Ni buaswn yn meddwl am ymdrafferthu yn nghylch masnach fydol ond er ei fwyn ef. Ei Swyddfa ef yn mhen ychydig y cyfrifwn Swyddfa Seren Gomer; er ei fwyn ef y caethiwais fy hun dros flynyddau, ac y lleihais fy nefnyddioldeb mewn pethau ereill. Byddwn weithiau yn meddwl wrth edrych ar fy llyfrau, na chawn amser i ddarllen eu hanner, Ond, eb fi, byddant i John ar fy ol i. Ymadawn â phob peth mewn ystyr, gan eu rhoddi yn fy meddwl yn ewyllysgar iawn i'm John. Ond er rhoddi yn siriol, och, mor galed a chwerw oedd eu derbyn yn ol drachefn. Gwaith hawdd ac esmwyth oedd rhoddi, ond gwaith poenus a thor-calonus oedd derbyn yn ol. Yr ystyriaethau dywededig ac amryw ereill, a barhant i glwyfo'm teimladau hyd heddyw; ac er fy mod yn ymdrechu bod yn siriol yn mhob cyfeillach, i'r dyben i ysgafnhau ychydig ar fy meddwl, a pheidio blino ereill; etto, pan fyddwyf wrthyf fy hun, fy nagrau yn aml a lifant mor naturiol â'r mynyd cyntaf. Ac er bod agos i flwyddyn oddi ar pan gladdwyd fy hyfrydaf John Harris, gorfu arnaf roddi heibio fy ysgrifell amryw weithiau wrth ysgrifenu y Cofiant hwn, am fod fy nagrau yn dallu'm llygaid. Bu'm amryw wythnosau cyn, ac wedi, ymadawiad y

Blaguryn Peraidd, yn methu yn deg a chyflawni un gwasanaeth cyhoeddus, a meddyliais amryw weithiau mai trugaredd fawr i mi oedd fy mod mor brysur, a mwy o waith genyf nag a allaswn gyflawni heb orchest, neu roddi'r cwbl i fynu, yr hyn a'm rhwystrai i fagu a meithrin fy hiraeth, ac o dan Dduw, am a wn i, a'm cadwodd rhag colli fy synwyrau; gwn y gallasai yr Arglwydd fendithio moddion ereill i'r un dyben; eithr yr hyn a gyfrifwn yn galedi mawr a fu dra bendithlawn i mi.

Cefais lawer o gysurwyr caredig, pell ac agos; swm eu cynghorion, a'r hyn a atebwn iddynt, neu i fy meddwl fy hun, a ganlyn:—*Cysurwr.* Da chwi, na alarwch, nid oes dim wedi dygwydd ond yr hyn ag oedd yn naturiol i chwi ddysgwyl.—*Galarwr.* Gwir, etto nid oeddwn yn caru dysgwyl y fath-beth, a phrin y medraf gredu yn awr, ar brydiau, ei fod wedi cymmeryd lle, er gwybod ei fod.—*Cys.* Cofiwch ymddygiad Aaron, pan gollodd ddau o'i feibion yn ddisymmwyth, "a thewi a wnaeth Aaron," Lef. x, 16.—*Gal.* Tewi ydwyf finnau, ni ddywedais, ac ni feddyliais, fod Duw wedi gwneuthur allan o le â mi; er trymed fy ngalar, credaf mai uniawn yw holl ffyrdd yr Arglwydd; ond er i Aaron a minnau dewi, nid yw hyny yn profi ei fod ef na minnau heb hiraeth trwm a dwysfawr, o dan yr oruchwyliaeth chwerw. Hefyd, er fod profedigaeth Aaron yn drymach nâ'r eiddof fi, ar un olwg, yr oedd yn ysgafnach ar olwg arall; canys er iddo golli dau fab, yr oedd ganddo ddau ar eu hol, eithr nid oes genyf fi mo'r mab ar ol fy anwylaf JOHN HARRIS!—*Cys.* Sylwch fel y boddlonodd Dafydd i drefn rhagluniaeth pan fu farw ei blentyn, "I ba beth yr ymprydiwn?" &c. 2 Sam. xii, 23.—*Gal.* Plentyn bychan newydd ei eni oedd hwnw, heb ynddo fawr i ddenu serch neillduol tad, ond blaguryn a gafodd gyfle i ddangos ei ragoriaethau dysglaer oedd IEUAN DDU! Addefaf yn rhwydd fod Dafydd yn gwasanaethu Duw o lawer yn rhagorach nâ mi ar y cwbl, etto, efe a ollyngodd alar ar ol mab arall fyned o lawer yn mhellach dros derfynau rhesymoldeb nag a wnaethum i hyd yma; er bod ganddo amryw-feibion ar ei ol, ei deimladau dolurus a lwyddasant i'r fath raddau â pheri i'w gyfeillion gredu ei fod yn caru ei gaseion, a fynasent ei ladd, yn fwy nâ'i garedigion a beryglasent eu bywydau i amddiffyn yr eiddo ef, 2 Sam. xviii, 23, a xix, 1—6.—*Cys.* Ystyriwch Job, yr hwn er colli ei blant, ei olud, ei iechyd, a'i gyfeillion oll, a hyny megys ar unwaith, a ddywedai yn dawel iawn, "Yr Arglwydd a roddodd a'r Arglwydd a ddygodd ymaith; bendigedig fyddo enw yr Arglwydd." Job i, 21. Er i chwi golli prif *hyfrydwch eich llygaid*, etto, eich plant ereill ydynt yn fyw, eich meddiant daearol a'ch cyfeillion yn ddigyfnewid, oddigerth bod yr olaf yn teimlo mwy drosoch nag o'r blaen. —*Gal.* Na ato Duw i mi feddwl ymgystadlu mewn duwioldeb â Job; caniatâf yn rhwydd iddo ef gael ei daro yn drymach o lawer nag a gefais i; etto, rhaid i chwithau addef i ofid a galar Job dòri allan yn fwy aflywodraethus nâ'r eiddof fi; er bod fy nghalon ar dòri am fy ngharedicaf IEUAN, etto, ni chlywodd neb, na Duw na dyn, fi yn melldithio dydd fy

ngenedigaeth. Ond, er na ddywedais, ac na feddyliais, ddim yn ynfyd yn erbyn Duw o dan yr oruchwyliaeth chwerw hon, gallaf uno â Job i ddywedyd yn ostyngedig, "Gwna i mi wybod pa ham yr ymrysoni â mi," Job. x, 2.—*Cys.* Clywais chwi yn rhoddi cynghorion odiaethol i alarwyr cyn hyn, a raid i ni ystyried y rhai hyny yn ddiwerth o hyn allan?—*Gal.* Na raid. Dichon y cynghorion fod yn eithaf da, er bod llawer calon glwyfus yn methu eu defnyddio. Hefyd, ni ddarfu i mi erioed feio neb am alaru ar ol cyfeillion anwyl, tra fyddent yn galaru fel Cristionogion, ac nid fel ynfydion.—*Cys.* Credwch fi, pechod yn erbyn yr Arglwydd yw galaru ar ol y marw.—*Gal.* Cystal fyddai dywedyd mai pechod yw chwant bwyd a syched, pan fyddai eisieu lluniaeth a diod arnaf; neu mai pechod fyddai teimlo dolur pe archollech fy nghnawd. Yr un mor naturiol i mi oedd caru'm IEUAN, ag yw ewyllysio ymborth anghenrheidiol; o ganlyniad, yr un mor naturiol yw teimlo loesion tumewnol wedi colli gwrthddrych anwyl fy serch, ag yw teimlo poen pe tòrid ymaith fy mraich ddeheu. Darllenwn yn yr hen Destament a'r newydd am brif enwogion crefydd, yn galaru yn drwm ar ol cyfeillion, eithr ni feiir arnynt gan ysbrydoliaeth. Uchlaw'r cwbl, "Yr IESU a wylodd," Ioan xi, 35; eithr ni phechodd yr Iesu.—*Cys.* A ydych chwi ddim wedi maddeu etto i'r Arglwydd am gymmeryd ymaith eich IEUAN DDU?—*Gal.* Ni wnaeth yr Arglwydd ddim erioed ag sydd yn gofyn am faddeuant oddi wrthyf fi; eithr yr ydwyf wedi maddeu i chwi eisioes am ofyn y fath holiad i mi yn fy amgylchiad chwerw.—*Cys. arall.* Gallaf gydymdeimlo â chwi, canys cleddais i ferch anwyl yn ddiweddar yn 20 oed, ac felly yr wyf yn yr un cyflwr â chwithau.—*Gal.* Yn ei feddwl. Nid unig fab yw *merch.*—*Cys. arall.* Collais innau fab hawddgar yn ddiweddar, yn 22 oed, ac felly yr wyf yn yr un dyffryn â chwithau.—*Gal.* Nid *unig* fab yw mab.—*Cys. arall.* Yr wyf fi yn hollol yn yr un cyflwr â chwi, canys fel chwithau yr wyf wedi claddu fy unig anedig fab.—*Gal.* Nid IEUAN DDU, na thebyg iddo, oedd eich mab chwi; am hyny, eich cymhariaethau, yn lle'm cysuro a'm trallodant, &c. &c.

Gosodais yr ymddyddanion blaenorol i lawr er dangos pa mor wyliadwrus y dylem fod wrth geisio dyddanu y sawl ag ydynt mewn dyfnder galar; ac er dangos pa fath resymau a ddefnyddir gan feddwl annyddanus, yr hwn fel eiddo Rahel, na fŷn ei gysuro, Jer. xxxi, 15; Mat. ii, 17, 18. Ni feddyliais i erioed cyn cwrdd â'r tro chwerw hwn, nad oedd cyfeirio at Aaron, Job, a Dafydd, yn ngwyneb colledion mawrion, yn ddigon i ostegu twrf galar a hiraeth; ac erioed o'r blaen ni feddyliais y gallasai ffraethineb y Crynwr yn nghylch "maddeu i'r Arglwydd am gymmeryd cyfaill anwyl o'r byd," neu ereill yn crybwyll eu galar eu hunain, fod yn anhyfryd, neu yn dramgwydd i neb galarwyr; eithr yn awr deallaf fod hiraeth anorfod yn cynnysgaeddu y meddwl ag amgyffredion newyddion.

Dysged ieuenctyd Cymru i beidio gosod gormodd o'u serch ar neb rhagoriaethau daearol; nac i ymddiried, hyd yn nod i ymarferiadau cref-

yddol, am hir oes yn y byd hwn. Nac ymffrostiwch yn eich ieuenctyd, canys wele IEUAN DDU yn ei fedd cyn bod yn 21ain oed! Nid yw iechyd yn ymddibynu ar ddengmil o weddiau dynion da, canys bu farw IEUAN DDU, o afiechyd nychlyd! Nid yw cael parch mawr gan rieni, a chyfeillion ieuainc lliosog o'r ddwy ystlen, yn ddigon i estyn einioes, canys claddwyd IEUAN DDU yn mlodau ei ddyddiau! Nid yw bod yn hyddysg yn eich galwad, gan ragori ynddi, yn arwydd o hirhoedledd, canys dygwyd IEUAN DDU yn gynnar iawn i'r tŷ rhagderfynedig i bawb byw! Nid cynneddfau treiddgar, gwybodaeth helaeth, na chymmeriad odiaethol, a geidw angeu draw, canys aeth IEUAN DDU yn foreu i dŷ ei hir artref! Nid yw bod yn hyrwydd i ddysgu ieithoedd dysgedig, bod yn awdwr clodfawr, neu yn debyg o fod yn un o'r dynion mwyaf yn eich gwlad (yn ol barn cyfeillion pell ac agos) yn ddim tuag at oedi dyfodiad brenin braw, canys trengodd IEUAN DDU, cyn dyfod i'w oedran! Ac nid yr ystyriaeth y byddai eich symudiad yn archoll anwelladwy i galonau rhieni, yn ofid dwys a phwysfawr i'ch cydnabod, ac yn destun galar i luoedd trwy'r holl Dywysogaeth, sydd ddigon i arafu cychwyniad y gelyn diweddaf, canys rhifwyd IEUAN DDU gyda'r meirw yn moreuddydd ei ddyddiau! Ceisiwch ran yn Nghrist, a chewch fodd, fel IEUAN DDU, i roddi hèr i angeu, can nad bryd y delo i'ch cyrchu i fyd yr ysbrydoedd.

Pan oedd fy IEUAN hoff yn Hwlffordd, heb neb arwyddion gwella, cyfansoddais ddau bennill, a danfonais hwynt iddo ar odreu fy llythyr ato, a'm calon ar fyned yn ddrylliau, Awst 7, 1823. Ar y 10fed o'r un mis, cyfansoddodd ef dri phennill yn Hwlffordd, yn atebiad i'm heiddo i; a gyrodd hwynt ataf, ar odreu ei lythyr. Ar y 12fed o'r un mis, anfonais yn fy llythyr dri phennill mewn atebiad i'r eiddo ef. Ac ar y 22ain anfonodd yntef un pennill o atebiad, o Gaerfyrddin, lle yr arosodd ychydig wrth ddychwelyd o Hwlffordd. Wedi dychwelyd o hono adref o Gaerfyrddin, ysgrifenais dri phennill ereill yn atebiad i'w bennill olaf ef; ryw bryd wedi dychwelyd, yntef a ysgrifenodd ddau bennill ereill, ac a'u rhoddodd i mi; minnau a ysgrifenais ddau i'w ateb, a therfynodd yr ohebiaeth brydyddol. Ymddangosodd y rhai hyn yn SEREN Ionawr, 1824; eithr clywais fod rhai yn barnu mai nid gohebiaeth ddi-ffug ydynt, ond mai myfi a'u cyfansoddodd oll ar *ddull* ymddyddan rhwng Tad a'i Fab. Pa fodd bynag, y gwirionedd yw, mai fy anwyl JOHN a gyfansoddodd yr holl adnodau sydd ar ei enw, ac yn y lleoedd a enwais, heb gymhorth ei dad na neb ereill, er clafed ydoedd. Efe a gadwodd fy holl lythyrau i, a minnau yr eiddo yntef, heb fod un o honom wedi rhoddi awgrym i'r llall yn nghylch hyny; ac yn awr y maent oll wedi eu gwnio yn rheolaidd wrth eu gilydd, a'r pennillion dywededig yn ysgrifenlaw eu hawdwyr ynddynt.

TAD.

Trom yw'm calon oer, fel càreg,
Pob sirioldeb ffy o'm lle;
Cystudd dibaid, mab fy nghariad
Glywfa'm teimlad byw i dre',

IEUAN anwyl yn dihoeni,
Oeri, poethi, bob yn ail,
Peswch erchyll, cryf a'i rhwyga,
Gobaith gwella'n wan ei sail!

O, mor agos, fy mab tirion,
Wyt ti at fy nghalon friw;
Myrdd o aur a ro'wn, pe meddwn,
Er i'm hanwyl IEUAN fyw!
Pa fodd gallaf roddi fynu,
Tlws mor hoff ag IEUAN DDU!
P'odd goddefai'r ysgar ddyrnod,
Duw sy'n gwybod, nis gwn i!

ATEBIAD IEUAN.

Er agosed rhwymyn natur,
Rhaid i angeu wneyd ei waith,
Gan ymwthio perthynasau
Draw i'r trag'wyddoldeb maith!
"Duw sy'n rhoi a chym'ryd ymaith;
Gwneler ei ewyllys ef!"
'Nhad!—yn foddlon ymostyngwch
I drefniadaeth glân y nef.

Nis gall nerth na dyfais dynion,
Nac aur melyn yn ddiri',
Estyn einioes un mynydyn
Dros y terfyn ro'w'd i mi;
Caffom oll dduwioldeb puraidd,
Marw fydd yn elw glân.
Dwyn o fyd o orthrymderau
I drag'wyddol wlad y gân!

Beth yw'r byd a'i holl bleserau,
Oll yn ngwyneb marw im'?
Mil ysgafnach yw na gwegi!
Ydyw ac yn llai nâ dim! Sal. lxii, 9.
Chwi sy'n hoffi hèl mwynderau
Trwy deganau bach y byd;—
Cofiwch oll, daw angeu'n fuan
I'ch hol oddiwrth y rhai'n i gyd!

TAD.

IEUAN anwyl! nid wy'n teimlo
Tuedd beio'r drefn fry:
Ond fy mynwes frau sydd glwyfus
Am nad hwylus ydwyt ti;
Dim ond *meddwl* fod rhaid 'madael
Glwyfa'n ddirgel galon tad;
Ddalla'r llygaid llon â dagrau;
Wna'i fwynderau'n ddilesâd.

Pe b'ai dim a'm gwnelai'n siriol,
Yn fy nghyfiwr poenawl brau,
Dy 'mostyngiad di i 'wyllys
Brenin purlwys nef a'i gwnai,
Ond rhyw deimlad newydd 'leni,
Na bu geni'r fath erioed,
Sy'n cynhyrfu anesmwythder,
Ac yn rhoi i brudd-der fôd.*

* *Existence.*

'Rwy'n gweddio'n daer diafrwydd,
"Gwneler Arglwydd, d'wyllys di;
Etto'n llefain, fyth heb ludded,
"Arglwydd arbed IEUAN DDU!"
Gwn mai gwell gororau Gwynfa,†
Nac oll yma i ddynol ryw;
Etto—rhyfedd—anhawdd gollwng
Cyfaill teilwng yno i fyw!

IEUAN.

Nid oes adyn dan y nefoedd
Mwy mewn angen maddeu'n rhad,
Nag sydd arnaf fi'r un euog—
Golcher fy enaid yn y gwaed
A lifodd allan ár Galfaria,
Dros rai drwg, yn berffaith iawn,
Hwn a ylch euogrwydd ymaith,
Ac a rydd ddedwyddwch llawn.

TAD.

Da, fy mhlentyn claf, yw clywed
Fod ti'n gweled drwg dy fai,
Ac yn teimlo angen iechyd,
Iechyd enaid i barhau:
Cred yn Nghrist, a galw arno,
Mae e'n gwrando cwyn y gwan;
O'r pydewau erchyll, dyfna',
Cwyd yr adyn dua' i'r làn.

Er mai addas oedd dy fywyd,
O dy febyd hyd yn awr,
Gwych yw'th gael am ras yn brysur,
Fel pechadur mwyaf mawr;
Calon ddrwg anafa'n hollol
Ein rhinweddau gwychol wedd;
Pechaduriaid, nid cyfiawnion,
Eilw'n tirion Grist i'w hedd.

Ffynnon rasol cariad boreu,
Ylch gamweddau fyrdd yn rhad:
Lle sydd ynddi i'r mwyaf aflan,
Oes, i IEUAN DDU a'i dad;
Pwysa'n ddigryd am dy fywyd
A dedwyddfyd ar y groes;
Cai lawenydd mewn gorthrymder,
Pur sirioldeb dan dy loes.

IEUAN.

Angeu! nid wy'n ofni'th gwrddyd,
Ond cael Crist yn rhan i mi:
Dere ataf pryd y mynot—
Gwenaf yn dy wyneb du:
Crist a'th lyncodd di mewn concwest,
Trwy y frwydr ar y bryn:—

† *Paradise.*

Och! ti frenin dychryniadau,
Pwy a'th ofna di 'nol hyn?

Etto trwm yw meddwl 'madael
A chyfeillion yn y byd;
Myn'd i orwedd yn y ddae'ren,
Yn gorffyn oer, difywyd, mud;
Pryfed brwnt y llwch yn gwledda
Ar fy nghnawd, yn eithaf rhydd;
Tyllu'm llygaid, llanw'm genau,
Wnant hwy yn y beddrod cudd.

TAD.

Ië'm IOAN, trwm yw'r dynged,
Dyn i bryfed fydd yn wledd;
Mawr a bychan ddarostyngir
I anrheithwyr bryntion bedd;
Rhagolygfa dra anseiriol,
Rhyngom a'r nefolwlad sydd;
Ond nid chwerw pob ystyriaeth
Ddaw o'r diffaith wely pridd.

Beth os pryfed dylla'n llygaid,
Pa ryw niwed wnant i ni?
Ni chawn wel'd eu llun, na'u teimlo,
Trwy holl ogo'r annedd ddu;
Deuwn etto o'n carcharau,
Pyrth y bedd â'n ddrylliau i gyd,
Cawn ail gwrddyd â'n cyfeillion,
Cwrdd â hwy a Christ yn nghyd.

Wedi hyn aeth fy anwylaf IEUAN yn rhy glaf a gwanaidd i ysgrifenu dim, oddigerth dernyn o lythyr a ysgrifodd ef at W. O. Puw, Ysw. L. D. ychydig wythnosau cyn y dydd olaf, angeuol. Yr oedd ef yn gohebu llawer â'r Dr. Puw, ac ar y pryd uchod dygwyddodd i lythyr diweddaf y Dr. ato ef ddyfod i'w law; rhan o'r hwn sydd fel y canlyn:—

"At IEUAN DDU, *Glan Tawy*.

"MY NGHYFAILL HYNAWS,—Maith yw yr amser er pan glywais mewn pa helyntion yr ymdroaist,—ai claf, ynte iach, ai helbylus, ynte diofal? Damunwn gael, tan amdo y SEREN nesaf, wybodaeth am hyny, hefyd amryw o newyddion Cymreig, &c., &c.

"Anercha fi yn garedig at dy dad. Gobeithiaf ei fod ef, tydi, ac y tylwyth oll, yn mwynhau iechyd a gwynfyd. Ydwyf, dy Gyfaill mewn cywirdeb,

GWILYM OWAIN, *o Feirion*."

Gwnaeth fy anwyl IEUAN lawer cynnyg i ysgrifenu ateb ar y pryd dywededig, eithr ni fedrodd wneuthur ychwaneg nag a ganlyn:

"Abertawy, Tachwedd, 1823.

"MY NGHYFAILL PARCHUS,—Digon tebyg, erbyn y delo hwn idd eich llaw, na fydd yr ysgrifenydd o hono mwyach ar dir y byw. Yr wyf fi yn awr, er ys agos blwyddyn, yn dihoeni odd y darfodedigaeth, neu glefyd yr afu, a thyma y tro cyntaf, (a'r diweddaf hefyd, y mae yn debyg,) i mi er ys talm."

Methodd a myned yn mhellach, ac ni bu ysgrifell byth mwyach yn ei law; gyrais y llinellau blaenorol at y Dr. Puw; ond yn ol rhag-ddywediad eu hawdwr, yr oedd fy hyfrydaf IEUAN wedi ein gadael ni am byth, a'i osod yn ei dŷ newydd, oerllyd annedd, cyn i'r llythyr fyned i ben ei yrfa. O, IEUAN DDU! fy mab! fy mab!

Pan ddaeth yr awr angeuol i ben, ymddangoswn fel wedi hurtio dros ychydig, eithr buan y teimlais archollion dwysaf galar; ymddangosai pob peth yn ddyeithr iawn; meddyliwn yn awr ac eilwaith na ddylasai undyn wneuthur gwên, ac na ddylai natur ddangos gogoniant ei Hawdwr yn ei ffordd arferol mwyach. Bryd arall awn i'r ystafell lle y gorweddai ei gorff, pan fyddai yn unig, prin y gallwn gredu ei fod wedi marw, eithr dysgwyliwn ei weled yn cyffro, ond yn ofer. Cyfansoddais y nifer amlaf o'r pennillion canlynol cyn hir wedi symudiad fy anwyl blentyn.

# GALAR TAD AR OL EI UNIG FAB.

DARFU! darfu! daeth y terfyn!
  Ffodd f' anwylddyn mwynddyn mad,
Draw i diroedd anfarwoldeb,
  I' wyddfoldeb nefol Dad:
Ofer dysgwyl ateb mwyach,
  Na'i gyfeillach fwyn i mi;
Och, fy Ior! daeth amser arwyl
  F' anwyl, anwyl IEUAN DDU!

Af i'w 'stafell unwaith etto,
  Galwaf arno, dan fy mhwn,
"JOHN! fy JOHN! dy DAD sydd yma,
  Arno sylwa'r un tro hwn.
"JOHN! mae'th FAM islaw i'r grisiau'n
  Tywallt dagrau er dy fwyn;
"JOHN, fy mab! clyw'th DAD sy'n galw,
  O mor chwerw'r ing mae'n ddwyn!

"O mor ddyeithr 'rwy'n dy weled,
  Gwelw gwallawg iawn yw'th liw,
"Sodda'th lygaid gynt oent siriol,
  Effaith dy fynychol friw;
"Ow! mor oer yw dy wefusau,
  Rhewa'th fyse' meinion mad,
"Gynt fu'n chwarae'r fwyn chwibanon,
  I siriolion tŷ dy DAD!

"IEUAN DDU! fy machgen tirion!
  Gruddiau gwlybion i mi sy',
"Wylo'r wyf ar dori'm calon,
  Am fy mwynlon blentyn cu."
Ow! fath dro a ddaeth i'm teulu,
  JOHN heb wrando ar fy nghwyn!
'Nawr caf wylo, llefain, galw,
  Heb gael sylw'm cyfaill mwyn!

Groesaw gymmwynasgar ddagrau,
  Rholiwch ffrydiau dros fy ngrudd,
Chwithau ddengmil o och'neidiau,
  Rhwygwch ffordd o'm mynwes brudd;
Ffordd agored gwnewch i ofid
  Fyn'd o'm dibryd fynwes frau;
Chwalwch gaddug chwerw galar,
  Dewch yn gynnar i'm rhyddhau.

O! fy mrodyr a'm cyfeillion,
  Clwyfus galon genyf sydd;
Braidd na chenfigenai'm hysbryd
  Wrth eich mwynfyd chwi bob dydd;
Chwi a'ch meibion a'ch gwyryfon,
  Yn hyfrydlon gyda chwi,
Minnau'n drist yn nyffryn griddfan,
  Wedi colli'm IEUAN DDU!

Blodau hyfryd gerddi mwynawl
  I'm'n arferol lonai'r dydd;
Pêr ganiadau'r côr asgellog,
  Wnelai'n fywiog f' ysbryd prudd;
Dolydd gwyrddion, mamau meillion,
  Coedydd ffrwythlon harddlon wedd,
Gynt dueddent i'm sirioli,
  Ac i lenwi'm bron â hedd.

Nid 'run peth yw'r byd eleni,
  Os caiff farnu'm *teimlad gwan,
Ag oedd yn y blwyddau fuant,
  Ond na ddeuant mwy i'm rhan;
Collodd melus ei felusder,
  Chwerwedd chwer'der aeth yn fwy;
Ergyd trwm ar fan mor dyner
  Barodd brudd-der tost a chlwy'.

Pe rho'wn ffordd i'm teimlad newy'
  Awn trwy'r gerddi maes o law,
D'wedwn "Peidiwch meithrin blodau
  Yn y gwanwyn nesaf ddaw;
"Oni ddygwch flodau duon
  Yn arwyddion galar trwm,
"Na 'mddangosed mo'r blodeuyn,
  Trom yw'm calon glaf fel plwm!"

Brysiwn eilwaith tua'r llwyni,
  Gan geryddu'r ednod mân,
"Tewch a'ch trydar, mwy na leisiwch,
  Oni chenwch alar gân;
"Galar dwys sy'n gweddu'r amser,
  Pa fodd beiddiwch fod mor llon!
"Oni chlywsoch fy 'mddifadu?
  Oni wyddoch gladdu'm JOHN?"

Ond 'rwy'n gweled ffoledd hyny,
  A natur rhagddi fel o'r bla'n!
Nid ymguddia mo'r blodeuyn,
  Ni phaid 'deryn bach â'i gân:
Haul, a lloer, a ser ro'nt lewyrch,
  Fry o entrych awyr las;
Prancia'r oen, y llo, a'r ebol,
  Fel arferol ar y ma's.

Llama'r hydd dros froydd a bryniau,
  Ffy'r cymmylau gyda'r gwynt,
Hwylia'r llongau dros y weilgi,
  Llifa Tawy megys gynt;
Prynu, gwerthu, adeiladu,
  Ymbriodi'n llon eu gwedd,

* H. y. Os caiff y teimlad farnu.

Wna trigolion ein byd bychan,
  Er bod IEUAN DDU mewn bedd!

Er nad addas ceisio rhwystro
  Natur lwybro ei ffordd ei hun;
Etto, gweddus im' yw galar,
  Ar ol gwerthfawr ddoethgar ddyn:
Torf yn Abertawe welir
  Dan eu dolur yn pruddhau;
Trwy holl gyrau geirwaf Gwalia,
  Gwlycha'r dagrau ruddiau rhai.

O Lynlleifiad cilia llonder,
  Rhag rhyw nifer yn y lle,
Rhai alara'n brudd yn Llundain,
  Mam dinasoedd Prydain gre';
Credu'r wyf na ddigia f' Arglwydd
  Wrth ei wael annedwydd was,
Am gymmysgu ambell ddeigryn
  A'r dw'r Mara chwerwa'i flas.

Marw'm JOHN rows ystyr geiriau,
  Gwell nâ holl eirlyfrau'r llawr;
*Gofid*, *galar*, o ran ystyr
  Sy'n dra eglur i mi 'nawr,
*Calon glwyfus*, *chwerwedd enaid*,
  *Dwys ochenaid*, *chwerw hynt*,
*Dagrau heilltion*, *coll gysuron*,
  *Hiraeth calon*, gwn beth y'nt.

Och, mor llawn o ystyr goleu,
  'Nawr yw geiriau'r proffwyd derch,
"Gwna it' gwynfan tost a galar,
  Fel am unig fab,"* dy serch:
Gil, a Pool, a Scot, a Henry,
  Ni raid heddy'ch cymhorth chwi;
Myrdd gwell 'sboniwr ar y geiriau,
  Yn ei fedd yw'm IEUAN DDU!

Bellach gwelaf ddyfnder eithaf
  Meddwl doethaf ddyn, am fyd,
"Gwagedd a gorthrymder †meddwl"
  Ydyw'r cwbl s'ynddo gyd;
Och! mor wag yw côr y canu,
  Gwag'r addoldy pan fo'n llawn;
Poenus wag yw Swyddfa'r SEREN
  Lle defnyddiai'm JOHN ei ddawn!

Gwag yw'r tŷ, yr ardd, a'r heol,
  Dim yw'r bobl im' er hedd;
Gwag yw'r dref, a Gwalia'n gyfan,
  Gwag yw pobman ond y BEDD!
Y gwag le adawodd IEUAN,
  Mewn annyddan fyd anwiw,
Ni ryfygaf i obeithio
  Gwel'd a'i llanwo tra f'wy' byw.

Pe deu'r hollfyd i fy meddiant,
  Ni wnai'r mwyniant fi'n wr llon;
Gwagter trwyddo oll a welwn,
  Cofio fyddwn byth am JOHN.
Methaf a mwynhau ar brydiau,
  Drugareddau'm bywyd brau,
Am nad yw'm hawddgaraf blentyn
  Gyda mi yn cyd-fwynhau.

Cofio b'le mae'm JOHN yn gorwedd,
  Pan b'wyf yn fy annedd nos,
Bâr i'm llygaid ffrydio dagrau,
  Rydd i'm calon ingol loes;
Fi mewn gwely esmwyth cynnes,
  F'anwyl fab mewn gwely pridd!
Ow! mae'r meddwl hwn yn briwio,
  Ië, tost rwygo'm teimlad prudd.

"Llef glybuwyd draw yn Rama,"‡
  Cydymdeimla'm calon gu,
"Rahel dyner acw'n wylo,
  Ei chysuro ni fyn hi;"§
Plant fu iddi, mwy nid ydynt,
  Uthyr helynt y fam brudd;
Ochain ac wylofain chwerw
  Am eu marw, mwy a fydd.

Bu i minnau fab serchoglan,
  Ond fy IEUAN mwy nid yw!
Dyfnder hiraeth, chwerwedd galar,
  Sydd i'w le i'm mynwes friw;
O mor gu ac anwyl ydoedd,
  Fy 'mysgaroedd, berwant hwy;||
Perlyn gwerthfawr iawn i'm calon
  Rwygwyd ffwrdd nis gwelaf mwy.

Ceisiaf feddwl mwy am IEUAN
  Fry yn nhrigfan harddlon hedd,
Nag am IEUAN bach yn pydru,
  Obry'n nghelloedd oer y bedd;
Cofiaf fod fy nhaith ar ddarfod,
  Buan gad'af ddaear gròn,
Etto, erys llwyth o hiraeth,
  Ing, ac alaeth am fy JOHN!

Byth mi gara'r enw IEUAN,
  Enw anwyl IEUAN DDU!
A'r cynenw per JOHN HARRIS,
  Seinia'n felus iawn i mi;
Etto melus gyda chwerw
  Ydyw hwnw'n awr i'm clyw;

* Jer. vi, 27. † Preg. i, 14.

‡ Jer. xxxi, 15. § Mat. ii, 17, 18. || Job xxx, 27.

Gwel'd llythyrenau'i enw peraidd
  Geidw'm hiraeth byth yn fyw.

Ow, mor anhawdd, JOHN, yw 'madael,
  Cadarn afael genyt sydd
Ar deimladau'th dad gwylofus,
  Er dy gau mewn gwely pridd,
*Rhaid* yw credu, er anhawdded,
  Na chaf weled mwy dy wedd!
O'r fath *raid* tor-calon ydyw,
  *Rhaid* sy'n tarfu'm tirfaf hedd.

Ceisiaf ymgysuro beunydd;
  Gwn mai ebrwydd cludir fi
At fy mhlentyn, i byrth angeu,
  Oer briddellau'r dyffryn du;
Arswyd bedd i raddau rhyfedd,
  'N awr a edy'm clafaidd fron;
Myn'd i'r bedd fydd myn'd i'r drigfa
  Lle gorphwysa'm hanwyl JOHN.

Hiraeth brwd, dros ènyd, oera;
  Gofid chwerwa' ymaith try,
Pan b'wy'n cofio iddo 'mado
  I bereiddio'r bedd i mi;
Wel, fy mab, os *rhaid* yw 'madael,
  Gwn nad yw'n ysgariad maith,
Buan deuaf i gyd-orwedd,
  Atat i dy annedd laith.

Cofio'r ydwyf yn dra mynych
  Am y dorf ddysglaerwych fry,
Gan hyderu fod JOHN HARRIS
  Gyda'r per soniarus lu;
Yno'n seinio Aleliwia,
  Am ddihangfa rhag pob plà,
Ac am bresennoldeb oesol
  Iesu'r grasol Fugail da.

Gwenau barai gwawr y boreu,
  Hyfryd flodau gerddi Mai,
Purlwys addurn lili'r dyffryn,
  Rhosyn Saron purwyn, crai,
Holl ogoniant a mawrwychedd
  Anian hafaidd, eurwedd, gu;
Arnynt oll rhagora, credaf,
  'N awr f' anwylaf IEUAN DDU!

Er dystewi'i fwyn Chwibanon
  Yn y fro anhylon hon;
Tànau'i delyn fyth a seinir
  Ganddo'n 'mrodir Canaan lon.
Buddugoliaeth pen Calfaria,
  Seinia'r dyrfa fawr i gyd;
Pawb dan goron, pawb ar orsedd,
  Pawb ar agwedd Prynwr byd.

Tymhor niwlog a chymylog,
  Hin afrywiog sydd yn awr;
Bore gorfoleddus welir
  Pan agorir pyrth y wawr;
Seinia'r udgorn, deffry'r meirw,
  Cwyd o'r lludw gyrff y saint;
A'r llwch marwol fydd anfarwol
  Fyth, yn nghanol nefol fraint.

Cawn, ar fore teg'r adgodiad,
  Gwrdd â difrad dorf ddigrŷn,
O gyfeillion glân na's gwelsom
  Ar ein taith trwy'r anial blin,
O bob ieithoedd, lliw, a phobloedd,
  Dan y nefoedd dirion fry,
Wedi'u cànu fel yr eira
  'Ngwaed Mesia'n Ceidwad cu.

Cwrddwn hen gyfeillion yno,
  Fu'n cyd-deithio'n drist eu gwedd,
Gyda ni yn nyffryn Baca,
  Tua Gwynfa, 'r oesol wledd;
Hwy yn lanach, ninnau'n burach,
  Gwell cyfeillach fydd yn bod,
Nag a gawsant hwy a ninnau
  Ar ein teithiau byr erioed.

'N awr caiff Rahel fwyn a Jacob
  Ail-gyfarfod pur mewn hedd,
Jonathan a'i fwynlan Ddafydd,
  At eu gilydd dd'ont o'r bedd;
Ond, 'rwyn sicyr, nid gwell ganddynt
  Gwrdd â'r eiddynt, er mor gu,
Na fydd genyf gwrdd mewn eilfyd,
  A'm hanwylyd IEUAN DDU!

Cwrdd â'm Pen a'm hanwyl Briod,
  Iesu haeddglod, 'r hwn a fu
Yn hoeliedig ar y croesbren,
  Herwydd ein pechodau ni,
Rydd i'm lawnder o lawenydd,
  Yn lle cystudd trwm fy oes,
Can's i Wynfa ni ddaw poenau,
  Angeu byth, nac ingol loes.

Wedi cwrdd ar dir y bywyd,
  Meddwl hyfryd yw, na fydd
Byth raid 'madael â chyfeillion
  Yn ngwlad eurlon bythol ddydd;
Os caf ras i gyrhaedd yno,
  Derfydd cwyno am fy JOHN:
Caf gyd-ganu â'm *Hanwylyd*
  Byth, heb ofid, storm, na thòn.

Bellach, IEUAN Bach, 'rwy'n tewi,
  Rhag i'm meithni flinio'r wlad;

Tewi allaf, ond d'anghofio,
Llwyr anmhosibl yw i'th dad.
Ti ge'st deimlo eithaf angeu,
'Chydig ddyddiau o'm blaen i,
Buan daw y wŷs i'm cyrchu
Ar dy ol o'r anial du.
J. HARRIS, TAD IEUAN DDU.

---

## CWYN AR OL IEUAN DDU.

Och! trist newydd sydd, Och yw son!—
Collwyd
Un call o blith dynion;
Herwydd marw'r brawd tirion,
Och! brathwyd, briwiwyd pob bron!

Aur gyfaill, a hir gofiaf—oedd IEUAN
Hyd yr awr ddiweddaf;
Da Ieithydd—un o'r doethaf
Yn ein bro—mawr gwyne gaf.

Achaws wylo, Och! sy'i Walia—emog,
Am y ddamwain yma;
Collodd werth o'r prydfertha',
Collodd dlws, Ow! do, dlws da.

Gwron da gwiwlon digelu—harddwch
Ac urddas i Gymru;
Noddwr ein Iaith berffaith—bu
Wych hefyd i'w derchafu.

Un ffyddlon o galon gu,
I'w oes, dros achos Iesu;
Casglodd a rhoddodd yn rhad,
O'i rhagorol fawr gariad,
Arian ac aur, clydaur clau,
I gario'r achos gorau.

Ond er gwyched hardded oedd,
Y Mawredd a'i cymmeroedd
O fyd drwg, byth i fod draw
Yn ei olwg yn eiliaw.

O! 'm Tad a'm Ceidwad mwyn cu—O
dyro
Dy darian i'm cylchu;
O moes dy nerth i'm, Iesu,
Yn niwedd oes—fel IEUAN DDU.

IEUAN WYN, *Glan Tawy*,
*Sef y*
Parch. JOHN ROBERTS, Abertawy.

# COFIANT MRS. MARTHA HARRIS.

GANED MARTHA, merch Thomas Symmons, yn agos i Gastellnewydd-bach, Dyfed, yn mis Tachwedd, 1777. Am ei dyddiau boreuol nid oes genyf unrhyw hysbysiaeth arbenig. Elai i wrandaw yr efengyl i lefydd cyfagos o dro i dro, nes iddi gael ei hargyhoeddi o dwyll pechod, a phwysigrwydd cymmod â Duw; wedi hyn teimlai ei bod yn ddyledswydd arni gymmeryd i fynu groes yr Iachawdwr, drwy ei bedyddio ar broffes o'i ffydd; yr hyn a gymmerodd le yn Llangloffan, yn y flwyddyn 1783, a hithau yn 16 oed. Yn y man tyfodd cydnabyddiaeth a chariad rhyngddi a JOSEPH HARRIS, bryd hyny yn aelod yn yr un eglwys, ac yn dechreu pregethu gyda chryn gymmeradwyaeth. Tua y flwyddyn 1799 neu 1800 priodasant; ac yntau wedi ei urddo eisioes yn Llangloffan, a ddaeth i Abertawy yn fugail ar yr eglwys yn cyfarfod bryd hyny yn yr Heol-gefn, yn y flwyddyn 1801.

Nid oedd Mrs. HARRIS, o arferion a'i gwnai yn wrthddrych llawer o sylw y tuallan i gyffiniau ei theulu a'i chydnabyddion agosaf, a phlegid hyny nid oes a'r a wn i unrhyw hanesynau hynod iddeu cofrestru am dani, yn ystod yr amser y bu yn byw yn y dref hon yn briod ac yn weddw. Yr hyn a alwai y Bardd GRAY, "*The noiseless tenor of her way;*" llwybr didrwst bywyd, a ddynoda ansawdd a theithi buchedd y wraig dduwiol hon, cyn belled ag y dygai gyssylltiad â'r byd oddiamgylch iddi. Nid oedd yn arfer ymyraeth yn amgylchiadau ei chymmydogion; nid oedd yn ymhyfrydu mewn adrodd chwedlau am ereill; nid oedd yn myned o'i thŷ un amser heb neges; nid llawer hwy yr arosai allan nag oedd yn anghenrheidiol; nid arferai ymbrysuro o barth achosion eglwysig; nid oedd mewn gair gymmaint ag un peth yn ei nodweddiad a'i gwnai yn wrthddrych son a sylw y sawl nad oedd yn ei hadnabod yn dda. Pe gwybuasai cyn ei marw y meddyliwn ysgrifio Cofiant iddi, diau genyf y gwaharddasai hyny; er y troseddaf y rheol a roddasai o'm blaen, ymdrechaf gadw at ei hysbryd, trwy fod yn fŷr a phrineiriawg ar ei rhagorion a'i rhinweddau.

O ran ei galluoedd meddyliol, yr oedd yn bwyllgar a chraffus; nid oedd mewn brys i ffurfio barn, ond wedi ei ffurfio, glynai wrth ei golygiadau yn ffyddlon ac hewydus. Yr oedd ynddi lawer o ymofyniad am wybodaeth grefyddol ac anianol, buasai yn syndod i'r dyeithr iddei harferion teuluaidd, faint a ddarllenasai yn ei bywyd. Er fod ei chariad at air Duw yn oruchel, ni ddirmygai lyfrau buddiol ereill. Nid oedd ynddi yn wir ddim o'r accen grefyddol, sy yn rhy ffug-santaidd i ddarllen dim ond y Bibl, i son am ddim ond am brofiad crefyddol, ac i wneuthur hyny bob amser gyda gwyneb hir, a gwefusau anffurfiedig. Efelly nid oedd neb a garai wir arabedd yn well, nâ nemawr yn ei sefyllfa hi a adroddai gynnifer o fyr hanesion gorsynwyrol. Medrai gyda deheurwydd mawr gymhwyso a glywai ac a

ddarllenai at ddybenion o welliant a phuredigaeth personol. Yn ei blynyddau olaf darllenai air yr Arglwydd yn ddyfal a manwl. Hyn fyddai ei hoff orchwyl pan fethai fyned allan i dŷ Dduw ar y Sabboth; a meddyliais yn fynych y buaswn yn ddedwydd pe cawswn le i obeithio fod hanner fy ngwrandawyr yn mwynhau cymmaint o hyfrydwch a bendith oddiwrth addoliad cyhoeddus a dderbyniai hi dan ei hamgylchiadau llai manteisiol. Etto, nid oedd ei mawrlewyrch i'r ysgrythyrau, a'i phrofiad o'u buddioldeb ar achlysuron o'r fath, un amser yn peri iddi "esgeuluso ei chyd-gynnulliad ei hunan," eithr elai i gydweddio a chydaddoli â'i brodyr mor aml ag y medrai. Dan weinidogaeth yr efengyl byddai yn wrandawgar ac astud, ac arferai ystyried a dywedyd, a chyfeirio at, a choffa yn ol llaw y pynciau a drinid gan weinidogion Crist er cyfarwyddyd, cerydd, neu gysur, fel y byddai amgylchiadau yn galw. Nid oedd ganddi un wrtheb ragfarnllyd yn erbyn gwrando pregethu Saesoneg, ond proffesai iaith ei mam, a theimlai swyn mewn pregeth a draddodid yn y Gymraeg, nad oedd *iddi hi* yn nodweddu pregeth Saesoneg. Un nodwedd arbenig o eiddo Mrs. HARRIS oedd amynedd dan drallodion a chystuddiau. Nid mynych y mae un ddynes wedi cael mwy o ofidiau, trwy golli perthynasau yn enwedig. Yn olynol bu farw ei brawd *Job Symmons*, ei mab *Ieuan Ddu*, ei *Gwr*, ei merch ieuengaf *Mary*, ei ail ferch *Mrs. Walker*, ei brawd *John*, yn Nghastellnedd, a'i brawd *Thomas*, gerllaw Abergwaun. I hyn oll yr ymostyngodd, nid yn wir heb deimlo yn boenusfawr, ond heb osod dim yn ynfyd yn erbyn yr Arglwydd. Dyfnion iawn oeddynt ei holl deimladau, nid hawdd oedd peri iddi wylo gan ddygnedd cyffroadau ei meddwl. Yr oedd rhyw *lwyrddwysdra* yn ei hagwedd pan y mynegai ei hymlonyddiad yn nhrefniadau y Goruchaf a'r na welais erioed yn neb adnabyddus i fi. Gallasech feddwl ar y cyntaf taw annheimladrwydd ydoedd, ond nid cynt y nabyddech hi, nag y canfyddech taw *dyfnder* y ffrwd oedd yr achos na chlywech unrhyw drwst; mai cyssegredigrwydd ei gofid yn meddiannu yn drwyadl ei holl enaid a berai londer anghydmarol ei gwedd, ac ychydigrwydd ei geirau. "Yr y'ch chwi yn cadw yn hynod o dda a siriol," ebai cyfeilles wrthi. "Yr wyf *yn cael fy nghadw*," atebai y weddw alarus. "Yr wyf fi," ebai mewn llythyr at ei merch i'r brif-ddinas yn Rhag. 1835, "Yr wyf fi, FEL ARFER, yn cael nerth yn ol fy nydd."

Fel hyny treuliai ei hamser yn ofn a gwasanaeth Duw, gan ddysgwyl am ddydd ei hymddattodiad. Yr oedd ei hiechyd yn gwaelu ys blynyddau, ond yr oedd ei gwroldeb anianol yn gyfryw fel mai anaml iawn yr achwynai. Cedwai rhagom yn misoedd olaf ei bywyd gybelled a chyhyd ag oedd ddichonadwy ei gwendid. Yn y diwedd, pa fodd bynag, gorfu arni roddi fynu yr ymdrech, ac aros yn y gwely boreu dydd Sul, Mai 2fed, 1836. Wedi ymddyddan â'r meddyg, deallais yn uniongyrchol nad oedd nemawr o obaith am wellhad. Yr oedd egnion ei chyfansoddiad wedi treulio, ac nid oedd gan feddyginiaeth un porth i roddi. Wythnos yn

unig y bu heb allu cyfodi, ac yn yr wythnos hòno rhoddes i ni yr amlygiadau cryfaf o werthfawrogrwydd duwioldeb. Nid aml y gwelid mwy o dawelwch, o anofnogrwydd, mewn gair o barodrwydd iawnseiliawg i adael y byd hwn, ac i groesi y terfyn sy rhyngom a'r "byd a ddaw." Y byd a ddaw!! Gair llawn o frawychion i'r annuwiol, ond nid felly i'r credadyn, ac nid felly i Mrs. HARRIS. Wrth fy nghymmydog, y Parch. D. Davies, o eglwys yr hwn yr oedd yn aelod, dywedai ynghylch 30 awr cyn ei marwolaeth, "Nad oedd iddi ddim perlewygfeydd o hyfrydwch, ond etto nad oedd iddi ddim ofn, bod ei meddwl a'i gobeithion ar Graig," &c. Wrth y cwbl a ddeallais ac a welais drwy ystod ei chlefyd—*nid oedd ganddi ddim i wneuthur ond marw*—nid oedd na gofid na gofal yn gorphwys ar ei meddwl. Fel hyn, ar nos Sul, y 9fed o Fai, 1836, ymadawodd â'r byd a'r bywyd hwn. Nid oedd ei diwedd, er ei ddymunoled, ryfeddod yn y byd, canys nid yw marwolaeth o'r fath ond terfyniad anocheladwy i fywyd fel yr eiddo hi, "Ystyr y perffaith, ac edrych ar yr union, *canys diwedd y gwr hwnw fydd tangnefedd.*" "Y drygionus a ỳrir ymaith yn ei ddrygioni, *ond y cyfiawn a obeithia pan byddo yn marw.*" Claddwyd gweddillion marwol Mrs. HARRIS, gydag eiddo GOMER ac IEUAN DDU, ac yn yml yr eiddo Job Symmons ac Iwan. Traddododd y Parch. Daniel Davies, bregeth angladdol ddwys a rhagorol oddiar Rhuf. 5, 17.

# MRS. WALKER.

ELIZA RYLAND, ail ferch Mr. HARRIS, a aned Ebrill 19, yn y flwyddyn 1807. Yn ngwanwyn 1830, priododd â Mr. Roger Walker, mab yr hybarch Mr. John Walker, o'r Dolau, swydd Faesyfed. Bu iddi dri o blant, ac o glefyd a afaelodd ynddi ar enedigaeth yr olaf, bu farw Hyd. 23, 1834. Nid yn ddrwg y cynnrychiolai y ddynes fwyn a rhagorol hon brif deithi nodweddiad ei thad. Yr oedd ei hegnion deallawl yn anghyffredin; yn graffus, gafaelgar, eglurbwyll, a phenderfynol. Yn ei chymmeriad moesol, yr oedd yn wir gariadus, cymmwynasgar, ac anrhydeddus. Fel dysgybl Iesu Grist yr oedd yn ostyngedig, yn bryderus yn ei barn am dani ei hun, ac yn nodedig yn mysg ei chyd-aelodau am gadw ei chyd-gynnulliad, ac am y sylw dyfal a syml a delai i Air Duw, ac i reolau ei dŷ. Bu yn aelod anrhydeddus am flynyddau yn eglwys y Bedyddwyr Saesnig, yn *Mount Pleasant*, dan ofal yr Ysgrifenydd. Cyfarfu ag angeu dan y teimladau dwysaf o ddifrifoldeb y cyfnewidiad o'i blaen, ond gydag hyder gostyngedig, a gobaith didwyll yn IAWN IESU GRIST. "Nid oes genyf ddim arall, (ebai) dim, dim arall yn sail gobaith am fywyd tragywyddol." Gadawodd ŵr a dau o blant, a llu o berthynasau a chyfeillion i alaru ar ei hol, ac yn enwedig "am na chaem weled ei gwyneb mwy." Bu ei mhaban farw mewn ychydig wythnosau ar ei hol. Nid oes yn aros ond *Mary Harris*, ei merch henaf, yr hon, gyda gwraig D. R. STEPHEN, a'u plant, a wna i fynu y cwbl a erys heb ei lyncu gan y bedd o deulu JOSEPH HARRIS!

"Ar gyfarfod â Miss E. HARRIS, merch y diweddar Barch. J. HARRIS, hybarch Dad y SEREN GOMER, a chynnaliwr y Cyhoeddiad hwnw mewn mawr glod dros amryw flynyddau,—

> "Yn ddwys i Chwaer IEUAN DDU—o'm henaid
> Dymunaf dda'n wirgu;
> Eres goeth, Ferch HARRIS gu,
> Ddoniol i ymddyddanu."

"*Tachwedd* 28, 1828. DANIEL DDU O GEREDIGION."

# MARY HARRIS

A aned Hydref 10, 1816. Bu farw Mehefin 28, 1831, yn un-ar-bymtheg oed. "Am addfwynder ei bryd, mireinder ei moes, melusder ei hymddyddanion, a serchogrwydd ei chyfeillach, bydd hir gof gan ei holl gydnabod." Efelly yr ysgrifenodd y gwr boneddig meddygol a ymwelai â hi ar ei gwely angeu. Am ferch ieuengaf Mr. HARRIS, gallaf finnau, oddiar helaethach cydnabyddiaeth â hi, dystio fod y cwbl a ddywed yn wir. Anfynych y canfyddir cymmaint o ddiniweidrwydd hawddgar, a thynerwch calon ag oedd yn y rian fwyngu hon, a alwyd ymaith yn foreu oddiwrth drafferthion a phrofedigaethau y byd drwg presennol.

# AWDL

## ER COFFADWRIAETH

AM Y

# DIWEDDAR BARCH. JOSEPH HARRIS,

(GOMER,)

GOLYGYDD CYSEFIN SEREN GOMER,

AC AM

# IEUAN DDU, O LAN TAWY, EI FAB.*

---

GAN Y

PARCH. WILLIAM WILLIAMS, (CALEDFRYN,)

CAERNARFON.

---

AM HARRIS y mae hiraeth,—Ow! ei roi
Yn rhych llygredigaeth;
Athraw ein hoes, llithro wnaeth
O'r golwg i argeliaeth.

Ow, gladdu! un fu'n ei fywyd—hybarch
Heibio i fyrdd, mae'n dristyd:
A!—ti'r bedd, bwytawr y byd,
Aeth â HARRIS i'th weryd.

Mae'n gorphwys yn y gwys gaeth,
Ar wely trwm marwolaeth;
Trig yn ei unig anedd,
Wedi oer newid ei wedd.

*Cynnygodd Cymdeithas Cymreigyddion y Fenni wobrwy o Ddeg Punt, at yr hyn yr ychwanegodd y Parch. D. R. Stephen, Bum Punt, am yr Awdl oreu er Coffadwriaeth am y diweddar Barch. J. HARRIS, a'i fab, IEUAN DDU. Hwn oedd testun y Gadair am y flwyddyn 1838. Y Beirniaid oeddynt Taliesin ab Iolo Morganwg, a Gwilym Cawrdaf. Ymgystadleuodd wyth o Feirdd galluog a doniolgamp, a rhoddwyd y wobrwy, yn ol penderfyniad unol a diamheuol y Beirniaid, i awdwr yr Awdl uchod. Y mae Mr. Williams wedi hyny, wedi cyhoeddi llyfr rhagorol ar Farddoniaeth Gymreig, sef y "Drych Barddonol." Un o feibion hoffaf yr Awen, ac un o brif addurniadau Cymru, ydyw. Hir oes, hoen, clod, a dedwyddwch iddo.

Ei law anwyl, a luniodd—y puraf
Gampwri, a fferodd;
Angau traws trwy ing a'i trodd
Yma i lawr—fe'i maluriodd.

Chwalai binacl uchelwych,
Chwalai un oedd uwchlaw nych;*
Yn ei flodau gorau i gyd,
Y gyrai hwn i'r gweryd.
Cyn henaint ac anhunedd
I hacru, neu waelu'i wedd.

E fwriwyd y "saeth farwol"—ar unwaith,
I'w ranau bywydol;
Yntau, pan droes y fantol,
Heb un nerth, i hybu'n ol.†

Angau ei fab a'i ing fu—yn achos
O'i nych ef nes trengu;
A! beunydd heb wahanu,
Un oedd ef ag Ieuan Ddû.

HARRIS fawr! hiroes a fydd,
I dy waith, y da Ieithydd.

Hir erys i'n gororwyrion,—TRA MOR,
Tra trem haul ar Frython;
Tra iaith, a chlod tafod hon,
Dy enw fawrha dynion.

Yr Omeriaith er ei mawredd,—a'i bri
Boreuol a'i thlysedd,
Oedd agos, gan eiddigedd,
Rhyw rai beilch a llithro i'r bedd.

Dan draed, yn dlawd iawn ei drych,
Cwynfanai, acw'n fynych;
A neb ond yn annyben,
I'w choffâu, a dyrchu'i phen;
Yr Awen fu'n brin o faeth;
Llai nawdd a gai'n llênyddiaeth;

* "Hynod fyddai ei glywed yn achwyn ar anhwyl corfforol gymmaint ag unwaith mewn blwyddyn."—COFIANT HARRIS.

† Gweled ei fab wedi gorfod gadael ei eisteddle yn yr Addoldy oedd y saeth farwol a lynodd yn ei galon gyntaf, am yr hyn y dywed efe, "Pe buasai bosibl i ryw un fy nghynghori a'm rhybuddio cyn disgyniad y saeth farwol hon ar fy nghalon, buasai lle i obeithio y gallaswn dderbyn y cyngor; ac, mewn canlyniad ochelyd marwoldeb yr ergyd. Ond yn awr, hawddach fyddai i mi symud mynyddoedd allan o'u lleoedd, nâ chyfodi fy nghalon a'm hysbrydoedd i'r un graddau o hyfder a gwroldeb ag o'r blaen." —COFIANT HARRIS.

Egin beirdd, rai gwan eu byd,
Yn waelion ac yn wywlyd;
A yr hen feirdd mewn rhan fawr,
Yn salw mewn iselwawr;
Iolo* fawr, ar ael ei fedd,
A Ionawr,† mewn dihinedd;
Gwallter,‡ a'n rhydd Ddafydd§ Ddû,
Heb wyneb i awenu;
Gutyn,|| a Nantglyn,** un wedd,
Rhobert,†† a'i ddiarhebedd,
Puw,‡‡ Myfyr,§§ frodyr o fri
Ni wyddent gaent eu noddi:

Y rhai'n oedd wyr rhinweddol,—ac ereill
Yn caru'r iaith lwysol;
A cheisient, drwy'u parch oesol,
Ei chodi i ni yn ol.

Ond bychan, fychan a fu—y nodded
Gan Foneddion Cymru;
Yn noeth a gwael, bu'n hiaith gu,
Trwy angen, yn min trengu.

Yr hudolus, bêr delyn—a hoeliwyd
Ar helyg y dyfrllyn;
Eu dagrau hallt, hallt am hyn
Ddysdylliai'n beirdd, weis dillyn.

Hir auaf ar yr Awen,—a duwch
Yn dew dros ei gwybren;
Ni welid dim, gan niwlen;
Mal hir nos, cymylai'r nen.

Pan ydoedd ein pen awdwyr,
A'n dewraf, enwocaf wyr,
Bron, bron a digaloni
O herwydd ei haflwydd hi,
A'i gâlon yn llon, yn llu
Calonog yn cilwenu;
Ac ar bwynt agor ei bedd
I'w deol yno o'r diwedd;

* Iolo Morganwg. † Dafydd Ionawr. ‡ Gwallter Mechain. § Dafydd Ddu, Eryri.
|| Gutyn Peris. ** Robert Ddu, o Nantglyn.
†† R. ab Gwilym Ddu, o Eifion. ‡‡ W. O. Puw. §§ Owen Myfyr, &c.
Y rhai hyn, gydag ychydig ereill o rai mwy anhynod, oeddynt brif golofnau yr iaith, ac yn ei hamddiffyn yn ngwyneb llawer o ddigalondid, cyn codiad y SEREN, ac adgyfodiad yr eisteddfodau diweddar.

Wele'r SEREN* wen drwy wi!
O geudod niwl ar godi;
Trwy ei wyll, torai allan,
A'r niwl oer wasgarai'n lân:
Ernes a roes o ddiwrnod,
Mawr ei ddawn ar Gymru i ddod.

Rhoes adgyfodiad i fad ddefodau†
Y Dywysogaeth, ei dewis seigiau;
Ac hi a ddygodd ddeg deg o ddegau
O feirddion, o argelion i'r golau;
A thaniodd ddiffrwyth ddoniau—hen feirddion
Oedd wyneb lwydion, i ail ddwyn blodau!

Gwnaeth ddarllenwyr, cyfansoddwyr,
Bâr yn awdwyr, a beirniadon;
Dwnedyddwyr, cywrain rifwyr,
Wych anturwyr, a chantorion.

Allan y daeth llu'n ei dydd,—o liwdeg
Oleuadau newydd;
Arweiniai drwy'r wybrenydd,
Draw y rhai'n, a'i phelydr rhydd.

Haul ydoedd i'r Goleuadau,‡—a'i gwres
Bywiog a roddes i bob graddau:
Grym ei phelydr hydr yn hau—llewyrchiad,
Neu ddylanwad i'w holl ddalenau.

Unbenes annibynawl
Ydoedd hi, yn gweini gwawl;
Yn ei chylch, trogylch, mewn trefu,
Heb unrhyw wib o annhrefu.

Ei phelydrau'n taflu golau
I aneddau tra mynyddig;

* Yr oedd y dyddiau cyn cyfodiad y SEREN yn rhai o'r dyddiau tywyllaf ar lenoriaeth Gymreig a welwyd erioed; nid oedd ond ambell Fardd, ac ambell Dduwinydd yn y Dywysogaeth, a allai ysgrifenu Cymraeg yn gywir. Cymharer Cymru yn awr â'r hyn oedd yn y flwyddyn 1812.

† Megys yr Eisteddfodau a'r Cymdeithasau Cymreigyddol.

‡ Ar ol codiad y Seren yr ymddangosodd yr holl Gyhoeddiadau Misol canlynol:—megys Goleuad Cymru; y Dysgedydd; y Gwyliedydd; y Cymro; y Brud a'r Sylwedd; Lleuad yr Oes; Greal y Bedyddwyr; yr Efangylydd; y Sylwedydd; Tywysog Cymru; y Seren Ogleddol; y Papur Newydd Cymraeg; y Gwladgarwr; Cronicl yr Oes; y Diwygiwr; y Brytwn; yr Haul, &c., &c.; a'r Seren, am flynyddau, yn enwedig, yn nyddiau Mr. HARRIS, oedd y prif oleuad; canys y pryd hwnw fe'i derbynid yn fwy cyffredinol, gan rai o bob enwadau crefyddol.

Gwaelodion nentydd gwledig,—a chymoedd
Yn niwl ydoedd, wnae'n oleuedig;
Cododd ddynion dysgedig—hyd lethrau
Aeliau y bryniau, lwybrau unig.

Tröai ein bythod tra anobeithiawl,
Diau, yn neuaddau duwinyddawl;
Hi fu'n tywysu yr anfanteisiawl
I lwybrau y gwybodaethau dethawl;
Hi daenai'n gyffredinawl,—yn eu mysg,
Ei thirion addysg gwir athronyddawl.

Y llafurwr, gweithiwr, gwan,
Yr hen wr prin ei arian,
Arweddai hon, hwyr ei ddydd,
Yn enwog, fel anianydd.
Brodoriaid Aberdaron,*
A thalaeth Malldraeth yn Môn,

Oeddynt wedi cyrhaeddyd—hanesion
Teyrnasoedd yr hollfyd;
Rhyfel,—a'r blinder hefyd
Oedd ar bawb o seddau'r byd.

Hyd y rhosydd, tu allan i'r drysau,
A'r llwybrau creigiog glogyrnog gernau,
Gan rhyw weithwyr ceid pigion areithiau,
Gwersi newyddion, gwyr y seneddau;
Hwy adroddent hyd wreiddiau—llywod-ddysg,
Er mwyn addysg nes tanio'r mynyddau!

Diwygiodd Weinidogion†—yn eu hiaith,
Yn eu hyll arferion;
Deffro'r byd, hefyd, wnae hon,
I gwnu'r Gymraeg union,

Gyrodd o lawer gorawr,
Y rhyfedd gymysgedd mawr;
Mynai, mewn bryn a maenol,
Yr hen iaith i'w bri yn ol.

Rhoi fyw mewn Athrofäwyr,—enynai
Ein henwog fyfyrwyr;
Fe ddygodd hon estron wyr,
Heb lediaith iddi'n bleidwyr.

* Lleoedd yn y Gogledd mewn cilfachau tra thywyll; y mae eu trigolion yn ddiareb am anwybodaeth.
† Gweinidogion yr efengyl.

A thywysodd yr holl Gymdeithasau*
Er rhoi nodded i'r iaith a'i rhinweddau;
Y rhai'n a fagent, hwy godent gadau
O areithwyr i drin naturiaethau;
Rhai o feddianwyr prif ddoniau—ein dydd,
Hwynt, drwy eu gilydd, ddygent i'r goleu.

Iddynt hwy y rhoddent waith,
Gan anog bechgyn uniaith,
I loewi'r fywiol Awen
Hyd gopa y Wyddfa wen.

Torodd allan dân doniau,—ar unwaith,
Drwy Wynedd a Deau;
Egin awdwyr, yn gnydau,
Miwail o hyd yn amlhau.

Hi roddes gyfarwyddyd;
Yn Athen bert gwnaeth ein byd!

Aml un drwsiwyd o ymyl ein drysau,
O rai na adwaenid prin eu doniau,
A'r rhei'ny ydynt yn addurniadau,
A phrif awdwyr ran dawn a phrofiadau;
Mewn oes, pe nawdd i'w mwynhau,—ni chawsent,
Ys, hwy ymroisent, nes marw o eisiau.

Harris enwog, mae'n resynol,—it' fyn'd
I'r dystaw fedd marwol,
I orwedd mor gynarol,—a thithau
Yn wr o ddoniau mor haeddianol.

Er lludded caled, er cur,—ni welaist,
Prin ol dy fawr lafur,
Deuodd rhew, duodd yr hin,
Frig iesin dy fawr gysur.—

Duwinydd na adwaenir
Un o'i well oedd e'n wir;
Enwog wr, i drin ei gail,
Un o'i ail, mwy ni welir.

Da oedd cael byw, syw was Iôn,
Yn nghyrhaedd ei gynghorion,
Deall craff, seraff, a sant,
Ddawn Naf, oedd yn ei feddiant.

* Y Seren oedd y prif gymhellai i godi y Cymdeithasau Cymreigyddol, a'r Cymdeithasau hyn oeddynt yn nodded fawr i awdwyr ieuainc.

Y gwirionedd a agorai i weinion,
Mwnai a golud mynai o'i galon;
I'r annuwiawl anogawl gynhygion,
Gyhoeddai'n daeraidd, gwahoddai'n dirion;
Wrth ei wel'd yn nerth ei Iôn—pan draethai
Amryw a welwai, crynai marwolion!

Ei araeth oedd ddyferion—aml a glân,
Mal gwlith i dduwiolion;
E giliai ofnau'r galon,
Wrth ei waith yn traethu hon.

Galarus yw gwylwyr Sïon—o'i ol;
Wylant ddagrau heilltion;
A gloes hir i eglwys Iôn,
Ei fwrw ef at feirwon.

Oedd heb ei ail, yn ei ddydd byr,
Yn frawd a chefn i'w frodyr;
Nid hir fuasai teiroes,
Idd y fath un, yn un oes.

Athronydd, ieithwr o anian—ydoedd,
Ni wedir yn unman;
Ei ddawn dêr oedd yn darian,
A mawr glod i'r Gymraeg lân.

Mor resawl, mewn ymryson,—tra anhawdd,
Y trinai ddadleuon;
Twyllhaeriad, a brâd ger bron,—a rwygai,
O herwydd gwelai i wraidd ei galon.

Yn ei oes eiste a wnaeth,—ŵr gwiwdeg,
Ar gadair llëenoriaeth;
A'n pigion ddynion a ddaeth,
I'w garu am ragoriaeth.

Awdwyr teilwng y pedair talaeth,
Llawen yrent ffrwyth eu llëenoriaeth
Hynota' i HARRIS yn un toraeth;
A'n beirddion union heb wahaniaeth,
Yn ei ddydd i'r SEREN ddaeth,—mewn llondeb
I urddo'i hwyneb â'u barddoniaeth.

Drwy'i draethodau campus yntau,
Y mae doniau trwm, dewinawl;
Hwy roddant brawf gwireddawl—o gyneddf
Llym ei ddileddf allu meddyliawl.

Chwiliai waelodion, chwalai oludoedd,
Cudd fanau dyrus Locke a'i ddyfnderoedd;

Tramwy'r wybren ar aden yr ydoedd,
Yn llaw Syr Isaac,* fu'n llesâu'r oesoedd;
E ddeallai am ddulloedd,—a chylchau
Y mawr beirianau 'n mro y wybrenoedd.

Ai fewn i goluddion dwfn fwngloddiau
Howe a Gil odiaeth, deg oleuadau,
A Fuler anwyl, a Phool aur enau,
A Henry deilwng, lluniwr y diliau,
Owen† fawledig, Hall‡ a'i lyfn flodau,
Ac Edwards§ nerthol, wrol ei eiriau,
Efo rhydd anian, gallai 'i fawr ddoniau,
Fyn'd i waered i blymio'u dyfnderau;
A nodol amcaniadau—holl lafur,
Y tirion awdur oedd troi eneidiau:—
O rysyrch, dwyn i'r oesau,—yn gyson,
Fanau dirgelion trefn Duw i'r golau.

O du rhyddid|| ymadroddai
Yn nerthol, yn wrol, blaenorai,
Ergydiai bob rhyw gadwen.

Aml y gwelwyd e'n teimlo o'i galon,
Wr cyweithas, dros Ryddid i'r caethion,
Carai esmwytho eu croesau meithion,
A gwared tywyll Nëgroaid duon,
Y rhai a faeddid mewn amryw foddion,
Gan wŷr mileinig, haner melynion;
Ewropiaid, hagriaid egron,—fachnachent,
Ac a gydhonent gig a gwaed dynion;
Sigaw trais euogion—y gribddeiliaeth,
Dileu'u llywodraeth a dal y lladron!

Carai i bob cwr y byd
Wreiddio mewn hedd a rhyddyd,
Heb flinder, nac offeryn
I ddwyn gwarth ar ddu na gwyn;
Pob creulonder, trawsder trwm
Gwarthrudd hen ieuau gorthrwm,
A gormesiaeth grymusion—fu'n hoffi
Dur, a chadwyni i drechu dynion,

Yn hybwyll a wrth'nebodd,
Yn mhob man, ac yn mhob modd.

* Syr Isaac Newton. † Dr. Owen. ‡ Robert Hall. § Edwards o'r America.
|| Pan y dadleuai o du rhyddid, byddai yn ei elfen; gwnaeth lawer o ymdrechion dros ryddhad y caethion, a thros y Genadiaeth, &c.

Ei egni ydoedd o du'r Genadiaeth,
A gyru diwygwyr, drwy'r gre'digaeth,
Gyda glân darian yr iechydwriaeth,
I luon o ddalwyr eilunaddoliaeth;
I ddeol pob gau-dduwiaeth—oddiar
Wyneb y ddaiar a rhaib Iuddewiaeth;
Tynu Mahometaniaeth—yn ddrylliau,
A darnio delwau cedyrn hudoliaeth;
Baeddu twyll Pabyddiaeth,—dim gorphwys heb
Rwbio o'i gwyneb ol pwdr baganiaeth.

Carai anfon dros y crwnfyd,
I rai beius air y bywyd,
I'w hadferyd o feirw.

Chwythu'r fflam ddwyfol, ysol yn Asia,
Nes b'ai 'i heirias yn tanio Siberia,*
Gwareiddio, a chynyg garddu China;
Dychwel ardaloedd tiroedd Tartaria;†
Yspeilwyr rheibus, epil Arabia,
Horeb,‡ Senir,§ a thir Abbysinia;‖
Anfon cynhygiad, o gariad gora,
Eto i dywyll gynblant** Iudea;
Rhoi mwy o lewyrch, ar Hymalayia;††
Goleu i feirwon ffoi i Galfaria;
A chael wi! lawen iach haleluia,
O begwn i begwn, swn hosana,
Am waed a lwyr gymoda—ddu elyn;
Yr hen bentewyn, f'ai'n dewyn dua'!

Hyny oedd ei amcan ef,—hynodol
Weinidog Duw'r tangnef;
Uchel iawn y dyrchai lef,
Ar ran y byd i'r wiwnef.

Pan oedd fwyaf cyhoeddus,—ran ei ddysg,
O ran ei ddawn fedrus,
Yn uchel, ac yn iachus,—mewn elwch,
A thawelwch yn eitha' hwylus.

* Gwlad ëang, yn cynnwys y rhan fwyaf gogleddol o'r ymerodraeth Rwsiaidd yn Asia.

† Gwlad yn Asia; yr hon, a'i chymmeryd y ffordd hwyaf, sydd yn cyrhaedd o'r Môr Dwyreiniol i Fôr Caspia, ac o Corea, China, Hindoostan, a Phersia i Rwssia a Siberia.

‡ Mynydd yn Asia, yn Arabia garegog, o du'r Gorllewin i fynydd Sina, neu yn hytrach darn arall o'r mynydd hwnw.

§ Mynydd a elwid Sirion a Hermon; y mae o du y gogledd ddwyrain i wlad Canaan.

‖ Teyrnas hen iawn, neu ymerodraeth yn Affrica. ** Yr Iuddewon.

†† Mynyddoedd uchel, yn Mheuryn Gogleddol Hindoostan.

A Rhagluniaeth helaeth Iôn,
Ar y gwr, yn rhoi ei gwen;
Ei deulu'n gylch, glwysgylch, glân,
Ger ei law, ragorol un.
Dim arwydd o wlad y meirwon—i'w gwel'd,
Nac och ar ei galon;
Neb yn llesg, wynebau'n llon,—pob hoenedd,
A sirioledd is awyr wiwlon,*

Dyna'r pryd troe'i hyfryd haf
Yn afrywiog, fawr auaf.
Balch iawn o ddawn Ieuan Ddu
Oedd y gwr;—haeddai'i garu;
Yn ddeheulaw iddaw oedd;
A llygad ei dad ydoedd.

Eginyn ffrwythai'n gynar,—anamyl
Mae nemawr o'i gymhar;
Pêr, olygus imp rhy liwgar,—a glân
Ydoedd Ieuan i dud y ddaiar.

Mawr oedd ef yn more'i ddydd,
Henadur fel toniedydd;

Mydrwr, manylwr, mewn iaith,
Mawrygwr y Gymreigiaith;
Holl hoffder GOMER i gyd,
O'i febyd, a'i brif obaith.

Ail i dw y blodeuyn—y gwawriodd;
Agorai mal rhosyn;
Chwa farwol ar ol hyn,—a ddaeth heibio,
Nes ei wywo'n ail i lysieuyn.

Haul ei oes a aeth i lawr—yn barod,
Ben bore'i fyr dymawr;
Crinodd, newidiodd ei wawr,
Yn ei Wanwyn, mewn unawr!

Tywyll aeth Abertawe
I gyd oll o'i blegyd e'.
Yno i wgu ar enwogion,—ys, daeth
Ystorm angau digllon;
A dulid ei awelon,
Chwibanai hwnt uwch ben hon!

* Gellid meddwl fod Mr. HARRIS yn fwy dedwydd o ran ei deimladau oddeutu yr amser y cymmerwyd ei anwyl fab yn glaf nag y bu un amser yn ystod ei oes: yr oedd y pryd hwnw mal pe buasai wedi cyrhaeddyd terfyngylch dedwyddwch y fuchedd hon; ond Och, y cyfnewidiad a wnaeth dyfodiad anghroesawgar yr angeu i'r teulu!

Elyn hyll, gafael a wnaeth,
Yn mrigau y Gymreigiaeth;
Dwrn roes ar gedyrn yr iaith,
A'r Awenydd, ar unwaith.

Iwan ac Ieuan,* deg wedd,—a Harris,
A yrwyd i'r dyfnfedd,
Y dewrion yn cydorwedd,
Yn eu rhan bach o'r un bedd!

Distaw huno maent, heb gyffro
Yn llwyr yno oll, ar unwaith;
Dim cyfeillach rhyngddynt mwyach,
Na chyfrinach efo'r heniaith.

O, wele! 'nawr, mor wywlyd,
Yn y bedd yw pigion byd;
Och, och! o'u genau ni chair,
Yr un gair yn y gweryd:
Eithr y lwys athrylithr lân,
Oll, oll a dreuliwyd allan;
O'i chalon, drwy orchwyledd,
Awen bur eneinia'u bedd.—
Troi draw a gadaw y gwyr,
Yma raid, Ow, fy mrodyr!
Trwm iawn yw tramwy unwaith,
Heibio'ch bedd, diwedd y daith,
Mae ynof, er y meini,
Fawr chwant gael eich cyfarch chwi;
Ond ni wn, wed'yn, y iaith,
A ddeallwch na'r ddulliaith:
Dyeithr, dyeithr neillduedd
Eto i bawb yw tŷ y bedd;
Y tri wr mor ddystaw'r ych,
Mae'n rhaid mai huno'r ydych.

I ba le'r aeth parabl rhydd,—y doniau
A danient y gwledydd?
Y llawn ddystawrwydd llonydd,
Mwya' is ser yma sydd!

Dir, wedi mado'r ydych,
Yn llwyr iawn i'r man lle'r ych;

* Peth rhyfedd oedd i gynifer o enwogion orphen eu gyrfa yn Abertawy mor agos i'w gilydd; ac yn ddiweddaf oll, yr Hybarch Christmas Evans a fu farw yno!

Ni yrasoch, mae'n resyn,
Air i neb, o'r graean hyn:
Dinod, anhyfryd anedd
I'r byw ei chofio yw'r bedd!
Pridd oer! mae golwg pruddhau
Ar ddillad y priddellau.
Dwfn borth tywyll, erchyll yw,
Arswydus, HARRIS ydyw!

Ond daw bore eto bwrir—ymaith
Rwymau'r angeu dyhir;
Y marwol byrth gymerir;—ar uchel
Alwad yr angel, o'i law dringir.

A daw HARRIS o'r dyfnderau,—a'i fab
O'i fedd heb wendidau;
Yna ant, ac Iwan yntau—i rydd
Ardal lonydd yr aur delynau.

Ac una corff ac enaid,—yn gynes,
Yn y gân fendigaid;
Gan leisio, pyncio heb baid,
A chanu heb ochenaid.

A chewch o hyd danllyd wau
Dinam seraffaidd donau,
Yn Nghaersalem am lem loes
Y groes, heb lyfr na grisiau*:

Yma, yn awr, hoffem ni,—wir Hendyl,†
Wrando'ch cerdd yn odli;
A chael cip-drem arnoch chwi,—a'ch cyd-gan
Wiw, ar y lan mewn pur oleuni.
Ai nid hoff f'ai genyt ti,—y gorchwyl,
HARRIS anwyl, o roi gwers ini,

Yn nirgelion Iôn, a'i waith
Yn y felus nefoliaith?
A chynllun o'ch awenllef,
A ffraeth feirniadaeth y Nef;
Blodau'r rhyfeddodau ddaeth
I'th olwg yn ei thalaeth;
Pa olwg, pwy a weli,
Yn y llys, wrth d' ystlys di?

* Grisiau Cerdd Arwest IEUAN DDU. † Lluosog o Handel.

Rho hefyd, ddrych o'r rhyfedd—enwogion
Sy'n agos i'r orsedd;
Rho hanes, gwerth, a rhinwedd
Y lân orfoleddus wledd.

A'r eres ddull sy'r awrhon--ar y gwr
Agorodd y ffynon;
A weli ol yr hoelion
Yn nwy law dy anwyl Ion?

*Awst* 8, 1838. GALARWR GALARUS.

---

# EGLURHAD AR Y GEIRIAU MWYAF ANSATHREDIG A ARFERIR YN YR AWDL FLAENOROL.

**Argeliaeth,** *concealment.*
**Campwri,** *active feats.*
**Hysedd,** *handsomeness.*
**Dihinedd,** *tempestuous weather.*
**Diarebedd,** *excellence.*
**Dillyn,** *neat.*
**Galon,** *enemies,*
**Wi,** *it is expressive of joy.*
**Mad,** *beneficial.*
**Dwnedyddwyr,** *Grammarians.*
**Hydr,** *being apt to proceed.*
**Gwawl,** *light.*
**Dethol,** *select.*
**Seddau,** *seats.*
**Llywod-ddysg,** *politics.*
**Cwnu,** *to support.*
**Maenol,** *a dale.*
**Miwail,** *glossy.*
**Iesin,** *fine.*
**Syw,** *stated, regular.*
**Mwnai,** *riches.*
**Têr,** *clear, purified.*
**Gresawl,** *cherishing.*
**Dewinawl,** *theological.*
**Gwireddawl,** *veritable.*
**Dileddf,** *not flagging, or giving way.*
**Rhyserch,** *extreme affection.*
**Hybwyll,** *sensible prudent.*
**Elwch,** *gladness.*
**Hoenedd,** *liveliness.*
**Tud,** *region,*
**Dir,** *true.*
**Dinod,** *not remarkable.*
**Dyhir,** *evil.*
**Eres,** *wonderful.*

GWEL EIRLYFR Y DR. PUW.

# GWEITHIAU AWDUROL

Y

# PARCH. JOSEPH HARRIS.

---

## CYFNEWIDIADAU.

JOB X, 17.

Y MAE pob peth sydd îs yr haul yn gyfnewidiol; ac nid oes un cyfnewidiad a'r na byddo achos gan ryw rai i ddywedyd gyda Job, Cyfnewidiadau sydd i'n herbyn. Y mae cyfnewidiadau,

1. Mewn *teyrnasoedd*—y mae un deyrnas yn cyfodi o iselderau mawrion; oud y mae un arall yn myned i'r dyfnderoedd yn ei lle—addurnir un goron â mil o dlysau newyddion; ond yspeilir un arall o'r un rhifedi—os ennillir ychydig o dir oddiar y môr mewn un parth, fe ddywedir, y collir cymaint â hyny mewn parth arall—newidiodd doethineb gelfyddgar ei thrigfanau yn fynych; teithiodd o'r Aipht i Ganaan, o Ganaan i wledydd Groeg a'r Eidal, ac oddiyno i Ffrainc a Brydain—newidiodd masnach Tyrus am Alecsandria—Alecsandria am Venice—Venice am Amsterdam—Amsterdam am Lundain, ac yr oedd pob un o'r cyfnewidiadau hyn yn *erbyn* rhyw bobl.

2. Mewn *teuluoedd a thrigfanau*—pa le y mae hen breswylwyr y tŷ acw? Yn nhir anghof, er ys llawer dydd. Pa le y mae penaeth diweddar y teulu hwn? Yn y bedd. Beth a ddarfu i'r ferch brydweddol a welais i yma ynghylch tri mis yn ol? Och, y mae yn ei gwely pridd—pa le y mae'r plant ereill i gyd? Y maent oll wedi gwasgaru yn mhell ac yn agos, fel adar wedi dyfod i lawn blyf, wedi cymeryd eu haden, ond un bachgen afradlon, yr hwn sydd yn aros i gynorthwyo tòri calon y weddw—Ow, mor fynyched y mae preswylfeydd yn newid eu deiliaid!

3. Mewn *meddianau*—symudwyd Job o un eithafoedd i'r llall; o'r cyfoeth mwyaf i'r tlodi eithaf. Gwelwn rai etto, ag y bu eu ffiol yn llawn i'r yml, yn awr mewn diffyg; y dwylaw tyner heb ymgynnefino â gwaith, yn gorfod trwy boen dirfawr i wasanaethu anghenrheidiau teulu newynog—y rhai a arferent gyfranu yn siriol i'r anghenus, yn byw ar

haelioni eu cymydogion goludog. Gwelwn yma, er fod "arian yn gysgod," neu yn amddiffynfa, Preg. vii, 12, eu bod yn gyfryw ag y dichon llaw'r yspeiliwr, neu oruchwyliaeth rhagluniaeth eu symud.

4. Mewn *cymydogion a chyfeillion*—trŷ llawer o gyfeillion mewn enw eu cefnau arnom, o herwydd na fedrwn ddenu cyfoeth i aros gyda ni, neu o herwydd y gallant gael mwy o ddyrchafiad trwy ein gadael, neu ymgadw rhag peryglon bychain trwy beidio hwyhau eu cyfeillach â ni—mynai hen gyfeillion Job mai rhagrithiwr oedd efe, a bod Duw yn mhell oddi wrtho, pan ddiangodd ei olud oddi arno, er nad oedd son am hyny o'r blaen—cefnodd Ahitophel, hen gyfaill mynwesol Dafydd, ar ei unig frenin cyfreithlon, o herwydd fod y bradwr Absalom, yn debyg ddigon, yn addaw mwy o ddyrchafiad iddo—ac er i gyfeillion Paul, y rhai oeddynt yn Rhufain, ddyfod i gyfarfod ag ef, pan oedd yn myned yn rhwym i gael ei farnu o flaen Cæsar, rhai cyn belled ag Apii-fforum, 51 o filldiroedd, ac ereill i'r tair tafarn, ynghylch 33 milldir; ond rhag iddynt beryglu eu hunain yn y mesur lleiaf, ni safodd neb gydag ef yn ei ateb cyntaf o flaen Cæsar, eithr pawb a'i gadawsant, Act. xxviii. 2 Tim. iv. 16.

5. Yn *Eglwys Dduw*—pa le y mae'r tadau? A ydynt hwy yn fyw byth? Ow! nag ydynt; eithr hebryngasom hwy i'r bedd dystaw er ys blynyddau—pa le y mae Orpah a'i chwiorydd, y rhai a ddechreuasant eu taith mewn ymddangosiad tua gwlad well nâ Moab? Y maent wedi dychwelyd at eu hen bleserau a'u hen gyfeillion. Pa beth a ddaeth o Demas a'i frodyr, y rhai a gydlafuriasent â ni yngwaith Tywysog heddwch? Y maent wedi eu gorchuddio â chwantau bydol, ac wedi eu boddi mewn ariangarwch—pa fodd na welaf y gwr ieuanc brwdfrydig hyny yma yn awr? Y mae efe wedi myned i chwilio am bleserau mewn gwlad bell. Beth yw'r holl *benwynu* hyn a welaf ar y rhai ag oedd yn ddiweddar iawn â phob arwyddion cryfdwr ac iechyd arnynt? Ow, fe oerodd cariad llawer. Pa beth a ddarfu o'r per awelon ag oedd gynt yn chwythu dychweledigion i'r deml, fel colomenod i'w ffenestri? Y maent yn debygol wedi myned i anadlu ar y lladdedigion yn Bengal ac Otaheite: ond nid ydynt wedi myned yn rhy bell i ddychwelyd.

6. Mewn *personau unigol*—Y mae henaint ac afiechyd wedi gwneuthur cyfnewidiadau mawrion ar eu cyrff—iechyd yr hoenus a ddiangodd—cryfdwr y cadarn a ffodd—galluoedd rhesymiadol y doeth a enciliasant—yr hen a gofia yn unig iddo fod yn ieuainc, a'r claf iddo fod yn iach, &c., —Hawdd fyddai cymhwyso hyn hefyd at brofiadau crefyddol; llawer un a alara yn chwerw am gyfnewidiadau ansawdd ei feddwl, gan ddywedyd, Myfi a fu'm yn fywiog mewn crefydd ond yn awr yn glaiar—bu'm yn gadarn mewn ffydd, cariad a gobaith; yn medru canu caniadau Sion gyda mawr orfoledd; eithr yn awr, y mae fy nhelyn yn nghrog ar yr helyg yn dra aml—ni's gallaf gael cysur llawn gyda chrefydd, na dim dyddanwch sylweddol hebddi—"Cyfnewidiadau—sydd i'm herbyn."

Ychydig o gyfarwyddiadau pa fodd i ymddwyn yn wyneb cyfnewidiadau, fel na'n gorchfyger ganddynt.

1. Dysgwyliwch gyfnewidiadau, ac ymbarotowch ar gyfer siomedigaethau, o herwydd nid oes un amgylchiad na sefyllfa yn y byd hwn a ddichon ddiogelu rhagddynt—peth hawdd yw cyfnewid sefyllfa, a thrwy hyny i ddianc ar un math o siomedigaeth; eithr nid yw hyn yn aml, ond dianc o balfau'r arth i safn y llew—wrth eu dysgwyl yn barâus byddwch yn fwy gwrol i'w cyfarfod pan ddelont—dysgwyliwch hwynt yn eich llwyddiant mwyaf—rhaid i forwr ofalu am fyned â'i angor gydag ef i'r môr ar y tywydd tecaf—peth blin fyddai i weithiwr losgi ei offer ar ddiwrnod gŵyl—yn yr haf, cofiwch fod gauaf i ganlyn.

2. Fel na ddigalonoch, ystyriwch y gallasai cyfnewidiadau amlach a thrymach fod yn eich herbyn—gallasech fod heb un cyfaill—heb gynhaliaeth—ac heb fynyd o iechyd—yr ydych yn haeddu gwaeth—cafodd eich gwell chwi waeth triniaeth—cyfiawn fuasai eich bod yn medi o ffrwyth eich troseddau; ond am nad yw felly gyda ni, trowch eich achwyniadau yn ddiolchgarwch.

3. Os yw llawer o gyfnewidiadau yn eich *erbyn*, y mae rhai *drosoch*—os collasoch rai cyfeillion, cawsoch gyfeillion newydd; os siomwyd chwi yn ddirfawr gan rai, cawsoch fwy o bleser a hyfrydwch mewn ereill nag a ddysgwyliasoch erioed—ac os dygwyd chwi i alaru yn efengylaidd am y pechodau a gyflawnasoch yn rhyfygus yn erbyn eich Creawdwr, y mae eich calon wedi ei chyfnewid; o fod yn elyn i Dduw yr ydych yn gyfaill iddo—yn lle brysio i ddinystr, yr ydych yn teithio tua dedwyddwch anrhaethadwy—cofiwch gan hyny fod yr *un* cyfnewidiad hwn o'ch tu, yn fwy nâ'r *holl* gyfnewidiadau a fu, neu a ddaw byth i'ch herbyn.

4. Yn wyneb pob cyfnewidiad ag sydd yn eich erbyn îs yr haul, cofiwch fod Un anghyfnewidiol yn y nefoedd, "Iesu Grist yr un ddoe, heddyw, ac yn dragywydd." Y mae efe yn "gyfaill a lŷn yn well nâ brawd." Os bu farw'r proffwydi, y mae efe yn byw bob amser—os trodd cyfeillion allan yn fradwrus, y mae efe yn ffyddlon a chywir—os yw golud daearol yn myned ymaith, y mae ei olud ef yn para yn "anchwiliadwy." Pe gorfyddai arnoch fod heb na thŷ na chartref yma, efe a barotodd i chwi "dŷ tragywyddol." Os yw dychrynfeydd angeu yn ymaflyd ynoch, cofiwch, ei fod Ef, yr hwn a "lyncodd angeu mewn buddugoliaeth," yn medru "achub hyd yr eithaf." Y mae cael *un* anghyfnewidiol fel hyn o'ch tu, yn fwy nâ'r holl gyfnewidiolion sydd i'ch herbyn.

5. Ystyriwch fod llawer o'r cyfnewidiadau sydd yn ymddangos i fod i'ch herbyn yn angenrheidiol—y mae'r gauaf yn llesiol fel yr haf—rhaid dangos gwg a ffiangell mewn trefn i lesâu plant gwrthnysig, yn gystal â gwenu arnynt a'u cofleidio—dengys cyfnewidiau yn y byd mai gwagedd yw'r cwbl îs yr haul, a thueddant ein meddwl at fyd o sylwedd.

Chwi a wyddoch oll fwy neu lai am y cyfnewidiau rhag-grybwylledig, ond y mae un o'ch blaen, na wyddoch fawr am dano—rhaid i chwi gyfnewid dau fyd—ymofynwch yn fanwl pa un a yw'r cyfnewidiad hwnw yn debyg i fod o'ch tu, neu yn eich erbyn. ADELPHOS CYMRAEG.

---

## Y GYMRAEG.

YR wyf wedi darllen yn bwyllog yr holl gyfansoddiadau o eiddo eich Gohebwyr ar y dull o ysgrifenu'r Gymraeg;* meddyliais unwaith y buasai'r ddadl wedi ei gorphen cyn hyn, ond ymddengys nad yw'r ymdrech ond megys dechreu; ac am nad oes un ffordd i gael unffurfiaeth gyffredin yn awr ond trwy gyfryngiaeth SEREN GOMER, gobeithiwyf na adewir llonydd i'r pwnc nac i'ch SEREN chwithau, hyd oni chytuner arno, neu hyd oni ymddangoso fod unffurfiaeth yn anwneuthuradwy. Dysgwyliaf glywed hefyd fod y Beirniaid trwy y wlad yn barod i dderbyn cynnyg caredig perchenogion eich Cyhoeddiad ynghylch cynnal cymanfa feirniadol yn Abertawe; o herwydd y mae cyfrinach bersonol, yn fynych, yn dwyn oddi amgylch lawer o bethau na fedro gohebiaeth eu cyflawni. Ond cyn hyny angenrheidiol yw i bob plaid ysgrifenu eu meddyliau yn gyflawn a chyhoeddi eu holl resymau, fel gallo y gwrthbleidiau ddysgu'r ddadl o bob tu iddi, cyn cychwyn i'r gynadleddfa. Yn yr ysgrifen ganlynol, chwi welwch fy mod yn gadael allan bersonau, a phethau amgylchiadol, ac nad oes a fynwyf â dim ond â'r pwnc ei hun: a'm bod yn gosod y rhan fwyaf o'm sylwadau mewn dull ymofynol.

Sylwer, nad oes un ddadl ynghylch pa un a bod eisiau *h* neu ryw *arwydd* arall i ddynodi cryf-anadliaid; addefir hyn gan bawb. Hefyd, peth eithaf amlwg ydyw y ceid llawer mwy o hanes a phethau ereill ar yr un faint o bapur pe derbynid rhyw arwydd bychan arall fyddai yn nglŷn â'r llafariaid, yn lle *h*, a gadael heibio'r arfer o lythyrenau dwyol: ond o'r tu arall, os ydyw'r pethau hyn yn hanfodol i'r iaith, ni ddylid, megys y sylwodd Unffurfgarydd, eu cadw allan pe byddai eu cynnal yn llawer mwy treulfawr nag yw. Y ddadl gan hyny yw, a ydynt yn hanfodol ai peidio? Nid yw *haeru* eu bod, neu nad ydynt, o un defnydd. Profer hyny.

Ystyrir yn mhellach, os yw *h* yn dynodi rhyw beth yn fwy nag arwydd uchenaid, neu gryf-anadliad, megys yr arwydda rhai o'ch Gohebwyr, ni ddylid ei harfer i ddynodi hyny fyth, oddieithr profi ei bod yn meddu mwy nag un swydd ar ei phen ei hun (sef heblaw pan glytier hi wrth *p* i wneuthur sain sydd genym eisioes, sef *ff*, neu ag *c*, i wneuthur y sain a

---

* Pan ysgrifenwyd y llythyr hwn yr oedd dadl boeth yn cael ei chario yn mlaen yn SEREN GOMER ar y pwnc.—D. R. S.

ddynodir yn y Groeg wrth fath o *x*, ac yn yr hen lythyren Gymraeg gan fath o *k*, &c.) Eithr os cryf-anadliad a arwyddir gan *h* bob amser, ond mewn amgylchiadau o'r fath uchod, oni ddylid ei harfer, neu arwydd a ddynoda'r un peth, pan fyddo eisiau'r cryf-anadliad yn wastadol? mewn *trymhau* yn gystal ag mewn *haul? &c.*

Yr ydwyf wedi sylwi fod y geiriau *yn* a *Chaerfyrddin*, (a'r cyffelyb) mewn cysylltiad yn cael eu hysgrifenu bedair ffordd; *Ynghaerfyrddin, yn Ghaerfyrddin, yn Nghaerfyrddin*, ac *yng Nghaerfyrddin*. Ymddengys peth gwrthuni yn mhob un o honynt; yn y cyntaf, am fod yr adroddiad yn myned â'r prif lythyren a'r sylweddair yn gorfod bod hebddi; yn yr ail, o herwydd bod dau air yn cael eu seinio megys pe byddent ond un; yn y trydydd, am fod y geiriau yn cael eu hysgrifenu mewn modd na seinir hwy heb orchestu'r geg; ac yn yr olaf, am fod dau arwydd dyblyg yn cael eu defnyddio i ddynodi un sain; megys, pe ysgrifenid ynghylch, fel hyn *yng nghylch*. Pa un o'r pedwar yw'r drwg lleiaf?

Gan fod yr hen lythyreg Gymraeg yn meddu cynnifer o lythyrenau ag sydd o seiniau yn yr iaith, ac am fod yr egwyddor Rufeinig yn meddu mwy o lythyrenau nag a arferir genym ni yn awr, beth oedd yr achos i'n hynafiaid ddewis cynnifer o lythyrenau dyblig i wneuthur seiniau unigol, pan wthiwyd yr ögwyddor hòno i'w plith? Os rhaid derbyn y Rhufeinig: paham y rhoddwyd dwy *f* i arwyddo sain un yn ei chartref ei hun? ac un i lanw lle *v*? Onid gwell fuasai defnyddio *v* am *f*, ac *f* am *ff*, *x* yn lle *ch*, yn gyffelyb i'r Groeg, a *k*, *q* a *z*, yn lle rhyw lythyrenau dyblig ereill? Yn mhellach, ai anhebgor yw rhoddi sain un llythyren mewn rhai amgylchiadau i arall, (megys sain *ff* i *ph*), er mwyn y gair cysefin, ac nid yn mhob amgylchiad? Os felly, Beth yw'r rheol?

Pa un ai sain geiriau, neu eu cyfansoddiad, neu henafiaeth, neu ryw beth arall sydd yn gofyn am lawer o lythyrenau dwyol mewn ysgrifenyddiaeth Gymraeg? Os y cyntaf, sef y modd o seinio geiriau, sydd yn galw am ddwy *m* mewn cymmwys, cymmod, cymmydog, cymmeradwyo, &c., a dwy *n* yn gennyf, cynnull, honno, &c., pa'm na roddid dwy *s* yn nherfyniad *hysbysu* a *melysu*, a dwy *l* yn *canolog*, a *chaledu*, a dau bâr gwychion o *d* yn *meddiant*, a *moddol*, gan ysgrifenu medddiant, a moddddol, a mil o'r cyffelyb?—Os yr ail, sef cyfansoddiad geiriau, pa ham y gadewir llythyrenau allan mewn rhai geiriau cyfansawdd, ac nid o ereill? a pha ham y cyfnewidir rhai llythyrenau wrth gyfansoddi geiriau? megys gadael *t* allan o'r geiriau breinfawr, a breiniol, a throi yr *a* yn *e* (canys y maent yn tarddu o *braint*) a deol *g* o (dad-gorphwyll), a dwyrain-ogledd; ac *w* o ddigllon (digllawn, canys y mae yn sicr nad ystyr y gair digllon, yw bod gwr yn *llon* mewn dig ond yn llawn dig; ac o'r gair adwedd (ad-gwedd); cwtogi *pump ar ddeg nos*, i *bythefnos;* ac yn neillduol gadael allan hanner

*diau* yn *di-ben* a'r cyffelyb, (os pen yn ddiau yw yr ystyr o honaw), &c. &c. Oni ddengys hyn y gellir hebgor rhai o golofnau geiriau cysefin mewn cyfansoddiad?

Os henafiaeth, neu ddull yr hen Frythoniaid o ysgrifenu sydd yn gwneuthur y llythyrenau dwyol yn angenrheidiol, yn mha oes neu oesoedd yr oedd ein hynafiaid yn eu harfer. Y mae genyf yn awr bigion o gyfieithad y dysgedig Wm. Salesbury, o'r Testament Newydd i'r Gymraeg, yr hwn a argraffwyd yn Llundain, yn y flwyddyn 1567: rhoddaf rai ad-ysgrifau ger bron eich darllenwyr:—

Math. xxiii. 14—16. Gwae chwy *chwi* yr Gwyr-llen a'r Pharisaicit hypocreiteit: canys eich bot yn llwyr bwyta tai y gwragedd gweddwon, ac wrth liw gweddiae hirion: erwydd pa bleit yd erbyniwch varn drymach—amlygwch vor a'thir i wneythur vn o'ch proffes *eich unan*: a gwedy y gwneler, ys gwnewch ef yn ddau-blygach yn vap i ufferu na chwi ych vain.

Luc xix. 20. Arglwydd nycha, dy darn, yr hwn oedd genyf.

Luc xx. 24. Pwy biae'r ddelw a'r graifft sydd arnei? Atep o hanynt a dywedyt Caisar.

Luc xxiii. 56. Ac a orphoyseesont y dydd sabbath erwydd y gorchymyn.

Luc xxiv. 4. "Wele dau wr yn ddysymwyth a safent wrth-ynt mewn gwiscoedd dysclaer.

Ioan viii. 46. Pwy'n hanoch a hona pechat arnaf?

Ioan xiii, 26. Hwnw yw ef, yr un y rhoddwyfi iddo dameit wedy'r imi ei enllynu.

Ioan xix. 6. Pilatus a ddyvot wrth wynt Cymerw-chwi ef a chrogwch.

Act. ii. 38. Gwellewch eich buchedd a batyddier pop un o honawch.

Act. vii. 8. Ac Isaac a gafas Jaco a Jaco a ennillawdd y deuddec patriarch.

Act. xx. Ac yn y cyfamser hyn y ganet Moysen, ac ydd oedd ef yn gymradwy gan Ddew.

Act. xiii. 15. Ha wyr frodor, os oes genwch neb gair eiriol i'r popul.

Act. xiii. 25. Y nâb a feddyliwch fy-bot i, nid hwnw yw fi:

Act. xvi. 33. Ac y batyddiwyt ef a ei holl berchenogaeth eb o hir.

Act. xvii. 12. Am hyny llawer o hanwynt a gredasont.

Act. xix. 41. Ac wedi iddo ymadrodd felly, y maddeuawdd ef y gymunfa ymaith:

Act. xxvii. 27. Mal ydd oeddem yn bwhwmhau yn y mor Adrial yn cylch-hanner nos.

1 Cor. i. 18. A chenym ni yrei a iacheir, rhinwedd Duw ydyw.

1 Cor. xi. 25. Yr un modd hefyt y cymerth efe y phiol.

1 Cor. xi. 27. Pwy bynac a fwytao'r bara hwn.

Eph. ii. 44. Efe yw'n tangneddyf, rhwn a wnaeth y ddoy blaid yn un, ac a ddatododd y gyad y rhan-baret.

Gwelwn wrth yr anghreifftiau uchod nad oedd llythyrenau dwyol mewn parch yn amser William Salesbury; meddylid y pryd hyny fod y geiriau cymeryd, cymeradwy, a'r cyffelyb yn rymus ddigon heb ddwy *m*. A thebyg ddigon, pe cynnygasai rhyw un y pryd hyny i estyn cynorthwy y llythyrenau dwyol, y cyfrifasid ei fod fel yn cynyg coes bren i wr a fuasai yn meddu ar ddigon o goesau bywiol eisioes. Oddiar yr amser hwnw y mae cyfnewidiad mawr wedi cymmeryd lle mewn ysgrifenu Cymraeg; ac y mae yn deilwng o sylw pa un ai diwygiad yw yr *holl* gyfnewidiad ai peidio.

Yr ydys yn son yn fynych am y Saesneg wrth ysgrifenu ynghylch y Gymraeg; ond beth sydd a fyno ein hiaith ardderchog ni â'r estrones glytiog hòno? Er cymaint a ganmolir arni (gan ddynion nas gwyddant gwell) ymddengys i mi, o ddifrif, nas gallasai fod yn llawer mwy afluniaidd ac aniben pe buasai y gwyr doethion sydd wedi bod yn ei chaboli o oes i oes, yn treulio yr amser hyny i'w hanferthu. Y mae yr un gair yn fynych yn arwyddo yn agos bob peth, o herwydd paham, prin y meddyliaf ei fod yn arwyddo dim, oddigerth iddynt hwy ddywedyd ei fod.

Y mae eu *laugh* hwy yn ddigon i'm gŷru i yn brudd, pe prisiwn am eu hiaith amrŷwiogaethol; ac er nad wyf broffwyd na mab i broffwyd, gallaf ragfynegu'n hŷ na fyddant yn ysgrifenu Saesneg yn y modd y maent yn awr ymhen càn mlynedd i ddyfod; clywyf fod Esgob Tyddewi eisioes yn deol *l* o'r gair *could*, gan ysgrifenu *coud*; ac o'm rhan i, (pe'm dawr beth a wnelont â hi), byddai gystal i'w Arglwyddiaeth droi yr *u* yn *o* yn y gair uchod, gan iddo ddechreu diwygio; canys dilys genyf fod *cood* bob tipyn gystal â *good*, &c., &c.

LLEWELYN.

---

## "Y CI A LADDODD Y DDAFAD!"

YN SEREN GOMER am Ebrill, 1814, mae y gofyniad canlynol, gan un a arwyddai ei hun *Cadwgan*:—"Pa beth yw ystyr Ramadegaidd y geiriau hyn, 'Dyma y ci a laddodd y ddafad;' pa un ai y ddafad a laddodd y ci, ai ynte y ci a laddodd y ddafad, a feddylir?"—Ateb; y ci bid sicr sydd wedi lladd y ddafad; ac nid oes achos gweled ymadrodd mwy eglur i arwyddo hyny nâ'r un uchod, wedi sylwi o honom ar y rhanau ymadrodd y perthyn pob un o'r geiriau uchod iddynt.—*Dyma*, neu *Wele yma*, Rhagferf; *y*, Bannod terfynol; *ci*, sylweddair neu enw cadarn; *a*, Rhagenw perthynol, yn cyfateb i *that*, yn Saesneg, *lladdodd*, berf wneuthurol, neu air yn dynodi gweithred a wnaed gan oruchwyliwr, neu ddeiliad y ferf; ac nis dichon un gair yn yr ymadrodd hwn fod yn ddeiliad i'r ferf *lladdodd* ond *ci*. Y *ci* a laddodd—efe oedd y gweithydd; a pha raid fyddai wrth eglurhad y mae'r rhagenw perthynol *a*, yr hwn sydd wedi ei osod rhyngddynt? wedi ei roddi yno yn fwriadol i ddynodi'r berthynas uchod—gwrthddrych y ferf neu'r weithred *lladdodd* yw *y ddafad;* o ganlyniad, gan mai'r *ci a laddodd*, rhaid yw mai'r *ddafad a laddwyd*—mae'r ci yn weithgar a'r ddafad yn oddefol; ond yn y cysylltiad uchod efe yn unig sydd weithgar, o ganlyniad, peth llwyr anmhosibl yw ei ryddhau o fod yn euog o'r llofruddiaeth, gan hyny addefed Cadwgan mai peth blin oedd i'r llofrudd farw cyn cael ei grogi, yn lle ceisio euog-farnu dafad ddiniwed.

LLEWELYN.

Gwnaed sylw ar y Llythyr blaenorol gan un a gyfenwai ei hun D. E., Glantren, i'r hyn y mae a ganlyn yn atebiad:—

Tybiais i mi ddangos yn lled eglur, yn fy atebiad i Cadwgan, nad oedd y geiriau "Dyma y ci a laddodd y ddafad," yn tueddu yn y mesur lleiaf i euog-farnu'r ddafad ddiniwed o lofruddiaeth; pa fodd bynag, y mae gwrthddadleuon teilwng o sylw yn cael eu cyfodi gan eich cyfaill Mr. D. E. yn erbyn yr eglurhad a roddais i'r geiriau. Ac am fod ychydig ddadleu mewn ysbryd hynaws, yn tueddu yn fawr i helaethu gwybodaeth; ac am na chafodd y Cymry'r fath gyfle ysgatfydd erioed, ag sydd yn eu meddiant yn awr, trwy gyfrwng eich siriol Seren, i hyfforddi eu gilydd mewn modd beirniadol: mewn pethau perthynol i'w hiaith ardderchog, (canys yn y blynyddoedd a aethant heibio, nid oedd wahaniaeth yn nghyfrif y lluaws, rhwng ysgrifeniadau Cymreig y gwybodus yn fwy nâ'r anwybodus; eithr tybiai yr hwn na fedrai wahaniaethu rhwng un rhan ymadrodd a'r llall, na gwybod pa fodd i gysylltu geiriau yn weddaidd â'u gilydd, ei fod yn gystal awdwr â neb pwy bynag,) myfi gynygaf gyda'r ewyllysgarwch mwyaf i foddloni eich Gohebwr.

Gwrthddadleuir yn gyntaf i'r haeriad yn fy llythyr blaenorol, "mai Rhagenw perthynol yw *a*, yn y cysylltiad uchod, yn cyfateb i *that* yn Saesneg," o herwydd fod *yr hon*, ac *yr hwn*, yn Rhagenw perthynol, yn cyfateb i *which*, *whom*, ac weithiau *that*, yn yr iaith glytiog; a bod *a* yn canlyn *yr hwn*, &c. megys pe na buasai un Rhagenw perthynol arall yn yr ymadrodd. I symud yr anhawsdra hwn, sylwer fod amryw eiriau yn yr ysgrythyrau, yn gystal ag mewn hen awdwyr, wedi eu cyfansoddi yn gyffelyb i'r rhai uchod, ac nas gellir eu deall yn wahanol i'r esboniad a roddais i arnynt, megys, Salm vii, 6, "Deffro hefyd drosof i'r farn *a* orchymynaist;" nid i'r farn *yr hon* a orchymynaist. Salm xxv, 12, "Efe a'i dysg ef yn y ffordd *a* ddewiso;" nid y ffordd *yr hon* a ddewiso. Ezec. xviii, 4, yr enaid *a* becho, hwnw a fydd marw; nid yr enaid *yr hwn* a becho.

> Nid gorthaw a wnaf wrth *a* garwyf.—Cynddelw.
>
> Deddfau hael, wrth bawb a'i holo;
> Diofal y wlad *a* wledycho.—Ll. Gwr.
>
> Hen widdon—
> *A* fai yn llenwi fal llong ddyfrwys.—Taliesin.
>
> Y gwr *a* oreu awyrawl odnaint.—Elidyr Sais.
>
> Neu'r digerais *a* garaf?—Llywarch Hen.

Yn awr, rhaid addef, nad oes un Rhagenw perthynol mewn neb o'r ymadroddion uchod, neu gydnabod bod *a* yn un, ac y mae yn ddilys fod cymmaint eisieu'r Rhagenw yn mhob un o honynt, ag sydd yn yr anghreifftiau a osodwyd gerbron gan D. E., o'r Datguddiad; a lluoedd ereill a ellid ddyfynu. Ond yn awr, naturiol yw gofyn, "Pa beth a wneir o'r *a* yn yr ymadroddion lle y rhagflaenir hi gan y Rhagenwau, *yr hwn, yr hon, yr hyn, yr rhai*, &c. Oni raid fod adeiriad yn y fath

ymadroddion, megys pe dywedid, *yr hwn, yr hwn*, &c. Oni ddefnyddir dau Ragenw, pan nad oes eisieu ond un?" Ateb, na wneir—nid oes yma ddim adeiriad oll; canys er fod *a* yn Ragenw mewn un cysylltiad, nid yw hyny yn profi ei bod felly yn mhob amgylchiad. Y mae yn hysbys ddigon i D. E., fod *a* yn gysylltiad yn y geiriau "Pedr a Ioan," yn arddodiad yn y geiriau, "cymmaint â cheffyl," yn Ragferf yn y geiriau, "A welwch chwi fod yn dda," ac yn Daflodiad yn y geiriau "A! wyrda, darfu am ein gobaith!"—ychydig iawn o gyfnewidiad mewn ymadrodd sydd ddigon i newid swydd yr *a* fel geiriau ereill; ac yn oestadol pan ragflaenir hi gan *yr hwn*, &c., y mae'n colli ei swydd o fod yn Ragenw, ac yn myned yn beth arall. Er amlyced hyn, y mae'r gofyniad yn aros, "Beth yw hi pan fyddo Rhagenw o'i blaen yn ddigyfrwng, megys, "Y dyn yr hwn *a* lefarodd?" Ateb, rhoddwn yr un swydd iddi yma ag sydd ganddi yn y fath ymadroddion â "Paul *a* atebodd ac *a* ddywedodd." Gofynir etto, "Pa beth yw ei henw yn y cyfryw gyssylltiad?" Ateb, Rhagferf gadarnhaol, yr hon sydd anhebgor mewn llawer o ymadroddion i wahaniaethu rhwng pwnc cadarnhaol ac un nacaol, megys, "Ni *a* fedrem, yr oes hono, dreulio talm o amser yn nghyd heb enllibio ein cymydogion—ac ni *a* wyddem pa fodd i ddifyru ein gilydd—ac ni *a* fedrem ddyoddef yn amyneddgar," &c.; pe gadawid yr *a* allan o'r fath eiriau, byddai'r gwyr da, at y rhai y cyfeiria'r Rhagenw *ni*, (yr hwn heb *a* fydd yn Ragferf nacaol) yn gyfeillion tra chynhenllyd ac ymrysongar; ond trwy ddefnyddio'r *a* fe'u troir yn wir heddychol a chariadlon: eithr hawdd fyddai hebgor y Rhagferf *a* yn y geiriau a goffêir gan D. E. "Yr Iesu *a* atebodd ac *a* ddywedodd," canys yr un fyddai'r ystyr, pe ysgrifenid, "Yr Iesu atebodd a dywedodd:" ond wrth ychwanegu'r Rhagferf *a*, y mae'r ymadrodd, er mai'r un ydyw, yn fwy pwysig nag y dichon fod hebddi.

Nid *a* yw yr unig Ragferf a ddefnyddir i osod ychwanegol bwys ar ddryll-ymadrodd; arferir *ef, fe*, &c., yn fynych pan na fyddont yn Ragenwau i'r perwyl hwn, megys, *ef*, neu *fe ymddengys*, pan mai yr un yw yr ystyr â phe dywedasid *ymddengys* ond yn unig fod y gair yn wanach, neu yn llai pwysig heb ragddodi y gair *ef* neu *fe*. Dylid sylwi yn mhellach, na wna *a* y tro yn lle *yr hwn* yn mhob cysylltiad; pe dywedid "Dyn gânodd," dangosai hyn fod rhyw ddyn wedi cânu: byddai "Dyn a gânodd," yn amlygu y peth yn fwy pwysig; ond, "Dyn yr hwn a gânodd," a ddynodai rhyw ddyn penodol. Eithr, byddai dywedyd "Dyma y dyn a gânodd y dôn," yn cyfeirio at ryw berson neillduol, yn gystal â phe dywedid, "Dyma y dyn yr hwn a gânodd y dôn." Ac felly y mae y geiriau, "Dyma y ci a laddodd y ddafad," yr un mor eglur â phe ysgrifenid, "Dyma y ci, yr hwn a laddodd y ddafad."

Nid yw bod y Ferf weithiau o flaen ei gwrthddrych, fel y dychymyga eich cyfaill D. E., yn cyfnewid yr ystyr, pan fyddo yr ysgrifenydd wedi geirio ei ymadrodd yn y fath fodd rheolaidd ag nas gellir ei gamddeall,

canys gellir cyfleu yr un geiriau lawer ffordd, a phob un o honynt yn rheolaidd ac yn ddealladwy. Pe amgen, pa fodd y daeth eich cyfaill i wybod mai ei Luniwr yw deiliad y Ferf *roddes* yn Dat. i, 1. Ac wedi y cwbl, fe debygid y byddai efe yn foddlon addef mai y ci yw y llofrudd, a olygir yn y geiriau mewn dadl, pe ychwanegid *yr hwn*, a dywedyd, "Dyma y ci yr hwn a laddodd y ddafad;" ond adolwyn, a fyddai hyny yn cyfnewid sefyllfa y Ferf? Na fyddai ddim. Ac yn olaf, y mae ei air anwyl ef, *yr hwn*, yn yr ymadrodd yn y Datguddiad, lle gosodir deiliad y Ferf, neu ei gweithydd, ar ei hol; o ganlyniad tybiaf fod y gwrthddadl diweddaf hwn wedi diflanu. Gwybodus wyf, nad yw holl awdwyr Ieithaduron, yn cyfrif *a* yn Ragenw fyth, ond y maent yn addef fod y Rhagenw yn cael ei gynwys, neu ei arwyddo bob amser, yn y fath eiriau â'r rhai uchod, gan hyny, pa un a bod yr *a* uchod yn ragenw perthynol, neu Ragferf gadarnhaol, yr un yw yr ystyr, sef, mai y ci oedd llofrudd y ddafad.

LLEWELYN.

# YCHYDIG O RESYMAU

## YN DANGOS AFRESYMOLDEB YR YMARFERIAD GWRTHUN O DYNGU MEWN MODD HALOGEDIG.

Y MAE yr ymarferiad o dyngu a rhegu mewn modd halogedig yn dra afresymol, oblegid—

1. Y mae rheswm yn dysgu dynion i ddywedyd synwyr, ac i ddywedyd y synwyr hwnw mewn cysylltiad a chydluniad addas; eithr y mae tyngu yn rhwystro y gyfrinach, yn dadgymhalu rhanau yr ymadrodd, ac yn ei lwytho â geiriau dros ben a disynwyr: nid oes un tyngwr yn medru siarad yn ieithadurol, neu yn ramadegaidd; y mae pob llw halogedig yn dystrywio iaith.

2. Nid yw rheswm yn medru amddiffyn un peth na roddo ryw bleser neu hyfrydwch i'r rhai a'i dilyno; ac y mae yn eglur na ddichon dim ond afresymoldeb gael pleser mewn arferyd geiriau mawrion anghysylltiadol â'r ymddyddan, ac ar y cyfrif hyny yn ddisynwyr: peth anhawdd i'w gael allan yw, pa hyfrydwch a ddichon tyngwr gael, oddiwrth y sain, halogedig *Duw*, *cythraul*, *dammo*, &c., yn fwy nag oddiwrth sain *ceffyl*, *eidion*, *llew*, *aderyn*, neu ryw eiriau anmherthynasol ereill.

3. Nid oes dim elw i'w ddysgwyl am dyngu: er y dichon rhai elwa ychydig, a thros ychydig, wrth dyngu anudon mewn llysoedd barn; nid yw yn ymddangos i un erioed elwa llawer wrth dyngu halogedig cyffredin; y mae rhai wedi gorfod talu am dyngu, a byddai rhaid i ychwaneg wneuthur hyny, pe gosodid cyfraith ein gwlad ar waith; ond anfynych iawn y telir neb am hyny; o ganlyniad, peth eithaf afresymol yw tyngu.

4. Y mae rheswm yn ein dysgu i ddilyn ffordd hyglod i ddyrchafiad, os bydd o hyd cyrhaedd i ni; eithr a ddyrchafwyd un gwr erioed am ei fod yn fedrus a gwrol mewn tyngu? Na ddo erioed. Gwael a dirmygadwy raid fod yr hwn a ddyrchafai neb am y cyfryw fedrusrwydd; ac uchel iawn rhaid fod cymeriad y gŵr na fedro'r fath ymarferiad ei iselâu,—canys y mae yn amlwg nad oes neb yn ymhoffi mewn tyngu, ond rhyw ddynionach gwael ac afresymol; y rhai sydd yn gorfod gosod rhyw gymysg-iaith o ansynwyroldeb i lanw gwagle synwyr a rhesymoldeb; ac nid yw ffoledd yr arferiad i'w gystadlu â dim ond â delffrwydd y rhai a'i harferant.

5. Peth llwyr anghytunol ag ymddygiad gweddaidd mewn cymdeithas yw tyngu, os bydd yn y gyfrinach gymaint ag un dyn a fyddo yn meddwl mai gwell yw parchu enw Duw na'i sathru dan draed (mewn ystyriaeth) trwy ei gymysgu â lliaws o eiriau gwael disynwyr heb achos, canys ni's gellir tyngu yn y fath gymdeithas heb boeni meddwl yr un person hwnw; ac nid oes dim yn gadarnach prawf o feddwl gwael dirmygadwy, ac o ddyn heb ddysgu ymddwyn yn weddaidd yn mhlith dynion, nâ rhoddi tramgwydd diachos i'r gwaelaf o ddynion. Dylai y fath anghenfil gael ei ŷru i'r ysgol i ddysgu moesau a'r modd i ymagweddu yn mhlith Cristionogion; neu, os mwy dewisol ganddo, fyned i blith bwystfilod, y rhai na ddysgwylir iddynt ddysgu byw fel Cristionogion.

6. Nid oes un esgus i'w roddi am dyngu halogedig, ac am hyny y mae yn fwy afresymol nag, efallai, un bai arall. Gosodir tymherau poethion, neu awr o wylltineb weithiau fel rheswm am yr ymarferiad heintus ac anfoesol; beth yw hyny wedi'r cwbl ond profi mai ffrwyth afresymoldeb yw tyngu? Beth yw y gwylltineb poeth hyny ond gradd o wallgofrwydd; neu ddiffyg meddiant o bwyll a llywodraeth ar y nwydau; ychydig yn ychwaneg o'r fath orphwylldra a gymhwysa wr yn berffaith i wallgof-dŷ; ac yr wyf yn gobeithio yr addefir mai ffrwyth afresymoldeb eithaf yw'r hyn a dyf ar y fath wreiddyn gorphwyllog ag a wna dŷ yr ynfydion yn gymhwysach llety i ddyn nag un lle arall.—Eithr y mae'r rhan fwyaf yn tyngu, heb geisio rhoddi un esgus dros yr ymarferiad namyn eu bod yn ei hoffi; hyny yw mewn geiriau ereill, hoffant fod yn afresymol! Y mae gan y meddwyn ei gwrw a'i wirawd—yr uchelfrydig ei dderchafiad—yr ymddialgar ei dalu'r pwyth—a'r cybudd ei drysorau; ond y mae y tyngwr yn troseddu cyfraith Duw, halogi ei gydwybod, llygru ei gymdeithion, tramgwyddo'r moesol, ac ymdrechu dinystrio enaid, am ddim! A ddichon un peth fod yn fwy afresymol?

7. Peth hollol wrthwyneb i grefydd yw tyngu, ac y mae pob peth anghytunol â gwir grefydd yn afresymol. Pe gadawem grefydd ddatguddiedig o'r ddadl, a glynu wrth grefydd natur yn unig, yr hon a ddatgana ogoniant Duw mewn modd mor gadarn, fel na chafwyd nemawr erioed a fedrent gael caniatâd gan eu cydwybodau i haeru nad oes un Duw. Beth sydd fwy gwrthun nâ chlywed dyn yn addef fod Duw

anfeidrol ei nerth, ei wybodaeth, a'i ddaioni, ac ar yr un fynyd yn cymysgu ei Enw mawr ef â phob dywediad isel, gwael, a gwrachaidd o'i eiddo! Od oes Duw, dylid ei barchu. Afresymoldeb yw addef ei fod a'i ddianrhydeddu. Hefyd, nid yw sect y tyngwyr ond yn anfynych iawn yn glynu wrth eu proffes ynghyfyng awr marwolaeth. Ni chlywais i am neb yn gỳru am y tyngwyr mwyaf hyfedr atynt, i regu am y mwyaf, mewn trefn i ddifyru eu meddwl, a'u cymhwyso i adael y ddaear, pan dybient eu bod ar orphen eu gyrfa. O ganlyniad, afresymoldeb perffaith yw gwneuthur cymaint am ddim, ond am gael y boen i alaru o'i herwydd wrth farw!

Mi wn y dywedir *fod tyngu yn arfer gyffredin.* Rheitaf oll yw ymwrthod â'r fath orchwyl dibwyll a diesgus; nid arfer gyffredin yw rheol ymddygiad dyn synhwyrol, efe a âd y reol hòno i ansynwyrolion; ni byddai yn bosibl diwygio na goleuo un parth o'r byd pe ystyriai y synwyrlawn y rheol hon yn unig; ac mewn gair, ni byddai gwahaniaeth rhwng y synwyrol a'r afresymol, eithr byddai y geiriau call a ffol, doeth ac ynfyd, yn arwyddo yr un peth!

Haerir fod Boneddigion yn tyngu. Haeraf finau, fod yn rhaid cael rhyw arwydd arall i brofi eu boneddigrwydd, cyn credwyf hyny. Ffolineb eithaf yw tybied mai cyfoeth sydd yn gwneuthur fynu foneddigrwydd—gallech lwytho asyn ag aur, a'i wisgo â'r defnyddiau goreu, eithr ai Pendefig yw ef wedi'n? Nid wyf yn tybied. Asyn ffol yw efe gyda'r aur, ac heb yr aur.

"Nid gwiw siarad" eb y tyngwr "y mae llawer o'r prif ysgolheigion, a'r dynion mwyaf eu gwybodaeth, a ddygwyd fynu yn yr athrofeydd mwyaf hyglod, yn tyngu."—Beth wedi'n? A ydyw fod creadur wedi dysgu llawer o gampiau gorwychion yn brawf ei fod yn synwyrol? Gellir addysgu'r aderyn Parrot i siarad geiriau Hebraeg, Groeg, a Lladin, ond peth arall yw ei addysgu i fod yn synwyrlawn. Felly, pe dysgai gwr yr holl ieithoedd, y campiau, a'r celfyddydau i gyd, ond yn dyngwr anfad wedi y cwbl, yr wyf yn barod i addef ei fod yn wr dysgedig, wedi dysgu pob peth, ond dysgu bod yn rhesymol. Nid yw trysori'r ymenydd ag ieithoedd dysgedig, ac â gwybodaeth o'r celfyddydau, yn ddigon i resymoli dyn, fwy nâ llenwi siol anifail marw â thraethiadau dysgedig ar bynciau goruchel. Ni chredaf byth fod dyn yn rhesymol, nes ymwrthod o honaw â'r arfer front, wael, a dirmygadwy o dyngu. Defnyddiau rhesymoldeb ddichon fod ganddo, ond tra fyddo yn hoffi tyngu y mae yn eglur nad yw yn cymeryd y mwyniant o honynt, eithr yn eu gadael yn segur yn nghonglau ei benglog a chilfachau ei galon anmhur, fel pethau hollol ddiwerth yn ei olwg.

ADELPHOS CYMRAEG.

---

D. S. Nid yw y sylwadau blaenorol yn perthynu i lwon mewn brawdle, neu ryw le arall a ofynir gan y gyfraith, tuag at derfynu ymrysonau.

## GEIRIAU LLYGREDIG;

### YCHYDIG O LAWER O'R RHAI A ARFERIR MEWN MODD TRA BEIUS A CHWITHIG MEWN AMRYW BARTHAU O'R DYWYSOGAETH.

YN Nyfed, neu swydd Benfro, parth o swydd Gaerfyrddin, a rhan o swydd Aberteifi, nid oes ond ychydig wasanaeth i'r llythyren *o*, yn y siarad cyffredin; deolir hi o lawer o eiriau lle dylai fod, a gosodir *w* yn ei lle. Fel hyn y dywedai gwr o un o'r parthau hyny y geiriau canlynol :— "Mae *nhrwed* i'n *frwnt*, mae *nghwes* i'n fain, mae'r *cwed* yn mhell, mae'r *mwni* yn uchel, buais yn y ffair *dwe*, ac rwy'n myn'd i *Gaerfwrddin* foru, &c.

Weithiau gosodir *n* mewn geiriau ag y byddent yn well hebddi; megys mewn perthynas, dywedant *perthynans;* ac yn y wlad hon hefyd, y mae pob peth yn agos yn *ofnadwy*, neu yn enbydus; y mae mab yno, yn lle caru merch yn fawr, yn ei charu yn *ofnadwy*, neu yn *embydus!* Yn lle edrych yn graff ar eu gilydd, y maent yn edrych yn *ofnadwy*, y naill ar y llall. Yn lle bod y merched yno yn brydweddol, neu yn landeg iawn, y maent yn lân, neu yn *bert ofnadwy*, neu yn *bert embydus*.

[Fel hyn y dywedid yn oestadol yn nghylch 20 mlynedd a aethant heibio; ond yr wyf yn deall fod y gair newydd peraidd hwnw *ffamws*, yn yn cael ei ddefnyddio yn fynych mewn rhai o'r ardaloedd rhag-ddywededig, yn lle *ofnadwy*, yn bresennol; ceffyl *ffamws*, ci *ffumws*, dafad *ffamws*, gwair *ffamws*, pregeth *ffamws*, canu *ffamws*, *&c.* A Chymro *ffamws* raid fod y gwr a arfero y fath air tlawd â FFAMWS! Och Gymry, gadewch heibio arferyd y fath air gwael a disynwyr â hwn; y mae genych ddigon o rai llawn synwyr yn eich iaith eich hunain; megys, *hynod, enwog, ardderchog, odiaeth, clodfawr, hyglod, &c.*]

Ac er fod Dyfed yn fwy difynyddau nag un wlad yn Nghymru, ond ynys Môn; etto, pe credech y trigolion, nid oes yno na chaeau, na maesydd, na dyffrynoedd, na gwastadedd,; canys pan elo yr annedwydd drigolion allan o'u tai, nid oes ganddynt le yn y byd i fyned iddo, ond i'r *mwni!* Y maent yn myned i'r *mwni* â'r gwartheg, i'r *mwni* i aredig, i'r *mwni* i hau, ac i'r *mwni* i fedi!

Yn mharthau dwyreiniol gwlad Morgan, neu swydd Forganwg, a rhan o swydd Fynwy, mae y trigolion weithiau yn rhoddi sain dwy lythyren i un, gan droi *a* i *ae* ac *e*; gan seinio tad, tân, da, claf, &c., yn y modd hyn, *tead, tean, dea, cleaf,* &c.; a chyfrifir y gwr na wnelo yr un modd, yn seiniwr llydan a thrwsgl annyoddefol, anaddas i siarad, ond â thrigolion y Gorllewin; neu fel y dywedant hwy, "gwyr y West." Nid yw preswylwyr Morganwg, odid fyth yn *edrych* ar eu gilydd, nac ar ddim arall; o un cŵr hyd y llall; ond yn *dysgwl* (dysgwyl) ar bob peth a fyddo ger bron eu llygaid; y mae'r plentyn yn *dysgwl* yn nau lygad ei fam, a'r maesydd a'r gerddi yn *dysgwl* yn hardd iawn yn yr haf; ac y mae merch brydweddol yn *dysgwl* yn llon dros ben! Nid yw y gwragedd yn y wlad hon

fyth yn *dysgwyl* am ddychweliad y gwyr adref, pan fyddont wedi myned ar daith, pe byddent *fis* heb ddychwelyd o daith diwrnod; ond os bydd y gwr *awr* yn hirach nâ'r amser penodol heb ddychwelyd, y gair cyntaf a glyw, Pa le y buoch cyhyd, yr oeddwn yn eich *erfyn i dre er ys llawer cam.* Neu mewn geiriau eglurach, y maent yn galw *dysgwl* ar *edrych;* ac *erfyn* ar *dysgwyl.* Nid ydynt yn gwneuthur dim *ag* arfau, &c. yma, ond yn cyflawni eu holl orchwylion *o'r* cwbl:—yn lle codi glô *â'r* rhaw, y maent bob amser yn ei godi *o'r* rhaw; yn tòri cnau *o'u* dannedd; yn taro ci *o* asgwrn; yn ffustio haiarn *o'r* ordd, &c.

Y mae tegwch y rhyw fenywaidd yn y wlad hon o natur lled ryfedd; canys y mae pob merch brydweddol odiaeth yma yn ferch *lân fudr!* Ac os bydd gwraig yn cadw ei thŷ yn lânach nâ chyffredin, dywedir ei bod yn fenyw *lân fudr!* Pan fyddo mab a merch mewn bwriad i ymbriodi a'u gilydd yma; y maent yn sicr o amlygu y naill i'r llall eu bod yn *caru* eu gilydd yn *greulon!* Ac y mae'r mamau yn dywedyd, ganwaith yn y dydd, eu bod yn *caru* eu plant sugno yn *greulon!* Ac er nad oes cymaint o son am fynyddau yn y wlad hon ag sydd yn Nyfed, etto y mae yma ac mewn parth o swydd Gaerfyrddin fynyddau lled ryfedd; canys, *mynydd* y gelwir pob trofa gyffredin *(common, vulgo cwmmins)* pe byddai mor isel, gwastad, a ffrwythlon, â Dyffryn Clwyd, neu fro Morganwg ei hun!

Peth cyffredin trwy'r Deheudir yw dywedyd fod gŵr yn myned i *maes,* pan fyddo yn myned *allan;* ac yn myned i *bant,* pan fyddo yn myned *ymaith;* ac weithiau clywir fod gŵr wedi myned *bant* i'r *mynydd!* Ac i *bant* i'r *bryn!* A phe credid y Cymru, trwy'r holl Dywysogaeth, byddai yn rhaid penderfynu na chynysgaethwyd hwy â haner cymaint o synwyrau â Chenedloedd ereill; canys nid ydynt fyth yn *arogli,* nac yn *teimlo,* nac yn *archwaethu!* Clywed a gweled y cwbl oll y maent. *Clywed,* ac nid *arogli* peth drewedig; *clywed,* ac nid *teimlo* blinder; *clywed,* ac nid *archwaethu* bwydydd blasus y maent bob amser: ac felly am bob gwrthddrych perthynol i'r synwyrau.

Nid wyf yn ddigon cyfarwydd yn y dull o siarad yn ngwledydd y Gogledd; canys er i mi fod trwyddynt unwaith, yr wyf wedi ebargofi y rhan fwyaf o'r geiriau anmherthynasol a glywais yn cael eu harferyd pan fu'm yno: ac am mai'r un yw fy amcan wrth ysgrifenu'r llinellau hyn, ag amcan cyhoeddiad Seren Gomer, sef puro y Gymraeg oddiwrth y sothach a glytiwyd wrthi o un amser i'r llall, gobeithiaf y nodir ychwaneg eto.

Yr wyf yn cofio yn dda fod rhai o drigolion y Gogledd yn cyfrif fod y fath eiriau â *cawl, cig-llo, cig-eidion, &c.,* yn seinio yn dra gwrthun, ac yn barod i feddwl fod dywedyd y fath eiriau yn brawf o anwybodaeth a diffyg moesau, neu ddygiad da i fynu; ac y dylai pob gwr da ei foes, ddywedyd *potas, (pottage) veal, beef, &c.,* yn lle'r enwau uchod! eithr, gan mai geiriau Saesneg yw'r rhai olaf hyn, nid oes achos dywedyd wrth *Gymro,* mai peth gwrthun yw eu harferyd.

Peth arall, ag sydd yn debyg i lynu wrthwyf tra fyddwyf, a glywais yn ngwlad Môn yw, nad yw'r cesyg yno fyth yn bwrw *ebolion;* ond bob amser, pan fyddont yn hilio, y maent yn cael *cywion* bychain! Bûm yn lletya noswaith yn y wlad uchod mewn tŷ gwr tra charedig a lletyeugar, ac am fod fy ngheffyl wedi blino yn fawr gan hir deithiau, ar y dyddiau blaenorol, ceisiais fenthyg ceffyl gan wr y tŷ dros dridiau, gan fy mod i ddychwelyd y ffordd hòno wedi tri o ddyddiau; efe a'm hatebodd yn ofidus, gan ddywedyd, "fod y ceffylau gwaith ar y maesydd, a bod y gaseg farchogaeth wedi dyfod â *chyw bach* y boreu hwnw!"

ADELPHOS CYMRAEG.

---

# TWR BABEL A CHYMMYSGIAD IAITH.

"A chymmysgwn yno eu hiaith hwynt," Gen. xi, 7.

NID yw haelioni, trugaredd, na llymdostedd barn yn ddigon i enill calon lygredig, a fyddo wedi ymroddi i ddrygioni, at rinweddol ufydd-dod ewyllysgar i Lywydd y bydoedd—diogelwyd yr Aiphtiaid rhag cyfyngder trwy offerynaeth Mab Israel; cawsant helaethrwydd pan oedd y gwledydd o'u hamgylch mewn angen a chulni; ond ni thyciodd cof am hyn, nac amryw o farnedigaethau poenyddiol olynol gyda hwy i ollwng hiliogaeth Israel o'u caethiwed, er bod y barnedigaethau rhyfeddol yn brofion eglur fod Jehofa yn ewyllysio iddynt fod yn rhyddion—cafodd trigolion y byd newydd wedi'r diluw rybudd dwys, ac amlygiad neillduol o anfoddlonrwydd Duw at bechod, yn ninystr preswylwyr yr hen fyd; a dangoswyd arwyddion tra godidog o ewyllys da eu Gwneuthurwr iddynt yn arbediad meibion Noah—ond gollyngasant hyn yn ebrwydd o gof, er mwyn eu pleserau—yn lle rhoddi gogoniant i'r Arglwydd eu Duw, ymroddasant i adeiladu tŵr, i'r dyben i wneuthur enw iddynt eu hunain.

I. Gwnawn ychydig sylwadau cyffredinol ar Dŵr Babel, a chymmysgiad yr iaith.

1. Darllenwn yn yr adnod gyntaf, fod yr holl ddaear o un iaith; ond ni ddywedir wrthym pa iaith oedd hòno; ac nid yw yn bosibl gwybod yn bresenol pa iaith ydoedd; yr ydys wedi ysgrifenu llawer ar y pwnc hwn, a lliosog ac amrywiol yw rhesymau a ddygir dros fod y Chinaeg, yr Hebraeg, y Celtaeg, neu y Syriaeg, &c., yn iaith paradwys; ond wedi yr holl ymdrech i gael allan yr iaith gyntaf, y mae y pwnc mor dywyll ag erioed; y mae cystal hawl gan y Gymraeg ag sydd gan un arall i'r hyfiaeth hyny; nid yw yn ol i neb o'r ieithoedd mewn grymusrwydd, cynwysder, amlygrwydd, ac hynafiaeth—nis gellir cael allan ei dechreuad—y mae yn henach nag hanesyddiaeth—a dichyn ei bod cyn hened ag Adda.—Pa fodd bynag, sicr yw nad yr iaith a elwir Saesneg ydoedd, gwyddys o ba le y tarddodd hòno.

2. Adeiladwyd tŵr Babel (yr hyn a achlysurodd gymmysgiad yr iaith) ar *wastadedd yn nhir Sinar*, adn. 2. Nid ydym yn sicr pa dir oedd hwn; eithr y mae yn dra thebyg mai Chaldea ydoedd, canys darllenwn i Nebuchadnezar, brenin Babilon, gymeryd rhan o lestri tŷ Dduw o Jerusalem, i wlad Sinar, i dŷ ei dduw ef, Dan. 1, 1, 2. Yr hyn a duedda i gadarnhau y dyb gyffredin, i deml Belus, duw y Babiloniaid, gael ei hadeiladu ar adfail twr Babel; sef ail Babel, fwy niweidiol nâ'r gyntaf, yr hon a ddinystriwyd gan yr Arglwydd; y mae hyn yn dangos mai gwaith anhawdd yw cael gan ddynion drwg roddi i fynu i Dduw ei hun; mynant adeiladu yr hyn a ewyllysiai efe i'w dynu i lawr; tynodd yr Hollalluog dŵr anufydd-dod ac anghrefyddolder i lawr, mewn effaith, trwy edifeirwch dynion da, ac euogrwydd poenydus dynion drwg wrth neshau i fyd yr ysbrydoedd; ond megys yr oedd yr ail Babel yn waeth nâ'r gyntaf (am ei bod wedi ei hamcanu i ymgeleddu eilun-addoliaeth diledrith) felly yn gyffredin yr ymgaledai troseddwyr calon-galed yn fwy wedi bod o honynt, mewn ystyriaeth yn mhyrth angeu, pan wellont, dyblant eu diwydrwydd i adeiladu yn gadarn yr hyn a orfu arnynt dynu i lawr mewn cyfaddefiad, pan dybient eu bod yn mron a marw; ond da fyddai cofio na lwydda yr adeiladaeth yr hon a ewyllysio yr Hollalluog ei thynu lawr.

3. Aethant ynghyd â'u gorchwyl o adeiladu heb ymgynghori â'r Pensaer; "Moeswch, (meddynt) adeiladwn i ni ddinas;" megys pe buasai y ddaear, amser, a grym, a phob peth arall yn eiddo iddynt eu hunain, heb achos diolch i neb am ddim! ond myned rhagddynt megys pe buasent yn feistriaid perffaith arnynt eu hunain, ac ar bob peth o'u hamgylch. Gwell fuasai ystyried cynghor Iago, a dywedyd, "Os yr Arglwydd a'i mŷn," cyn myned ynghyd â gorchwyl mor bwysig.—Nid yw y rhai a dreuliasant ryw enyd i geisio Dwyfol gyfarwyddyd yn colli dim amser, yn fwy nâ'r ymdeithydd wrth aros i'w anifail gael ebran ar y ffordd, a diluddedu ei hun wrth letya dros nos—fel hyn yr oedd Pharaoh yn ymlid, a'r gwr goludog, crybwylledig yn yr efengyl, yn ymddwyn megys pe buasai'r cwbl dan eu rheolaeth.

Dyben yr adeilad—Nid yw yn debyg eu bod yn golygu dianc rhag ail ddiluw, yr hwn a allasent ddychymygu a orchuddai'r byd, fel y tybiodd rhai, canys pe felly, buasai mynydd yn gymhwysach lle nâ gwastadedd iddynt sylfaenu eu tŵr arno; ond y mae dau ddyben yn cael eu henwi yn y testun: (1.) "Gwneuthur enw iddynt eu hunain." adn. 4, fel y cofid am danynt gan eu hiliogaeth, yn hytrach nag am eu bod yn ewyllysio byw yn nghymydogaeth y nefoedd—mwy dewisol gan lawer o ddynion yw byw o ran eu coffadwriaeth, yn mhlith eu hiliogaeth, nâ byw er lles yn amser byw.—Nid oedd plant i Absalom, am hyny efe a adeiladodd golofn ar ei *enw* ei hun, i'w drosglwyddo i'r trigolion a ddeuent—adeiladodd un deml i Diana'r Ephesiaid, er mwyn *enw*, a thynodd arall hi i lawr, er mwyn yr un peth! Llawer a chwenychasant esgyn i

orseddfeinciau, a thywalltasant afonydd o waed, i ddiogelu eu hunain arnynt, nid gymmaint am eu bod yn esmwythach nâ rhyw eisteddfa arall, ond er mwyn yr *enw*—er mwyn hwn y milwr a frwydra, y morwr a anturia i beryglon—y dadleuwr a ymrydd i ddadleu—a llawer a roddant elusen, adeiladant leoedd o addoliad, a chyfranant at lawer o achosion teilwng—ac er na ddichon y pethau diweddaf a enwyd fod yn iawn am droseddau, gwell yw i ddynion, os rhaid iddynt gael enw, ei ennill trwy y rhai hyn nag un ffordd arall—cofiwn hefyd y derfydd pob enw, ond eiddo'r Gwaredwr, yr hwn a ennillodd iddo ei hun enw goruwch pob enw, yn yr hwn y plyga pob glun, &c.—(2.) "Rhag iddynt gael eu gwasgaru," adn. 4,—hyny yw, fel y byddai yn arwydd, yr hwn a welid o bell, wrth yr hwn y gallent ymgasglu at eu gilydd, wedi bod yn mhell gyda'u praidd; ac yr oedd gwastadedd yn well cynullfan nâ mynydd. Da genyf eu gweled mor gymdeithgar; pa fodd bynag, y mae cymdeithasgarwch yn bechadurus weithiau. Yn hyn gwrthwynebasant fwriad ac ewyllys Duw, yr hyn oedd ar fod iddynt epilio, ymwasgaru, a llenwi'r ddaear, ac nid aros yn lluaws yn ngwastadedd Shinar. Y mae cyfringarwch, a phob tuedd arall ag sydd yn dda yn eu lleoedd priodol, yn bechod pan osodir hwy o'u sefyllfaoedd addas, ac y maent yn hollol o'u lle pa bryd bynag y byddont yn gwrthwynebu'r bwriadau dwyfol. Yr oedd yr eglwys yn Jerusalem yn ymgyrchfa i weinidogion y gair; triasant yno hyd oni ŷrwyd hwy ar wasgar gan erlidigaeth, yn lle myned i'r holl fyd a phregethu'r Efengyl i bob creadur. Y mae rhai gweinidogion etto yn gwneuthur Babel o'u heglwysi, trwy aros ynghyd yn yr un man, tra y mae eu heisiau ar ereill. Cofiwn ynte fod pob cymdeithas, er cystal fyddo, ag a'n rhwystra i wneuthur daioni, yn niweidiol.

5. Y Tŵr ei hun. Yn ol hanesyddiaeth, yr oedd grisiau cylchog o'r tu allan iddo i esgyn i'w nen, o ganlyniad yr oedd yn myned gulach gulach fyth pa uchelaf oedd yr adeiladaeth; ac felly yr oedd gwastadedd Shinar yn rhy gyfyng i fod yn sylfaen iddo, canys buasai yn lleihau i ddim cyn y buasai hanner y ffordd i'r nefoedd. Nid yw y callaf o ddynion ond ffyliaid pan fyddont yn gwrthwynebu ewyllys Duw. Cyfrifai y Salmydd ei hun yn anifail gerbron Duw, o herwydd iddo fod dros ychydig yn euog o anymddiried—ni ddichon un adeilad o'r eiddom ni ein cynorthwyo i esgyn i'r nefoedd—pe gallasent wneuthur eu tŵr cyfuwch â'r haul, ni buasent ddim yn nes i ddedwyddwch y nefoedd, heb ei hanian; angel yw angel ar y ddaear; a daear yw daear ar ben yr Wyddfa, y Pyrenees, a'r Alps; daear yw dyn heb ei gyfnewid pe byddai yn medru byw yn y cymylau, neu yn un o'r planedau uchelaf; os byddai yn nes i orsedd y Brenin tragywyddol yno, ni byddai ond nes at ei soriant; gan mai pa fwyaf y dringo gwr mewn uchelfrydedd, nesaf i gyd yw at ddyrnod dialedd.

6. Methiant yr adeiladaeth.—"A'r Arglwydd a ddisgynodd," &c. ad. 5, (a llefaru ar wedd ddynol, wrth ddynion, y rhai na wyddont fawr am ysbrydoedd, fel y gallont fod gartref wrth ddarllen eu Biblau,) efe a

rwystrodd eu bwriadau heb rwymo na llaw na throed, na dinystrio un ran o'r adeiladaeth; na'u difuddio o allu i lefaru; eithr efe a gymysgodd eu hiaith hwynt; gwnaeth iddynt lefaru yn y fath fodd nas gwyddent am dani o'r blaen. Mor hawdded yw i Dduw ddiddymu pob cynllun a dyfais ddynol, a chyflawni ei fwriadau ei hun! Geilw un am briddfeini, y llall a dremia yn ei wyneb, gan ryfeddu pa beth y mae'r dyn yn geisio ddywedyd, pa fodd y mae yn llefaru geiriau na chlywodd mo'u bath erioed, ac y mae yn dwyn clai iddo, gan roddi atebiad ag sydd yn peri i'r llall hylldremu arno yntef; tybiai y naill a'r llall fod ei gyfaill yn ei wawdio dros amser: eithr gallasent siarad a baldorddu cyhyd ag y mynent, nid oedd yno rifedi digonol yn deall eu gilydd i ddwyn y gwaith yn mlaen, ac am hyny ymadawsant yn dawel, pob un yn glynu wrth yr hwn oedd yn siarad fel efe ei hun, a gadael ei lwyarn yn y fan, gan ymddangos yn fwy o ffol nâ phan ddechreuodd. Yn eu gwasgariad yn y dull hyn, gwelwn (1.) i'r moddion a ddefnyddiwyd gyflawni'r dyben a amcanid o wirfodd y bobl, nid oedd eisiau byddin o wŷr arfog nac angylion i'w gŷru ymaith; ac felly mae y pechadur ar ei ddychweliad at Dduw yn gadael Babel o fodd ei galon, "Dy bobl fyddant ewyllysgar yn nydd dy nerth."—(2.) Fe'i cyflawnwyd mewn bŷr amser, mewn diwrnod, os nid mewn awr; y mae moddion tyner yn gyffredin yn hwy cyn effeithio nâ rhai dychrynllyd awdurdodol; ond medr yr Hollalluog wneuthur byr-waith o'r gorchwyl a fyno, ac yn y modd yr ewyllysio.—(3.) Nid oedd ganddynt neb annogaethau i ddyfod ynghyd drachefn, pa hyfrydwch a allasent gael wrth glywed barbariaid yn baldorddi. Arfer gyffredin Duw yw cysylltu annogaethau a dyledswyddau ynghyd; ai dyledswyddau yw ei garu ef? Bid sicr, ond pwy mor deilwng o'n cariad penaf, a phwy a wna gymaint drosom. A ddylem redeg yr yrfa a osodwyd o'n blaen? Dylem yn ddiau; eithr beth yw hyny ond rhedeg o wae i wynfyd, rhag uffern i'r nefoedd, &c.—(4.) Wrth eu siomi yn eu bwriadau efe a ddangosodd iddynt drugaredd; pe gadawsid hwy ynghyd, buasai y lle yn ebrwydd yn rhy gyfyng iddynt; rhaid fuasai i rai o honynt ymwasgaru neu drengu; ond efallai wrth drefnu pwy fuasai i ymadael, nas gallasid terfynu hyny heb ymryson a thywallt gwaed. Da yw i ddynion gael eu siomi yn eu bwriadau yn fynych. Diolchodd Saul o Tarsus lawer am y siomedigaeth a gafodd ef gerllaw Damascus. Ac y mae miloedd wedi hyny yn canu yn llafar a diolchus i Dduw, am iddo nacâu iddynt eu deisyfiadau, a'u siomi yn eu hamcanion.

II. Nodwn allan rai o'r gwersau buddiol a ddysgir gan y pwnc hwn.

1. Canfyddwn fod y cyfeiliornadau mwyaf dinystriol yn cyfodi oddiar falchder y galon: hyn yn unig a wnaeth i Efa anghofio ei rhwymedigaeth i'w Chreawdwr a chredu y sarph; hyn a barodd i'r Iuddewon ymwrthod âr Iachawdwr, tybient eu bod yn ddigon gwybodus a goludog ar weithredoedd da, heb ei addysg a'i gyfryngdod ef, "ni'th raid i'r iach wrth feddyg." Tyb fawr am fawredd eu dysgeidiaeth a barodd i'r Athronydd-

ion Groegaidd i gyfrif athrawiaeth y groes yn ffolineb. Ac nid wyf yn ddigon sicr nad oes rhai hyd yn awr yn ymwrthod â rhai o wirioneddau mwyaf pwysfawr a chysurlawn yr Efengyl, o herwydd yr un achos. Diamheuol yw, mai o herwydd hyn y mae llawer yn ystyried yr un weithred yn dra beius mewn ereill, ond yn ddiniwed ynddynt eu hunain.

2. Fe'n dysgir yma mai y cyfryw yw llygredd calon dyn, fel y trŷ efe rhwymedigaethau cadarnaf i ddiolchgarwch a hunan-ymwadiad, yn sylfeini i uchelfrydedd a balchder. Os oedd y bobl hyn yn fawr ac yn esmwyth, dylasent roddi gogoniant i Dduw, canys efe a'u gwnaeth felly; yr oedd eu holl bethau daionus yn sylfeini gwychion i ddyrchafu enw eu Lluniwr, ac nid eu henwau hwy. Dylasai pob peth ag oedd yn eu gwneuthur yn feilchion, eu gwneuthur yn ostyngedig; gan mai rhoddion anhaeddianol y Jehofah oeddynt—yr un mor afresymol yw balchio mewn cyfoeth, nerth, anrhydedd, glendid, &c.; onid Duw a'u cyfranodd heb eu teilyngu gan un yn hytrach nâ'r llall?

3. Ni ddichon un sefyllfa mewn bywyd, poed cyn ddyrchafedig ag y byddo, ddiogelu dyn rhag perygl, neu roddi dedwyddwch iddo tra fyddo Duw yn wrthwynebwr iddo: buasai hil Noah yn gwbl mor ddiogel, ac yn fwy eu hanrhydedd, pe trigiasent ar y llawr gyda eu praidd, yn lle ceisio dringo i'r cymylau. Gellwch fod yn fawr, yn gyfoethog, yn ddoeth, yn frenin, neu ymerawdwr; ond os y Goruchaf a fydd yn wrthwynebwr i chwi, nis gellwch lwyddo, na bod mewn diogelwch; rhaid i bob bwriad anghytunol â'i feddwl ef ddyfod i'r dim.

4. Y mae yr Hollalluog yn feistr yr holl ieithoedd, gan hyny, deallir pawb a alwo arno ganddo ef; dichon ef eu goruwch-lywodraethu er daioni, er iddynt gael eu hachlysuri gan bechod; efe a'u lliosogodd yn Shinar i ddinystrio Babel, ac yn Jerusalem ar ddydd y Pentecost efe a'u lliosogodd i adeiladu Sion; fel hyn gwelwn y medr ef dŷnu i lawr ac adeiladu â'r un offerynau. Y mae amryw o'r cenadon i blith eilunaddolwyr wedi cael eu donio yn rhyfedd fel y medrant ddysgu amryw ieithoedd mewn byr amser, a chyfieithu yr ysgrythyrau iddynt. Ni ddichon yr hyn achlysurwyd gan bechod luddias bwriadau trugaredd.

5. Yn olaf. Megys mai dymuniad dynion i wneuthur enw iddynt eu hunain a achlysurodd amrywiaeth ieithoedd; felly, pan ddelo dynion i berffaith ewyllysio roddi yr enw a'r clod i Dduw yn y nefoedd, derfydd amrywiaeth tafodau, bydd pawb yn siarad yr un iaith; bydd pob melldith a'i heffeithiau wedi darfod, ac o ganlyniad, bydd y felldith o wahanol ieithoedd wedi peidio: tebyg ddigon mai iaith paradwys Eden fydd iaith y baradwys nefol; pa fodd bynag, bydd yr holl ddedwydd breswylwyr yn medru yr un iaith o glodforedd i'r Gwaredwr, ac y mae y fforddolion ag sydd yn teithio i'r orphwysfa well, yn ol graddau eu cariad at y Ceidwad, yn dysgu yr iaith hòno yn awr; canys yr holl rai a fyddant hyddysg yn iaith purdeb tu draw i'r Iorddonen, a ddysgir yn raddol ynddi yr ochr hyn iddi. Gweddus a dymunol iawn hefyd fyddai fod aelodau o'r

un eglwys, a theulu, yn ymdrechu llawer i siarad yr un iaith, neu ymorchestu llefaru yr un modd am bob peth, rhodio wrth yr un reol, a synied yr un pethau; nid ymhyfrydu mewn beiau ac ymryson; canys os oes dieflyn mewn cnawd yn bod, y gwr a chwenycho ddangos ei ddoethineb trwy ymhyfrydu mewn chwilio am wallau, a haeru yn fynych eu bod lle nad ydynt, yw efe. ADELPHOS CYMRAEG.

---

## GEIRIAU SEISNIG O DARDDIAD CYMREIG.

SYR,—Er mai un o ddybenion eich cyhoeddiad yw puro y Gymraeg oddiwrth y sothach Saesneg a glytir yn ddianghenrhaid wrthi gan ein gwladwyr, yn rhy gyffredin, gobeithwyf nad anfoddlon genych fyddai dangos pa mor ddyledus i'r Omeraeg yw y glytiaith am lawer o'i cholofnau. O herwydd fod cynnifer o eiriau Saesneg yn cael eu harfer wrth siarad y Frythonaeg, tybia llawer Gomeriad diledryw mai geiriau perthynol i'r Saesneg yw yr holl rai a arferir gan y Saeson; gwelais rai o blant Gomer yn petruso ynghylch defnyddio Cymraeg pur, o herwydd deall o honynt fod y cyfryw eiriau amheus mewn Geiriaduron Saesneg; mewn trefn i symud y petrusder hyn, mewn rhan, chwiliais Eiriadur Johnson drosto gydag ychydig fanylwch, a chefais ei fod ef yn addef mai geiriau Cymraeg neu o dadogaeth Omeraeg yw yr holl eiriau canlynol. Pell wyf o dybied fod y rhai a ganlyn yn cynnwys yr holl eiriau Cymraeg a ledratodd y Saeson oddi arnom, canys dilys genyf fod amryw eiriau, o darddiad y rhai yr oedd Johnson yn anwybodus, yn perthyn i'r Frythonaeg, fel yr addefir gan rai Awdwyr Geiriaduron Saesnig, a ysgrifenasant ar ei ol ef, megys Perry ac ereill. Hefyd, er cymmaint haelder meddwl Johnson wrth dadogi rhai geiriau o darddiad amheus i'n hiaith ni, etto ymddengys i mi ei fod weithiau, o achos rhyw beth neu'r llall, mor amharod i roddi yr anrhydedd dyladwy iddi fel na phriodolai iddi neb geiriau ond megys o led anfodd, sef, pan na fedrai gael dim o gyffelyb sain mewn un iaith arall: fel hyn, addefir ganddo mai Cymraeg yw y gair *càr*, ond terddir *cart* ganddo o'r Saxonaeg *crat*; onid mwy rhesymol tybied fod *cart* yn deillio o *car* nag o *crat*? Ymhellach, er dysgediced oedd Johnson, nid ymddengys ei fod yn hyddysg yn mam-iaith ynys Prydain, ac nid oedd y fath gasgliad o eiriau Cymraeg mewn un Geirlyfr, yn ei amser ef, ag sydd yn awr, am hyny hawdd y gallasai dadogi amryw o'n geiriau ar ieithoedd ereill. Pa fodd bynag, nid oes yma ond y geiriau a addefir ganddo ef (oddigerth ychydig a gymmerwyd o Perry, ag sydd â'r nod hwn † wedi ei rhagddodi), eu bod yn Gymraeg. Dymunwyf ar ereill o'ch Gohebwyr ychwanegu at y rhes hon, yn ol eu gallu a'u cyfleusdra; a phe cymmerai ereill y drafferth i gasglu ynghyd yr holl eiriau Groeg, Lladin, Ffrengig, Ellmynaidd, Yspaenaidd, Italaidd, &c., lle bu yr estrones

glytiog yn hela ei thrwsiad, a bod i bob iaith alw yr eiddo adref, ni byddai ond golwg hyll ar yr yspeilyddes noeth; neu, mewn geiriau ereill, ni fedrai Sais lefaru un dryll-ymadrodd cyfan yn ddealladwy.

Y gwreidd-eiriau, gan mwyaf, yn y rhes ganlynol, sydd wedi eu cymmeryd o Johnson, myfi ychwanegodd y lleill; ond y mae efe yn fwyaf cyffredin yn dywedyd fod y lleill yn deillio o honynt.

Ydwyf eich ewyllysiwr da,

LLEWELYN.

---

Babe, Baban
Babery, o Baban, teganau i fabanod
Babish, Babaidd, perthynol i fabanod
Baby, Baban, plentyn bychan
Babyship, Babandod
Bald, Bal, heb wallt
Baldly, Balaidd, neu yn foel
Baldness, Balni, moeledd
Bard, Bardd, prydydd
Bardic, Barddonol, barddol
Bardism, Barddaeth
Barm, Burm, berem, burman
Barmy, Beremaidd, burmanllyd
Barrel, Baril
Barrel, v. barilo, rhoi mewn baril
Barrelled, Bariledig, wedi farilio
Basket, Basged
Basket-woman, Basged-wraig
Bastard, Bastardd
Bastard, adj. bastarddaidd
Bastardize, Basdarddio
Bastardy, Bastarddiaeth
Bastardly, yn fasdarddaidd
Beer, Bir, diod
Bicker, Bicre, Ymgiprys, ymgynhenu
Bickerer, Bicrwr, ymgynheuwr
Bickering, Bicraeth, ymgynheniad
†Boast, Bost
Boaster, Bostiwr, ymffrostiwr
Boastful, Bostgar
Boasting, Bostiad
Boastingly, yn fostgaraidd
†Booth, Bŵth, tŷ gwael, neu dŷ dros amser. (Johnson a dardd y gair o *boed*, Dutch)
Bowl, Buelyn, math ar gorn, i yfed o honaw, Hefyd *Buglehorn*
Box, Boc, cernod. (Nid wyf wedi cwrdd â'r fath air a *boc)*
Buck, Bwch, carw
Buckle, Bwccwl, bwcl
Buckler, Bwcceled, tarian
Buckler, v. bwccledi, amddiffyn
Bug, Bugbear, Bwg, bugan, golwg ddychryndllyd; bwcai, bwci
Buggy, Bwglyd, llawn drogod drewllyd
Bung, Bwng, cauad i eneu baril
Bunghole, Twll y bwng
Bungler, Bwngler, bon-gler, dyn anghelfydd
Bungle, v. bwnglu, anferthu
Bungingly, yn fwnglaidd, yn anfedrus
Button, Bottwn
Button, v. Bottyno
Buttonhole, Twll bottwn
Cabin, Caban, (Fr. *Cabane)*
Cable, Cabl, rhaff angor, *(Cabel,* Dutch)
Cap, Cap, penwisg
Capper, Capwr, gwneuthurwr capan
Car, Car, men, neu gerbyd bychan.—*Car-llusg*, car heb olwyn, i lusgo, cariwr, cario, o *car*. (Gofyniad, Onid mwy naturiol tarddu *cart* o *car*, nag o'r Saxonaeg *crat*, fel Johnson?
Chariot, Car-rhod, car ag olwynion neu rodau
Chariotteer, Car-rhodwr
Clay, Clei
Clay, v. cleio
Clock, Cloc, awrlais
Clockmaker, Clociwr
Club, Clwpa, pen ffon
Coracle, Corwg, corwgl
Cord, Cort, rhaf, *(chorda*, Lat)
Cordmaker. Cortiwr
Cord, v. cortio, cordio
Cordage, Cortynau, cortynaeth
Corded, Cordiedig
Corner, Cornel, congl
Corner stone, Cornel faen, congl faen
†Cower, Cwrian, plygu, suddo
Crowd, Crwth, fiddle (Saxon *Cruth)*
Cuckoo, Cwcw
Custard, Cwstard, math ar felusfwyd
Denizon, Dinasddyn, dinasydd
Denizen, v. Dinaseiddio, gwneyd un yn ddinasydd
Dull, Dwl, hurt
Dull, v. Dwlio, hurtio
Dullard, Dwl-ddyn, hurtddyn
Dully, yn ddwl, yn hurt
Dullness, Dwlni, hurtrwydd
Elf, Elff, *(pl.* eilff), ellyll, coryn
Elfish, Elffaidd, elyllaidd
Faggot, Ffaggod, (Fr. *Fagot)*
Faggot, v. Ffagodi, clymu coed ynghyd
Fast, adj. Ffest, cyflym, buan
Ferret, Ffured, (Dutch *Ferret)*
Ferret, v. Ffuredu, gyru o dyllau
Ferretter, Ffuredwr
Filly, Ffiloy, ffilog, eboles
Fir, Fyr, *vulgo* dêl
Flannel, Gwlanen
Fool, Ffol, direswm, dyn drwg

Foolery, Ffoledd
Foolishness, Ffoleidd-dra
Fork, Fforch
Forked, Fforchog
Forkhead, Penfforchog
Gable, Gafael, cronglwyd tŷ o'r bargod i'r drum
Gad, v. gado, ymadael, crwydro
Gadder, Gadwr, crwydryn
Gaddingly, yn gado, yn crwydro
Gaol, Geol, carchar
Gaoler, Geolwr, ceidwad carchar
Garden, Gardd *(jardin* French)
Garden, v. Garddio, trin gardd
Gardener, Garddwr
Garter, Gardys
Garter, v. gardysu, clymu â gardys
Glaver, v. glafru, gweniethio
Goar, Goror, ymyl, ymylwaith
Grudge, Grwgnach
Grudgingly, yn rwgnachllyd
Gyves, Gefynau, cadwynau
Gyve, v. gefynu, cadwyno
Hackney, Hachnai, hacnai, ceffyl cyflogedig
Haggard, Hagr, anferth
Haggardly, yn hagr, yn anferth
Haggish, Hagraidd, afluniaidd
Hap, Hap, dygwyddiad
Haply, o hap, ef allai
Hapless, o hap, dygwyddiad da
Happen, Hapio, dygwydd
Happily, yn hapus
Happiness, Hapusrwydd
Happy, Hapus, dedwydd
Harlot, Herlodes, putain
Harlotry, Herlodiaeth, puteiniaeth
Havock, Hafog, mawr ddinystr
Hawk, Hebog
Hawked, Hebogog, fel pig hebog
Hog, Hwch
Hoiden, Hoeden, llances ddifoes
Hoot, Hwt, bloedd ddirmygus
Hoot, v. a. hwtio, gyru ymaith gyda swn
Hover, Hoflo, hongian uwchben
Imp, Imp, blaguryn
Imp, v. impio
Kid, Cidwien, cidysen, ffagot
Kindle, Cynu, tanio
Kindler, Cyneuwr
Kiss, Cusan, (*Kuô*, Groeg)
Kiss, v. cusanu
Kisser, Cusanwr
Kitchen, Cegin (*Cuisne* Fr.)
Kitchen-garden, Cegin-gardd, cegin-ardd
Kitchen-maid, Cegin-forwyn
Kitchen-work, Cegin-waith
Knack, Cnec, tro cyfrwys, ystwr cyflym
Knack, v. cnecu, swnio yn fyr
Knacker, o Cnec
Knap, Cnap, telpyn, twmpath
Kneil, Cnul, cnil, cloch angladd (*Cnyllan*, Sax,)
Lawn, Lawn, lon, llanerch (*Land*, Danish)
Lofft, Llofft (or from *lift*)
Loin, Llwyn, *pl.* llwynau, lwynau
Looby, Llabe, llabi, lleban, drelyn
Loobily, Llabaidd, drelaidd
Mantle, Mantell, arwisg
Mantle, v. mantellu, cuddio â mantell
Mark, Marc, nod arwydd (*Merke*, Dutch)
Mark, v. marco, nodi, arwyddo
Marker, Marcwr, nodwr
Marl, Marl, math o glei
Marl, v. marlo, gwella tir â marl
Marlpit, Pydew marl
Marly, Marlog, llawn marl
Meathe, Mêdd, math o ddiod
Metheglyn, Meddyglyn, diod feddyginiaethol
Mine, Mŵn, mwyn mwynglawdd (*mine* Fr.)
Mop, Mopa, ysgubell eddi
Mop, v. mopu, ysgubo â mopa
Mustard, Mwstard (*Moustard*, Fr.)
New, Newydd, nid yn hen (*Neuf*, Fr.)
Newly, yn newydd
Newness, Newydd-der
News, Newyddion
News-monger, Newyddiwr
Noon, (Sax. *Non*) nawn, haner dydd
Paddle, Pattal, rhwyf fechan, rhaw-ffon
Paddler, Padtlwr
Parsley, Persli, llysiau gardd
Patridge, Petris, adar gwylltion
Paw, Pawen, troed bwystfil
Paw, v. pawenu, taro â phawen
Pawed, Pawenog
Pert, Pert, prydweddol, bywiog
Pertly, yn bert
Pertness, Pertrwydd
Pipe, Pib, pibell (*Pipe*, Sax.)
Pipe, v. Pibellu, canu pibell
Piper, Pibellwr
Pour, Bwrw, tywallt
Pourer, Bwrwr, tywalltwr
Purse, (Fr. *Bourse*) pwrs
Red, Rhudd, lliw'r gwaed (*Red* Sax.)
Rub, v. rhubio, rhwbio (*Reiben*, German)
Rub, s. Rhwb
Rubber, Rhwbiwr
Rubbage, o Rhwb
Sham, v. siomi, twyllo
Sham, s. siom, twyll
Shamner, Siomwr, twyllwr
Sicker, (obs) sicer, sicr
Sicker, yn sicr, bid sicr
Skirmish, Yscarm, ysgarmes
Skirmisher, Ysgarmeswr
Slobber, Glafoerio
Sloven, Yslyfn brwnt
Slovenliness, Yslyfenrwydd, brynti
Slovenly, Yslyfenaidd, aflan, annhaclus
Sour, Sur, egr, chwibl, sarug
Sourish, Suraidd, surllyd
Sourly, yn suraidd, yn surllyd
Sourness, Surni, sarugrwydd
Sprig, Ysprig, cangen fechan
Spriggy, Ysprigog, llawn ysbrigau

**Spy**, Yspio (*Espion*, Fr. *Spie*, Dutch)
**Stain**, v. a. ystaenio
**Stainer**, Ystaeniwr
**Stainless**, Distaen, difrychau
**Stallion**, Ystalwyn, march
**Storm**, Ystorm (*Storm*, Sax. a Dutch)
**Tackle**, Taccl, tacl; *pl.* taclau
**Tackled**, Tacledig, a daclwyd
**Tall**, Tal, uchel
**Teat**, Teth; *pl.* tethau (*Tit*, Sax.)
**Tink**, v. n. tincian (*Tinnio*, Lat.)
**Tinker**, Tinciwr, eurych
**Top**, Top (*Top*, Sax. a Dutch)
**Trethings**, Trethu (*Trethingi*, Low Latin)
**Tuck**, Twca, cyllell
**Waist**, Gwasg; gelwir y canol felly, am fod y gwregys yn cael ei dynu yn dyn am dano
**Whiff**, Chwyth, cwthwn o wynt
**Whiffle**, Chwythu
**Whiffler**, Chwythwr
**Whin**, Chwyn
**Wicket**, Wiced (*Guicket*, Fr. *Wicket*, Dutch)
**Widow**, Weddw, gweddw (*Wiawa*, Sax.)
**Widow**, v. gweddwi
**Widower**, Gweddwyn, dyn gweddw
**Widowhood**, Gweddwdod
**Yew**, Yw, pren Yw
**Yewen**, Ywaidd, a wnaed o bren Yw

---

# YSGARIAETH.

MAT. v, 32,—"Ond yr ydwyf fi yn dywedyd i chwi, fod pwy bynag a ollyngo ymaith ei wraig, ond o achos godineb, yn peri iddi wneuthur godineb; a phwy bynag a briodo yr hon a ysgarwyd, y mae efe yn gwneuthur godineb."

YSGRIFENWYD y nodiadau canlynol mewn atebiad i ofyniad a ymddangosodd yn SEREN GOMER, gan un a arwyddai ei hun Philo Biblos:— Y mae'r geiriau yn cynnwys yn gyntaf, nad oes un achos a gyfiawnha ysgariaeth ond godineb: yn ail, fod godineb yn achos cyfreithlon i wr roddi ymaith ei wraig. A phan ystyriom natur undeb priodasol, ymddengys yn eglur fod yn meddiant y wraig wneuthur yr un peth â'i gwr godinebus, os bydd yn ewyllysio. Er fod y berthynas hon yn nes nag un arall, etto nid yw yn gorphwys ar yr un sylfaen, nac yn gynnwysedig yn yr un pethau â pherthynasau ereill; y mae plentyn yn blentyn i'w rieni o anghenrheidrwydd, ac nid o ddewisiad; a phlentyn naturiol iddynt hwy a fydd gan nad beth fyddo eu hymddygiadau hwy tuag ato ef, neu yr eiddo yntef tuag atynt hwy; nid felly priodas, y mae yn sylfaenedig ar ddewisiad y ddwy blaid, ac yn sefyll ar ammodau; a'r benaf oll o'r ammodau yw, "Bod i bob un o'r pleidiau gadw ei hun i'r llall yn unig, fel nad oes gan y naill feddiant ar ei gorff ei hun ond i'r llall." Wrth sylwi ar y geiriau uchod o eiddo ein Hiachawdwr, ymddengys nad oes un ammod arall i'w chystadlu â hon; y lleill oll ydynt ail bethau yn gorphwys ar hon. Y mae yn sylwedig fod pob cytundeb neu berthynas a fyddo gynnwysedig mewn ammodau yn myned yn ddiddim, ac yn peidio, cyn gynted ag yr halogir y telerau, neu y peidir a chadw yr ammodau, yn neillduol y rhai ag y mae y pwys mwyaf arnynt; telerau cyfammod ydynt fel modrwyau cadwyn, pan dôro un derfydd buddioldeb y gadwyn, oddigerth ei chyweirio; pan fetho un o'r pleidiau gadw ei ran o'r cyfmamod, aeth yr holl gytundeb yn ddirym dros byth, oddieithr dewis o'r hwn a gafodd gam ei wneuthur o'r newydd. O ganlyniad, y mae yr un hawl yn hollol gan wraig i beidio cydanedddu â gwr godinebus, ag sydd gan wr diwair i ollwng ymaith ei

wraig anllad. Eithr os cyd-drigant fel cynt, wedi cyrhaedd gwybodaeth o'r aflendid, ni ddichyn y gwr ollwng ymaith y wraig, na'r wraig gilio oddiwrth y gwr fyth ond hyny, oddieithr cael achos newydd. Canys y mae eu gwaith yn cydfyw fel gwr a gwraig wedi yr aflendid yn dangos eu bod wedi cyweirio yr hen gyfammod drylliedig. Cyn belled ag wyf yn deall cyfraith Prydain, y mae y sylwadau uchod yn unol â hi, yn gystal ag â'r Ysgrythyr santaidd. Darllenais yn ddiweddar yn SEREN GOMER, ac mewn papurau ereill, fod gwragedd yn llys barn yn cael ysgaru eu gwŷr o achos godineb yn unig, tra na fuont yn preswylio gyda hwy fel cynt, wedi gwybod eu bod yn odinebus.—Yr achos debygwyf fod y Gwaredwr yn crybwyll gwr yn hytrach nâ gwraig yn yr adnod uchod oedd, am mai arfer yr Iuddewon yn yr amser hyny oedd ysgaru eu gwragedd (ac nid y gwragedd y gwŷr) am droseddau bychain, y fath â pheidio trin eu bwydydd wrth eu bodd, (fel y sylwa rhai esbonwyr,) neu os gwelent ereill a hoffent yn well, &c.

Gofyniad nesaf Philo Biblos yw, "Ai cyfreithlawn yw i'r pleidiau briodi ag ereill wedi ysgaru o honynt?"Ië, eithaf cyfreithlawn, os o achos godineb yr ysgarwyd; os amgen, "y mae yr hwn a briodo yr hon a ysgarwyd yn gwneuthur godineb," o herwydd gwraig gwr arall yw hi; y mae y cwlwm priodasol heb dòri, o herwydd pa ham, analluedig ydyw ymrwymo ar sail cyfiawnder. Ond i brofi mai addas yw i'r rhai a ysgarasant o achos godineb briodi drachefn, os mŷnant, sylwer fod godineb yn tòri priodas yr un mor effeithiol ag angeu, y mae rhoddi llythyr ysgar yn amlygiad fod y berthynas wedi darfod yn yr un modd â phe trosglwyddid un o'r pleidiau i'r bedd; angeu a godineb yw yr unig bethau a fedrant ddattod y cwlwm priodasol; o ganlyniad fod y berthynas yn peidio, mae y naill mor rhydd oddiwrth y llall, â phe buasent heb fod yn rhwym i'w gilydd erioed, ac felly yn rhydd i ymrwymo drachefn â'r sawl a fynont. Hefyd, gan fod priodas wedi ei threfnu er cysur a dyddanwch i'r pleidiau, anghyfiawnder, mewn ystyriaeth, fyddai cauad y blaid a gafodd y cam rhag braint a ystyrir o werth mawr gan ddynolryw yn gyffredin, o achos trosedd y blaid arall.

Yn mherthynas i'r gofyniad olaf, sef, "Beth a wna dynion pan na fedrant gyd-fyw, y naill yn dinystrio meddiant y llall, neu beryglu y bywyd?" Diau mai anghenrhaid yw diogelu bywyd; ond ymdreched pob plaid i gael heddwch hyd yr eithaf, cyn ymranu; ac wedi hyny, os bydd hunan-amddiffyniad yn gofyn iddynt fyw ar wahân, defnyddier pob moddion i ymgymmodi, ïe, hyd angeu, nis gellir ysgaru, a phriodi ereill, y mae y briodas heb ei thòri, a'r prif ammod heb ei halogi; gwr a gwraig ydynt fyth.

ADELPHOS CYMRAEG.

## NATUR YN LLAWFEDDYG IDDI EI HUN.

Y MAE Hunter, wrth drin achos esgyrn drylliedig, yn sylwi, fod llawer o lawfeddygon, wrth drin esgyrn briw, yn gwneuthur llawer o ddrwg ac yn llidio'r clwyf wrth eu dull swyddgar a chelfyddol o'i drin; o herwydd pa ham yr oedd efe yn annog ar fod i ddrylliadau cymmysg i gael eu trin mor belled ag y byddai alluedig yn yr un modd â rhai unigol; ac er cadarnhad o'r ymarferiad hyn, yr oedd efe yn fynych yn adrodd yr amgylchiad hynod canlynol, yr hyn a wrandawid yn fanwl bob amser, o herwydd fod addysg yn cael ei drosglwyddo mewn ffordd o ddifyrwch:—

Yr oedd dyn claf lled ysmala, yr hwn a gaethiwid mewn clafdŷ, yn Edinburgh, yn nghylch 30 mlynedd a aethant heibio (medd efe) yn ymddangos yn fwy tawel a rhesymol yn ei feddwl, a chaniatawyd iddo fyned allan i'r awyr i rodio yn yr ardd wrtho ei hun. Yma daeth i'w ben i ffoi, ac aeth dros fur yr ardd. Wrth ddisgyn oddiar y mur, yr hwn oedd yn dra uchel, efe a dŷnodd gareg oddiar y mur gydag ef, yr hon a dòrodd ei glun yn arswydus, Arweddwyd ef i'r clafdŷ, lle y lletywyd ef drachefn yn y cyflwr annedwydd hwn; dygwyd llawfeddyg ato yn ddioed, yr hwn a osododd yr esgyrn yn eu lle, ac a driniodd y clwyf, gan ei rwymo fel arferol. Wedi hyn oll, gan fod y dyoddefydd yn ymddangos yn lled dawel, ymadawodd y llawfeddyg, gan roddi ychydig hyfforddiadau pa fodd i ymddwyn tuag at yr archolledig, yr hwn a adawyd i orphwys wrtho ei hun yn ol ei ddymuniad. Cymmerodd ei wallgofrwydd yn awr dro lled ysmala; efe a wyddai yn dda ddigon fod ganddo glun ddrylliedig dra gresynol; ond parodd ei ddychymmyg gorphwyllog iddo gredu fod y llawfeddyg wedi camsynied ei glun, ac wedi defnyddio ei holl fedrusrwydd ar y glun iach, a gadael y glun ddrylliog i wneuthur drosti ei hun. Dan y gred gadarn o hyn, a chan dybied fod y llawfeddyg yn rhy anwybodus i ganfod ei gamsynied, ac yn rhy uchelfrydig i gymmeryd ei argyhoeddi, ef a dybiodd mai'r ffordd ddoethaf yn ei gyflwr darostyngol hwn, i iachau yr aelod anafus, oedd gwneuthur y defnydd goreu o'r deall a'r cywreinrwydd a roddodd yr Hollalluog iddo. Am hyny efe a symudodd yr holl offer oddiwrth y glun ddrylliedig, a chyda llawer o fanylwch a ymdrechodd eu gosod wrth y llall, mor agos ag oedd alluedig yn yr un modd, fel na byddai i'r llawfeddyg allu canfod y gwahaniaeth, pan ddelai i ymweled ag ef; a rhag i un drwg-dyb gyfodi, yr hyn a dywysai at ymofyniad a chaffael allan yr hyn a wnaeth, efe a dybiodd y buasai yn fwy diogel fyth, trwy ddirgelu y glun arall fel na allasid cael gafael ynddi, ac ymddangos o honi yn dystiolaeth yn ei erbyn: gan hyny efe a dòrodd dwll ëang yn y llanlliain a'r gwely plu, ac a gladdodd y glun glwyfus yn mysg y plu.

Pan ymwelodd y llawfeddyg ag ef dranoeth, efe a ddywedodd iddo fod mewn ychydig boen ar y cyntaf, ond iddo gilio megys pe buasai trwy swyn-gyfaredd wrth ysgogiad damweiniol a dedwydd o'r goes; ei

fod yn berffaith esmwyth wedi hyny, o herwydd pa ham, yr oedd wedi llawn-fwriadu ei chadw mor llonydd ag oedd alluedig yn yr un sefyllfa. Wedi i'r llawfeddyg ddeall ei fod yn esmwyth, y galon yn curo yn rheolaidd heb un arwydd o dwymyn, efe a aeth at draed y gwely, a chan godi'r dillad i fynu, a ddywedodd, "Gadewch i ni edrych pa fodd y mae y droed a'r glun yn ymddangos." Ynddangosai'r claf yn frawychus wrth y cynyg, ac ymbiliodd arno er mwyn trugaredd i beidio; o herwydd meddai efe, fod y cyffro lleiaf yn y byd yn ddigon i'w haflonyddu a pheri i'w holl boenau ddychwelyd drachefn. Sicrhaodd y meddyg iddo nad oedd dillad y gwely yn cyffwrdd â dim ond â'r offer o gylch ei goes, ac am hyny na allasai eu codi hwy i fynu gyffro'r goes na'r droed yn y mesur lleiaf; ac ar yr un pryd yr oedd yn dywedyd wrth ei ddysgyblion (meddygon ieuainc), fod ymddangosiad y droed gystal ag y gallasai efe ddymuno, ac wedi amlygu ei foddlonrwydd, efe a aeth ymaith. Yr oedd pob ymweliad dyddiol wedi hyn yn troi allan yr un mor foddlonus i'r llawfeddyg a'r dyoddefydd, hyd y pummed neu'r chweched dydd, pan yr oedd y llawfeddyg yn dra awyddus am weled y clwyf, rhag y gallasai fod rhyw ddrwg dirgel yn llechu yno, ac yr oedd wedi ymroddi i symud y rhwymau oddi am y goes. Gwrthwynebwyd hyn ar y cyntaf gan y dyoddefydd, gyda gweddiau, ac wedi hyny gyda melldithion, ond o'r diwedd gorfu arno ymostwng.—Symudodd y meddyg gyda llaw ochelgar a thyner y rhwymau; ac wrth fyned rhagddo yr oedd yn amlygu llawenydd yr hwn oedd yn deimlo wrth weled y croen uwchlaw ac islaw'r clwyf yn ymddangos mor naturiol. O'r diwedd efe a gododd yr hyn a osodwyd nesaf at y clwyf, yr hwn a gafodd yn hollol rydd, ac wrth weled y glin yn berffaith iach, yr hon a welsai ychydig ddyddiau yn ol yn y fath gyflwr gresynol, gallwch chwi amgyffred yn well nag y gallaf fi ddywedyd y modd yr oedd yn edrych. Wedi pwyllo ychydig, efe a osododd ei fysedd ar y *tibia* (crimog) a dywedodd, "Yr unig beth a wn i yn sicr, yr oedd yma glwyf ac asgwrn drylliog, ac yn awr yr wyf yn sicr nad oes yma na'r naill na'r llall." Ond yn y man efe a gofiodd mai'r glun arall a driniasai ac a rwymasai efe, a gofynodd, "Yn mha le mae'r glun arall?" Gwyddai'r dyn gwallgof yn awr y mynasid gafael yn ei glin, ac efe a'i tynodd allan o'r plu mewn llid mawr, a dywedodd yr amlygai efe anwybodaeth y llawfeddyg i'r byd; ei fod ef yn gwybod erioed fod y llawfeddygon yn haid o ddynion anwybodus, er eu bod yn gwisgo ffugwalltau *(wigs)* mawrion, ac yn awr y profai efe hyny er boddlonrwydd i bawb ag oedd yn wyddfodol.

"Y mae'r goes hon, (meddai efe, gan ddal allan y goes ddrylliog, a thorth o waed a phlu wedi crawenu ar, ac o gylch y clwyf,) y mae'r goes hon, clod i'r Hollalluog! mor iached â choes un-gwr; dyna (gan gyfeirio at y llall), y goes ddrylliedig, chwi welwch yn y fath gyflwr anobeithiol y mae; a phan alwyd y dyn hwnw, ni wnaeth efe ddim iddi: galwyd arno ddyfod i osod coes ddrylliedig yn ei lle, yntef a rwymodd

hon i fynu." Wedi rhoddi o hono wynt i'w lid a'i gynddaredd yn y modd hyn dros ychydig, efe a ddeisyfodd ar rai o'r meddygon ieuainc i rwymo ei goes dòredig drachefn, (gan feddwl yr un iach,) o herwydd ei bod mewn poen mawr, ei fod wedi cael ei aflonyddu yn fawr gan yr ymofyniad anmherthynasol hwn, ac os na chymmerid gofal am dano, y byddai yn ddyn gresynol; ar y goreu yn efrydd dros fywyd.

Pan welodd y llawfeddyg fod dychymygion ei ddyoddefydd mor boeth, ac yn sicr yn ei feddwl, o herwydd y cyffroad a gododd y camsyniad, mai gwell ar y cyfan oedd ei foddhau yn y meddwl gorwyllt hwn, ac am hyny dymunodd ar y gwyr ieuainc i wneuthur yn ol ei ddeisyfiad, a *rhoddi'r* offer am y goes iach. Wedi hyny efe ymdawelodd, ac yn mhob peth arall yn rhesymol. Aeth yr iachad rhagddo gyda pherffaith lwyddiant, ac o'r diwedd syrthiodd y grachen ymaith, a gwelwyd fod y clwyf wedi perffaith wellhau. Yr hyn sydd addysg hynod i lawfeddygon, ac yn brawf neillduol o wendid rheswm dynol, o anmherffeithrwydd ein celfyddyd, yn yr hon yr ymffrostiwn, ac o rym trefniadau natur.

---

## MEDDWDOD.

Un o ddrwg effeithiau cyntaf meddwdod, ag sydd yn debyg o gydfyned â'r meddwyn mewn sefyllfa uchel yn y byd, yw esgeulusiad o'i negesau, ac anghymhwysder i gyflawni ei ddyledswyddau; canys y mae ef yr un mor atebol i Dduw am yr amser ag y mae yn ofer dreulio, a'r talentau y mae yn eu claddu, â dyn arall; am hyny tra gwrthun fyddai iddo ef hòni hawl i fod yn rhydd oddiwrth gyfrifiad o fai, o herwydd ei fod yn feddiannol ar lawer o feddiannau. Geilw diffygion cymdeithas dynoliaeth am ymdrechiadau pob dyn, pa fodd gan hyny y gellir hebgor un? Os perthyn y meddwyn i radd canolig dynolryw, ni ddichon efe o herwydd esgeuluso ei orchwylion, a'i ddull afradlon o dreulio ei fywyd, gynnal ei deulu dros lawer o amser yn y modd cyfrifol ag yr arferent fyw; ei achosion a waethygant yn ebrwydd, ac a derfynant mewn dinystr: yn ebrwydd tlodi a dremia yn ei lygaid; ïe, tlodi o'r fath waethaf a mwyaf gwarthus, o herwydd iddo gael ei ddwyn arno o achos ei fai ei hun. Ond pan fyddo yr hwn a'r nad oes ganddo ond prin digon i'w gynnal ar yr amser hwn yn ymfwynhau yn y fath ddrwg â hwn, efe a dreulia yr ychydig sydd ganddo yn dra buan, ac a ddwg ei deulu i'r cyfyngder mwyaf. Ymosodir arno yn fuan gan newyn, syched, noethni, ac oerfel. Oddicartref, fe'i haflonyddir gan ddirmyg parhaus ei gymmydogion a'i gydnabod, a chartref y mae yn agored i achwyniadau gwraig â'i chalon wedi ei thòri, ac a amgylchir gan blant yn llefain am fara a gwisgoedd. Ac i foddhau blys dirywiedig yn unig y mae efe yn fyddar i alwadau natur a dyledswydd. Yn wir, fe ddichon ei gyfeillion wrth y cwppan neu y gostrel ei ganmol

am ei natur dda, a'i alw yn ddyn calon-rwydd, ac yn gyfaill llawen; eithr pa beth a ddywed synwyr cyffredin, pa beth a ddywed cydwybod effro, a pha beth a ddywed gair y Duw byw? ond mai anghenfil mewn drygioni a chreulondeb yw, yr hwn a farna Duw.

Drwg arall ag sydd yn glynu wrth y meddwyn yw, y dirmyg cyffredin a deflir arno gan bob dyn bucheddol a sobr. Mae yn rhy wir fod y dyn tlawd yn cael ei ddibrisio yn fynych gan y cyfoethog, pan na fyddo un cam-ymddygiad o'i eiddo ei hun wedi ei ddwyn i amgylchiadau cyfyng; pa faint mwy fydd ei anmharch pan fyddir yn hysbys y gallasai efe fod mewn amgylchiadau da oni buasai ei oferedd ei hun; yr hwn oedd gynt yn anymddibynol sydd yn gorfod gweithio am y bara ag y mae yn fwyta; ac weithiau i ymostwng am ychydig gwrw i fod yn wawd i bob cymdeithas a'i derbynio. Oni buasai fod ei feddwl wedi ei ddirywio, a'i ysbryd wedi ei golli, buasai yn edrych ar eu cynnygion ar y fath dilerau gyda dirmyg, a buasai gwawd ei gyfeillion fel mil o saethau yn ei fynwes.

Nis gellir ymarfer yn hir â'r hunan-fwynhad hwn, heb anrheithio llawer ar iechyd gwr; y mae galluoedd bywyd yn myned yn raddol yn wanach, a natur yn gorfod rhoddi ffordd i anghymhedrolder. Llawer o anhwylderau a ysglyfaethant ar y meddwyn oddiwrth y rhai mae y dyn sobr yn rhydd. "I bwy y mae gwae? I bwy y mae ochain? I bwy y mae cynhen? I bwy y mae dadwrdd? ac i bwy y mae gweliau (clwyfau) heb achos?" Ateb, "I'r neb sydd yn aros wrth y gwin (y gwirod neu y cwrw.) I'r neb sydd yn myned i ymofyn am y gwin cymmysgedig. Nac edrych ar y gwin pan fyddo coch, pan ddangoso ei liw yn y cwppan, pan ymgynhyrfo yn iawn. Yn y diwedd efe a frath fel sarph, ac a biga fel neidr." Diar. xxiii, 29—32. Dichyn y clefydau hyn beidio ymosod arno ar y cyntaf, ond pa fwyaf y gohiriant, mwyaf ffyrnig y bydd eu hymosodiad yn y diwedd. Naill ai hwy a'i tywysant yn raddol, neu a'i brysiant ar unwaith i'r bedd. Weithiau y maent yn dwyn gwendidau hen oedran yn anamserol, ac y mae y dyn yn rhodio oddiamgylch fel cyhoeraeth i'r hyn a fu, a'i lygaid yn gyffelyb i eiddo dylluan y diffeithwch, ac yntef wedi ei ddifuddio o nerth ei gorff neu ei feddwl, os nid y ddau, yn egwan, yn crynu ar ei draed, yn olygfa gresynoldeb, ac yn rhybydd brawychus i bawb o'i amgylch i ochelyd ei lwybrau angeuol.

Y drwg tymhorol olaf a mwyaf dychrynllyd yw gwallgofrwydd, neu hollol ddiffyg rheswm. Mae dyn yn ddyledus am ragoroldeb ei natur i reswm, trwy yr hwn y gwahaniaethir ef oddiwrth anifeiliaid, y mae yn perthyn i angylion, ac yn alluog i adnabod Duw a'i eiriau yma, ac i fwynhau ei wyddfolder dros fyth, wedi myned oddiyma. Ond y mae y meddwyn yn wirfoddol yn rhodio y llwybr sydd yn arwain i wallgofrwydd, ac am hyny yn atebol i gyfreithiau Duw a dynion am yr holl ddrwg a gyflawno, a'r beiau ddichon fod yn euog o honynt.

Dichon perffaith wallgofrwydd ymddangos yn fwy dychrynllyd i ddynion yn y meddiant o'u synwyrau, nag i'r gorphwyllog gresynol ei

hun; ac nis dichon fod mor boenus iddo ef â'r hyn a roddo weithiau le i reswm weithredu, trwy'r hyn mae yr adyn o bryd i bryd yn deimladwy i raddau mwy neu lai, o'i anhwylder dychrynllyd. Pan ddifrwysgo efe, nid yw yn deffroi ond i deimlo ei afiechyd a'i gyfyngder ei hun a'i deulu; ac os na ellir tycio gydag ef i ddiwygio, efe a frysia drachefn at y cwppan neu'r gostrel, fel y gallo yno foddi'r gelyn hwnw, ei gydwybod, a chyda hyny ei deimlad annyoddefol o resynoldeb.

Pe byddai gofidiau'r meddwyn wedi eu terfynu oddifewn i'r bywyd hwn, gallasai un dybied fod hyny yn ddigon i'w gadw rhag y fath fai echrydus; ond beth yw y rhai hyn wrth eu cymharu â'r gresynoldeb ysbrydol, yr hwn yw ffrwyth a chospedigaeth ei erchyll fai!

Onid yw efe yn dra beius a afradlona ar ei flys ei hun, yr hyn, pe rhanesid, a allasai gynnal ysbryd llawer o'r rhai ag ydynt yn gorfod byw ar ymborth tra gwael, a methu cael digon o hwnw, er treulio ei nerth mewn caletach gwaith, ysgatfydd, nac y darostyngwyd ef iddo erioed? Oni raid fod yr hwn a dreulio ei gyfoeth i ddyfetha ei iechyd, ei synwyrau, ei fywyd naturiol, a'i enaid ei hun, yn dra phechadurus? Wrth ddinystrio ei iechyd, y mae cyn belled â hyny yn byrhau ei einioes, ac i'r un graddau yn euog o hunan-laddiad, gan adael y byd cyn y byddo ei Farnwr yn galw am dano. Ac wrth ddinystrio ei synwyrau, y mae yn gwneuthur ei fywyd yn ddiddefnydd iddo ei hun, ac yn flinder i'r byd, ac o ran dybenion bywyd yr unig wahaniaeth rhyngddo ef ag hunan-leiddiad yw hyn; yr hunan-leiddiad a symud ei hun trwy wenwyn buan, a'r meddwyn trwy un araf yn ei effeithiau; y cyntaf a âd y byd mewn mynydyn pan mai ei ddyledswydd yw aros ynddo; y llall a ddihiria ychydig i'r dyben i greu gofidiau newyddion, a gwneuthur mwy drygioni.

Y fath yw'r drwg hwn a'i ystyried ynddo ei hun, a chyn ddued yw'r gofres o ddrygau a darddant o hono, fel y byddai cynnyg i'w darlunio oll yn ddigon i flino amynedd, maeddu dychymmyg, a dychrynu'r meddwl difrwysg mwyaf cadarn; pan y mae yn boddi rheswm, y mae yr un mynyd yn alltudio cywilydd a phob teimlad o foesgarwch a lleidneisrwydd; gan anadlu ar ei nwydau, nes tòrant allan yn dân dinystriol, a'i ỳru i gyflawni pob math o ddrygioni; priodolir yn gyfiawn iddo, ymrysonau, ymladdau, esgyrn briw, penau gwaedlyd, halogi diweirdeb, ysbeilio yr amddifad, llofruddio'r diniwed, a dirmygu llywodraeth y Brenin Tragywyddol; gan rhoddi hèr i Dduw a dynion. Mewn gair y mae yn ei ỳru allan fel bwystfil cynddeiriog o'r goedwig, yr hwn na's dichon rhesymau ei ddofi, nac hynawsedd ei ennill, gan gyflawni'r fath echryslonderau na's gellir eu traethu. Bid i hyn wasanaethu yn lle ychwaneg, y mae'r bwystfil hwn ar lun dyn, yn atgas yn ei olwg ei hun pan ddadebro. Y mae yn synu wrth feddwl am ei ymddygiad. Prin y dichon oddef meddwl am y nos a aeth heibio, etto efe a ymdrecha foddi ei adgofiad mewn gordrafiwnc o'r newydd.

Yn y meddwyn gallwn ganfod camddefnydd o bob egwyddor dda, a gwyrdroad perffaith o holl roddion rhagluniaeth haelionus; ac am hyny gellir dywedyd gyda'r cymhwysder mwyaf wrtho ef, Rhoddodd Duw i chwi Reswm i'r dyben i gyflawni eich dyledswydd, eithr chwi a'i hurtiwch â diod gadarn. Rhoddodd yr Hollalluog i chwi Iechyd, fel y gallai eich galluogi i'w wasanaethu ef, a bod o gysur i chwi a'ch teulu, a'ch cydnabod, chwithau a'i haberthwch i flys anniwalladwy ac i'r Diafol. Cynnysgaeddodd yr Arglwydd chwi â modd i ddarparu i'ch teulu a chyfranu i'r anghenus, chwithau a'i treuliasoch ar felus chwant: ai tebygol yw y goddef y Meistr holl-ddoeth hwn i chwi fyned yn ddigosp, tra fyddoch yn defnyddio un dalent a roddwyd i'ch gofal i ddinystrio yr holl dalentau ereill, iechyd, amser, synwyr, a bywyd; ac mewn gair i droi eich hun o fod yn greadur rhesymol i fod yn is a gwaelach nâ bwystfilod y maes.

Ond gwrandewn, beth sydd ganddo i ddywedyd drosto hun; canys dichon hyd yn oed meddwyn ffurfio rhyw esgusodion dros ei fai anwylaf. Dichon ddadleu ei fod wedi bod yn aflwyddiannus yn y byd, yn annedwydd yn ei deulu, wedi gwneuthur rhyw ddrwg arall ag y chwennychai ei anghofio; neu fod rhyw gyfeillion wedi ei ddenu, a'i fod yn chwennych dileu coffadwriaeth ei holl anhapon trwy gwrw cadarn a chyfeillach lawen. Ystruan o ddyn! wedi soddi yn nyfnderoedd gresynoldeb, onid yw mynyd o adfyfyrdod yn ddigon i ddangos i ti ffolineb dy ymddygiad, a dynoethi gwendid yr egwyddorion yn ol y rhai yr wyt yn myned ar gyfeiliorn? A ddichon meddwdod dy alluogi i anghofio dy flinderau byth? Oni ddychwelant yn ebrwydd gyda grym ychwanegol? Beth yw meddwdod ond adgyfnerthiadau i'th drallodion? Anghofio dy gyfyngder yw'r ffordd i ddinystr, ac nid y llwybr i ddyfod allan o hono. Ai gweddus yw prynu y fath ebargofiad byr o flinder ar draul iechyd, deall, a bywyd ei hun? Os ydych eisioes mewn cyfyngder, ac nas gellwch oddef meddwl am dano, beth fydd eich amgylchiad pan ddygo eich afradlondeb chwi i'r cyfyngder eithaf? Eich gwyneb mor llwyted o ddiffyg cynnaliaeth ag eiddo eich gwraig a'ch plant yn awr; neu, efallai, yn terfynu eich dyddiau mewn carchar neu wallgofdy? A pha fodd y meddyliwch sefyll gerbron eich Barnwr, ac euogrwydd eich cydwybod yn ennyn fel tân anniffoddadwy yn eich mynwes, heb gymmaint â dafn o ddwfr oer i'ch syched anniwalladwy? Ai boddlon ydych i ddinystrio pob peth gwerthfawr yn eich meddiant er mwyn boddio eich cyfeillion teilwng? Neu ai addas yw i chwi alw y dynion hyny yn gyfeillion ag ydynt yn ymroddi dinystrio eu hunain a chwithau?

A ydych chwi yn tybied y gellwch fogi llais cydwybod yn hir drwy y mesurau hyn? Pe byddai un pechod yn feddyginiaeth i'r llall, ac un trosedd yn iawn am ereill, gallem, gyda rhyw ymddangosiad o reswm, ymesgusodi am ein holl feiau; ond os yw ychwanegu bai at fai yn dyfnhau y clwyf dechreuol, gadewch heibio, ac ar frys hefyd, liosogi eich drygioni, os ydych yn meddwl ymiachau fyth.

Mae un esgus arall ag y mae y byd, yn nghyflawnder ei hynawsedd, yn barod i'w wneuthur dros feddwyn, drwy ddywedyd ei fod yn ddyn diddichell, o dymherau da, ac heb niweidio neb ond efe ei hun; ac am arall, ei fod yn ddyn tra rhinweddol, oddieithr pan fyddo mewn diod. Ond ai gwir yw hyn? neu yn hytrach, Onid gwir yw yr hyn sydd berffaith wrthwyneb? A ydyw y cyfryw ddyn byth yn esgeuluso ei deulu, na'r dyledswyddau sydd ddyledus arno i ddynolryw yn gyffredin, fel gwas da i'w feistr, a deiliad da i'w frenin? A ydyw efe allan o ddyled bob amser? A ydyw efe bob amser yn ddiddichell wrth geisio ffordd i gael diod heb arian? A yw ei dafod bloesg bob amser yn rhydd oddiwrth *ddrwgliwio* ei gymmydogion diniwed? Ai rhydd yw efe yn oestadol oddiwrth gynnen ac ymladdau diachos? Os ymrysongar yw efe mewn cwrw, ac yn dawel mewn sobrwydd, onid yw hyny yn brawf y dylai fod yn sobr bob amser? Os amgen, onid eglur yw mai dyn ymrysongar o gynheddfau yw efe, ond ei fod, o herwydd hynawsedd y byd at feddwdod, yn rhoddi y bai hwn yn orchudd ar ei anian ddieflig? Ac yn olaf, A yw efe yn sicr nad yw yr enghraifft a rydd efe i ereill yn drygu pawb a fyddont mor ddisynwyr ag ymgyfeillachu ag ef? Hyd oni atebir y gofyniadau hyn o'i du ef, ofer fydd i'r byd, a'i natur dda, i haeru fod ei ddrygioni yn terfynu ynddo ei hun. "Oni wyddoch chwi na chaiff yr anghyfiawn etifeddu teyrnas Dduw? Na thwyller chwi: ni chaiff na godinebwyr—na chybyddion—na *meddwon*—etifeddu teyrnas Dduw," 1 Cor. v, 9, 10.

---

## DECHREUAD ENWAU SEISNIG.

Ymddengys fod dechreuad enwau yn bwnc ag sydd hyd yma gwedi cael ei drin mewn modd lled arwynebol; pa fodd bynag, y mae rheswm i dybied y gellir casglu oddiwrth lawer o gyfenwau Seisnig, pa beth oedd galwadau y cyntaf o'r teuluoedd ag ydynt yn myned wrth y cyfryw enwau, ynghyd ag hynodrwydd eu personau, eu cymhwysderau, a'u diffygiadau, a'r gradd o gyfrifoldeb yn yr hwn yr ystyrid hwy, y pryd hyny gan eu cymmydogion; ac y mae damweiniau hynodion a ddygwyddasant i bersonau neillduol yn cael eu gosod allan yn eu cyfenwau. Tebyg ddigon fod y rhai a ddeilliant oddiwrth ddarluniad personol yn henach o lawer nâ'r rhai a darddasant oddiwrth alwadau a chrefftau, o herwydd nad oedd crefftau yn cael eu harferyd yn gysson a rheolaidd gan ddynion neillduol, hyd nes oedd y gwledydd wedi ymestyn cryn lawer at wareiddiad; o herwydd cyn hyny yr oedd pob saer, saer-meini, teiliwr, a chrydd yn gwneuthur ei offer, ei ddillad, a'i anneddle ei hun. Ond yr oedd enwau gwahanol yn ofynol i wahaniaethu un dyn oddiwrth y llall oddiar yr amseroedd cynnaraf, yr hyn na allesid ei wneuthur trwy nodi

allan ansawdd personol, neu drigfanau neillduol; gwelwyd na fuasai Ioan fab Ioan, neu Thomas fab Siencyn yn ddigon o wahaniaeth, o herwydd gallasai ychwaneg o'r cyfryw enw breswylio yn yr un ardal.

Ond ni allasai'r enw John *Crookshanks* fab Ioan, berthynu i un namyn i ddyn clun-gam; ac yn y modd hyn tŷnodd Mr. *Lightfoot*, Mr. *Go-lightly*, Mr. *Swift*, Mr. *Hopper*, a Mr. *Jumper*, eu henwau oddiwrth fywiogrwydd a buandra corfforol y rhai a alwyd gyntaf wrth y fath enwau; o'r tu arall, derbyniodd Mr. *Heavisides*, Mr. *Saunter*, Mr. *Onslow*, a Mr. *Wad-dle*, eu henwau oddiwrth gynheddfau gwrthwynebol. Ac y mae Mr. *Pain*, Mr. *Akinhead*, Mr. *Akinside*, Mr. *Anguish*, a Mr. *Headache*, yn ddyledus am eu henwau i'r poen a'r gwaew a deimlodd eu hynafiaid yn eu penau, eu hochrau, &c., tra y mae Mr. *Wild*, Mr. *Sanguine*, Mr. *Joy*, Mr. *Merry*, a Mr. *Merryman*, yn arwyddo fod eu teidiau yn lwyth o bechâd-uriaid digrif, anystyriol, ac hapus yn yr hen amseroedd.

Ymddengys fod enwau llawer o deuluoedd cyfrifol wedi tarddu oddi-wrth blant a gafwyd yn ddiarddel, a thebyg ddigon fod eu henwau yn dynodi y lle y cafwyd hwy; yr wyf yn barnu fod hynafiaid Mr. *Townsend*, Mr. *Lane*, Mr. *Street*, Mr. *Churchyard*, Mr. *Court*, Mr. *Stair*, Mr. *Barn*, Mr. *Stable*, Mr. *Orchard*, a Mr. *Chamber*, wedi eu cael heb neb yn eu harddel, yn mhen tref, heolan, heol, mynwent, cyntedd, grisiau, ysgubor, march-dŷ, perllan, ac ystafell. Gwell peidio olrhain achau Mr. *High-wayman* rhag ofn cyfraith; ond gellir anturio yn ddiberygl i ddywedyd fod Mr. *Gentleman* wedi hanu o dylwŷth boneddigaidd.

Dynodir genedigaeth a sefyllfaoedd rhieni llawer o fastarddiaid wrth eu cyfenwau; fel hyn, galwyd Mr. *Misson*, *Goodyson*, *Mollyson*, *Anson*, *Jennison*, *Bettison*, a *Nelson*, wrth enwau eu mhamau, o herwydd fod amgylchiadau yn galw am ddirgelu enwau eu tadau. Eglur yw, mai meibion Miss a Goody oedd y ddau gyntaf, ac felly, o uwch gradd nâ meibion Molly, Ann, Jenny, Betty, a Nel, y rhai oeddynt, ysgatfydd, yn llaw-forwynion mewn gwasanaeth isel. Gellir gweled yr un gwahaniaeth mewn enwau bastarddiaid, tadau y rhai oeddynt adnabyddus; er enghraifft, mae Mr. *Masterson*, a Mr. *Stewardson*, yn dynodi meibion y Meistr a'r Goruchwyliwr; tra y mae *Jackson*, *Tomson*, *Harrison*, a *Wilson*, yn arwyddo meibion gweision cyflog, neu ddynion o isel-radd, Shoni, Twm, Wil, a Harri.

Cyfododd cyfenwau ereill, ysgatfydd, oddiwrth y lleoedd y ganwyd neu y trigai eu hynafiaid, neu amgylchiadau ereill; ganwyd Mr. *Seaborn*, ar y môr; yr oedd Mr. *Perry* yn byw mewn cymmydogaeth lle yr oeddid yn gwneuthur llawer o *Cider;* parthau gogleddol yr ynys oedd trigle Mr. *North*, tra yr oedd Mr. *South* yn preswylio yn y Deheu; ac felly, Mr. *West* a Mr. *East* yn y Gorllewin a'r Dwyrain. Yr oedd Mr. *Ryland* yn byw wrth gynnyrch tir Rhyg; tra yr oedd Mr. *Oatland* yn ymfoddloni ar ffrwyth ceirch-dir, Dyn anserchus iawn oedd Mr. *Loveless*, ac i'r gwrthwyneb, gwr tra charuaidd a hynaws oedd Mr.

*Lovely*. Nid oedd cyn-dad y *Page* cyfoethocaf yn ein teyrnas ond gwesyn i ryw bendefig; ac hiliogaeth Seiri, Seiri-meini, Teilwriaid, Gofiaid, Garddwyr, a Llieinwyr, yw y boneddigion penaf ag ydynt yn myned wrth yr enwau *Carpenter*, *Mason*, *Taylor*, *Smith*, *Gardener*, a *Draper*, &c. Ni welais ond un gwr boneddig erioed, yr hwn oedd yn trigo yn ddiweddar (os nid yn awr) ar gyffiniau swydd Fflint a swydd Dinbych, yn myned wrth yr enw *Catharel*, (cythraul,) ond nis gallaf ddyfeisio pa fodd y cafodd y fath enw ddechreuad, oddigerth i ryw Sais glywed Cymro yn tyngu, ac hoffi o hono enw yr ysbryd drwg Cymreig, ac felly ei fabwysiadu iddo ef ei hun a'i hiliogaeth.

Hawdd gwybod mai gwr tlawd di-arian oedd y *Pennyless* cyntaf, ac mai dyn prydweddol oedd y *Prettyman* henaf; ond y mae tadogaeth tylwyth y pysgod, megys, Mr. *Fish*, Mr. *Salmon*, Mr. *Trout*, Mr. *Ray*, Mr. *Herring*, a Mr. *Cod*, yn maeddu fy nychymmyg ar hyn o bryd. Ni'th raid wrth lawer o fedrusrwydd i wybod fod yr hen Mr. *Good-enough* yn wr digon da yn ei fryd ei hun, neu yn nghyfrif ei gymmydogion; a bod cyn-dad Mr. *Proud* yn hen lanc balch ac uchelfrydig; ond o ba le y daeth y genfaint foch ganlynol a'i pherthynasau, megys, Mr. *Swine*, Mr. *Hog*, Mr. *Bacon*, a Mr. *Gammon*, nis gwn i. Amlwg ddigon yw, fod y Mr. *Little* cyntaf yn ddyn bychan o gorffolaeth, 'tra yr oedd ei gymmydog, Mr. *Bigg*, yn meddu ar gorff mawr; a Mr *Black* yn ddyn o liw tywyll, Mr. *White* yn dra gwyn yn ei wynebpryd, Mr. *Brown* o liw gwineu, a Mr. *Scarlet* a'i wyneb yn goch tanbaid; ond attolwg, oddiwrth ba beth y tarddodd Mr *Winterbottom*, a Mr. *Shufflebottom*? (peidiwch chwerthin.) Lled debyg fod yr hen Mr. *Fox* yn dra chyfrwys, a Mr. *Reynard* yn feddiannol ar yr un cynheddfau; yr hen Mr. *Wolfe*, ysgatfydd, oedd leidr ac ysglyfaethydd defaid; a thad yr holl feistriaid *Lions* yn wr ëofn a diarswyd; ond o ddiffyg gwybod y perygl o syrthio i lawer pydew, af heibio i'r hen Mr. *Pit*, ac am na fedraf wybod dyfnder yr afonydd a'r cornentydd Seisnig, ciliaf oddiwrth y *Rivers* a'r *Brooks*, ac oblegid nad wyf ond gwan mewn tymhestl, ni wnaf wynebu ar Mr. *Tempest* ar hyn o bryd; ac o herwydd fy mod yn ystyried, os annerbyniol gan eich darllenwyr drin ychydig ar destun o'r fath hwn, fy mod wedi ysgrifenu gormod eisioes; ac os derbyniol yw, dylwn roddi lle i ereill i ddarlunio yr hyn sydd yn ol; gan hyny, terfynaf—byddwch wych.

LLEWELYN.

---

MEWN canlyniad i ymddangosiad y llythyr uchod yn y SEREN, gwnaed sylwadau lled drwsgl arno gan un a gyfenwai ei hun *Benoni*, yr hwn a feiai *Llewelyn* am ddrwg-duedd ei ysgrif, a dywedai ei bod yn arwain at ddiystyrwch o'n brodyr Seisnig, yn gyffredinol. A ganlyn yw amddiffyniad *Llewelyn*:—Pe dysgai Anwybodaeth i gadw ei le, byddai rhyw obaith am ei ddiwygiad; ond pan fyddo *Ignoramus* yn ffugio bod yn athraw, ac haerllugrwydd yn chwennych cael ei ystyried yn hyfforddwr

caruaidd, gresynol raid fod amgylchiad yr hyfforddiedig, oddigerth i Ddigywilydd-dra gael ei droi o'i swydd yn fuan. Dylai'r dynion ag ydynt wedi treulio y rhan fwyaf o'u hamser dan y gerwyn bwyllo gronyn cyn troi yn feirniaid ar waith eu cymmydogion. Ychydig feddyliais wrth ddanfon fy sylwadau diweddar ar dadogaeth cyfenwau Seisnig, i argraff-dŷ SEREN GOMER, y buasai y Cyhoeddwr a minnau yn teilyngu cerydd am eu hysgrifenu a'u cyhoeddi; y buasai y cyntaf yn cael ei gyfrif yn ddyn diddal, a minnau yn wr o egwyddorion terfysglyd; pe buasai'r truan anwybodus, Benoni, yn meddu rhyw radd o foneddigrwydd, ac wedi dysgu ychydig o foesau cyffredin, odid y buasai iddo ddywedyd am y Cyhoeddwr, 'yr wyf yn ofni nad oes mwy o ddal arnoch nag ar din dyn bach!' heb un rheswm dros hyny, ond yn unig ei fod wedi proffesu ei ymlyniad wrth heddychlondeb a chariad, ac wedi hyny yn cyhoeddi y sylwadau dywededig ar enwau Seisnig, megys pe buasai hyny yn anghyssondeb o'r mwyaf; ond yr wyf yn hyderu na chenfydd neb y gwrthuni o hyny ond Benoni gwirion ei hun a'i dylwyth. Nid wyf yn ei feio am amlygu ei feddwl, os oedd yn tybied fod fy ysgrif o duedd derfysglyd, ond dylasai gwr ag sydd yn ffugio bod mor wrthwynebol i derfysg ac ymryson, ac yn achleswr mor ysgrythyrol i gariad, i wneuthur felly mewn hynawsedd; dylasai gofio nad yw pob dyn sydd ddarostyngedig i gamsynied yn wr diddal, na'r hwn a ysgrifeno bethau anhyfryd i rai, yn wr terfysglyd, os amgen, terfysgwyr yw agos holl ysgrifenwyr y byd. Pell oddiwrthyf fi fyddo ceisio magu ymryson rhwng Cymry a Saeson, ac nid oes dim yn fwy gwrthwynebol i'm hanian nag anufydd-dod i'r awdurdodau gwladol ac anmharch i wŷr urddasol, gan wybod nad yw'r gwr a fyddo anffyddlon yn hyn, ac a nacâo roddi eiddo Cesar i Cesar, yn deilwng o nawdd y llywodraeth ag y byddo yn byw oddi tani; a chyn belled â hyny oeddwn o feddwl y buasai na Sais na Chymro yn tynu'r fath gasgliad oddiwrth fy ysgrifen. Ac er fy mod yn dra diysgog o'r farn na thybiodd neb y fath beth, ond Benoni (ac ysgatfydd rhyw feddyliau culion o'r un gwneuthuriad â'r eiddo yntef,) gobeithio y cydoddef y deallus â mi tra y dangoswyf i B., ac i'r anwybodus o'm gwladwyr, nad oes raid iddynt frawychu yn y mesur lleiaf o achos hyn.

Dywedais o'r blaen fy mod wedi cael y rhan flaenaf, (ac yn wir y rhan fwyaf,) o'r sylwadau crybwylledig mewn llyfr Seisnig, (yr hwn a gyhoeddwyd gan Sais,) yn yr hwn y mae y Saeson yn difyru eu hun â thadogaeth eu henwau hynodion, wedi blino o honynt, efallai, i ymddigryfu ar draul arferion y Cymry; a phwy a allasai feddwl y buasai yr hyn sydd dderbyniol gan ein cymmydogion eu hunain mor frawychus i'r Cymro hynaws, y tangnefeddus Benoni. Gallaf ychwanegu yn awr, (megys pe buasai De a Gogledd, Cymry a Saeson, mewn Cyngrair, i aflonyddu meddwl pryderus ein Cymro cariadus,) fod cymmaint o'r traethawd mewn dadl ag sydd yn y llyfr Seisnig, wedi cael ei gyhoeddi mewn amryw o'r papurau Newyddion Saxonaidd, ac ymddangosodd yn y *North*

*Wales Gazette* ac yn y *Cambrian* ar yr un wythnos ag y cyhoeddwyd ef yn Seren Gomer. Gobeithio na chyhuddir fi o fod yn achos o'i ymddangosiad yno. Ac os yw B. mor anmhleidgar ag yw yn ffugio bod yn heddychol, dylai ysgrifenu llythyrau llymion at gyhoeddwyr y papurau uchod, y rhai ydynt, fel pethau gwirion yn eu hanwybodaeth, yn milwrio o blaid terfysg yn y wlad.

Hefyd peth cyffredin iawn gan y Saeson yw cellwair ynghylch y Cymry, eu henwau, eu harferion, a'u dull o siarad Saesneg, mewn llyfrau a phapurau newyddion; odid na chlywodd Benoni am "Siencyn Shôn ap Morgan, *a Shentleman from Wales;*" ac am "*Splutter o' nails, hur will pounce hur thro' hur pody, if hur wo'nt return hur hur moonies; creen lick ant St. Davy for ever,*" a'r cyffelyb. Ac am fod cant o gyfryngau gan ein cymmydogion o arall-iaith i chwarae ar dylwyth yr hen Gomer, meddyliais nas gallasai llawer o niwed ganlyn ambell dro difyr o'r cyffelyb yn nghylch ein cymmydogion cellweirgar, yn yr unig gyfrwng Cymreig o'r fath; ond os yw pethau o'r fath mor niweidiol ag y mynai fy ngheryddwr anserchus i mi gredu, myfi a'i cynghorwn i ysgrifenu epistol at holl gyhoeddwyr y papurau Seisnig, canys pwy ddichon amheu ei fedrusrwydd, a pheri iddynt ystyried yn fanwl yr hyn y maent yn ei gyflawni; neu, efallai, mai mwy cynghoradwy fyddai ysgrifenu at y Tywysog Rhaglaw yn ddioed, i erfyn arno osod terfyn ar y fath waith peryglus. Er hyn oll, prin y gallaf feddwl fod Benoni yn hoffi diystyru ei genedl yn hytrach nag ereill, ond fel gwr cymmwynasgar yn caru fod diwedd yn cael ei roddi ar y fath erchyll waith o'r ddau tu, ac i'r dyben i'w galonogi, yr ydwyf fi yn addaw y peidiaf ysgrifenu yn gellweirus am dylwyth Hengist a Horsa, cyn gynted ag y llwyddo efe gyda hwy i beidio gwneuthur felly am blant fy nhad, yr hen Gomer. Ond etto, yr wyf yn meddwl fod tadogaeth enwau pob cenedl yn deilwng o sylw. Ai dymunol gan fy athraw B—— yw yr hanes canlynol:—Aeth gwr o Gymru i gydweithio yn y brif ddinas â Sais, yn mysg pethau ereill aethant i siarad am drigfanau y Gomeriaid. "Pa fath dai sydd genych chwi yn Nghymru?" eb y Sais. "Y maent yn gyffelyb i dai gwledydd ereill, (eb y Cymro,) rhai yn lled wychion ac ereill yn ganolig." "Mi glywais lawer am ardderchogrwydd eich anneddau, (ebe mab y gwawd,) y maent o dair llofft o uchder oll, onid ydynt?" "Y mae rhai o honynt felly," meddai y Cymro dihoced. "Oh, y maent oll felly." "Nac ydynt, nac ydynt," ebe y difeddwl drwg. "Myfi a wn yn well," meddai'r Sais. Ar hyn dechreuodd y Cymro a thwymno. "Beth, (eb efe,) a wyddoch chwi yn well nâ mi, a chwithau heb fod yn Nghymru erioed; pa fodd y dichon hyny fod?" "Gwn, gwn," meddai'r Sais, "ac fel hyn y mae yn bod: yn mhob tŷ yn Nghymru y mae yr hwch a'r perchyll dan y gwely, y gwr a'r wraig yn y gwely, a'r iar a'r ceiliog ar ben y gwely, gan hyny pa fodd y gellwch ddywedyd nad yw y tŷ yn dair llofft o uchder?" Ow! Benoni, terfysg! cythrwfl! bradwriaeth!

Gan gredu nad yw fy ngheryddwr digofus yn hoffi clywed gwawdio ei genedl yn y modd hyn, af rhagof i sylwi ychydig ar ei lythyr. Wrth ddechreu y mae yn dywedyd ei fod yn hoffi y Cyhoeddwr a'i SEREN yn yr hyn sydd dda, a phwy gymhwysach i farnu nag ef yn nghylch hyn! Dywed efe fod y Cyhoeddwr yn canmol ei anmhleidgarwch. Ar ba sylfaen y mae yr haeriad hwn yn gorphwys? Cyhuddir fi o fod yn debyg i'r llew yr hwn a laddodd y proffwyd ac a adawodd ei asyn heb ei gyffwrdd. Gan nad beth a wnaethum i'r proffwyd trwy yr ysgrif flaenorol, fe genfydd pawb fod a fynwyf â'r asyn y waith hon. Dywedir yn mhellach fy mod, "ar ol cael digon ar y ci a'r ddafad, yn ymosod yn ffyrnig ar enw da a heddwch dynion." Am yr ymadrodd, "Dyma y ci a laddodd y ddafad;" neu, Dyma yr asyn a ddychrynodd yr arth, y mae yn deilwng o sylw dynion a wyddant ychwaneg nâ'r dysgawdwr B. o ansawdd y Gymraeg, i'r dyben i allu deall llawer o ymadroddiòn, nid yn unig mewn ysgrifeniadau cyffredin, ond hefyd yn yr ysgrythyr lân, y rhai ydynt wedi eu ffurfio mewn cyffelyb fodd. Dichon y myfyriwr arwynebol feddwl mai y ci a fu yn llofrudd i'r ddafad, o herwydd mai felly y mae yn arferol o fod, ond nid ar gyfrif sefyllfa y geiriau yn yr ymadrodd; ond nid mor hawdd deall, 'Dyma yr asyn a ddychrynodd yr arth neu y llewpard,' wrth y cyfryw reol. Ac am *enwau da* dynion, y mae yn sicr nad ydynt na gwell na gwaeth o herwydd a wnaethum i iddynt; os enwau *da* oedd Pydew, Cadno, Teilwr, Saer, Ystafell, &c. dilys genyf nad oedd fy ngwaith yn ceisio allan eu tadogaeth yn eu gwneuthur yn ddrwg. Ac os yw eu *heddwch* yn ymddibynu ar ddirgeliad tarddiad eu henwau, rhaid addef ei fod o natur wanaidd iawn, ac mai nid bai dirfawr oedd ei aflonyddu. Ymddenys fod fy hyfforddwr deallus wedi cael ei siomi yn fawr ynof, o herwydd, wrth y testun a gymmerais, yr oedd yn dysgwyl cael "rhyw fudd." Y testun a gymmerais oedd *dechreuad enwau Seisnig;* pa fudd, attolwg, a allasai B. ddysgwyl gael oddiwrth y cyfryw destun, os nad oedd cynnyg i ddangos eu tadogaeth yn medru ei fuddioli? Myfi a driniais fy nhestun yn y modd goreu y medrwn; yr oeddwn, ac yr wyf yn credu, fod yr enwau crybwylledig wedi dechreu yn gyffelyb i'r modd y dywedais. Cydnebydd pawb eu bod yn enwau tra hynod; os camsyniais wrth eu hesbonio, paham na buasai Benoni, yn ddigintach, yn nodi allan y cyfeiliornad, yn enwedig am ei fod yn ystyried y *testun* yn addas i drosglwyddo budd oddiwrtho i'w wladwyr. Os dengys efe, neu ryw Gymro arall, neu Sais, resymau digonol dros dadogaeth gwahanol, geill hyderu na fydd i mi ddadlu yn gyndyn dros yr hyn a ysgrifenais, gan gyfrif fy hun bob amser yn ddarostyngedig i gamsyniadau; ond rhaid cael rhywbeth heb haeriadau noethion a checraeth cyn y gellir fy ennill i newid fy marn.

Athrawiaeth dra afiach ac o natur derfysglyd o eiddo Benoni yw haeru, neu o leiaf arwyddo yn gryf, fod rhwymau parch ac ufydd-dod i foneddigion ac uchelwyr yn diflanu y mynyd y gellir credu eu bod wedi hanu o dylwyth gwael. Yn ol y rheol oruwch hon, ni ddylasai preswyl-

wyr gwlad Israel ufyddhau i Ddafydd Frenin, yr hwn a fuasai yn cyflawni swydd bugail defaid, ond er hyny yn eneiniog ELOHIM. Ac yn ol yr un rheol, nid oes rwymau ufydd-dod i Frenin, oddieithr profi ei fod erioed o waed breninol! Cymmerwch ychydig o bwyll, Benoni, cyn ysgrifenu etto, rhag i'ch gwaith tangnefeddus chwi i droi allan yn fwy niweidiol nâ'r ysgrif a gyfrifwch o duedd derfysglyd o'r eiddof fi.

Yr wyf yn ofni fod tymherau drwg yn cael y goreu weithiau ar hynawsedd, hyd yn oed y serchiadol Benoni, canys medd efe, "Os credwn eich cabldraith chwi, ni a gredwn nad ydoedd y *Stuarts* a fu yn llywodraethu ein gwlad ond rhyw haid o bethau bastarddaidd," &c. *Gan eich* pwyll Mr. B., arafwch ronyn, fy meistr, yn mha gabldraith o'r eiddof fi y gwelsoch chwi'r dywediad hwn am y *Stuarts?* A soniais i am danynt o ddechreu hyd ddiwedd fy llythyr? Neu a ydych chwi yn sicr y buaswn i yn troi yr enw *Stuart* yn *oruchwyliwr*, o herwydd i mi wneuthur felly â *Steward?* Neu, oblegid i mi ddywedyd fod yr hen Steward*son* cyntaf yn fab anghyfreithlon, ysgatfydd, i ryw oruchwyliwr, a ydyw hyny yn profi fod *Stuart* felly hefyd. Gwn eich bod yn gweled eich camsynied, ac yn dechreu gwridio, am hyny ni wnaf ond ymbil arnoch i beidio priodoli eich cabldraethau i mi rhagllaw. Ac wedi'r cwbl, pe buasai eich casgliad yn gywir, a bod *Stuarts* Prydain mor ddiniwed yn mhob peth ag yn hyny, cyfrifaswn hwy yn llywodraethwyr tra theilwng o ufydd-dod eu deiliaid. A feiddiai Benoni haeru na fu neb bastardiaid ar orseddfeinciau, neu yn llywodraethu Prydain erioed; neu os buont, nad oedd rhwymau ar y deiliaid i ufyddhau iddynt. Gyda yr un cymhwysder y gallaf haeru yn ddiofn gwrthwynebiad, mai credu ei gabldraeth ei hun, ac nid yr eiddof fi, a raid fod Benoni yn wneuthur, od oes rhyw draith yn ei rwymo i gredu "mai cenawon llewod a'r cyffelyb yw penaduriaid diweddarach nâ'r *Stuarts*," canys nid oes air yn fy ysgrifen i am y fath beth. Y mae ymddygiad o'r fath hyn yn ddigon i'm tueddu i feddwl fod fy ngwladwr yn hoffi ceryddu er mwyn ceryddu, yn hytrach nag er mwyn diwygio y troseddwr gresynol, pe amgen ni buasai raid iddo fy nghospi mor llymdost am ei "ffregod gynhenus" ei hun. Ymddengys mai fy nhrosedd penaf oedd son am enw gwr boneddig ag sydd yn byw tua chyffiniau swydd Fflint neu Ddinbych. "Ow! (ebe ef) ai addas yw hyn? gwaradwyddo y diniwed yn ddiachos." Oh! ha, wyr! beth yw y matter, ai byw Mr. Catharel? a gyflawnwyd llofruddiaeth? Na, na, mi welais y gwr boneddig uchod y Sabboth diweddaf ond un, yn fyw, ac mor siriol ag y gwelais ef erioed; bum yn cydaddoli ag ef ddwy waith yn yr un Gyssegrfa. Gwn ei fod yn fwy synwyrol nâ chyfrif fy sylwiad ar ei enw fel achos tramgwydd. Y waith gyntaf y dygwyd fi i gymdeithas y gwr boneddig teilwng hwnw, gwnawd sylwadau ar ei enw, ac yn ei glyw, cyffelyb i'r rhai a ymddangosasant yn Rhifyn 45 o SEREN GOMER, gan ei gyfaill, yr hwn a'n gwahoddasai ein dau i'w dŷ, ac ni wnaeth Mr. C. ond chwerthin; a phe gwyddem ei fod yn tybied fy mod yn chwennych

ei waradwyddo, tra pharod fyddwn i brofi i'r gwrthwyneb, canys o ddifrif, er yn waethaf i hynodrwydd ei enw, yr wyf yn ei gyfrif yn wr cyfrifol, a theilwng o barch.

Er nad yw gyfreithlon, yn ol rheolau llywodraethol B., i chwilio i darddiad enwau Seisnig, etto cyfreithlon digon yw dirdŷnu, dadgymmalu, a throi enwau Cymreig yn wawd, canys y mae'r Cymro diledryw hwn (nac amheuwch) wedi troi fy enw i, *Llewelyn* i "*Lewlun*, gan ystyried fod yr enw yn cyfateb i'm hymddygiadau;" ond a gadael, er mwyn ymresymiad, fod y tarddiad yn deg, peth hynotach etto nag enwau Seisnig, yw fod *llun llew* wedi arswydo cymmaint ar y truan B., a pheri iddo ofni, o herwydd tybied fod ereill mor eiddil a dirym ag yntef, y buasai "i'r deyrnas gael ei llenwi a chythrwfl, a *llun llew* yn ddigon i ŷru pob peth dinben ystrellach!"—Hawdd ddigon fuasai myned heibio fy ngheryddwr, ond y mae lle i feddwl fod ei ddrwg anian weithiau yn o gymmaint â'i eiddilwch, pe amgen, mwy naturiol fuasai ystyried *Llewelyn*, yn *Lew-elyn*, neu *elyn llew*, nac yn *Lew-lun*; os rhaid dadgyssylltu'r gair, yr hyn ni wnaethum i â'r enwau Seisnig, gallesid ei wneuthur yn *llew-elyn*, heb gyfnewid llythyren, ond am na wasanaethai hyny ddiben B., geill hyderu nad yw ei dadogaeth ef o'r gair o lawer o dramgwydd i mi, yn enwedig gan fy mod yn ystyried *llun llew*, o leiaf mor ddiniwed a gwirion â Benoni gwan ei hun. "Peth rhyfedd," meddai efe, "na fuasech yn rhoddi eich enw eich hun, Mr. Llewlun, i lawr yn nghynffon y rut."—Nid yr un pethau a ymddengys yn rhyfedd i bawb; buasai rhai yn synu pe tarddaswn fy enw o *Llew* a *llun*; a thybiasai'r rhan fwyaf fy mod mor waned ymresymwr â Benoni ei hun, pe sylwaswn ar darddiad enwau Cymreig, a minnau yn proffesu nodi allan "ddechreuad enwau Seisnig" yn unig. Gyda'r un cymhwysder gallasai ddisgwyl i mi darddu enwau o ieithoedd ereill, a'm ceryddu yn llym am beidio dynodi arwyddocâd *Benoni*, yr hwn trwy ei Gymreigio a'i ddadgymmalu a ellesid ei droi yn dra naturiol i *Beno ni* neu yn *Beni ni*; ac y mae ysgrifen geryddol fy hyfforddwr yn dra darluniadol o alluoedd ac anian *Beni* bach, anwylaf ei fam, yn ysgrifenu mewn tymherau digofus.

Er helaethed ei wybodaeth, y mae yn methu gwybod pa un ai o'r llew rhuadwy, neu o ryw lew arall yr wyf fi wedi hanu; "ond mi wn hyn (ebe ef,) mai tuedd y llew uffernol yw codi cythrwfl yn mhob man," &c. Dichon hyny fod, gallaf ei gredu yn hawdd, ei fod yn adnabod hwnw yn well nâ mi, canys yr wyf yn byw yn mhell oddiwrtho, ac fe ŵyr pawb fod ychwaneg o gyfleusderau gan gyd-dylwyth i adnabod eu gilydd nag sydd gan ddyeithriaid. Cofied fy ngheryddwr hefyd, mai ei ddysgeidiaeth ef, ac nid yr eiddof fi yw, "y dylid barnu dynion wrth eu henwau," sef barnu beth ydynt yn awr, canys y mae llawer Mr. *Pennyless* yn awr yn gyfoethog, llawer *Big* yn fychan, y *West* a'r *East* yn cwrdd â'u gilydd, a *Butler* yn esgob, *Prettyman* yn ddyn hagr, a llawer un yn

*Young* pan fyddo yn bedwar ugain oed, &c., &c. Anweddus yw cadw parch oddiwrth ddynion urddasol, o herwydd nad ydynt o waedoliaeth pendefigaidd (er ein bod oll yn perthyn yn wreiddiol i'r un teulu, ïe, ac yn mhell wedi Adda). Darllenais yn ddiweddar am esgob, tad yr hwn oedd ganwyllwr, ond o herwydd ei ymroddiad a'i aml rinweddau a dderchafwyd i flaenori esgobaeth; ryw amser wedi hyn cyfarfu pendefig trahaus coegfalch (yr hwn yn rhyw fodd a dramgwyddasai) ag ef, ac er mwyn ei ddirmygu a ddywedodd, "Och! mae arogl gwêr yn gryf arnoch." "Y mae yn ddigon gwir, (meddai'r esgob,) mai canwyllwr oedd fy nhad, ond pe buasai eich tad chwi yn ganwyllwr, dyna fuasech chwithau hyd y dydd hwn."

Yn olaf, terfynir araeth hyawdl Benoni gyda dymuniad ar fod i mi gael fy mhorthi yn fy ffau, hyd oni ddysgwyf fyw yn dawel gyda'r anifail bras. Os y *Saeson* a feddylir wrth yr anifail, gobeithio yr agorir drysau fy ngharchar yn ebrwydd, canys yr wyf yn cymdeithasu agos mor fynyched, ac yn hollol mor daweled, â hwy ag â'r Cymry; ond os efe ei hun a olygir wrth yr anifail bras, rhaid addef mai nid gwaith o'r mwyaf dymunol yw trigo gydag un o anifeiliaid Ephesus, gan nad pa un ai brâs ai cûl y byddo; ond pan ddelo fy ngheryddwr i fedru rhesymu yn lle ymgecru; dangos beiau mewn hynawsedd yn lle ymrysoni; siarad yn berthynasol a chanlyniadol, yn lle bytheirio allan eiriau trawsion; a bod ychydig yn fwy ei ofal am ddywedyd y gwir, yn lle tadogi ei "ffregod" diflas ei hun i ereill, bydd yn hawddach cydymddwyn ag ef: pa fodd bynag, os bernir yn anghenrheidiol ganddo i weini ei geryddon rhagllaw yn y modd y gwnaeth eisioes, dichon ddisgwyl am y cyffelyb gydnabyddiaeth diolchus, gan ei ostyngeiddiaf, ond ei glwyfus, wasanaethwr,

LLEWELYN.

---

## Y NIWED O GYMDEITHAS DDRWG.

DIAR. iv, 14,—"Na ddos i lwybr yr annuwiolion, ac na rodia yn ffordd y drygionus."

---

CREADUR cymdeithasol yw dyn, ffurfiwyd ei feddwl yn y dechreuad i hoffi cymdeithas, "Nid da bod y dyn ei hunan," gan hyny cynnysgaethwyd ef ag ymgeledd cymhwys iddo. Nid yw pechod wedi dystrywio yr egwyddor greadigol o gymdeithasgarwch—cynnyddir dedwyddwch y rhan amlaf o ddynion mewn llwyddiant trwy gydlawenychiad eu cyfeillion; a lleiheir eu gofid mewn adfyd trwy gydymdeimlad eu cymdeithaswyr. Prin y meddwl llawer fod mawredd o werth ei fwynhau, oddieithr bod rhyw rai hebddynt eu hunain i sylwi arno; ac anhawdd fyddai goddef ychydig drallodau oni buasai fod ereill yn eu gweled, ac

mewn rhan yn cyd-dristâu. Y mae poen yn lleihau wrth dywallt ychydig o hono i fynwes cyfaill, a llawenydd yn mwyhau pan fyddo cyfeillion yn cydgyfranogi o hono. Ond mewn canlyniad i ymddyeithriad y meddwl oddiwrth Dduw, y mae dynion yn barod i gymdeithasu â'r rhai a dueddant i'w caledu, a diwreiddio yr egwyddor o ufydd-dod i Dduw, a ymdrechodd eu rhieni a'u hathrawon osod yn eu meddyliau: o herwydd paham, geilw Solomon yma ar bobl ieuainc i wylio ar y tuedd dymunol o gymdeithasgarwch, gan fod cymdeithas ddrwg mor niweidiol ag yw cymdeithas dda yn fuddiol. "Na ddos i lwybr yr annuwiolion," &c.

I. Rhoddwn ddarluniad byr o'r gymdeithas ag y dylai pawb, yn neillduol dynion ieuainc, ei gochelyd.

1. Gochelwch bob cymdeithas a fyddo yn tueddu mwy i'ch gwneuthur chwi yn waeth nag ydych, nag y byddo eich cyfrinach chwi dueddu eich cymdeithaswyr i ddiwygio. Cymdeithasodd ein Hiachawdwr â phublicanod a phechaduriaid (gwaradwyddus,) eithr nid oedd perygl iddo ef gael ei lygru ganddynt hwy, ond efe a fedrodd faeddu eu llygredd hwy; ni allasent hwy ei ddrygu ef, ond efe a'u gwnaeth hwy yn well. Y mae yn hen bryd i chwi adael y gymdeithas a wnelo fwy o ddrwg i chwi nag o les i neb: pan fyddo pob cynnyg i ddiffodd tân mewn tŷ llosgedig yn aflwyddiannus, y cyfle cyntaf yw y goreu i gilio oddiwrtho.

2. Y cyfryw gymdeithion a fyddont yn cyfarfod o fwriad i alltudio moesoldeb, rhinwedd, a gwir grefydd, o'r lleoedd y byddont yn ymgyfarfod ydynt dra niweidiol i chwi gyfrinachu â hwy; puteinwyr, y rhai a droseddasant reolau moesoldeb, gweddeidd-dra, a chrefydd, a berthynant i'r llwyth hwn. "Ffordd benyw buteinllyd yw ffordd angeu, ei thŷ yw porth uffern, yr hwn a gaseir gan Dduw a syrth i'w maglau hi." I'r un tylwyth y perthyn y rhai a ymhyfrydant fwy mewn chwareudai nag mewn lleoedd o addoliad, y rhai a lofruddiant eu heneidiau er mwyn lladd amser; y rhai a wyddant nad yw y fath hyfrydwch yn fuddiol i'r byd hwn na'r byd a ddaw, ac na charent gwrdd ag angeu ar eu dychweliad o'r fath leoedd. Gyda yr un manyldra y dylech ochelyd cymdeithas y meddwon, y rhai ydynt yn boddi eu synwyrau, newynu eu plant, hanner lladd eu gwragedd, hurtio eu cydwybodau, ac yn anaddasu eu hunain i gymdeithasu â rhesymolion, chwaethach â nefolion. Mewn gair, ymogelwch rhag cymdeithas pob math o ddynion halogedig, y rhai nas gellir cyffwrdd â'u cydwybodau â rheswm nac ysgrythyr.

3. Gochelwch gyfrinach y rhai ydynt nid yn unig yn esgusodi ac amddiffyn eu hanfoesoldeb, ond yn ymogoneddu yn eu pechodau eu hun ac eiddo ereill; yn llawenhau o herwydd eu bod yn medru rhagori mewn gwrthryfel yn erbyn gorchymynion yr Hollalluog. Ymffrostia rhai o herwydd eu bod yn gallu rhegu yn echryslonach, yfed yn drymach, brad-golledu cymmydogion yn gywreiniach nag ereill. A rhai dynion ieuainc a'i cyfrifant yn fawr anrhydedd os medrant hudo a thwyllo

ychwaneg o ferched ieuainc nâ'u cyfoedion. Tynghedaf chwi gerbron eich Lluniwr, na wneloch chwarae â phethau o gymmaint pwys, canys dydd dial a ddaw, a'r Hollalluog a dâl y pwyth; gochelwch y fath ystranciau, ymgedwch rhag y cyfryw erchyll ymddygiad, a ffowch oddiwrth y fath gyfrinachwyr, megys rhag porth uffern ei hun.

4. Yn bendifaddeu, ymogelwch rhag cyfeillachu â'r rhai ag ydynt yn fwy brwdfrydig i wneuthur proselytiaid i halogrwydd ac anghrefyddolder, nag yr ydych chwi i ennill eich cymdeithion i fod o du purdeb moesol a gwirionedd. Gellwch dybied cyn myned i blith y fath gyfeillion, fod eich dybenion yn dda, eich rhesymau yn gryfion, a'ch ymroddiad yn ddiysgog; ond y mae gan y sect ddieflig hon, y rhai a ânt o un gymdeithas i'r llall i gynnyddu eu plaid elynol, ddull cadarn i orchfygu y rhai na fyddont yn gadarn dros ben yn y gwirionedd, sef chwerthiniad, gwawd, a dirmyg; y mae yn gofyn cryn lawer o wroldeb i wrthsefyll hyn. Efallai y mỳnech wybod, pa ham y mae neb yn ymdrechgar i gael ereill i'r un graddau o ddrygioni â hwy eu hunain, gan y gwyddant nad eu ffordd hwy yw yr oreu ar fedr byd arall? Ateb, Fel na byddo i burdeb bucheddau eu cymmydogion beri iddynt hwy wridio, ac aflonyddu eu cydwybodau; ni ellai anfoesoldeb, nac un math o anghrefyddoldeb fyth gadw eu tir oni fyddai lliosogrwydd eu pleidwyr. Y mae myrdd o ddynion wedi dystewi, nid yn unig achwyniadau a chyfarwyddiadau eu cymmydogion moesgar, ond hefyd eu cydwybodau eu hunain, o herwydd fod y lliaws o'u plaid. Nid oes na rheswm nac ysgrythyr, cyfiawnder na thrugaredd, a saif o flaen dyn sydd heb ei ddysgu i ofni Duw, na pharchu dyn, (dau beth cydfynedol,) os bydd y rhan amlaf o ddynion, hunan-les, ac hunan-fwynhad, o'i du. Cedwir mwy o ystŵr am un trosedd a gyflawno dyn rhinweddol nag am fil o'i rinweddau, nid yn gymmaint am ei bod yn rhwymedig arno i fyw yn rhinweddol bob amser, ond o herwydd y mỳnai y drygionus i gredu ei fod ef cynddryced â hwythau, neu yn hytrach yn waeth, o herwydd iddo ef unwaith gyffwrdd â'r hyn sydd grefft ganddynt hwy. Yn fyr, na wnewch fyth gyfeillion o'r rhai sydd yn ddiofn Duw, canys nid oes dim a ettyl y cyfryw rhag cyflawni pob drygioni, cyhyd ag y gallont gadw rhag cospedigaethau gwladol a'r cyffelyb.

5. Y gymdeithas, yn yr hon nas gellwch ymateb cydwybod tuag at eich Lluniwr wrth fod ynddi, a ddylech ymgadw rhagddi megys y gwnelech rhag pyrth angeu. Od oes genych barch i'ch Creawdwr, a chlywed o honoch rai o'ch cymdeithion yn tyngu, peth analluedig yw i chwi ateb cydwybod tuag atto, heb geryddu yr hwn a gymmero ei enw yn ofer; ac os deallwch nad yw eich rhybuddion parhaus yn gadael gwell effaith ar y troseddwr, nag achlysuri iddo fyned yn fwy haerllug yn ei droseddau, ac yn fwy ëofn ar ei Wneuthurwr, i ba beth yr aroswch yn y gymdeithas (oddieithr fod eich galwedigaeth yn eich rhwymo i fod yno) yn hwy? Cofiwch nad yw dyn na fedro barchu lleferydd cydwybod

yn deilwng o fod yn gyfaill i chwi; gwrandewch ar rybuddion hon pe tramgwyddai pawb wrthych, da fydd ei chael yn gyfeilles dawel yn angeu, yn y farn a fydd, ac yn y byd a ddaw, pan fyddo eich cyfeillion dynol wedi myned i'w lle eu hunain. Af rhagof,

II. I gymhell athrawiaeth y testun i'ch ystyriaethau, trwy grybwyll amryw resymau o blaid y cyngor a roddir yma.—[Benthyciwyd amryw o'r amgyffredion canlynol o waith Dr. Dodd, yn ei bregethau i ddynion ieuainc.]

1. Ystyriwch fod dewis cymdeithion drwg yn brawf o duedd anfoesol—y mae meddyliau o'r un tuedd yn glymedig wrth yr un gwrthddrychau—"adar o'r un lliw a hedant i'r un llwyn." Dywedwch wrthyf gyda phwy yr ydych yn treulio eich oriau segur, a minnau a ddywedaf i chwithau pa beth ydych—dichon fod eich galwedigaeth yn *peri* i chwi fyned i gymdeithas ddrwg—ond cymdeithasu yn rhydd ar amserau pan na fyddoch yn dilyn eich galwedigaeth, sydd gyflawniad o ddewisiad pur—ond dichon tân a dwfr ymuno i gyflawni yr un pethau—halogrwydd a santeiddrwydd flaenori yn yr un galon ac ar yr un amser, cyn gynted ag y dichon meddwl rhinweddol *ddewis* cymdeithion drygionus—yr hwn a *garo* eistedd gyda meddwon—i gyfrinachu â lladron—i gymdeithasu â phuteinwyr—neu i ymhoffi yn nghyfeillach dirmygwyr crefydd, sydd yn meddu ar gyffelyb enaid â hwythau.

2. Meddyliwch fod cyfeillgarwch â dynion halogedig eu hiaith neu eu gweithredoedd, yn tueddu i leihau eich anghymmeradwyaeth o'u hymddygiad—y mae llawer yn awr yn dra hyddysg yn y gelfyddyd echryslon o gabledd a gwrthryfel yn erbyn eu Lluniwr, o'r rhai a fuasent yn crynu wrth feddwl am y fath fedrusrwydd yn y fath erchyll orchwylion, yn eu hieuenctyd—pan fyddom wedi hir arfer ag un math o anferthwch, neu brydferthwch anghyffredin, y mae ein syndod am y naill a'n rhyfeddod cymmeradwyol am y llall, yn lleihau yn raddol—pan ddywedodd y prophwyd wrth Hazael, blaenor llu Assyria, am yr erchyllwaith a gyflawnai efe yn Samaria wedi dyfod o hono i'r freniniaeth, efe a ddywedodd gyda mawr syndod,—"Pa beth? ai ci yw dy was, fel y gwnelai efe y mawr beth hyn?" 2 Bren. viii, 13. Ond wedi hir ymarfer â chigyddio dynion, efe a gyflawnodd y cwbl yn ddifraw—pan ddanfonwyd y Rhufeiniaid dan Marius, yn erbyn y Cimbri Germanaidd, nis gallent gymmaint ag edrych yn eu hwynebau gan fraw, o herwydd nad oeddynt arferol brwydro â gelynion o'r fath faintioli corfforol; ond wedi edrych arnynt a'u gwersyllfa dros rai dyddiau, hwy a ymladdasant â hwy ac a'u gorchfygasant—pan fyddo'r fynedfa gulaf yn agored i ddrygioni, yr anghenfil cyfrwys a ymwthia i orsedd y galon.

3. Gan mai dyben cyfeillach yw cyd-foddlonrwydd, pob dyn o dueddiadau caredig a deimla ddymuniad i foddhau'r gymdeithas ag y byddo ynddi; er y dichon fod rhai pethau yn cael eu gwneuthur neu eu llefaru nas dichon ef eu cymmeradwyo, ond yn hytrach nag aflonyddu a

suro'r gyfeillach, efe a ddenir yn raddol i redeg i'r unrhyw ormod rhysedd, rhag cael ei gyfrif yn anhawddgar ac o natur gynhenllyd, yn diflasu pob cymdeithas ag y delo iddi; a mawr ffolineb yw cymdeithasu â dynion y rhai ydych yn fwriadu eu tramgwyddo, oddigerth fod gobaith i'w diwygio, a pheth analluedig yw bod yn hyfryd a siriol yn mysg y drygionus, heb fod yn ddrygionus eich hun; nis gellir boddio gelynion heb ymresu dan fanerau duon y tywyllwch; os mynech fod yn hawddgar yn mhlith lladron, meddwon, tyngwyr, brad-golledwyr, a phob math o ddrwg ddynion, rhaid i chwi eu cymmeradwyo, a pha fwyaf a ganmoloch arnynt, hawddgaraf oll y cyfrifir chwi ganddynt.

4. Dichon perygl mawr gyfodi o gymdeithasu â dynion drwg, o herwydd y tuedd sydd mewn dyn i ddynwarediad; y mae yn agos ein holl fywydau yn cael eu gwneuthur i fynu o efelychiad, ychydig sydd yn gweithredu drostynt eu hunain; cyn gynted ag y cymmeradwyom un peth yr ydym yn barod i'w efelychu, ac y mae hyn yn anghenrheidiol mewn cymdeithasau, ac nid yw'r sawl a ymhoffant mewn cyfrinach â'r drygionus, os ydynt ddynion o anian garuaidd, yn gwneuthur er mwyn ymryson â hwy; gan hyny, gochelwch rym tuedd dynwarediadol. Dywedir am un Galius Vibius iddo fyned yn berffaith ynfyd o herwydd ymhoffi o hono dros amser maith i ddynwared dynion gorphwyllog; ac yr ydym yn darllen ei bod yn ddefod gyda yr hen Ethiopiaid i anafu eu haelodau, os byddai'r brenin wedi cwrdd ag anhap yn ei aelodau, mewn trefn i fod yn debyg iddo ef, a dywedir fod rhai o honynt yn myned cyn belled â lladd eu hunain pan fyddai farw eu penadur, fel na fyddent annhebyg iddo ef! Och! gynnifer sydd yn dinystrio eu hiechyd, heddwch eu teuluoedd, esmwythyd eu cydwybodau, a'u hanfarwol eneidiau wrth gydymagweddu â'r drygionus.

5. Cydnabyddir gan y rhan amlaf o ddynion ieuainc ag ydynt yn myned i lwybr yr annuwiolion, fod edifeirwch a diwygiad yn anghenrheidiol i ddedwyddyd; ond wrth gadw'r fath gymdeithas, y maent yn cefnu ar foddion edifeirwch; y maent yn caledu eu calonau fwy-fwy yn erbyn ceryddon llesiol eu cyfeillion, ac yn myned cyn belled ag y gallont oddi wrth yr hyn a gydnabyddir ganddynt sydd hanfodol i ddedwyddwch—attolwg, ystyriwch pa beth yw edifeirwch, sef, ing, galar, a gwasgfa, a deimlir gan y galon am bechod; rhaid yw i'ch enaid gael ei orchuddio â gofid am eich troseddau pentyredig; meddyliwch ar rifedi'r beiau ag ydych wedi eu cyflawni eisioes, a gwelwch fod eich enaid o dan ddigon o faich fel y mae; a digon o waith i edifeirwch wedi ei gyflawni eisioes; paham y mynech ychwanegu at yr hyn sydd ormod yn barod? Nac ymddiriedwch i hen oedran, y mae dull bywioliaeth yn cael ei ffurfio fynychaf yn amser ieuenctyd; ac er fod rhai yn cael eu tŷnu fel pentewynion o'r tân yn hwyr eu bywyd, ond yn fwyaf cyffredin meddwon a lladron yn moreu'r oes a fyddant feddwon a lladron hyd ddiwedd einioes; a thebyg ddigon y byddai llawer ag ydynt yn ymgais â

chrefydd pan fyddont ry lesg i ddilyn eu digrifwch, i'w ceisio mor awyddus ag erioed, pe adferid iddynt fywiogrwydd ieuenctyd; os felly, rhaid addef, na fyddai eu hedifeirwch yn gywir a didwyll; ond y rhai a ddechreuont yn gynnar, a gânt amser i brofi cywirdeb eu hedifeirwch a'u diwygiad.

6. Da y gwnaech i gofio yn fynych mai y dynion ag ydych yn hoffi cymdeithasu â hwy yma, yn dra thebyg fydd eich cymdeithion mewn cyflwr i ddyfod. A ellwch chwi drigo gyda llosgfeydd tragywyddol! y fath adfyfyrdodau chwerwon fydd yn eich meddiannu wrth gyfarfod â hwy o flaen brawdle Barnwr llidiog; bydd adgofio eich cyfarfodydd halogedig yn cynnorthwyo yn fawr i'ch poenydio. Nid annhebyg yw, wrth yr arwyddion a welir yn awr, y bydd i chwi gyfarfod mewn poenau â'r hwn a'ch denodd, ac â'r hwn a ddenasoch oddiar lwybrau rhinwedd. Oni fydd raid i'r cyfryw olwg drywanu eich meddwl euog â myrdd o bicellau, a llenwi eich enaid â dychryn diderfyn? ond a gadael y bydd i chwi adael eich llwybrau drygionus, a bod yn gadwedig, tra y byddai ereill, y rhai y buoch offerynol i'w caledu mewn drygioni, yn dilyn yr un llwybrau dinystriol, pa fodd y gallech faddeu i chwi eich hunain am eich ymddygiad? ïe, pe gwelech hwy mewn poenau o breswylfa gwynfyd, a phe byddai alluedig i dristwch fyned i ardaloedd dedwyddwch nefol, byddai yr olwg arnynt yn ddolur i'r meddwl yno. Och! na rodiwch ar hyd ffordd y drygionus.

Y mae y sylwadau uchod yn dangos,

1. Pa mor ofalus y dylai rhieni fod i ddefnyddio eu hawdurdod i'r dyben i attal eu hiliogaeth rhag cyfrinachu â'r cyfryw gymdeithion: cyhoeddir barn drom ar Eli, o herwydd i'w feibion ymddwyn yn warthus, ac ynteu heb eu hattal.

2. Pa mor ochelgar y dylai dyn neu ddynes dda fod yn y dewisiad o gymhar dros fywyd, "Na iauer chwi yn anghymharus â'r digred," o achos hyn y dygwyd y diluw ar y ddaear, ac ymgyssylltu â merch o Philistia a fu yn achos i Samson golli ei lygaid, ei rydd-did, a'i fywyd.

3. Pa mor angenrheidiol yw i ddynion bucheddol a duwiol i fod yn barod i dderbyn ieuenctyd i'w cymdeithas cyn gynted ag y gwelir arwyddion ynddynt o duedd i adael ffordd y drygionus; y mae drysau synagogau satan yn agored bob amser, dylai fod drysau cymdeithasau duwiolion yn agored hefyd i dderbyn dychweledigion, i'w cefnogi, ac nid eu llwfrhau. Ac ystyried hen ac ieuainc yr ymadrodd yn 2 Cor. vi, 17, 18; a Dat. 18, 4. "O herwydd pa ham, deuwch allan o'u canol hwynt, ac ymddidolwch," &c. "Ac mi a glywais lef arall o'r nef yn dywedyd, Deuwch allan o honi hi, fy mhobl i, fel na byddoch gydgyfranogion o'i phechodau hi, ac na dderbynioch o'i phläau hi." Amen.

ADELPHOS CYMRAEG.

## LLWON BRATIOG.

Y SYLWADAU canlynol a ymddangosasant yn y SEREN mewn atebiad i ofyniadau un a ysgrifenasai dan y ffug-enw *Ymofynydd*. Y pum nodiad cyntaf ydynt yn dwyn rhyw berthynas â'r mater a drinir yn nhu-dal. 47.

1. "O ba le y mae fod yr holl lymdra a'r gerwineb echrydus yma yn ymddangos yn Llewelyn, o Abertawe, pan nad oes ganddo, medd ef, ddim i ymdrin ag ef ond asyn gwirion?" Ateb—Ni ddywedais i nad oedd genyf *ddim* ond asyn i ymdrin ag ef, eithr arwyddais i'r gwrthwyneb, sef y gallasai fod ereill o gyffelyb gynheddfau iddo ef, y rhai a fynaswn gadw ar unwaith rhag crochleisio yn syfrdanllyd yn fy nghlyw; ac hefyd yr wyf yn hyderu y cydnebydd fy ngwladwyr yn gyffredin fod ei ymosodiad dibwyll a ffyrnig arnaf yn gofyn ychydig lymder tuag ato, rhag iddo "fod yn ddoeth yn ei olwg ei hun;" pe buasai efe yn amlygu ei feddyliau mewn modd gweddus, pell oddiwrthyf fuasai arferyd llymdostedd, yn neillduol am fy mod yn ystyried mai gorchwyl hawdd yw defnyddio geiriau cyffrous mewn modd garw a diaddurn; ond pan byddo gwr yn anghofio bychandra ei wybodaeth wrth ysgrifenu neu siarad yn feistrolaidd, tra beius fyddai goddef iddo fyned â'i adeilad yn mlaen ar sylfaen ansafadwy; caredigrwydd tuag ato ef ac ereill fyddai dangos y perygl o adeiladu ar y tywod.

2. "Pwy ddywedodd wrtho ef (Llewelyn) mai un o anifeiliaid Ephesus oedd B. druan?" Ateb—Nid oedd raid i neb ddywedyd hyny wrthyf, gellir adnabod pren wrth ei ffrwyth, bwystfil wrth ei lais, a galluoedd meddwl dyn wrth ei ysgrifen.

3. "Os dyna y fath rai oedd anifeiliaid Ephesus, fe debygid na chyfrifai Mr. Llewelyn fod llawer o enw yn deilwng i Paul am ymladd â hwynt a'u gorchfygu!" Ateb—Os dynion o dymherau bwystfilaidd, (megys y tybia llawer o dduwinyddion) oedd anifeiliaid Ephesus, tebyg ddigon y gallasai fod yno rai o gynheddfau asynaidd â'u crochleisiau cyn ucheled â'r mwyaf llewaidd o honynt, ac o ganlyniad fod enw mawr i Paul, neu i ryw Un a'i cynnorthwyodd am eu gorchfygu, *oll o bob rhyw*.

4. "Ond gan mai Llew-elyn yw ei enw ef, yr wyf yn cydnabod mai gwell i mi beidio rhuthro yn rhy bell yn mlaen." Ateb—Ië, o ddifri, os *llew* ydych, canys nid yw fy *enw* yn dynodi fy mod yn elyn i ddim arall, ac yn neillduol os gwir yw yr hyn a ganlyn,—

5. "Canys nid wyf yn amheu nad yw ef (nid wyf yn amheu ei fod ef, a feddyliwch, gredaf fi) yn abl rhoddi hèr i'r holl lewod," &c. Ateb—Gwir fyddo eich gair, canys nid yw hyny na gwarth na cholled i mi, oni chamddefnyddiaf y galluoedd a ddywedwch sydd genyf.

6. "Attolwg, os medrwch, rhoddwch wybod i mi darddiad y geiriau canlynol, a'u cyffelyb, O Dei, Jar y bo," &c. Ateb—Hawdd yw cael allan dadogaeth amryw o honynt, eithr y mae ereill yn anhysbys i mi, ni chlywais mo honynt erioed yn cael eu harfer, ac am nad ydynt yn perthyn

i un iaith yn y byd, ond i iaith gwasanaeth duwiau dyeithr, gwaith dyrys fyddai eu holrhain i'w dechreuad; pa fodd bynag, eglur yw eu bod oll yn cael eu harfer i'r dyben i ochelyd llwon mwy ysgeler, y rhai a gyfrifir yn bechadurus gan hanner moesolion (os yw yr ymadrodd yn addas) y Dywysogaeth. Dywedir y llw O Dei, yn lle O Dduw; Jar y bo. Jail y gollo, ysgatfydd, yn lle Diawl a'i bwyto, a'r Diafol a'i cotto, neu a'i codo, canys clywais y lythyren gyntaf D yn enw y drwgwr yn cael ei chyfnewid i J, ac felly yn lle dywedyd yr enw yn berffaith dywedid Jiawl, ac weithiau Jial, a Jal; talfyriad o bytto, (bwytto) yw *bo* yn y cyntaf, a thebyg ddigon mai cyfnewidiad o *tt* i *ll* yn y llall yw yr achos o ddywedyd *gollo*, yn lle *gotto* neu *godo*. O f' Anwyl, neu O'r Anwyl, yn lle O Arglwydd. O'r Brenin; cymmerwyd llw yn enw'r Brenin Goruchaf neu frenin daearol. Neno'r daioni, yn lle dywedyd yn enw'r Goruchaf, y prif ddaioni. Dur ynghattwni, neu Dur catto ni; cynnyg i ddywedyd Duw a'n cadwo ni, yn ysgafn, a pheidio tyngu trwy hyny; neu mewn geiriau ereill, ymdrech deg i gymmodi gwasanaethu Duw a Mammon. Neno'r anwyl, Neno dyn; defnyddir y geiriau hyn fel y gellir ymddangos yn fwy moesol wrth dyngu, tra na byddir yn dywedyd yn eglur yn enw'r Arglwydd, ac yn enw y Diafol. Ac felly am y llwon ereill, Brwyn gleision, Jagwns, Jacs i Goch, a'r cyffelyb, nid ydynt ond math o ddynwarediad o'r Iuddewon gynt, y rhai a dyngent i Jerusalem, i'r ddaear, ac i'w penau, yn lle cymmeryd enw yr Hollalluog yn ofer, a thrwy hyny meddylient eu bod yn ddibechod; ond yn unig fod y fath lwon â Jagwns, a Jacs i Goch yn fwy disynwyr, o herwydd nad ydynt yn perthyn i un iaith, yn gyffelyb i air disynwyr arall a fenthyciodd y Cymry oddiar eu cymmydogion, sef *Dear me.* Meddyliaf fod *Ratlings* yn hanu o *Ratio*, a hwnw yn deilliaw o *Od ratio*, a hwnw drachefn yn tarddu o'r Saesneg *God rot you!* (Duw a'ch pydro chwi!) megys y mae y gair *Zounds* yn dyfod o *Od zounds*, a hwnw fyth yn ddyledus i'r Saxonaeg, *God's wounds!* (Clwyfau Duw!) Am y gair Wfft i ti, neu i chwi, er y gellir ei debygu i lw, trwy ddefnydd anmhriodol o hono, eithr nid llw yw y gair Wfft, ond tafiodiad, ac yn amlygiadol o adgasrwydd tuag at weithred anaddas, ac yn dynodi dymuniad i wthio y troseddwr oddiwrth y llefarwr gyda dirmyg, ac yn cyfateb i'r hyn a feddylir wrth yr ymadrodd canlynol, a arferir mewn rhai parthau o'r Dywysogaeth, *Ffei* arnoch! neu megys ereill, *Ffei* o honoch! ond fod y gair *Ffei*, efallai, wedi ei gymmeryd o'r Saesonaeg *Fie*, a'r Saeson wedi ei fenthyca oddiwrth eu cymmydogion y Ffrancod *Fy*, a'r Ffrancod wedi ei ledrata o'r Groeg *Pheu*. A thybia rhai i'r Groegiaid ei gymmeryd o'r Gymraeg, ac mai Gomeraeg diledryw yw *Ffei*. Y mae amryw ymadroddion ereill, y rhai, trwy eu camarfer, ydynt fath o regiadau neu felldithiadau, megys Ymhell y bot ti (byddot), Ynghrog y byddot, &c. Ni raid i'r rhai a'u harferant ond ystyried eu harwyddocâd i'w cadw rhag eu camarfer mwyach. Dengys y sylwadau uchod mai nid da na chanolig, ond *drwg* yw'r ymarfer gyffredin o'r fath eiriau â'r rhai uchod.

7. "Pa beth i feddwl am y dynion a'u harferant, ac yn neillduol a oddefant i'w plant eu hadferyd, heb eu ceryddu?" Ateb. Y mae llawer yn eu harfer, ac yn goddef i'w plant ei wneuthur, o herwydd na feddyliasant erioed eu bod hwy yn llwon; clywais rai yn eu defnyddio, ac ar yr un pryd yn dwyn y sel mwyaf yn erbyn tyngu, am eu bod yn eu hystyried yn hollol ddiniwed, ac fel math o eiriau llanw yn yr ymadroddion, yn gyffelyb i'r dernyn anmherthynasol a glywsoch bregethwyr diddoniau yn ei wneuthur o ymadroddion disynwyr, i'r diben i dreulio yr amser allan. Ond wedi i ddyn gael hysbysrwydd o darddiad ac arwyddocad y fath ymadroddion, a'u harfer drachefn, neu oddef i'w blant, ei wasanaethwyr, neu ei gydweithwyr i wneuthur felly, os dichon efe eu rhwystro, rhaid i mi addef mai prin yr ystyriwn i ef yn gyfaill diledryw i Gristionogaeth. Dengys llawer o ystyriaethau afresymoldeb y fath arferiad; yn un peth, y mae yn dadgymmalu, anffurfio, a disynwyro'r iaith; nid oes un tyngwr cyffredin, gan nad pa un ai llwon mawrion, neu y rhai a gyfrif efe yn fychain, a fyddo yn eu harfer, yn medru siarad yn Ieithadurol, gan fod gosod geiriau anmherthynasol, annealladwy, neu rai na feddylir yn nghylch eu hystyr, ar ddechreu, yn nghanol, neu ar ddiwedd ymadrodd, yn ei afluneiddio yn hollol ddiachos; nid mwy lledchwith ynddo ei hun fyddai hanes wedi ei gymmysgu â chrochan a chawl, megys, "Gyrodd Ymofynydd (crochan a chawl) amryw holiadau i Llywelyn (crochan a chawl) o Abertawe, yn nghylch (crochan a chawl) amryw eiriau a arferir yn y (crochan a chawl) wlad lle y mae efe yn trigo," &c. Gwn y bydd rhai yn barod i ddywedyd fod llawer o wahaniaeth rhwng cymmeryd enw y Goruchaf yn ofer â chrybwyll pethau distadl yn ddifeddwl drwg; caniatâf fod ychydig wahaniaeth, ond prin y mae cymmaint ag sydd rhwng bod yn lleidr a chytuno â lleidr; neu rhwng y dyn a ddywedodd am y ci a'i tramgwyddasai, Ni laddaf mo honot, ond rhoddaf i ti enw drwg, ac felly dywedodd ei fod yn gynddeiriog, fel y lladdwyd ef yn ddioed gan y cymmydogion; a dyn arall, yr hwn a laddodd wrthddrych ei ddigofaint yn ddistŵr. Bid sicr y mae gwahaniaeth rhwng boddi a thagu, ond y ddau a derfynant yn angeu; ac felly pe caniatawn, er mwyn ymresymu, fod y llwon a elwir yn fychain yn llai erchyll nag ereill, rhaid i Gristion ystyried fod y naill fel y llall yn tueddu i ddinystr, pan gofio fod yr Hwn a farna y byw a'r meirw yn dywedyd, Mat. vi. 34—36, "Na thwng *ddim;* nac i'r nef, canys gorseddfa Duw ydyw; nac i'r ddaear, canys troedfainc ei draed ydyw; nac i Jerusalem, canys dinas y Brenin mawr ydyw; ac na thwng i'th ben, am na elli wneuthur un blewyn yn wyn neu yn ddu." Yr un awdurdod sydd wedi gwarafun pob math o dyngu, ag sydd wedi gwahardd y rhai mwyaf ysgeler; ac yn wir, y mae rhai o'r llwon a ddarluniwyd uchod o'r fath echryslonaf a draethwyd erioed; eithr pe byddent amgen, y mae ymgynnefino â beiau llai yn tueddu yn naturiol at y rhai mwyaf gwarthus. Yr wyf yn cofio i mi glywed gwr ieuainc Cymreig, yr hwn na wyddai nemawr Saesneg, wedi

clywed Sais yn tyngu yn enw'r sant Seisnig, St. George, yn cadarnhau agos pob gair a ddywedai yn Gymraeg â "Ië, *by George;*" a'r ffwl coegfalch megys pe buasai wedi ennill teyrnas ar y cyfrif hyny; nid hir wedi hyny y bu cyn dysgu yr holl lwon Seisnig, canys rhaid i chwi gofio fod y disynwyr penchwiban yn ormod gwr i ymarfer â'r rhai Cymreig. Y lleidryn a ymarfero â lledrata y pethau lleiaf sydd yn parotoi ei hun i gyflawni ysgelerder angeuol. Cofiwch hefyd fod y tyngwyr mwyaf echrydus yn chwennych ystyried eu hymddygiad yn dra diniwed, o herwydd, ysywaeth, nad ydynt yn meddwl drwg. Nid oes y fath beth â llwon diddrwg mewn siarad cyffredin yn bod. Heblaw hyn oll, y mae ymarfer â thyngu yn tueddu yn gryf i leihau y pwys a ddylid osod ar lwon er terfynu ymryson mewn llysoedd gwladol; canys os bydd gwr wedi ymgaledu i'r fath raddau fel na byddo tyngu beunyddiol, ar y gwir weithiau, bryd arall ar gelwydd, yn aflonyddu ei gydwybod, pa fodd y dichon ddysgwyl i ereill roddi cymmaint pwys ar ei lw ger bron ynad, â phe byddai arferol o ystyried pwysigrwydd llw.

Cyn rhoddi heibio, chwennychaf ofyn i ddysgawdwyr cyhoedd, a ydynt yn gosod pwys digonol yn eu gweinidogaeth ar bethau o'r fath hyn? Onid oes llawer o'r rhai ydynt arferol o wrando'r gair yn ymarfer â llawer math o lwon heb glywed erioed eu bod yn ddrwg, na gwybod eu hystyr? Wrth ddrysau pwy y mae'r bai hwn yn gorwedd? Onid oes llawer o athrawon dan y rhith o efengyleiddio, ac ysbrydoli dynion, yn ymwrthod ag helaethu ar bethau moesol, gan ddywedyd mewn effaith nad yw hyn yn deilwng o sylw? Clywais un dyn, hynotach am ei haerllugrwydd a'i anffaeledigrwydd, nag am ei wybodaeth a'i ostyngeidd-rwydd, yn dywedyd, "fod pregethu prif athrawiaethau'r Testament Newydd yn ddigon—fod dweyd llawer am ddyledswyddau yn ddeddfol, a bod amser efengylwr yn yr areithfa yn dra gwerthfawr, ac na ddylid ei dreulio ar bethau bychain, tra byddai'r pethau mwyaf eu pwys yn ddigon am dano oll, ac os credai dynion y prif bynciau hyn, byddai yn naturiol iddynt fyw yn foesol," &c. Yr ateb a roddais y pryd hyny, a ystyriaf yn addas yn y lle hwn. Pell oddiwrthyf fyddo ceisio rhoddi lle'r pethau mwyaf i'r rai lleiaf, ond dylai'r lleiaf gael eu lleoedd eu hunain; dywedodd ein Hiachawdwr lawer yn nghylch ymddygiadau moesol, (ac yn mhlith pethau ereill, yn nghylch y llwon a gyfrifid y pryd hyny yn ddiniwed), gobeithio yr addefwch nad oes berygl wrth fod mor ddeddfol ag ef, ac er gwerthfawrused yw amser athraw mewn areithfa, yr wyf yn hyderu na ddywedwch ei fod yn fwy felly nag eiddo'r prif Athraw ei hun; a dilys genyf nad oedd ef na'i apostolion yn cyfrif fod pregethu athrawiaethau a phrofiad yn ddigon i foesoli credinwyr.—Yn mhellach, dichon fod rhai athrawon, o herwydd nad ydynt yn ymgymmysgu llawer â phob math o ddynion, neu o herwydd fod eu gwrandawyr yn lled ochelgar yn eu gwyddfolder hwy, yn anwybodus o lawer o feiau a fyddo yn ffynu yn eu plwyfau, neu eu cymmydogaethau; dymunol iawn fyddai, yn ngwyneb

amgylchiad o'r fath, pe hysbysai rhyw wr bucheddol yn y gymmydogaeth hyn i'w athraw, fel na byddai'r drwg fyned rhagddo yn hollol ddirwystr.

Gan mai tyngu yn benaf yw testun y llythyr hwn, nis gallaf yn hawdd ymattal rhag dywedyd gair wrth ddynion bŷrion eu doniau mewn gweddi, y rhai, er mwyn para yn hir, a ddefnyddiant enw yr Hollalluog, hyd yn oed ar weddi, yn fwy anmharchus nag un gair arall o'r dechreu i'r diwedd, trwy ei arfer fel gair llanw pan fyddont mewn diffyg geiriau; tra dymunol fyddai i'r cyfryw weddio yn fŷrach, neu (os rhaid wrth weddi hir,) i aros hyd oni chaffont eiriau addas rhwng gair a gair, rhag fod eu hymddygiad yn rhy debyg i'r sawl a gymmerant enw yr Arglwydd yn *ofer: gwell* fyddai darllen gweddi dda nâ hyn. Ac wrth ddarfod ymbiliaf ar fy ngwladwyr i fod yn dra gofalus i ddywedyd y gwir bob amser, yn enwedig dynion crefyddol mewn ymddangosiad; yr wyf wedi sylwi ar ddynion tra geirwir mewn pethau tymhorol, yn afresymol iawn wrth siarad am bethau crefyddol, wrth amddiffyn eu plaid, neu yr hyn a alwant hwy "y gwirionedd," nid ydynt yn prisio pa beth a ddywedont, os bydd yn tueddu i dderchafu eu henw, ac amddiffyn eu pwnc, dywedant fod y testun a'r testun yn meddwl yr hyn a raid fod eu cydwybod yn wrthwynebu, megys y dengys eu dull terfysglyd o'i esbonio; ïe, dygant gymmaint sel dros y *gwirionedd* fel mai prin y gallaf *gredu gair* a ddywedent; ond wrth siarad am rhyw beth heb y *gwirionedd,* yn eu hystyr hwy o'r gair, gellir eu credu fel dynion ereill; tybiant nad oes lawer o niwed i ddefnyddio pob mesurau i amddiffyn eu plaid. Cofiwch Gymry mai o uffern y tarddodd yr athrawiaeth, "Gwnawn ddrwg fel y del daioni," a thuag yno y mae yn tywys. Na foed Cymru Gristianogol euog o gelwydd na thyngu; nid yn unig bydded holl siroedd Cymru yn gyffelyb i Feirion hyglod y flwyddyn ddiweddaf, heb garcharor iddynt oll, ond boed fy anwyl gydwladwyr yn rhydd oddiwrth bob drygau gwarthus a dueddant i galedu y galon; os rhaid i ddrygau moesol gael eu gwneuthur, boed iddynt gael eu cyflawni gan ereill, ac nid gan Gymro; os bernir fod tyngu yn addurn i iaith, ac yn fudd i wlad, boed i wledydd paganaidd, ac nid Prydain, i gael yr anrhydedd a'r elw.

Os tybir fod paganiaid a Mahometaniaid (llawer o'r rhai wrth fyned heibio, ydynt ofalus i beidio tyngu yn enwau eu ffug-dduwiau eu hunain) yn rhy anaml i ddwyn y gorchwyl dielw hwn yn mlaen, attolwg, boed i Ffrancod, caethion Fferdinand Prif Geispwl y Cyfandir, neu, hyd yn oed tylwyth Hengist a Horsa, i lanw'r diffyg, ac nid plant Gomer; mi wn fod eneidiau pawb yr un mor werthfawr â'u gilydd, a thyngu yr un mor ysgeler mewn un wlad a'r llall, ac yr wyf yn teimlo rhwymau diolchgarwch i'r Brenin Tragywyddol, am unoliaeth yr Alban, Lloegr, a Chymru dan yr un Brenin, yn neillduol dan deulu hyglod a thirion Brunswick; ond pan ystyrir fy mod yn caru fy nghenedl yn fawr, a bod fy ngwell o lawer wedi "dymuno bod yn anathema oddiwrth Grist dros ei genedl; ac mai gwir ewyllys ei galon, a'i weddi ar Dduw dros yr

*Israel* (ei genedl) oedd er iechydwriaeth," Rhuf. ix, 3, a x, gobeithio yr esgusodir fi pan ddywedwyf, fod llw o enau Cymro yn dolurio mwy ar fy meddwl, nag o enau rhyw ddynion ereill. Ac am hyny attolygaf ar fy nghyd Gymmrodorion i beidio tyngu; frodyr, rhagorwch ar eich cymmydogion yn hyn fel mewn pethau ereill, a chwi a foddhewch lawer ar eich ufydd wasanaethwr, LLEWELYN.

---

## RHYDD-FREINIAD Y PABYDDION.

[YR ydys yn ystyried y traethawd canlynol yn rhy werthfawr fel darn o ymresymiad cywreinbwyll idd ei adael allan o'r casgliad hwn, er fod yr amgylchiadau a'i perasant wedi peidio ys peth blynyddoedd bellach, ac er fod ofnau yr ysgrifenydd galluog wedi cael eu profi i fod yn ddisail, o leiaf hyd yma. Bu cynwrf a chyffro mawr yn y deyrnas hon am hanner oes a rhagor o berthynas i Rydd-freiniad y Pabyddion, un blaid yn ei wrthwynebu yn egniol, a'r blaid arall yn llafurio yn frwdfrydig drosto. Yn mysg y blaenaf yr oedd llawer o ddynion cyfrifol, ac o egwyddorion rhyddfrydig mewn llywod-ddysg, a gynhyrfid idd ei wrthwynebu gan yr ofn a deimlent o barthed anian erlidigaethus y grefydd Babaidd. Dywedent, fod yn annichonadwy i Babydd ffyddlon roddi i'r wladwriaeth y sicrwydd gofynol cyn ymddiried i ddyn holl freintiau ffurf-lywodraeth fel yr eiddom ni. Dadleuent taw anian hanfodol a digyfnewid Pabyddiaeth yw erlidigaeth; taw dyledswydd dibaid y Pabydd yw ymdrechu yn mhob modd i ddystrywio allan o'r byd pob golygiadau crefyddol gwahanol i'r eiddo ef, a dystrywio hefyd bawb a'i coleddant, a'r na ellir eu dychwelyd i fynwes yr eglwys; taw eisiau gallu oedd yr unig achos nad oedd Pabyddion yr Iwerddon a Phrydain Fawr yn awr mor giaidd at y Protestaniaid ag y buant eu hynafiaid yn amser Mari, &c.; a thaw ynfydrwydd oedd rhoddi gallu gwladyddol ac addasrwydd i swyddau i ddynion a rwymid gan eu golygiadau crefyddol i ddefnyddio y gallu, y swydd, a'i holl effeithiolaeth, er drygu a dinystrio, os byddai modd, Protestaniaeth a Phrotestaniaid oddiar wyneb y ddaear. Yr ystyriaethau hyn a berent i *rai* o goleddwyr mwyaf calonog rhyddid gwladol a chrefyddol i fod yn wrthwynebol i Rydd-freiniad y Pabyddion, ac yn enwedig cyn ac yn nghylch yr amser yn yr hwn yr ysgrifenodd Mr. HARRIS y traethawd hwn. Lled-dybiaf oddiwrth yr amgylchiad canlynol iddo ef newid ei feddwl wedi hyny, neu o leiaf iddo deimlo llai o aidd yn erbyn rhydd-freiniad, a llai o hyder yn ngrym rhai o'r ystyriaethau cynnwysedig yn y traethawd. Yn SEREN GOMER am 1825—27, bu dadl lled aiddgar ar y pwnc, a dyfynodd un o'r dadleuwyr yr ymadrodd canlynol, a ddefnyddiesid gan Mr. HARRIS rywbryd cyn hyny mewn nodiadau golygyddawl, "Dinystr Pabyddiaeth yn ei holl ddulliau yw un o brif ddybenion cyhoeddiad y SEREN."

Ar hyn gosodes Mr. HARRIS y sylwnod hwn ar odreu y ddalen, "Nid yw yr ymadrodd 'Un o brif ddybenion ein cyhoeddiad yw dinystrio Pabyddiaeth yn ei holl ddulliau,' yn cynnwys dim dros nac yn erbyn *Rhydd-freiniad y Pabyddion.*" Eglur ydyw oddiwrth hyn iddo naill ai dyfod yn llai hewydus ar y pwnc, neu iddo, wrth a welai ac a feddyliai ar y mater, gyfnewid ei olygiadau, a thybied nad oedd y perygl a'i dychrynasai ond perygl dychymmygol. Pa fodd bynag hyn a ddygwyddwys i amryw o enwogion y deyrnas; ac yn y flwyddyn 1829, dygwyd ysgrif i Dŷ y Cyffredin, gan Mr. (yn awr Syr Robert) Peel, Ysgrifenydd Cartrefol y llywodraeth bryd hyny, yr hon a roddai Rydd-freiniad cyflawn i Babyddion y Deyrnas Gyfunol, cariwyd hi drwy y Tŷ hwn gyda mwyrif mawr, ac wedi hyn, dan arweddiad Dug Wellington, Prif Weinidog y deyrnas yr amser hwnw, dygwyd hi yn fuddugoliaethus drwy Dŷ yr Arglwyddi, a derbyniodd gydsyniad ei Fawrhydi Sior IV. Oddiar hyny hyd yn awr y mae Pabyddion yn etholadwy i swyddau fel ereill, gydag un neu ddau eithriad. Nis gall Pabydd fod yn Frenin Prydain, nac yn Arglwydd Ganghellwr Prydain.—D. R. S.]

---

GAN ei bod yn debyg y bydd deisyfiadau'r Pabyddion yn nghylch eu rhydd-freiniad, gael eu hystyried yn eisteddfod nesaf y Seneddr, tra dymunol genyf fyddai gwybod barn gwyr Eglwysig ac Ymneillduwyr gwybodus, yn nghylch y dywededig rydd-freiniad; ac i'r dyben i ddechreu ar bwnc a ystyrir genyf fi o fawr bwys, gwnaf ychydig sylwadau arno.

O'm rhan fy hun yr wyf yn Ymneillduwr oddiwrth yr Eglwys Sefydledig; ond nid o herwydd fy mod yn meddwl mai dynion anrasol yw holl aelodau'r cymundeb hwnw, dichon fod dynion mwy diras yn perthyn i'r corff o bobl ag y meddwyf fi yr anrhydedd o fod yn perthyn iddo; ac nid wyf yn cyfrif fod crefydd y sawl a ymneillduant, neu a beidiant ymneillduo, yn unig er mwyn bod yn gadwedig, neu ddianc rhag uffern, yn sylfaenedig ar ddim amgen nag hunan les; eithr gelwir ar Gristionogion i ymwadu â hwy eu hunain. Drachefn, er fy mod yn ymneillduo oddiwrth grefydd sefydledig y deyrnas, yr wyf yn caru cyfreithiau fy ngwlad, nid wyf yn ymneillduo oddiwrth ffurf-lywodraeth Prydain, ond yn dwyn sel drosto, a thros deyrnasiad teulu Brunswick; nis gallwn alw un dyn yn frawd, na goddef neb yn yr un cymundeb â mi a fyddai elynol i hyn, o herwydd y byddai hyny yn wrthwyneb i wir grefydd, yr hon sydd yn ein rhwymo i anrhydeddu'r Brenin, (er na byddai pob peth yn y Llywodraeth wrth fy modd; canys, pa bryd y lluniwyd ffurf-lywodraeth a fyddai wrth fodd pawb?) ac yn ddinystriol o heddwch a llonyddwch cartrefol, ac felly yn dystrywio dwy lech y gyfraith. Ymneillduaf oddiwrth yr eglwys pan na fyddwyf yn cydweled â hi, o herwydd fy mod yn ystyried Crist, ac nid dyn, neu ddynion, yn ben mewn crefydd, ac iddo ef yr wyf atebol am fy ymddygiadau crefyddol, ac nid i arall. Fel dinesydd

neu aelod o gymdeithas fydol yr wyf atebol i'r swyddogion gwladol am fy ymddygiad, o herwydd y maent o Ddwyfol osodiad, a phe na byddai hyny yn eglur, dengys rheswm a natur pethau fod y cyfryw ufydd-dod yn anhebgor.

Tra byddo dyn yn aelod gymmeradwy o'r wladwriaeth, yn rhoddi eiddo Cesar i Cesar, ni ddylid ei erlid am roddi eiddo Duw i Dduw, neu addoli ei Greawdwr yn ol cyfarwyddiadau ei gydwybod. Gwrthwynebol i anian Cristionogaeth yw erlidigaeth. Y mae hwn yn cydweddu yn well â chrefydd Mahomet, yr hwn a fynai argraffu yr Alcoran ar ymenyddiau y bobl â charnau ei feirch arfog; ni raid i grefydd y Testament Newydd wrth filwyr arfog yn lle apostolion; nid oedd arfau planwyr cyntaf Cristionogaeth gnawdol, ond nerthol *trwy Dduw* (ac nid trwy garcharau, dirwyau, a'r cyffelyb) i dŷnu cestyll i'r llawr, ac i ddiwreiddio eilun-addoliaeth ac anghristiaeth. Y mae erlidigaeth mor anfuddiol ag yw yn wrthun; oblegid ni ddichon dirwyo, carcharu, neu ddryllio esgyrn gwr fod o fwy lles i gyfnewid ei feddwl, nag y dichon traethawd ar Seryddiaeth, neu ryw bwnc arall, rwymo esgyrn briw. Ffrewyll i'r corff, ond rhesymau i'r meddwl, ac os na ellir ennill heretic i'r ffydd trwy resymau teg, gadawer yr achos rhyngddo ef a'i Wneuthurwr.

Gan fy mod yn credu fod pawb yn attebol i Dduw yn unig am eu hymddygiadau crefyddol, y mae yn canlyn nad yw ofynol i'r swyddog gwladol ymyraeth yn mhellach â chrefydd na gofalu fod ganddo un a'i diogela ef ei hun yn y diwedd, ac i ddiogelu pawb yn y rhydd ymarferiad o'u crefydd eu hunain. Yr wyf yn gwybod fod hwn wedi bod yn destun dadleugar, os nad yw felly gan rai yn awr. Gwrthddadleuwyd, "pe byddai i bawb ddewis crefydd iddynt eu hunain, byddai'r crefyddau cyn liosoced â dynion yn y byd, a byddai llawer i gamddefnyddio eu rhydd-did." Ond, a gadael fod hyny yn wir, nid yw yn milwrio yn erbyn rhydd-did crefyddol, o herwydd y mae llawer yn camarfer pob braint a thrugaredd; y defnydd mwyaf a wna rhai â'u llygaid, eu clustiau, a'u dwylaw, yw dwyn yn mlaen eu hamcanion yspeilgar a llofruddiog, ond athrawiaeth dra gwrthun ac afiach fyddai haeru y dylid difuddio pawb o ddefnydd eu llygaid a'u dwylaw, rhag iddynt eu camddefnyddio. Gadawn y pethau a berthynant i Farnwr yr holl ddaear iddo ef, a gwneir cyfiawnder â phawb yn yr amser cymmeradwy. Haerwyd gan ereill o amddiffynwyr Pabyddiaeth ac erlidigaeth, "nad yw pawb yn gymhwys i farnu mewn achosion crefyddol, o herwydd byrda a gwendid eu cynneddfau." Digon o ateb i hyn yw, fod pob dyn ag sydd gymhwys i fod yn grefyddol yn gymhwys i farnu drosto ei hun; nid oes modd bod yn grefyddol heb gydsyniad y meddwl; cyfaddaswyd pethau anghenrheidiol yr oruchwyliaeth efengylaidd at amgylchiadau *rhai bychain* mewn amgyffredion; derbyniwyd yr efengyl gynt gan *ysgubion y byd*, tra yr oedd y dysgedig *trwy ddoethineb* heb adnabod Duw; gan hyny y mae pob dyn ag sydd yn ddigon call i fod yn grefyddol yn ddigon call i farnu

drosto ei hun. Peth anghydweddol ag anian Cristionogaeth yw gofyn; "A gredodd y penaethiaid?" cyn rhoddi derbyniad iddi. Mewn gair, lle byddo rhydd-did yno y mae crefydd, neu o leiaf, ofer fyddai chwilio am wir grefydd lle nad oes rhydd-did. Dichon erlidigaeth wneuthur rhagrithwyr, ond rhydd-did yn unig a ddwg allan wir Gristionogion.

Y mae graddau mewn rhydd-did crefyddol. Haerir gan rai fod dyn mewn meddiant perffaith o rydd-did crefyddol, tra y goddefir addoli Duw yn y dull y myno, heb ganiatâu i neb ei ddrygu, er ei fod yn cael ei gauad allan o freintiau gwladol, o achos ei grefydd, y rhai a allent fod o elw iddo, ac o fudd i'w deulu. Yr wyf yn addef gyda diolchgarwch a chymmodlonedd i raddau dirfawr, fod rhanau penaf rhydd-did yn gynnwysedig yn hyn. Ond tra gwrthun fyddai dywedyd fod *perffaith* ryddid yn gynnwysedig yn hyn. Pwy bynag a gauir allan rhag mwynhau unrhyw fraint wladol ar gyfrif ei ddaliadau crefyddol, sydd yn dyoddef gradd o erlidigaeth cyfatebol i faintioli'r fraint a wrthodir iddo, o herwydd ei anghydffurfiad â chrefydd sefydledig ei wlad. Ymddengys hyn yn eglur pan ystyriom beth yw erlidigaeth. Nid difreiniad o bethau ysbrydol, neu gymdeithas rhwng yr enaid a Duw ydyw, yr oedd y rhai a ddyoddefasant fwyaf o erlidigaethau yn mwynhau o gysuron ysbrydol i'w heneidiau, i raddau anfynegol. Nid yw yn ngallu erlidigaeth, er ei ffyrnigrwydd, i gadw'r enaid rhag y mwyniant o gymdeithas â Duw. Gan hyny, perthynol i gyfleusderau a breintiau corfforol a thymhorol, yn unig yw erlidigaeth. Y graddau perffeithiaf o honi yw poenydio ac arteithio'r corff yn raddol nes byddo farw. Tynerach erlidigaeth o lawer oedd carcharu'r corff dros ychydig, a chodi dirwyau o achos anghydffurfiad, a mwy goddefol fyth, yw methu cael swyddau o elw, tra fyddo rydd-did perffaith mewn ystyriaethau ereill yn cael ei fwynhau; ond rhaid addef fod y collediad lleiaf o achos crefydd yn radd o erlidigaeth, pe na byddai ond ceiniog y flwyddyn, ac y mae'r ystyriaeth o'r gwarth a deflir ar anghydffurfwyr, yn y modd hyn, yn fwy poenus i'r meddwl, nag yw'r erlidigaeth yn galed.

Oddiwrth y sylwadau blaenorol, gwelir fy mod yn gadarn o'r farn y dylai pob dyn, gan nad beth fyddo ei ddaliadau crefyddol, gael perffaith rydd-did i addoli Duw yn ol goleu ei gydwybod, oddieithr fod rhyw beth yn ei *farn* grefyddol, neu yn ei *ymddygiadau*, ag a beryglai heddwch a thawelwch y wladwriaeth; rhyw erthygl yn ei gredo, neu ymddygiad terfysglyd o'i eiddo ef a'i blaid, fel na allai ei wladwyr obeithio am esmwythyd, tra fyddent hwy mewn awdurdod. Ond, gan nad pa mor gydwybodol, pa mor foesol, a pha mor dduwiol bynag y gellir barnu fod dynion o egwyddorion terfysglyd ac anghydweddol â heddwch eu cyd-ddinasyddion, ni ddylid mewn un modd roddi awdurdod wladol i'w meddiant; eithr anghenrhaid fyddai eu caethiwo cyn belled â hyny, o leiaf, am yr un rheswm ag y carcherir lleidr, ac y crogir llofrudd, nid yn gymmaint i ddial ar y troseddwr, am ei erchyllwaith, ag i ddiogelu medd-

iannau a bywydau y cyffredin, trwy amlygu atgasrwydd at y fath ymddygiad, a rhoddi rhybudd anghreifftiol i ereill ochelyd drygau eu cymmydogion yn y cyffelyb fodd. Nid yw nacâu awdurdod i gorff o ddynion a fyddont yn meithrin egwyddorion erlidgar, (er y byddai mewn modd amgen yn radd o erlidigaeth,) ond rhoddi'r diogelwch hyny i ddynion tawel a llonydd ag sydd ddyledus oddiwrth bob llywodraeth i'w deiliaid teilwng.

Am Babyddion yr Iwerddon, nid oes neb ag sydd yn deall natur gwir rydd-did crefyddol, a gynnygai haeru na ddylent hwy gael y rhydd-did hwnw i'r un graddau o berffeithrwydd â dynion ereill, oddieithr dangos o ryw un reswm dros eu caethiwo hwy yn hytrach nag ereill. Heb *hyny*, nid yw dywedyd fod ganddynt ddigon o rydd-did eisoes yn foddhaol gan gyfeillion perffaith gyfraith rhydd-did, tra fyddont yn cael eu cadw rhag un fraint dymhorol a feddiennir gan eu cyd-ddinasyddion. Gwir yw, fod ganddynt gymmaint rhydd-did ag Ymneillduwyr ereill, mewn rhai pethau, ac ychwaneg mewn ereill, canys yr wyf yn deall fod y llywodraeth yn caniatâu amryw filoedd o bunnau yn y flwyddyn, tuag at gynnal athrofa o'r eiddynt yn Maynooth, eithr nid oes y cyffelyb fraint, a'r a wn i, yn cael ei rhoddi i un corff arall o Ymneillduwyr, ond nid yw caniatâu i ddyn fwynhau rhan o'i enedigaeth-fraint, ond rheswm tlawd am gadw'r rhan arall oddiwrtho.

Nid yw haeru fod y Pabyddion yn yr amseroedd gynt wedi tywallt moroedd o waed y Protestaniaid, pan oeddynt mewn awdurdod, yn brawf y dylid cadw Pabyddion yr oes hon rhag awdurdod; nid gweddus i'r plant gael cyfle i ddywedyd fod y ddincod ar eu dannedd hwy, o herwydd i'r tadau fwyta grawnwin surion. Tywalltodd y Protestaniaid lawer o waed y Pabyddion hefyd; os parodd eglwys Rhufain i foroedd o waed lifo o achos crefydd, bu eglwysi Protestanaidd euog o dywallt afonydd ar yr un achos; a pheth sydd fwy hynod a gwrthun fyth, bu Protestaniaid euog o waed Protestaniaid, fel y dengys hanesyddiaeth yn eglur; yr ysbryd ag oedd yn llywodraethu yr hen amseroedd oedd erlidigaeth, gan nad pwy oedd mewn awdurdod, rhaid oedd i bawb dderbyn eu ffydd hwy, neu gael eu herlid; a gwrthunach fyth yw meddwl fod Ymneillduwyr yn Mrydain wedi erlid Ymneillduwyr ereill, pan fyddai y gallu yn eu meddiant. Mor ffynadwy oedd yr Ysbryd hwn, fel nad wyf yn deall i neb o'r pleidiau crefyddol (ond dwy) i ymattal rhag erlid pobl o farn wahanol iddynt, pan fyddai ganddynt gyfle i hyny. Yr unig wahaniaeth, gan hyny, ar y pen hwn ydyw, fod Pabyddion wedi lladd a llosgi llawer, a Phrotestaniaid wedi erlid ychydig i farwolaeth; neu yn ol iaith gwragedd Israel, mae yr olaf wedi lladd eu miloedd, a'r blaenaf wedi lladd eu myrddiynau.

Gan hyny, y ddadl yn awr yw, a ydyw Pabyddion yr amser hwn o'r un egwyddorion â'u tadau yn yr oesoedd a aethant heibio, ai peidio: a ydynt o'r farn etto, na ddylai y rhai a gyfrifir ganddynt yn hereticiaid i gael byw? Pwy gaiff ateb yr holiad? Os gofynir i Brotestaniaid, ceir

gweled eu bod yn rhanedig yn eu plith eu hunain, yn Eglwyswyr ac yn Ymneillduwyr; atebir yn gadarnhaol gan rai o honynt, ac yn nacäol gan ereill. Ond os ymholwn â'r Pabyddion eu hunain, y rhai, o bawb, yw y barnwyr goreu ar y pen hwn, dywedant yn unfryd eu bod yn ffieiddio pob math o erlidigaeth, nad ydynt yn chwennych drygu blewyn o wallt pen un Protestaniad; ac os rhy fach hyn i symud amheuon, boddlonant i gymmeryd eu llwon ar yr achos, ac i brofi mai yr unig beth a geisiant yw cydfreiniad â'u cyd-ddinasyddion o wahanol farn. Ac haerir yn gadarn gan eu cyfeillion fod ysbryd erlidgar mor ddyeithr i'w mynwesau ag yw i Gristionogion ereill: ac fel amlygiad o hyn gyrent ni yn ddiweddar i *Ffrainc* ac i'r Americ, am anghraifft brawf eu dywediadau. Tra fu Bonaparte yn y wlad gyntaf, Pabyddiaeth oedd y grefydd sefydledig; ond yr oedd perffaith rydd-did i ddynion o bob barn i gael addoli fel yr ewyllysient, os byddent ddeiliaid ufydd i'r llywodraeth. Yn yr Americ, lle nad oes un grefydd sefydledig, y mae llawer o Babyddion, a'r rhai hyny yn cael eu dyrchafu i swyddau megys dynion ereill, ond nid oes effaith ddrwg yn cydfyned â hyny; ni chynnygwyd codi erlidigaeth yno gan neb. Pa brawf ychwanegol o ddiniweidrwydd Pabyddiaeth, yn yr ystyr hyn, a ellir ddysgwyl ei gael? Wele, dystiolaeth ddifrifol a llwon ei choleddwyr, ac enghreifftiau o wledydd ereill dros heddychlondeb ei hegwyddorion. A oes modd cael cadarnach prawf o wirionedd un peth nâ thrwy dystiolaeth, llw, ac anghraifft?

Er cadarned y dichon yr ymresymiad uchod ymddangos, rhaid i mi addef ei fod yn rhy wan yn fy ngolwg i; y mae ystyriaethau mwy pwysig yn erbyn ymddiried i'r blaid uchod nag sydd dros hyny. Heb sylwi ar *ymddygiad* y Pabyddion yn y chwaer ynys, ymddengys i mi fod un erthygl yn eu credo, ag sydd ddigonol i'm lluddias dros fyth i ymddiried i'w ffyddlondeb hyd oni ymwrthodant â'r dywededig erthygl, sef, eu crediniaeth yn *anffaeledigrwydd y Pab*, neu'r Eglwys Babaidd; tra fyddont yn amddiffyn y fath athrawiaeth wrthun, gableddus, a dinystriol, nis gellir ymddiried iddynt, o herwydd dichon gwr gymmeryd ei lŵ ar un pwnc yn dra chydwybodol heddyw, ond os dywedai'r Pab, neu Gynghorfa'r Eglwys Babaidd, fod gogoniant Duw, a lles yr Eglwys yn gofyn iddo alw ei eiriau yn ol, efe a dyngai i'r gwrthwyneb y fory, yr un mor gydwybodol, tra fyddai yn credu yr athrawiaeth uchod. Nid dywedyd rhyw beth ar antur yw hyn ychwaith, canys y mae hanesyddiaeth yn llawn anghreifftiau o'r fath; pe gwelai ei Santeiddrwydd (megys y gelwir y Bwystfil o Rufain) gyfle i ddwyn ei amcanion yn mlaen mewn gwlad, ni byddai raid iddo ond dywedyd fod maddeuant yn barod i'w ganlynwyr, i'r dyben i'w gyru i gyflawni'r terfysg, y difrod, a'r llofruddiaeth mwyaf erchyll tra fyddent dan effaith y grediniaeth uchod, yn gyffelyb i'r modd y gwnaethant lawer o weithiau cyn hyn, ac o ganlyniad nid yw eu tystiolaeth na'u llŵ o werth dim yn y byd, ond cyhyd ag y gwelo'r gwr neu'r eglwys anffaeledig yn addas i'w barchu. Gwn fod eu

pleidwyr yn gofyn; "Beth a fynwch i'r dynion wneuthur? a fynwch iddynt ymwadu â'u crefydd er mwyn peidio cael eu caethiwo o achos crefydd? os felly, ni chânt rydd-did perffaith fyth oni ragrithiant." Digon o ateb i hyn yw, os yw eu cydwybodau yn gofyn iddynt goleddu egwyddorion annghytunol â heddwch y wladwriaeth, y dylent fod yn dawel iawn tra fyddo'r Llywodraeth yn cadw arfau dinystr o'u dwylaw; trugaredd, ac nid creulondeb, yw cadw cleddyf o ddwylaw dyn gorphwyllog.

Am yr anghreifftiau o'u hysbryd tawel, y maent yn rhy brinion. Bonaparte a Deistiaeth, ac nid Pabyddiaeth a roddodd rydd-did crefyddol i Ffrainc; yr oedd gan Napoleon a'r holl Ddeistiaid resymau da i fod yn elynol i'r Pab (yr hwn oedd *garcharor* pan oedd Protestaniaid yn *rhydd*,) i ymddwyn megys ag y gwnaethant. Ac am yr Americ, y mae ffurf-lywodraeth y wlad hòno o sefydliad cyn ddiweddared, ac egwyddorion rhydd-did ac anymddibyniaeth wedi cael eu planu mor ddwfn fel y byddai pob cynnyg i erlid i gael ei wrthwynebu gan fyrdd o floeddiadau, o un cwr i'r wlad hyd y llall; a dylid cofio nad oes modd sefyll yn gysson dros rydd-did gwladol heb amddiffyn rhydd-did crefyddol yr un pryd; ac hefyd, nid yw yn ymddangos fod un Pabydd yn yr Unol Daleithiau am bob deg Protestaniad, ac o ganlyniad, ni ellid edrych ar gynnyg i ddrygu Protestaniaeth trwy rym ond ffrwyth perffaith orphwylldra. Nid felly yn y chwaer-ynys.

Os mynwn wybod natur pabyddiaeth wrth ymddygiad ei harddelwyr, dylem sylwi ar y gwledydd hyny lle y mae mewn awdurdod; nid ar Ffrainc, canys, megys y sylwais eisioes, nid Pabyddion, ond Deistiaid yw rhan amlaf trigolion y wlad hòno y dydd heddyw. Golygfa addas yw'r Yspaen. Pa fodd y mae'r Anwylyd Fferdinand, (fel yr árferid galw Penadur gormesol y wlad hòno) yn ymddwyn? A gaiff Protestaniad addoli ei Greawdwr yn ol goleu ei gydwybod dan ei Lywodraeth ef? A fyddai rhydd-did i'r gwron, Dug Wellington i godi cysegrfa yn Salamanca, neu Vittoria, lle y bu yn ymdrechu yn llwyddiannus dros Fferdinand? Pe dygwyddai i blant y miloedd dewrion o Brotestanaidd a gollasant waed eu calonau dros ei rydd-did ef, fyned i ardal y ffosydd lle claddwyd y rhai a roddasant fôd iddynt, a oddefid iddynt addoli yn gyhoeddus, yn ol trefn eu tadau? Yr ateb cywir i'r holl ofynion hyn sydd ddigon i gyffroi fy holl gynheddfau, a fferu gwaed fy nghalon; sef yw hyny, Na fyddai rhydd-did i un o honynt, eithr byddai carcharau erchyll y chwil-lys melldigedig yn barod iddynt oll, yn daledigaeth am eu gorchestion a'u gwaed. Ac os chwiliwn i ymddygiad y gwr boneddig hwnw, y Pab, pen yr Eglwys Babaidd, a chanlyniedydd ffugiol Pedr, ni a gawn fod yr un ysbryd aflan ac erlidgar yn ei feddiannu ef yn awr, ag oedd yn blaenori ar y mwyaf gwaedlyd o'i flaenoriaid; yn lle dysgu gostyngeiddrwydd ac hynawsedd mewn cyfyngderau carchar, efe a amlygodd gymmaint o drahausder ar ei ddychweliad o garchar, â phe

buasai wedi ebargofi mewn wythnos y lle o'r hwn y daeth; un o weithredoedd cyntaf ei Santeiddrwydd oedd cymmeradwyo adferiad y chwil-lys, gan ei ffyddlon fab ffydd, Fferdinand, yn yr Yspaen.

Fel hyn, yr wyf wedi egluro cyfraith rhydd-did crefyddol yn ol fy medrusrwydd, wedi gosod swm yr hyn sydd o du'r Pabyddion, a'r hyn sydd yn eu herbyn, ger bron, a barned y darllenydd pa un sydd drymaf yn nghlorian y cyssegr, y bibl, ac eiddo rheswm. Bu'm unwaith yn cael fy nhueddu i ochri gyda'r Pabyddion yn eu cais, ond wrth chwilio yn fanylach i'r pwnc yr wyf yn cael fy nghadarnhau fwy-fwy, mai'r un yw ysbryd Pabyddiaeth yn awr ag oedd erioed, ac yn dra thebyg mai felly *y bydd* hyd oni ddelo yr amser iddi gael ei dileu gan y gwirionedd. Da fyddai genyf weled ysgrifau Eglwyswyr ac Ymneillduwyr ar y pwnc; ac os ymddengys iddynt hwy a'r cyffredin yn y modd ag y mae i mi, tybiaf na ddylem fod yn segur yn nghylch hyn, dylem yru deisyfiadau lliosog i'r Seneddr yn erbyn eu deisyfiadau hwy, i gefnogi yr aelodau hyny ag ydynt wrthwyneb iddynt. Na feddylied Cymru ei bod yn rhy wael i ddechreu ar y gorchwyl, Cymro (y Parch. T. Charles, o'r Bala, Och! ei gladdu ef) osododd Gymdeithas y Biblau ar droed, yr hon a gefnogir gan Len-wyr a Lleygion, Pendefigion a Thywysogion, ïe, Breninoedd ac Ymerawdwyr. Yr wyf yn credu fod amryw Foneddigion wedi pleidio i gais y Pabyddion, o herwydd eu serch at rydd-did, heb feddwl fod yr hen ysbryd yn parhau —gobeithio y canfyddant hyny oll yn ebrwydd. Gwrthwynebol wyf i bob gorthrymder, ond os rhaid fy ngorthrymu fel Ymneillduwr, boed i mi gael byw dan orthrymder Eglwys Loegr, ac nid Eglwys Rhufain, nag un Eglwys arall. ADELPHOS CYMRAEG.

## GWEDDI DDIRGEL Y CYBYDD.

OH! tydi'r Bôd dyrchafedig, ag sy'n trefnu holl drysorau y ddaear yn ol dy feddwl, ac wedi addaw gofalu a llwyddo y sawl a brisio dy roddion yn ddyladwy, trwy beidio eu hafradloni a'u gwasgaru yn afreidiol; ti a wyddost fy mod yn ddiweddar wedi prynu tyddyn bychan o dir yn mhlwyf Llan———, yn swydd B———, attolygaf arnat i gadw'r plwyf hwnw rhag daear-gryn a phob difrod arall; ac am fod genyf ychydig dir ardrethol yn y plwyf hwn, atolygaf arnat hefyd i fod yn dosturiol wrth y gymmydogaeth hon; ac am y parthau ereill o'r byd, gelli ymddwyn tuag atynt yn ol cynghor dy ewyllys dy hun; ac am nad wyf yn cael ond ychydig ardreth am y tyddyn a osodais allan i ddeiliad yn swydd B———, ac yn gorfod talu llawer iawn am y tyddyn a gymmerais yn y plwyf hwn, rhynged bodd yn dy olwg i osod yn nghalon rhyw un tra galluog mewn *cyfoeth* i gynnyg tâl ychwanegol am y tir a brynais, a thuedda galon perchen y tyddyn hwn i ostwng yr ardreth, fel y gallwyf fyw yn fwy cysurus, a chael achos o'r newydd i dy ganmol am dy roddion gwerthfawr i mi, dy was diwyd a

gofalus. Ymbiliaf arnat yn mhellach i gadw yr holl ariandai rhag methu talu, gan fod genyf rai cannoedd o'u hysgrifau yn fy meddiant; ac am fod y llong Betsey, pedwaredd ran o'r hon a berthyn i mi, wedi hwylio o long-borth A——— yn ddiweddar, gwel fod yn dda i attal pob ystorm rhag curo arni hyd oni ddychwelo yn ddiangol i dir ei gwlad; ac am yr holl longau ereill, tydi a wyddost yn well nag y medr y fath bryfyn gwael â mi osod allan mewn geiriau, pa fodd i ymddwyn tuag atynt. Yr wyf yn deisyf arnat i wneyd blaenor y Betsey yn fwy cywrain, gochelgar, a chynnil, wrth fasnachu ag estroniaid, fel y byddo i'r swm gwerthfawr a dreuliais wrth ei pharotoi i'r môr ddwyn ffrwyth o leiaf ar ei ddegfed-ar-hugain, ac o herwydd dy fod yn hollol hysbys o'm hangheniön, ti a wyddost na fyddai cant ar gant o elw yn afresymol.

Ac am fod genyf berthynas lled gyfoethog yn G———, yr hwn sydd dra anwybodus o werth arian, ac felly, yn eu treulio mewn ffordd anrasol ar felus chwant, neu eu cyfranu at achosion a eilw efe yn elusengar, yr hyn a arwydda yr un peth, ac am fod ei feddiannau i ddyfod i'm perchenogaeth i wedi ei amser ef, a thithau wedi dywedyd mai byrion fydd dyddiau'r drygionus, erfyniaf arnat gofio'r addewid drudfawr hon, a chyflawna dy air ar fy rhan. Cadw fy mab Demas rhag cyfeillachu â dynion treulfawr, a galluoga ef, yr wyf yn attolygu arnat, i werthfawrogi rhoddion anghenrheidiol o'r fath hyn; ac erfyniaf arnat wneuthur yr holl rai sydd yn fy nyled yn ddynion onest, ymroddgar i dalu i bawb ei eiddo, ac am fod rhai o honynt yn rhy dlodion i'm talu, attolwg, llwydda hwy i'r fath raddau fel y byddo ganddynt ddigon i'm digolledu, canys ti a adwaenost fy nghalon, a gwyddost nad wyf yn hoffi ymddial ar lymiaid, trwy ymgyfreithio â'r rhai analluog i dalu, gan nad oes dim i'w ennill wrth hyny ond hawl i dalu'r costiau. Attolygaf arnat yn mhellach i gadw pob cardodiaid rhag dynesu ataf, canys yr wyf yn eu ffieiddio, er fy mod yn foddlon cyfranu at achosion anghenrheidiol, pe gwybyddwn fod genyf ddigon i mi fy hun a'm teulu; tuedda fy nghalon rhag myned i le o addoliad ar y Sabbath, neu ryw amser arall, pan fyddo casgliadau helaeth yn cael eu dysgwyl, a'm cymmydogion anwybodus (o werth arian) yn cyfranu llawer at achosion crefyddol neu elusenau i'r tlodion, o herwydd nad wyf yn caru clywed fod dynion yn dywedyd fy mod yn waeth nag ereill, er mai oddiar anwybodaeth y byddant yn siarad, a mwy poenus genyf feddwl ymadael â dy roddion di ar y fath achlysuron dibwys, gan ystyried mai digon yw i bob dyn feddwl am ei achos ei hun; ac am fod rhai eisioes yn dechreu siarad am fy nghynnildeb, gan ddarlunio fel bai yr hyn a ystyriaf fel un o'r prif rinweddau; dysg fi i roddi fynu yn dawel gyda ffolineb yr anwybodus a'r afradlon.

Yn awr yr wyf yn myned i orphwys dros y nos, attolwg, cadw fi a'm meddiant trwy'r nos rhag tân a lladron, gwna fy holl wasanaethwyr yn onest, gofalus, a diwyd, cadw ni oll rhag anhwyldeb corfforol, rhag i hyny fod yn foddion i gadw'r gwaith yn ol, a lleihau fy nghyfoeth a'm cysuron;

ac yn y modd hyn, wedi lledu o honof fy *holl* achosion ger dy fron, dy ffyddlon wasanaethwr a orwedd i lawr i gysgu mewn tawelwch.

---

D. S. Os yw ein gwlad yn hollol rydd oddiwrth ddynion ag ydynt yn myfyrio fwyaf, os nid ffug-weddio weithiau, yn gyffelyb i'r modd y darluniwyd uchod, y mae'r ysgrifenydd yn foddlon cael ei gyfrif yn deilwng o gerydd ei wladwyr, am ddarlunio dyledswydd mor bwysig â gweddio mewn modd mor ysgafn; ond o'r tu arall, od oes lle i feddwl fod y sylwadau uchod yn ddarluniadol o amryw o'n cyd-deithwyr i fyd yr ysbrydoedd, gobeithio yr esgusodir ef, ac y bydd i'r ysgrifen fod o fwy lles iddynt hwy nag y bu cynghorion Elias i brophwydi Baal, yn nghylch gweddio areu duw, o fudd iddynt hwy.

LL——W.

---

# GOLWG GYMHARIAETHOL AR Y GYMRAEG A'R SAESNEG.

YMDDENGYS i mi nad yw alluedig i un dyn o gynheddfau cymhedrol a fyddo wedi cymharu y Gymraeg â'r Saesneg gyda rhyw fesur o fanylwch, feddwl fod yr olaf yn rhagori ar y blaenaf, eithr dengys llawer o ystyriaethau fod y rhagoriaeth yn perthyn i'r Omeraeg. Nid wyf fi yn cofio i mi glywed un gwrthddadl yn erbyn y iaith ragorol hon, namyn y rhai canlynol:—sef fod ynddi rai seiniau anhawdd, megys *ll* a *ch*; fod cyfnewidiad rhai o'r llythyrenau blaenddodol, megys *p* i *b*, *ph*, *mh*, &c. yn ddyryslyd; a'i bod yn ddiffygiol o eiriau addas i osod allan gelfyddydau yr amseroedd hyn; a bod ynddi rai geiriau wedi eu cymmeryd o ieithoedd ereill, megys *ffenestr* o'r Lladin *Fenestra*; a *mêl*, oddiwrth y Lladin *mel*, neu y Groeg, μελι, (meli); a *mam* o'r Groeg, μαμμη (*mammé*, nain, mamgu,) a'r cyffelyb. I hyn gellir ateb fod seinio *ll* a *ch* mor hawdd i Gymro, ac i ereill hefyd, pe ymarferent â hwy, ag yw seinio rhyw lythyrenau ereill, a bod y sain y gwrthddadleuir yn benaf yn ei erbyn, sef *ch*, yn perthyn i'r ieithoedd dysgedig y Groeg a'r Hebraeg, yn gystal ag i'r Gymraeg; ac hyd oni ddysgo Sais y sain hwn, nis dichon ddarllen un o'r dywededig ieithoedd mewn modd dyladwy; er enghraifft, dylid seinio yr enw gwreiddiol *Melchizedeck*, nid Meltzizdeck, na Melkizedeck, fel y ffugia rhai Cymry, gan chwennych dynwared y Saeson, y rhai ni fedrant seinio y ieithoedd gwreiddiol yn drwyadl; ac felly ymdebygu i ddynion a ewyllysient ddryllio eu hesgyrn o herwydd i'w cymmydogion fethu cadw eu hesgyrn yn gyfain. Am gyfnewidiad rhai llythyrenau dechreuol mewn geiriau, y mae rheolau addas wedi cael eu rhoddi, fel y gellir gwybod yn mha amgylchiadau y dylid gwneuthur y cyfryw gyfnewidiad. A phan ystyriom fod llythyrenau geiriau mewn ieithoedd ereill yn cyfnewid yn nghanol, yn nherfyniad, neu yn nechreu geiriau, i wahaniaethu rhwng ystleni personau, amserau, a rhif, megys yr unigol a'r lliosog, y mae y gwrthddadl hwn yn llwyr ddiflanu; a phan gyfnewidier llythyrenau mewn rhai geiriau er mwyn pereiddio y sain a rhwyddhau yr ymad-

rodd, diamheu genyf fod y Gymraeg yn rhagori ar ei chymmydoges, yr hon yn fynych a rydd fwy nag un sain i'r un lythyren er mwyn y cyfryw bereiddiwch. Gwir yw fod y Cymry gan mwyaf yn defnyddio yr enwau Seisnig (fel eu gelwir) ar amryw beiriannau a chelfyddydau diweddar, ond nid diffyg yn yr iaith yw yr achos o hyny, ond bai y rhai a'u harferant, gan fod y Gymraeg mor gyflawn o eiriau arwyddocaol, agos o bob peth ag y dichon y meddwl ffurfio amgyffredion addas o'i herwydd; ac od oes rhai pethau a'r nad oes enwau Cymreig addas wedi eu cyfansoddi iddynt, dilys genyf fod digon o wreiddeiriau yn yr iaith, y rhai trwy eu cyfansoddi a ddynodent bob sylwedd a gweithred mor gyflawn ag un iaith yn y byd; ac yr wyf yn dra hyderus, pe ymhyfrydai y Cymry yn *gyffredin* yn eu hiaith, a phe ymroddai y dysgedigion Cymreig i ffurfio o wreiddeiriau eu hiaith, enwau addas i bob peth ag sydd hyd yma hebddo, y byddai gan feibion Gomer fodd i ddarlunio pob celfyddyd, peiriant, ansawdd, a gweithred, heb fod yn ddyledus am sill i neb o ieithoedd y byd. Am y geiriau a gymmerwyd oddiwrth ieithoedd ereill, fel y tybir, megys *Fenestra*, &c. pan ystyriom hynafiaeth y Gymraeg, a'i bod yn yr hen oesoedd yn iaith y rhan fwyaf o Ewrop, mwy rhesymol o lawer yw casglu fod y Lladinwyr wedi cymmeryd Fenestra oddiwrth ein hynafiaid, nag iddynt hwy ei fenthyca o'r Lladin, ac felly am y lleill. Bellach sylwaf ychydig ar yr hyn sydd yn dangos fod y Gymraeg yn rhagori yn mhell ar y Saesneg.

1. Mewn hynafiaeth; y mae hyn mor amlwg, ac yn cael ei addef gan bawb, ac o ganlyniad nith raid i mi dreulio amser i'w brofi; yn unig sylwaf, os yw'r iaith hon mor hened â Gomer, ac ysgatfydd Adda ei hun, yr hyn sydd mor debyg â bod un o'r ieithoedd a wyddom ni am danynt yn cael ei siarad yn mharadwys, ac os nad oes rhyw ddiffygiadau mawrion ynddi yn hytrach nag ieithoedd diweddarach, sicr yw ei bod ar yr olwg hyn yn unig o lawer yn anrhydeddusach nâ hwy, ac fel y cyfryw dylai y Cymry yn neillduol ymhyfrydu ynddi, ei hymgeleddu, ac ystyried eu hunain yn rhagori ar genedloedd y byd yn hyn, yn neillduol gan fod pob dyn a chenedl yn mawrhau yr hyn a feddant o drysorau'r cynoesoedd; eithr clywais rai yn mawrygu y Saesneg ac yn dibrisio'r Gymraeg, o herwydd fod y flaenaf yn cael ei chwrteithio a'i hadduro yn mhob oes, trwy amryw gyfnewidiadau buddiol gan y dynion mwyaf dysgedig, (tra y mae y Gymraeg yn ymddifad o'r cyfryw driniaeth,) ac o ganlyniad mai rhaid ei bod bellach yn dra pherffaith, ac mai ofer fyddai i'r hen ieithoedd ymgystadlu â hi; o herwydd paham, ystyriwn hwynt megys y maent yn awr.

2. Cymharwn y Gymraeg â'r Saesneg yn ffurfiad eu geiriau; gosodwn lythyrenau (neu arwyddion sain) y naill iaith ar gyfer ei seiniau perthynol, ac yn y Saesneg ni a gawn yn fynych fod y llythyrenau yn dynodi sain llwyr wahanol i'r un a ddylai gael ei arfer; neu mewn geiriau ereill, y mae'r llythyrenau a'r seiniau mewn anghydfod ac yn gwrthwynebu eu gilydd; rhoddir sain *ff* i *ugh* megys mewn *laugh*, *cough*, *enough*, *tough*, &c. Wrth

ddarllen y Saesneg, fe'n rhwymir i farnu weithiau ei bod yn dra anghenus a diffygiol mewn arwyddion i ddynodi y seiniau perthynol iddi, gan fod yr un llythyren, heb na nod na marc gwahanol, yn gorfod dynodi pedwar sain gwahanol, megys *a* yn *at*, *ale*, *all*, *art;* bryd arall, gallem feddwl fod y llythyrenau gymmaint yn lliosocach nâ seiniau'r iaith, fel na ŵyr ein cymmydogion pa beth i wneuthur â hwy; neu pa fodd y medrant ddangos yn ddigon eglur i'r byd eu bod yn meddu ar y fath rifedu helaeth o arwyddion gwychion; nid yw gosod *b* mewn *lamb*, *tomb*, *dumb*, *subtle*, a *k* yn *knife*, *know*, *knot*, *knight*; a *g* yn *reign*, *benign*, *condign;* a *gh* yn *thought*, *taught*, *naught*, *light*, *sought;* a mil o'r cyffelyb, o un gwasanaeth amgen na gwaith genethod segur yn myned i ffair neu farchnad heb un neges ond i ddangos eu hunain, o herwydd nad oes eisiau sain yr un o honynt yn y fath eiriau; rhoddir dau sain yn hollol afreidiol weithiau i'r un llythyren, megys *c* yn *can cell*, nid oes raid wrth sain caled y *c* o herwydd fod ganddynt nôd arall i'w ddynodi, sef *k*. Defnyddir y ddwy lythyren hyn ynghyd pryd nad oes ond eisiau un o honynt, megys *neck*, *quick*, *back*, ond mewn geiriau ereill lle y mae'r sain yr un mor bwysig, yr ydys yn medru byw yn dawel wrth un o honynt, megys *Quebec;* mynych y rhoddir yr un sain i *ti* ag i *ssi*, megys *nation*, *passion;* yn y gair *beau (bô)* y mae *eau* yn sefyll am *ô*, ond yn *beauty*, yr un llythyrenau a wasanaethant sain *û;* yn yr iaith hon hefyd defnyddir y llythyren *e* yn nherfyniad geiriau i ddynodi fod y sain yn hirllaes, ond nis gwn i am un rheswm dros roddi'r cyfryw swydd i *e* yn hytrach nag *i*, *a*, *b*, neu *c*. Mewn gair, anhawdd yn fy marn i, yw canfod mwy o annibendod wedi ei grygio ynghyd, mwy o anghydfod rhwng seiniau a'u harwyddion nag sydd yn nghyfansoddiad geiriau yr iaith hon, dichyn roddi hèr i'r Ffrangaeg ei hun am anghyssonderau o'r fath; pe buasai'r doethion ag ydynt wedi bod yn ei chaboli o bryd i bryd yn chwennych ei hafluneiddio, prin y gallasent ddysgwyl ychwaneg o lwyddiant nag a gafwyd yn ddifwriad. Dylai llythyrenau fod yn llawforwynion i'r sain, ond yma y maent yn gwrthryfela, ac yn ymddangos, o fic i'r sain, lle nad oes eu heisieu, ac yn dianc yn fynych pan fyddo galwad am danynt; megys pe byddai crefftwyr wrth adeiladu llys i wr boneddig yn ymwrthod â'u galwadau perthynol; y gôf yn myned i godi'r mûr, y saer meini yn myned at yr eingion, a'r saer coed yn troi yn döwr; ac felly yn gadael y boneddig heb ei lys, neu ei wneuthur ei hunan. Dengys y sylwadau uchod fod yn rhaid i'r sain gadw ei le heb gynnorthwy y llythyrenau, neu fyned ar ddifancoll. Clywais rai yn dywedyd fod y geiriau rhag-grybwylledig a'r cyffelyb yn cael eu silladu yn y modd uchod, er mwyn cadw'r berthynas rhyngddynt â'u gwreidd-eiriau yn yr ieithoedd perthynol yn eglur; gallasai fod peth grym yn y rheswm hwn gyda golwg ar rai geiriau, oni byddai fod geiriau ereill yn eu cyfnewid yn yr un iaith, oddiwrth y modd y maent yn yr ieithoedd o'r rhai y cymmerwyd hwynt. Yn y Gymraeg y mae pob llythyren yn cadw yr un sain, ac yn cadw ei

lle yn mhob amgylchiad, dysgwch yr egwyddor Gymraeg, a rhoddwch i bob llythyren ei chyflawn sain, a chwi a ddarllenwch megys y dylech ; os bydd y nod hwn ^ uwch un o'r llafariad, y mae yn dynodi fod y sain yn llâs bob amser, ac felly yn hollol gysson â'r rheol uchod. Gwn fod rhai yn rhoddi sain gwahanol i'r ddwy *y* yn y gair *hyny* a'r cyffelyb, gan seinio'r gair megys ped ysgrifenid *hynu*; eithr os felly dylid ei seinio, dilys genyf y dylid ei ysgrifenu felly hefyd, gan fod pob nôd neu lythyren yn ein iaith bob amser, ac yn mhob amgylchiad, yn dynodi ei sain ei hun ; ac yn hyn rhaid addef fod y Gymraeg yn rhagori yn mhell ar y Saesneg.

3. Nis gellir galw'r Saesneg yn iaith mewn ystyr briodol, ond cymmysgedd o agos pob iaith yn y byd ; ac os rhaid ei galw yn iaith, addefir gan bawb deallus fod clytiaith yn enw addas; y mae Lloegr wedi cael ei mheddiannu gan Rufeiniaid, Saxoniaid, Daniaid, a Normaniaid, ac ereill, heb fod yr un o honynt yn ofalus am ei iaith ei hun, ond goddef iddynt gael eu cymmysgu yn ddiderfyn, ynghyd â chymmeryd iddynt eu hunain eiriau o amryw ieithoedd ereill, i'r fath raddau fel y mae'n gofyn i wr fod yn hyddysg yn agos holl ieithoedd y byd cyn y gallo wahaniaethu rhwng gair a gair, a gwybod i ba un y mae'n perthyn yn y dafodiaith hon; neu feddiannu llyfr geirdarddol da i'w nodi allan. Dengys yr enghraifft ganlynol fod y Saesneg yn ddyledus i amryw ieithoedd, nid yn unig am enwau celfyddydau cywrein, a phethau a ddyfeiswyd yn ddiweddar, ond hefyd am y geiriau mwyaf cyffredin yn mhlith pob graddau :—"A charitable Clergyman sent his servant with a basket to market for a certain quantity of potatoes, she soon returned with six quarts to the satisfaction of the pious and philanthropic master, who distributed the esculent roots among the poor widows of the village." Terddir geiriau'r ymadrodd uchod gan Johnson fel y canlyn:—

| | |
|---|---|
| A charitable | French, *charitable.* |
| Clergyman | French, *clergê;* Greek, Κληρος; Saxon, *mon* |
| Sent | Saxon, *sendan;* Dutch, *senden* |
| His | Saxon, *hys* |
| Servant | French, *servant* |
| With | Saxon, *with* |
| A basket | Welsh, *basged* |
| To | Saxon, *to;* Dutch, *te* |
| Market | Latin, *marcatus* |
| For | Saxon |
| A certain | Latin, *certus* |
| Quantity | French, *quantité;* Latin, *quantitus* |
| Of | Saxon, *off;* Dutch, *of* |
| Potatoes | Of unknown derivation |
| She | Gothic, *si* |
| Soon | Gothic, *suns* |
| Returned | French, *retourner* |
| With six | French, *six* |
| Quarts | French, *quart* |
| To the | Dutch, *de* |
| Satisfaction | Latin, *satisfactio* |
| Of the pious | Latin, *pius;* French, *pieux* |

| | |
|---|---|
| And | Derivation uncertain |
| Philanthropic | Philanthropy, Gr. φιλεω & ανθρωπος |
| Master | Dutch, *meester*: French, *maitre* |
| Who | Saxon, *hwa*; Dutch, *wie* |
| Distributed | Latin, *distribuo* |
| The esculent | Latin, *esculentus* |
| Roots | Swedish, *rot*; Danish, *roed* |
| Among | Saxon |
| The poor | French, *pauvre*; Spanish, *povre* |
| Widows | Welsh, *gweddw*, pl. *gweddwon* |
| Of the village | French, *village* |

Yn awr pan yr ystyriom fod holl ymadroddion yr hyn a elwir Saesneg, wedi eu cymmysgu fwy neu lai, yn gyffelyb i'r enghraifft uchod, â geiriau o wahanol ieithoèdd, prin y canfyddir mwy o gymhwysder i'w galw yn iaith nâ phe dywedid mai cwrw cryf a gynnwysai ystên Shoned, yr hon oedd yn myned o dŷ i dŷ, gan gael phiolaid o enwyn mewn un tŷ, cwpanaid o laeth mewn arall, lledwadaid o gawl yn y nesaf, ychydig o flawd ceirch yn y pedwerydd, a mesuraid o gwrw yn yr olaf, gan roddi y cwbl yn yr un ystên! Pe galwai yr holl ieithoedd am yr eiddynt adref, byddai meistres Saesneg yn gyffelyb i herlodes a fyddai wedi addurno ei hun â dillad a thlysau y rhai o fenthycodd oddiar ychwaneg nag ugain o'i chymmydogesau, wedi ei diosg o honynt, ac yn ymddangos yn ei hafluneidd-dra a'i chadachau naturiol. Hawdd oedd i'r gogfran yn y chwedl ymwychu mewn plu benthyg, ond tlawd oedd ei hamgylchiad pan ymgasglodd yr holl adar, a phob un yn cymmeryd ato ei blu ei hun. Heb gymhorth ieithoedd ereill ni byddai y Saesneg amgen ysgerbwd dychrynllyd a diwerth. "Ond, (medd rhai), gan ei bod wedi cynnull cymmaint o'r geiriau goreu o bob iaith arall, rhaid ei bod bellach yn dra chyflawn a chywrain, ac yn rhagori ar y lleill oll." Yr wyf yn hyderu yr ymddengys y gwrthwyneb, pan ystyriom, yn

4. Er cymmaint a yspeiliodd y Saesneg oddiar ei chwiorydd yn mhell ac agos, o'r braidd y gellir ei chyfrif yn hanner perffaith etto; efallai fod agos cynnifer o eiriau yn ddiffygiol ynddi, ag sydd eisioes yn ei meddiant; hawdd yw i'r darllenydd cyffredin ganfod llawer o ddiffygiadau, amryw fylchau ag eisiau eu cau. Wrth ddarllen hon, gallem feddwl weithiau fod yr un gair yn arwyddo pob peth, a phryd arall fod yr holl eiriau yn cael eu harfer agos am un peth, ac o herwydd hyn tueddir ni yn fynych i feddwl nad ydynt yn arwyddo dim. Rheol gyffredin mewn dadlyddiaeth yw, nad yw yr hyn sydd yn profi pob peth yn profi dim; ac am fod un gair yn arwyddo llawer o bethau gwahanol yn eu nhatur, prin y meddylir ei fod yn arwyddo dim. Er enghraifft: *Bar*, yn Saesneg, yw trosol, (*Iron bar*, trosol haiarn,) *bar*, yw *bâs-fôr*, neu le bâs yn ngenau llongborth; *bar* yw *dadleufa*, neu y lle ag y mae y cyfreithwyr yn dadleu mewn llys barn; *bar* yw pob math o *rwystr*; a *bar* yw *cyfrif-le* mewn gwestdŷ cyffredin; ac wedi y cwbl, y mae pawb ag ydynt wybodus o'r Gymraeg yn hôni mai Gomeraeg dîledryw yw y gair *bar*, yn arwyddo brig llwyn, neu barth uchaf rhywbeth arall, megys mynydd. Gelwir y *Misletoe* yn

awr yn swyddi Mynwy a Henffordd Uchel-far; yn Morganwg mae Bryn-*bar*lwm, *(bare topt hill,)* a Mynydd *ber*wyn, neu *bar*wyn, *(white topt mountain,)* er fod Johnson yn hanu *bar* o'r Ffrangaeg *barre;* ond eglur yw fod y Ffrancod a'r Saeson yn ddyledus am dano i'r Cymry; a mawr yw ei werth yn ngolwg y Saeson gan eu bod yn ei arferyd i ddynodi cyn-nifer o bethau tra gwahanol yn eu nhatur. Bum yn siarad yn ddiweddar ag un o brif areithwyr dinas Caerodor am y diffyg uchod; a'r ffordd a gymmerodd efe i amddiffyn y gair yn yr holl amgylchiadau dywededig oedd, fod y synwyr yr un yn mhob sefyllfa, sef dynodi *rhwystr*, ystyr briodol y gair *bar; bâs-fôr*, yw rhwystr i longau ddyfod i mewn; bar haiarn, yn rhwystr i ladron ddyfod i mewn trwy y ffenestr; a dadleufa yn rhwystr i drais ac anghyfiawnder, &c. addefais y gallasai hyny fod, ond etto fod diffyg yr iaith yr un mor eglur, canys y mae clawdd, mynydd, craig neu doll-borth, yn rhwystr, ond ymddangosai yn dra chwithig pe dywedem fod llong ar y clawdd, cyfreithiwr yn dadleu wrth y toll-borth neu'r clawdd, a'r gwesteiwr yn derbyn ei arian ar y mynydd, &c. Cydna-byddodd y boneddig uchod fod fy ymresymiad yn gywir, a bod yr iaith yn dra diffygiol. Drachefn sylwn ar y gair *light*, a gwelwn mai *light* yw disgyn; *light* yw ysgafn; *light* yw hawdd; *light* yw gwael; *light* yw heinyf neu gwisgi; a *light* yw goleu, &c., &c. Etto, *bay* yw anghorfa, neu orsaf llongau; *bay* yw cilfach; *bay* yw argae i attal dwfr; *bay* yw ewlas (cwpwl) o dŷ; *bay* yw y llawryf, a *bay* yw gwineu; yr hyn a ellai ein denu i dybied y byddai cystal i'n cymmydogion i alw *bar*, *light*, a *bay* ar bob peth. Nid wyf wedi dewis y geiriau uchod, o herwydd eu bod yn hynotach nag ereill, canys y mae eu cyffelyb, yn yr ystyr a grybwyllwyd, yn britho yr holl iaith; ac os nad wyf yn camgofio y mae Johnson yn gosod o 20 i 60, os nid agos i gant, ystyr i amryw o'r geiriau Saesneg. O herwydd hyn anhawdd yn fynych yw gwybod pa beth mae awdwr yn yr iaith hòno yn ei feddwl, gan fod yn rhaid i'r cyssylltiad ddangos yr ystyr ac nid y gair ei hun; ac o herwydd hyn dichon dynion siarad yn anmherthynasol yn yr iaith hon er defnyddio geiriau addas oni arferant amgylch-iaith; neu dichon yr ymadroddwr ddeall un peth a'r gwrandawr feddwl peth arall, a phob un yn rheolaidd yn ol yr ieithadur. Pe dywedai gwr yn nghlyw dynion o amryw alwadau, "Rhaid i mi fyned i'r *bar* yn dra buan;" naturiol fyddai i gyfreithiwr ofyn, "a oes achos o bwys i gael ei brofi yno heddyw?" a'r morwr dybied, ei fod yn myned i edrych pa faint o ddwfr sydd yn y lle bâs; a'r diottwr i gasglu ei fod yn myned i dalu am y cwrw a yfodd neithiwr, &c., ac felly am y geiriau ereill. Peth cyffredin hefyd yn y Saesneg yw gosod yr un gair i wasan-aethu tair o swyddau gwahanol, sef, i ddynodi gwrthddrych, ansawdd, a gweithred; er enghraifft, *salt* yw halen, *salt* yw hallt, a *salt* yw halltu; "Bring salt, it is salt enough, salt it again.'—Dygwch halen, y mae yn ddigon hallt, helltwch ef drachefn—" Here is light, very light, light him to the door." Dyma oleuni, tra goleu, goleuwch ef i'r drws; &c., &c.

Ac o'r tu arall, y mae'r Saesneg mor gyflawn o eiriau cyfystyr, neu liaws o enwau gwahanol i ddarlunio yr un peth, ag yw yn ddiffygiol yn y lleill; ac yr oedd yr areithiwr rhag-grybwylledig o Gaerodor yn ei hystyried yn fwy gwrthun a beius yn hyn nag mewn un peth arall. Mewn gair, gormodd a rhy fach, neu ormodd mewn un rhan, a rhy fach yn y llall, sydd yn gwneuthur pob peth yn afluniaidd, anghenfilaidd a gwrthun, ac am hyny ni's gallaf edrych ar y dywededig iaith amgen cryglwyth o aflunieidd-dra, yn llawn diffygiadau, a gormoddau. Am yr Omeraeg nid oes ond ychydig iawn o eiriau trwy yr holl iaith yn arwyddo mwy nag un peth, a phan fyddo hyny yn bod y mae gènym farciau uwch rhyw lythyren yn y gair i ddynodi ei fod yn wahanol i arall, a dilys genyf fod cymmaint o wahaniaeth rhwng *ton* a *tôn* yn y Gymraeg, ag sydd rhwng *ton* a *tone* yn y Saesneg, ac o ganlyniad eu bod yn eiriau llwyr wahanol, a'r Gymraeg yn go rydd oddi wrth y bai uchod, hyd yn oed yn yr amgylchiadau anaml ag y tybir ei bod yn dyfod nesaf at y Saesneg.

5. Am amlygrwydd ei geiriau, y rhai ydynt mor fynych yn ddarluniadol o'u gwrthddrychau, y mae'r Gymraeg mor odidog, fel nad oes neb ond y mwyaf anwybodus a gynnyg gystadlu y Saesneg â hi. Y mae'r glytiaith mor llawned o wreidd-eiriau (neu rai a ymddangosant yn gyfryw i bob dyn a'r nad yw yn deall yr ieithoedd o'r rhai y cymmerwyd hwynt) fel nad os ynddi nemawr eiriau darluniadol o'u gwrthddrychau. Pa berthynas sydd rhwng *ship*, *fleet*, ac *Admiral* â'u gilydd? Dim ychwaneg nag sydd rhwng *caib*, *bwystfil*, a *bonau bresych*, o ran arwyddocâd y geiriau; ond yn yr Omeraeg, gwelwn yn eglur fod y ddau enw olaf yn tarddu o'r blaenaf, *llong*, *llynges*, *Llyngesydd*, ac felly am gannoedd o eiriau ereill. Nid digon gan y Doethwyr Saesnig yw casglu geiriau o amryw ieithoedd i'r un ymadrodd, eithr, megys pe byddai tywyllu synwyr â geiriau estronol yn waith tra chanmoladwy, clytiant ddarn o un iaith wrth ddarn arall o iaith wahanol yn fynych yn yr un geiriau cyfansawdd; megis *partake* (from *part* and *take*) eithr deillir y gair *part* o'r Lladin *pars*, a terddir *take*, (i'r hwn y rhydd Johnson 117 o ystyriaethau gwahanol) o'r Icelandic, *taka*. Ac felly dywedir wrthym fod y gair *turnpike* (tollborth) wedi ei gyfansoddi o *turn* a *pike*; a bod *turn* yn deilliaw naill ai o'r Saxonaeg *turnan*, neu'r Ffrangaeg *tourner* neu'r Lladin *torno*, a *pike* o'r Ffrangaeg, *pique*. Digrif ddigon hefyd yw clywed y Saeson, (ac ambell Gymro er mwyn bod yn ddysgedig) yn ychwanegu y gair *gate* Saxonaeg *geat)* a dywedyd *turnpike gate*, gan mai ystyr y gair *turnpike* ei hun yw math o borth, neu *gate*. Yn y Gymraeg, os gŵyr dyn beth yw *ffordd*, a *tholl*, a *phorth*, mae *toll-ffordd* a *tholl-borth* yn egluro eu hystyr eu hunain. Eithr y mae'r gair clytiog *journeyman*, yr hwn a derddir o'r Ffrangaeg *journèe*, a'r Saxonaeg *mon* (for *man*) yn dra chwerthinus; canys dywedant wrthym mai *taith* yw *journey*, ac mai *dyn* yw *man*, gan hyny naturiol fyddai casglu mai teithiwr, neu ddyn teithiol yw *journeyman*; pa fodd bynag, o fic i bob trefn a rheol, rhaid i chwi, os gwelwch yn dda,

ddywedyd *journeyman*, pan fyddoch yn meddwl *a hired workman*, neu *weithiwr hur*, neu, yn well, *hur-grefftwr*, rhaid i chwi, fy anwyl Anwybodus, droi'ch teithiwr yn weithiwr neu grefftwr yn y fan. Ni chaf ond sylwi ymhellach, fod amryw o'r geiriau a dybia llawer Cymro eu bod yn dra ardderchog, (o herwydd nad yw yn eu deall) yn y Saesneg, yn arwyddo yn hollol yr un peth yn yr ieithoedd y perthynant iddynt yn wreiddol, ag y maent yn y Gymraeg. Geiriau gwychion iawn yw *Horizon*, *Metropolis*, *Catechism*, a *pulpit*, &c. (οριζων, *horizòn*; μητηρ a πολις, *mêtêr* a *polis*; κατηχιζω, *katêchizô*, a Lat. *pulpitum*; ond er eu gwychder, nid ydynt yn arwyddo na mwy na llai yn y ieithoedd uchod nâ *Therfyngylch*; *Prif* neu *fam ddinas*; *Holwyddoreg*, neu egwyddori, trwy holiadau; ac *areithfa*, neu fan addas i areithio. Y dyn a garo y Saesneg yn hytrach nâ'r Gymraeg, sydd addasach aelod o Eglwys Rhufain, yr hon a ddeil mai mammaeth duwioldeb yw anwybodaeth, gan beri i'w hathrawon ddarllen eu gweddiau mewn iaith ddyeithr, nag o un eglwys arall. Amser a ballai i helaethu ar ardderchawgrwydd y Gymraeg yn ei chyflawnder, a'i haddasrwydd, i ddybenion y bardd a'r areithiwr, eithr yr wyf yn gobeithio y bydd yr hyn a ysgrifenwyd o ryw fudd i Anwybodus, ac os cenfydd y dysgedig fy mod wedi wneuthur camddarluniad mewn un rhan o'r ysgrifen uchod, byddaf ddiolchgar iddynt am ei fynegu; gan ddymuno i'm cenedl bob llwydd, a hedd i'r byd, y gorphwys, hoffwr yr Omeraeg, tra fyddo yn LLEWELYN.

---

## YR ARCH A DAGON,

### 1 SAM. IV. A V.

GELYNION anghymmodlon Israel oedd y Philistiaid, yr oedd y brwydrau llofruddiog a gymmerodd le rhyngddynt yn dra lliosog. Yn y pennodau uchod cawn hanes ymladdfa newydd rhyngddynt, ynghyd â'r canlyniadau; gwaethwyd Israel ar ddechreu'r ymdrech, a syrthiodd ynghylch pedair mil o honynt—ar hyn ymgynghorodd y blaenoriaid ynghylch achos eu dymchweliad; canys rhaid i ni ddeall fod rhyw achos heblaw diffyg cywreinrwydd yn Nhywysyddion eu lluoedd, gwrolder a medrusrwydd y gwyr, a bychandra eu rhifedi, neu fod eu gelynion yn meddu y pethau hyn i raddau helaethach, yn peri i Israel, "pobl gadwedig gan yr Arglwydd," i droi eu cefnau yn nydd y frwydr—penderfynwyd mai Arch yr Arglwydd yr hon oedd yn Shiloh, oedd yr unig beth anghenrheidiol i ddwyn buddugoliaeth o'u tu—cyrchwyd yr Arch; bloeddiodd plant Israel o orfoledd ar ei dyfodiad, megys pe buasent sicr o'r oruchafiaeth, a dychrynodd y Philistiaid yn ddirfawr—pa fodd bynag, wedi i'r frwydr gael ei hadnewyddu gorchfygwyd plant Abraham, y rhai a ffoisant i'w pebyll; lladdwyd meibion Eli y rhai oeddynt gydâ'r Arch, a chymmerwyd

yr arwydd yma o'r dwyfol gydrycholdeb vn garcharor, a dygwyd hi mewn modd buddugol i Philistia, gan ei gosod ynheml Dagon, duw'r Philistiaid yn Ashdod.—Gwnawn ychydig sylwadau addysgiadol oddiwrth yr amgylchiad o gymmeryd yr arch, ynghyd â'r canlyniadau o hyny.

1. Dichyn yr Hollalluog oddef i'w achos a'i enw ei hun fyned yn dra isel yn y byd hwn, a gadael i'w bobl neillduol fyned i gyfyngderau mawrion. Gwelwn Israel yn lladdedigion, neu yn ffoedigion, a'r arch, arwydd o'i gydrycholdeb ef, yn myned yn gaeth tuag Ashdod, a'r gelynion yn barod i briodoli hyn i wendid y Goruchaf; canys y maent yn dywedyd mai Duw Israel oedd yr arch; yr oeddynt wedi buddugoliaethu ar y 12 llwyth rai gweithiau o'r blaen, eithr yn awr dychymmygant eu bod wedi maeddu Duw'r Israeliaid ei hun. Dywedai gwraig Phinehas wrth farw, fod y gogoniant wedi ymadael o Israel, eithr tybiai'r Philistiaid fod y gogoniant wedi cilio oddiwrth wrthddrych addoliad hiliogaeth Jacob—Dagon a gorwychder Philistia oedd testun yr holl orfoledd y pryd hyny—felly y mae amser wedi bod pan oedd tywyllwch dudew yn gorchuddio'r holl genedloedd, ac eilun-addoliaeth mewn bri mawr trwy'r holl wledydd cenedlig; eithr megys y gyrwyd yr arch yn ol o dir Philistia, felly yn nghyflawnder yr amser gorfu ar yr anwybodaeth caddugol ffoi a rhoddi lle i'r gwir oleuni—bu'r Pab a phabyddiaeth mewn cymmaint cymmeriad yn yr ynys hon, fel yr oedd rhydd-did cydwybod yn cael ei alltuddio o'r deyrnas, a holl echrysdod erlidigaeth yn cael ei fawrygu gan benaethiaid y bobl, hyd oni ymrysonodd un Pab a'r llall, sef, Harri'r VIII. a'r Pab o Rufain, ac felly mewn modd annysgwyliadwy rhyddhawyd y gwirionedd yn raddol o ddaeardai'r Chwillys, blagurodd achos iawnderau cydwybod trwy'r deyrnas—ynghylch 20 mlynedd a aethant heibio, mawr oedd y clodfori ar Twm Paine a'i "Iawnderau dyn," a'i "Oes rheswm," hyd oni thybiai'r gwir grefyddol y gorfyddai Cristionogaeth i ffoi o flaen Deistiaeth ag anghrediniaeth, eithr gosododd Duw yn nghalon y Cymro teilwng, y diweddar Barch. T. Charles. B. A. o'r Bala i gynnyg sefydlu Bibl Gymdeithas yn y Brif-ddinas; llwyddodd y cynnyg, a derbyniwyd y cynllun gan Foneddigion, Pendefigion, Tywysogion, Brenhinoedd, ac Ymerawdwyr, ac ebrwydd gorfu ar "Oes Rheswm" T. Paine, roddi ffordd i "Oes Biblau" T. Charles, gwas y nef. Dichyn anfoesoldeb fod yn fuddugol dros ychydig; geill y goreu o ddynion gael achos i ofyn "a anghofiodd yr Arglwydd drugarhau," a dywedyd, "O na wypwn pa le y cawn ef," &c. Er hyny nid byth y ffyna trawsder, gwirionedd ac uniondeb calon fydd ar y tir uchaf yn y diwedd. Anhawdd yw i ni wybod bob amser pa ham y caniateir llwyddiant amserol drygioni, ac y goddefir i'r cyfiawn fod mewn trallod, eithr ni a "gawn wybod ar ol hyn"—ac os goddefodd ein Lluniwr i'w Arch fyned i Philistia, ac i'w enw ei hun fyned dan warth, ni ddylid rhyfeddu am fod ei bobl anmherffaith yn cael eu dwyn i gyfyngderau weithiau.

2. Pan welo Duw Israel yn dda i gadw yn ol ei allu a'i lywodraeth attaliol ar y byd, nid oes i ni ddisgwyl ond y golygfeydd mwyaf anny-

munol a phoenus; cyfiawnder yn cael ei chaethiwio gan greulonder, alltudio trugaredd gan anhynawsder, a dirmygu rheswm gan ei feddianydd, canys wele'r arch yn cael ei hebrwng i gadwraeth eilun mud, 'cerubiaid yn lledu eu hadenydd gerbron ffieidd-dra Philistia,' ac arglwyddi dienwaededig y genedl ddiras yn buddugoliaethu ar y drugareddfa a llechau'r cyfammod, ac yn barod a dywedyd, 'Os efe yw y Duw cadarn, arbeded ei arch.'—Wedi hyny bu Tywysog y bywyd yn wrthddrych gwawd a dirmyg y werin, y rhai a ddywedent wrth burdeb ei hun, 'Os tydi yw y Crist, disgyn oddiar y groes, a ni a gredwn ynot.'—Llusgwyd rhai rhagorol y ddaear i garcharau, a gosodwyd llawer o honynt i'r marwolaethau mwyaf poenus a gwarthus, am eu cymmwynasgarwch, yn dangos llwybr bywyd i grwydriaid gelynol—oni byddai llywodraeth attaliol Llywydd y bydoedd, tòrai llygredd calon dyn allan fel dylif gorchuddiol, gan ddwyn diniweidrwydd ei hun yn ysglyfaeth gydag ef; ac ni allai'r goedwig ddwyn allan y fath anghenfil â dyn dan lywodraeth ei nwydau dinystriol; ymddangosai y byd yn fuan fel ffau o lewod neu drigfa dreigiau, byddai cyfiawnder ddisglaer mewn perygl o gael ei llofruddio yn mhob heol a phreswylfa. Ac wrth fyned heibio, nid hawdd genyf ymattal rhag crybwyll, fod y rhai a enllibiant, ac a ddrwgliwiant eu cymmydogion yn euog o ddau ddrwg mawr, niweidio cyd-greadur a chynnyg lladd cyfiawnder—efallai fod gwrthddrych yr enllib yn ddyn drwg, ac o herwydd hyny dywedir yn fynych, 'ni's gellir dywedyd yn rhy ddrwg am dano ef.' —Gwir, os efe a haedda yr hyn oll a ddywedir am dano; ond cofied pob absenwr, fod pob dryg-air a ddywedir dros ben y gwirionedd am y gwaethaf o ddynion, ïe'r diafol ei hun, yn cyfeirio at fywyd cywirdeb ac hanfod cyfiawnder ei hunain; er fod y dyn yn ddrwg, ac yn eithaf atgas, erchyll waith fyddai lladd cyfiawnder ddiniwed, er mwyn y fath ddihyryn ag ef; ceisied pawb ras gan Dduw i arbed cyfiawnder tra fyddont yn curo dynion beius; os amgen, dialeddir am ei llofruddiad gan Dad y goleuni. Hefyd y mae pob ymdrech i ddystewi rhybuddion cywir cydwybod effro, yn ergydio at hanfod gwirionedd ac uniondeb.

3. Pan gaffo drygioni ei ffordd yn rhydd, nid oes un drafferth yn ormodd i'w achleswyr wrth ddwyn ei achosion yn mlaen. Gwelwn yma fod y Philistiaid, er mwyn gwneuthur buddugoliaeth Dagon yn fwy gogoneddus, yn cymmeryd y boen i arwedd arch Duw Israel i deml eu heilun eu hunain; a hyn oll er mwyn gwag ogoniant yn unig, canys ni allasai eu bod yn golygu buddioli eu hunain trwy hyny; os na allasai'r arch achub Israel a'u llwyddo, na diogelu ei hun rhag myned yn wrthddrych gwawd iddynt hwy, afresymol fuasai tybied y diogelasai hi breswylwyr Philistia. Eithr os aethant hwy i'r drafferth o ddwyn yr arch am ddim i'r lle na ddylasai fod, dylai hyn ein hannog ni i lynu wrthi (neu wrth achos y Goruchaf) yn y man y dylai fod, yn neillduol gan fod bendithion aneirif yn cael eu mwynhau yn ei hymyl. Bu yn ddinystr i'r Philistiaid, ond diogelwch a fydd i ni. Dylai brys y drygionus i fyned i ddinystr i gael

ei ystyried genym fel rhybudd i frysio tua pharadwys.—Pan weloch ddyn yn caddugo ei gymmeriad, newynu ei deulu, aberthu ei amser a'i iechyd, llofruddio ei enaid, wrth ddilyn meddwon, a phob drygioni, onid yw hyn yn llefaru wrthych mewn effaith, mai gwarth i chwi fyddai peidio hebgor ychydig amser a golud i ddwyn yn mlaen achos Tywysog y Tangnefedd. Pan glywoch ddyn yn tyngu a rhegu yn echryslon, onid yw yn dwyn ar gof i chwi y dylech daer weddio?—Os efe a eilw ar Dduw eich damnio chwi, neu ei enaid ei hun, beth yw hyn amgen nâ'ch adgofio y dylech chwi ddymuno ar y Jehofah i'ch bendithio eich dau?

4. Y mae Duw Israel yn meddu'r fath reolaeth ar bob peth yn y byd, fel nad oes raid iddo ef liosogu offerynau i gospi ei elynion a cheryddu ei feibion, eithr yn fynych efe a wna i'r un offeryn, neu weithred, i wasanaethu'r ddau ddyben dywededig. Trwy ganiatâu i'r Philistiaid gymmeryd yr arch yn garcharor, efe a geryddodd Israel ac a gospodd y Philistiaid, fel y dengys rhan olaf yr hanes; galarai'r naill am golled y gogoniant ymadawedig, a griddfanai'r lleill dan bwys cospedigaethau angheuol, ac felly atebwyd dau ddyben trwy un weithred. Os gofynir pa eisiau ceryddu Israel oedd, gan eu bod wedi cyrchu yr arch mewn cyfyngder, a gorfoleddu pan ddaeth i'w mysg? Yr ateb yw; hyderasant yn yr arch ac nid yn Nuw'r arch; a thrwy hyny gwnaethant gymmaint eilun o'r arch ag a wnaeth eu gelynion o Dagon. Yr un peth yw gorphwys ar y moddion, ïe, y rhai ydynt o ddwyfol osodiad, â phe ymddiriedem fel eilun-addolwyr mewn coed—yr un peth yw addoli y naill eilun â'r llall; gwelwyd yr arch gan lawer o'r rhai na charasant Dduw erioed; a llawer a ymlynant wrth drefniadau efengylaidd heb fod fymryn gwell er hyny, yn gwrando bob amser, ond un amser heb ddyfod i wybodaeth o'r gwirionedd.—Yr oedd angen cospi trigolion beilchion Philistia am orfoleddu o honynt ar Lywydd y bydoedd, a thybied fod Duw Israel wedi ei faeddu, o herwydd iddynt hwy gymmeryd yr arch; anghenrhaid oedd profi mai efe oedd Dduw, megys y gwna efe i bob gwrthwynebwr cyndyn yn gynt neu yn hwyrach.

5. Pan oddefo'r Jehofah i'w achos ei hun fyned i amgylchiadau isel, nid ei fwriad yw gadael iddo aros fyth dan warth, neu gael ei ddinystrio, ond fel y byddo iddo gyrchu gogoniant ychwanegol iddo ef o'r dyfnderoedd i'r rhai y darostyngwyd ef. Wele'r Arch yn myned i Ashdod, ond nid i gydgynnal byd â ffieidd-dra Philistia, ond i dinystrio Dagon, duw'r wlad—bu'r Gwaredwr yn wr gofidus cynnefin â dolur, eithr nid er mwyn bod fyth yn nyffryn dagrau, ond i symud achos poen, galar, ac wylofain, ac agor ffordd i'w garedigion i drigfanau perffaith dedwyddwch—efe a fu ufydd hyd angeu, ïe, angeu'r groes, eithr y dyben oedd dinystrio'r hwn oedd â nerth marwolaeth ganddo—ac fel yr Arch yn nheml Dagon, efe a gaethiwyd yn nheml angeu, sef y bedd, dros ychydig, ond i'r dyben i yspeilio'r anghenfil o'i golyn, a bod yn angeu i angeu ei hun—dygwyd Paul a Silas i'r carchar caeth, daethant allan yn ebrwydd wedi

rhyddhau yn offerynol y ceidwad a'i deulu o garchar didduwiaeth—a darostyngir y goreu o ddynion yn aml i'r amgylchiadau mwyaf cyfyng, ond cânt weled cyn hir nad gwaith ofer yw hyn, ond fod pob peth yn cydweithio er daioni iddynt.

6. Nid yw gorfoledd buddugol drygioni a'i ymgeleddrwydd ond tra byr. Cymmerwyd yr arch, megys y sylwasom eisoes, i deml Dagon, ac wedi i'r Philistiaid ei rhoddi yn ddiogel, yn eu bryd hwy, dan gadwraeth eu duw, aethant i orphwys dros y nos gydâ gorfoledd mawr, a brysiasant yn y bore tua'r deml i gyfarch eu duw buddugol unwaith drachefn, ond er mawr syndod cawsant le i gasglu na wnelai'r un deml y tro i Ddagon a'r Arch; wele Dagon ar ei wyneb yn ei hyd ar y llawr gerbron yr Arch! Gorfoledd byr yn wir.—Felly dylai'r sawl sydd yn ymroddi buddugoliaethu ar lais cydwybod a'r datguddiad dwyfol, a thrwy hir ymgaledu mewn drwg, dybied fod yr Hollalluog wedi ei faeddu, neu o leiaf yn foddlon iddynt; neu'r sawl a ymdrechant ymuno achos Duw a Belial, trwy ymddwyn fel dynion crefyddol mewn addolfa, ac yn byw fel paganiaid gartref; yn canu clodydd y Goruchaf mewn lleoedd o addoliad, ac yn canu gydâ phuteniaid a meddwon mewn gwestdai cyffredin pan fyddo gyfleus iddynt, wneuthur fawr o'u hamser, canys ni phâr eu llawenydd yn hir; ac yn y diwedd byddant mewn gwaeth amgylchiad nag arglwyddi y Philistiaid, canys er colli o honynt hwy dduw, gallasent wneuthur arall cystal ag yntef; ond pa lesâd i ddyn er ennill byd o ddigrifwch a golud, os cyll efe ei enaid, ni bydd modd i'w adferu drachefn.

7. Y mae tuedd mawr mewn eilunaddoliaeth a phob drygioni i hurtio a ffoleiddio dynolryw.—Wedi cael o'r Philistiaid eu duw ar y llawr, gallasid meddwl y buasai hyny yn ddigon i'w hargyhoeddi nad oedd efe yn wrthddrych addas i'w addoli; canys pa fodd y gallasai'r hwn ag oedd analluog i gynnorthwyo ei hun, trwy sefyll yn ei le, a chodi wedi cwympo, eu diogelu a'u llwyddo hwy? Wele ef fel celain ger eu bronau ac yn ymddangos fel gwr yn deisyf mwy o gymhorth ganddynt nag a roddes efe erioed iddynt hwy. Ac er hyn oll hwy a'i codasant ar ei draed drachefn, ac yn ol pob tebygoliaeth a syrthiasant i lawr yn y lle y bu efe, ac a'i haddolasant: yr hyn a ddangosai mai rhaid eu bod mor hurt â'r gareg ag oeddynt wedi godi i'w lle. Anhawdd meddwl ar yr olwg gyntaf ar bethau, ei bod yn alluedig i fodau rhesymol addoli pren neu faen; ond pan ystyriom fod myrddiynau India yr amser hwn yn ei wneuthur; y rhan amlaf o'r rhai a elwir yn Gristionogion, sef yr holl Babyddion, yn ymgrymu ger bron delwau, ac er dywedyd o honynt nad ydynt yn addoli'r delwau, addefant mai eu dyledswydd yw gweddio ar Pedr ac ereill o'r cyfeillion, ond os nad yw Pedr yn Dduw, cystal gwrthddrych addoliad oedd Dagon ag yntef. A phan gofiom fod yr hudoles Johanna Southcotte wedi ennill miloedd lawer o ddisgyblion (heb i'r un o'i phrophwydoliaethau gael ei gyflawni), yn y 19eg oes, yn mhrif ddinas Prydain, a llawer o honynt yn ddynion dysgedig, hawdd yw credu fod dynoliaeth dan

lywodraeth coelgrefydd a drygioni yn alluog i gyflawni'r gwrthuni mwyaf —a phan ddangosir cyssondeb ymddygiad y crefyddwyr hyny ag ydynt yn proffesu mai'r Bibl yw unig reol eu ffydd a'u hymarferiad, ond yn ymddwyn yn hollol groes i'w drefniadau; a phan ellir rhoddi rhesymau boddlonol dros ymwareddiad llawer o bechaduriaid doethaf a dysgedicaf ein gwlad, y rhai ydynt yn gorfod addef, mai Duw yw rhoddwr eu holl freintiau, ond yn ymddwyn tuag ato megys pe byddai ef eu gelyn penaf, yna hawdd fydd euog-farnu canlynwyr Dagon fel y ffoliaid mwyaf, ond anhawdd fydd hyn cyn hyny.

8. Y mae natur ymgaledol ac anfeddyginiaethol coelgrefydd a drygioni yn dra rhyfedd. Gan nad oedd cwymp cyntaf Dagon yn ddigon i argyhoeddi ei addolwyr o'u ffolineb, penderfynodd y Duw byw na fyddai iddo gael dianc gydâ chwymp diniwed yr eilwaith; wele'r Philistiaid yn ymdỳru ar yr ail foreu i'r deml i dalu eu haddoliad boreuol i'w harglwydd, ond er mawr syndod y mae eu duw yn garedicach nag erioed, y mai wedi dyfod hyd at y drws i gyfarfod â hwy; wele rhyw ddarnau gwerthfawr o hono yn eu cyfarch wrth y trothwy; neu, mewn geiriau ereill, wele ei ddwylaw, a'i ben wedi eu dryllio yn ddarnau, a'r corpwys moel yn unig a adawyd iddo. Yn awr gobeithaf y derfydd eu hyder mewn duw drylliedig, ar ben yr hwn y gallant roddi eu traed heb ofni niwed, ac ystyried eu hunan yn eiddo Duw Israel trwy fuddugoliaeth. Na, na, nid mor hawdd diwreiddio coelgrefydd, yn lle hyny, anrhydeddant y trothwy ar yr hwn y gorweddai ei ben, fel na sangodd neb o'r addolwyr arno hyd y dydd yr ysgrifenwyd yr hanes, megys pe buasai darnau gwasgaredig eu duw drylliog wedi cyssegru'r lle, ac mai rhyfyg a chabledd fyddai cyffwrdd â'r fan! Ond nid llawer rhyfeddach yw hyn nag ymddygiad llawer o bechaduriaid afradlon ein gwlad, y rhai, er ymresymu â hwy, achwyn, bygwth, addaw, a gwahodd; ac er gweled o honynt lawer o'u cyfeillion a fu byw fel hwythau, ar welyau angeu yn galaru yn ddirfawr o herwydd eu hymddygiadau, ac felly mewn ystyriaeth yn dryllio eu Dagon ger bron eu llygaid, etto, cyn ffoled â'r Philistiaid, hwy a safant wrth eu hachos drylliedig drachefn.

9. Gan nad pa rwystrau a osodir ar ffordd cyflawniad bwriadau Llywydd y byd, efe a wna ei achos ei hun yn fuddugol yn y diwedd; er y gallai y dydd fod yn niwlog a thywyll, etto goleuni a dardd allan yn yr hwyr. Rhaid i'r arch ddyfod adref; y mae llaw Duw yn drwm ar bersonau'r Philistiaid; os nad oedd dinystr Dagon yn ddigon i'w hennill i ollwng eu carcharor adref, caiff dinystr ymaflyd ynddynt hwy; y mae clefyd angeuol yn Ashdod, ond yn lle danfon yr arch i dir Israel, fe'i gyrwyd i Gath, lle dilynwyd hi gan gyffelyb ddinystr, ond yn hytrach nâ'i rhyddhau, gyrwyd hi i Ekron, megys pe buasai newid yr ardal yn ei gwneuthur yn llai dinystriol, eithr tarawyd gwyr Ekron â chlwyf y marchogion, (*piles*, *Emeroids*, yn y Bibl Saesneg, o'r Groeg αιμορροιδες) fel y buont feirw. Wedi hyny cytunasant i'w danfon adref, gan nad oedd ond

dinystr yn cydfyned â hi yn mhob parth o Philistia; ond rhaid i Dduw wneuthur un wyrth yn ychwaneg cyn y caffo efe hi; yn lle ei hebrwng adref eu hunain, cytunasant i'w gosod mewn mèn newydd, a gosod dwy fuwch flith, y rhai oeddynt heb ymarfer â'r iau, a'u lloi yn arfer rhedeg ar eu hol, i dŷnu'r arch ffordd mynent hwy, heb un gŷriedydd, a'r lloi wedi eu cau i fynu mewn tŷ; ond yngwyneb yr holl anfanteision hyn, yr Hwn a ddinystriodd Dagon, ac a darawodd y Philistiaid, a ddysgodd i'r afresymolion hyn fyned ar hyd y ffordd union tua Bethshemesh, megys pe yno fuasai eu lloi, a hwy yn arfer myned yno atynt. Dichyn anhawsderau yn ffordd gwirionedd ysgrythurol, o achos Mahometaniaeth, Paganiaeth, Pabyddiaeth, Deistiaeth, a chaledrwydd calon dyn, fod yn fawrion; ond digon o annogaeth i'r rhai sydd yn efengylu tangnefedd yw fod Tywysog llu'r Arglwydd wedi dywedyd, 'pregethwch yr efengyl i bob creadur," &c.—' a'r efengyl hon am y deyrnas a bregethir trwy'r oll fyd.' &c. Mewn llawer amgylchiad dichon y pererin ffyddlonaf fod mewn cyfyngder, o achos gorthrymderau, ymosodiadau gelynion, a dychryniadau angeu, ond dichon pob cywir galon fod yn hyderus fod yr hwn a ddysgodd greaduriaid direswm i ddyfod ar hyd ffordd anadnabyddus, ac yn wrthwyneb i anian, â'r arch i Bethshemesh, yn ddigon galluog, medrus, ac ewyllysgar, i'w dywys ef trwy bob anialwch, a thrwy bob culni a gwae, nes byddo yn iach dihangol yn y trigfanau dedwydd tragywyddol. Yma hefyd gallem sylwi nad yw amgylchiadau cyfyng yn golled i'r sawl a hoffo byrth merch Seion; daeth yr arch adref o wlad elynol, nid yn unig heb ei dryllio, ond ar ei gwell, gan gynnwys offrymau auraidd arglwyddi'r Philistiaid; pan amgylchir yr hwn a ymddiriedo yn yr Arglwydd â gorthrymderau lawer efe a ddaw allan o honynt yn gyfoethocach mewn profiad o ddwyfol ddaioni; ac a fedr ganfod yn well ei rwymedigaethau i'r Hwn sydd yn ei gynnal bob amser. Pan fyddo raid iddo fyned i orwedd yn ystafelloedd tywyll y bedd, gwael iawn fydd ei wedd, eithr efe a gyfyd yn ddisglaer mewn anllygedigaeth a gogoniant, ïe, fyrdd o weithiau yn well nag y bu erioed cyn myned iddo.

10. Yn olaf, trwy ddinystriad ychwaneg nâ hanner can mil o wyr Bethshemesh, am edrych mewn modd cywrein-ymofyngar i'r Arch, yr ydym yn dysgu fod crefydd yn gynwysedig yn unig mewn ufydd-dod calonog i Dduw. Israeliaid, neu bobl ddewisol y Goruchaf, oedd y Bethshemeshiaid —derbyniasant yr Arch gydâ gorfoledd—gadawsant eu cynhauaf gwenith i'r dyben i'w chroesawi adref, ac—offrymasant aberth i'r Hwn a'i danfonodd adref; er hyny gwelir hwy yn feirwon ar y ddaear; oblegid ni pherthynai iddynt edrych i'r Arch—ni ddylai y sawl ag sydd â'u cymdeithas fwyaf yn y nef wneuthur mor rhydd ar eu Cynnaliwr â throseddu ei air; ac nid yw ufyddhau i un gorchymyn, megys ynghylch aberthu, yn iawn am, nac yn esgus digonol dros, droseddu arall, pe amgen cawsai'r Bethshemeshiaid fyw. Awdurdod y nef, ac nid anwybodaeth, gorchymynion dynion, na thraddodiadau tadau, yw sail gwir grefydd. Nid oes

gan un dyn y radd leiaf o grefydd yn mhellach nag y byddo yn cydffurfio yn ufudd â rheolau'r Brenin Tragywyddol—pa beth bynag a wneir dan enw crefydd heb gydagweddu â'r "rheol hon," anghrefydd, neu goelgrefydd yw, a'r hyn holl a gyflawnir yn gysson â threfniadau'r nef, mewn modd dyladwy, crefydd yw. Myn llawer eu bod yn dra chrefyddol heb ffugio cyfiunio eu hymarweddiad â'r gwirionedd dadguddiedig; ond gydâ'r un cymhwysder y gellid galw Pensaer cywrain ar y gwr na feddyliodd erioed ynghylch un math o adeiladaeth, a gwron ar y sawl na ddichon oddef sain magnel, chwaethach sefyll yn nydd y frwydr o flaen cawodau o belau angeuol, neu ddywedyd fod byw a marw, ac ufudd-dod ac anufudd-dod yn dynodi'r un peth. "Y mae gwrando yn well nag aberth, ac ufuddhau na braster hyrddod." "Os gwyddoch y pethau hyn, gwyn eich byd os gwnewch hwynt."

ADELPHOS CYMRAEG.

---

## SYLWADAU AR MAT. XX. 6.

"Pa ham y sefwch chwi yma ar hyd y dydd yn segur?" Yn gyffelyb i eiddo'r Parch. T. Boston, ar yr un testun.

Y MAE'r geiriau yn rhan o ddammeg a draddodwyd gan y Gwaredwr i'r Iuddewon, amcan yr hon yw dangos nad yw Duw ddyledwr i neb, ond y dichon gyfranu ei roddion yn unol â chyngor ei ewyllys ei hun, ac nad oes gan neb hawl i'w alw ef i gyfrif am ei ymddygiad wrth roddi ei fendithion, gan nad yw yn rhoddi i neb lai nâ'u haeddiant, ond yn cyfranu i fyrddiynau yn rhagorach nâ'u teilyngdod—ac hefyd i ddangos y bydd llawer o'r rhai a ymddangosant flaenaf yma mewn crefydd a rhinwedd, yn olaf ar ddydd mawr y cyfrif cyffredin. Wrth y gwr o berchen tŷ y meddylir Duw ei hun; y *winllan* yw ei eglwys, i'r hon y gwahoddir dynion i weithio gweithredoedd Duw, er gogoniant i'w enw ef—wrth wahanol amserau'r gwahoddiadau y meddylir naill ai boreuddydd y byd cyn y gyfraith, dan y gyfraith, amser y Messiah, a'r dyddiau diweddaf, pan ddygir i mewn gyflawnder y Cenhedloedd—neu amrywiol oruchwyliaethau yr efengyl—1. Gan Ioan Fedyddiwr a Christ—2. Gan yr apostolion yn eu gwahoddiadau i'r Iuddewon yn unig—3. I Iuddewon a Chenhedloedd—a 4. Gan weinidogion yr efengyl hyd ddiwedd amser—neu ynte amserau gwahanol dynion, plant, ieuenctyd, canol oedran, ac henaint. Neu dichon yr amserau cyntaf a grybwyllir olygu gwahanol amgylchiadau'r Iuddewon, a'r olaf, sef yr 11eg awr alwad y Cenhedloedd ar ddiwedd y dydd Iuddewig—wrth y geiniog y dynodir y breintiau cydfynedol neu a ganlyn wir grefydd—grwgnachodd y rhai a gyflogwyd gyntaf, o herwydd i'r olaf gael cymmaint â hwythau, i ddynodi ansawdd meddyliau'r Iuddewon, y rhai a feddylient mai anghyfiawnder oedd i'r Cenhedloedd gael yr un breintiau crefyddol â hwy, y rhai oeddynt wedi

dyoddef pwys a gwres dydd yr Oruchwyliaeth Seremoniol; pa fodd bynag, rhoddir yr un fraint i'r holl weithwyr. Wedi myned o'r gwr o berchen tŷ allan amryw weithiau a chyflogi gweithwyr i'w winllan, efe a gafodd rai yn y farchnadfa yn segur ar yr unfed awr ar ddeg, a gofynodd iddynt—"Pa ham y sefwch yma ar hyd y dydd yn segur?"—Y mae'r ymadrodd yn cynnwys ynddo agos gynnifer o amgyffredion ag sydd ynddo o eiriau :—

I. Pa ham y sefwch chwi—yn *segur!* Pa resymau a ellwch roddi dros eich ymddygiad?

1. A ellwch chwi ddywedyd nad ydych dan rwymedigaethau i'r Gwahoddwr, ac am hyny na'th raid i chwi weithio yn ei winllan? A roddodd efe ddim un gymmwynas anhaeddiannol i chwi erioed?—neu a gawsoch chwi ragorach annogaethau gan arall? Pa un ai i'ch diwydrwydd yn ngwasanaeth drygioni a ffolineb, neu ynte i drugaredd yr Hollalluog yr ydych ddyledus am eich bod heddyw ar dir y byw?—neu a ydych yn tybied eich bod yn rhy dda i weithio yn y winllan, ac y dylech gael bod yn feistr arnoch eich hun? Os felly, ystyriwch, pa un a ellwch fod mor ddedwydd heb Dduw ag y dichon efe heb'och chwi; ac na adewch i neb eich clywed yn dywedyd yn y diwedd, "Arglwydd, Arglwydd, agor i ni," &c.

2. Neu a fynech chwi ddywedyd nad oes genych ddim i'w wneuthur?—A oes neb gorchymynion i'w cadw? neu, a ellwch chwi ddywedyd fel y gwr gynt, "Hyn oll a gedwais o'm hieuenctyd."—A oes un porth cyfyng i ymdrechu myned i mewn trwyddo, un yrfa i'w rhedeg, un frwydr i'w hymladd, nac un groes i'w dwyn?—A ydych wedi maeddu eich holl drachwantau, a dadwneuthur yr hyn oll â wnaethoch yn feius? Rhaid tynu i lawr yr holl gestyll a adeiladasoch i ddrygoni, rhyfyg, a ffolineb, a dadwneuthur pob ymddygiad beius, trwy weithred neu edifeirwch; os nad yw hyn oll wedi ei gyflawni, pa ham y sefwch chwi yn segur?

3. Neu a fynech chwi wadu'r cyhuddiad, trwy ddywedyd nad ydych yn segur? Os felly, goddefwch i mi ofyn, pa beth yr ydych yn ei wneuthur? Ai ymyraeth â thrysorau a digrifwch bydol yn unig? Yna, yr ydych yn dra dyfal ynghylch gwagedd, yn ddiwyd iawn ac yn gwneuthur dim! dim o werth, dim dros yr enaid, dim erbyn ailfyd; ac y mae'r hyn ydych yn gyflawni yn y modd hyn yn waeth nâ gwneuthur dim; canys yr ydych yn digio'ch Lluniwr, ac yn dinystrio eich enaid.—Gwir yw eich bod yn gweithio ond nid gweithio allan "eich iachawdwriaeth eich hunain," ond eich damnedigaeth—yr ydych yn rhedeg mewn gyrfa, myfi a addefaf, ond rhedeg tua dinystr yr ydych. Adeiladu yr ydych, ond beth yw eich gwaith, namyn ymdrech i godi'r mur gwahaniaeth rhyngoch chwi a'r nef yn uwch. Rhaid addef eich bod mewn rhyfel, ond brwydro â'ch Lluniwr yr ydych.—Nid yw eich holl lafur ond gwaeth nâ segurdod; paham yr ydych yn segur, a gwaeth nâ segur?

4. A ydych chwi yn tybied y gellwch fyned i baradwys heb gychwyn cam tuag yno, ac ennill y wobr heb ddyfod i'r winllan, a bod yn ddiogel mewn noddfa heb redeg iddi rhag dialydd y gwaed? Neu a ydych yn

tybied nad oes ond cam bychan o'r Aipht ysbrydol i'r Ganaan nefol, neu naid fer o Sodom danllyd i'r mynydd diogel, ac y gellwch fyned mewn mynydyn o'r naill i'r llall? (Gochelwch rhag nad oes ond cam rhyngoch a dinystr tragywyddol). Neu a dybiwch chwi nad yw paradwys o werth ei chael, na'ch enaid o werth ei achub, neu y gellwch gyrhaedd gwynfyd wrth segura ar hyd y farchnadfa?

II. Pa ham y sefwch CHWI—yn segur? yn hytrach nag ereill? pa reswm sydd dros eich bod chwi yn diofalhau tra mae ereill yn gweithio ac yn dianc am eu heinioes?

1. Onid oes arnoch chwi gymmaint eisieu'r wobr rasol â hwythau? Oni osodwyd chwi dan rwymau i garu a gwasanaethu'ch Creawdwr megys ereill? Ai llai yw gwerth eich enaid chwi nâ'r eiddynt hwy? Onid oes arnoch eisieu'r un dedwyddwch? Oni fydd raid i chwi sefyll ger bron yr un Barnwr? neu a ddichon eich cyfoeth, eich pleserau, a'ch esgusodion eich cysgodi rhag y llid a fydd, yn hytrach nâ hwy? neu a ydych chwi yn fwy galluog i ddyodef effeithiau dwyfol soriant? Neu,

2. A ydych yn ystyried y rhai ydynt yn gweithio yn y winllan yn rhy wael i fod yn gymdeithion i chwi? Ond, mewn ystyr grefyddol, pa faint gwell ydych, onid yw pawb wrth natur yn blant digofaint a gresynoldeb? Ac yn wir, y maent hwy yn rhagori arnoch chwi tra na fyddo genych duedd i weithio yn y winllan, yn gymmaint ag yw gwas ufudd yn rhagori ar blant yr anufudd-dod.—Eithr beth pe byddent waelach na chwi, yn mha le y gellwch chwi gael gwell y rhai ydynt ufudd i Grist? Ai rhagorach yn eich bryd chwi yw plant y tywyllwch nâ phlant y goleuni, a "rhai rhagorol y ddaear?" Neu,

3. A ydych yn ystyried gwaith y winllan yn rhy galed i chwi, tra y mae yn addas i ereill ei gyflawni? Ai rhy bwysig yw'r groes, a'r gorchymyn dros hunan-ymwadiad yn "ymadrodd caled i chwi," ond fod crefydd yn beth o'r goreu i offeiriaid, pregethwyr, hen ddynion, a thlodion? Os felly, dylech ymfoddloni hefyd i'r gwyr hyn yn unig gael myned i baradwys, canys y mae'r groes a'r goron wedi cael eu cyssylltu gan y gwirionedd, a thra anghenrheidiol yw i chwi ymofyn, os na ellwch ddwyn y groes, pa fodd y gellwch oddef y llid a fydd.

4. Ai dymunol genych yw ysgariad tragywyddol rhyngoch a'r rhai hyny o'ch cymmydogion ag ydynt wedi myned i'r winllan, neu ynte pa ham y sefwch *chwi* yn segur tra y maent hwy yn gweithio? Nid addas yw, ac nis gallant hwy ddychweled atoch chwi; aflonyddwyd hwy yn y farchnadfa, y mae'r meistr mawr yn peri iddynt fyned rhagddynt, ac os nad ewch chwi ar eu hol y mae ymraniad diddiwedd wedi cymmeryd lle rhyngoch. Ai boddlon fyddwch i sefyll ar y law aswy yn nydd yr ymweliad, tra fyddont hwy ar y llaw ddeheu, os amgen brysiwch at Berchen y winllan. Y mae ymddygiad rhai o honoch yn fy nhueddu i ofyn,

III. Pa ham y SEFWCH chwi yn segur, megys pe na byddai cywilydd arnoch o'ch bywydau diffrwyth, ond eich bod yn chwennych i bawb sylwi

ar eich ymddygiad? cymhwysach fyddai i chwi orwedd i lawr, a chuddio eich hunain gymmaint ag y galloch, nâ chodi eich penau euog mor uchel, rhag cywilydd; pa ham y *sefwch* yn segur?

1. A ydych yn chwennych ymogoneddu yn eich segurdod ysbrydol, ac ymffrostio yn eich drygioni? A ydyw anufudd-dod i'ch Gwneuthurwr yn beth mor anrhydeddus, fel y mŷnech i bob dyn wybod pa mor anufudd ydych? A ydyw budr-waith anghrefyddolder a chadwynau pechod mor rhagorol fel yr ewyllysiech i'r holl fyd wybod eu bod yn eich meddiant, gan eich bod yn peri i'r cadwynau haiarnaidd uchel dincian yn mhob cymdeithas lle y byddoch? Ai anrhydedd mawr yw bod yn ngwasanaeth annuwioldeb, gan eich bod yn derchafu ei faneran yn mhob man? Paham y *sefwch* chwi yn segur?

2. A ydych yn barod i amddiffyn eich ymddygiad, ac felly yn barod ar eich traed i brofi fod anufudd-dod yn rhagori ar wasanaeth ewyllysgar? A yw eich rhesymau dros eich ymddygiad mor gedyrn, fel nad gwiw i neb o'ch cymmydogion llafurus gynnyg eich hargyhoeddi, a ydych wedi eu dystewi hwy oll?—ac a ydych yn meddwl buddugoliaethu ar eich cydwybod euog hefyd? Os felly, y mae un peth i'w ystyried yn mhellach, sef a ellwch chwi ddystewi Hollalluawgrwydd yn yr un modd, pan ddadleuo efe â chwi? Neu,

3. A ydych yn *sefyll*, o herwydd y mŷnech, nid yn unig ymffrostio yn eich segurdod, ond hefyd, trwy eich anghreifftiau, i ddenu a chefnogi ereill yn yr un swrthni ysbrydol? ai dymunol gènych fod mor wasanaethgar ag sydd alluedig i chwi yn ngwasanaeth anghrist? a ydych yn ewyllysio cael eich trigle tragywyddol yn dra llawn o ddeiliaid, gan eich bod yn annog cynnifer ag a effeithir arnynt gan eich ymddygiad cyhoedd chwi tu ag yno? Ai rhy fach gènych yw bod yn elynion i ufudd-dod ac i'r gwirionedd eich hunain, gan eich bod yn ymdrechu gwneuthur eich perthynasau, eich cyfeillion, a'ch cymmydogion felly hefyd? Ond cofiwch na fydd y lletty diddarfod o boen un gradd yn esmwythach o herwydd amledd ei ddeiliaid. Neu,

4. A oes eisieu tystion lawer arnoch i ymddangos yn eich erbyn yn y frawdle fawr y dydd diweddaf? A ydych yn ymroddi rhoddi modd i bawb ag ydynt yn eich adnabod i dystiolaethu yn eich erbyn yn y dydd hwnw? Onid digon yw fod Hollwybodaeth yn dal ar yr hyn oll a wneloch yn y dirgel neu yn gyhoeddus? neu oni fydd tystiolaeth cydwybod anghymmodlon, yr hon a ddeffry cyn hir, yn ddigon yn eich erbyn, gan eich bod yn chwennych i bob dyn ag sydd yn eich adnabod i weled pa mor ffiaidd ydych? Ni'th raid i chwi fod mor awyddus am dystion yn eich erbyn, bydd mwy nâ digon wrth eich bodd i ymddangos yn y cyfyng a'r dychrynllyd ddydd.

IV. Paham y sefwch chwi YMA yn segur? yn y farchnadfa, lle y mae'r Meistr mawr yn danfon yn feunyddiol i wahodd gweithwyr i'w win-

llan. Nis gellwch chwi ddywedyd "Ni chyflogodd neb ni," gan eich bod wedi cael eich galw mor fynych.

1. Pa ham y sefwch chwi *yma* mewn gwlad grefyddol, yn neillduol gwlad o rydd-did crefyddol, lle nad oes dim yn eich lluddias chwithau i fod yn wir grefyddol ond drygioni eich calonau? Pe ganesid chwi yn Asia neu Affrica, lle y dysgir dynion i addoli afonydd, pren, maen, ac amryw greaduriaid, yn lle gweithio yn ngwinllan y Gwaredwr byddai genych ryw esgus am eich ymddygiad. A myfi a ddywedaf, os ydych yn meddwl parhau yn segur, ewch oddi *yma* rhag cywilydd, i ryw le a'r na byddo'r ymddygiad yn ymddangos mor wrthun.

2. Pa ham y sefwch chwi *yma* yn Mhrydain yn segur; lle y mae crefydd yn blaguro, a hòno o'r fath duedd neillduol at bob gweithred rinweddol, addas i fodau rhesymol, a theilwng o'r Hollalluog Dduw. Yn Turkey a China, a pharthau ereill, y mae dysgawdwyr crefyddol yn annog y bobl i gyflawni pethau anghydweddol â'u rhwymedigaethau i Dduw a dyn; mewn gwledydd Pabaidd dysgir llawer gan flaenoriaid yr eglwys i dreulio eu hamser yn ddiffrwyth mewn monachlogydd, neu ar bererindod coelgrefyddol; ond yr ydych chwi *yma* yn Mhrydain, a'r athrawiaethau a glywch, yr addewidion a dderbyniwch, y rhybuddion a gyhoeddir yn eich clyw, a'r ordinhadau a welwch yn cael eu gweini, yn galw arnoch mewn effaith, "Pa ham y sefwch chwi *yma* yn segur?"

3. Pa ham y sefwch chwi *yma* yn *Abertawe* yn neillduol yn segur? Mewn llawer parth o'r wlad y mae breintiau crefyddol y trigolion yn lled anaml, nis gallant glywed athrawiaeth wrth eu bodd ond anfynych iawn, rhaid iddynt fyned lawer o filldiroedd er mwyn clywed yr efengyl, ond *yma* y mae'r 'hyfryd lais' yn cyrhaedd eich drysau, gellwch glywed dair gwaith bob Sabbath, ac yn fynychach nâ hyny yn yr wythnos os mynwch. Y mae Cymry mewn rhai parthau o Loegr yn methu cael pregeth yn eu hiaith eu hunain, a rhai Saeson yn Nghymru mewn cyffelyb amgylchiad; ond *yma* nid oes gènych mo'r fath esgus, gellwch glywed yn yr iaith a fynoch, ac onid ydych hynodion iawn, gan y blaid grefyddol a fynoch. Pa ham, ynte, y byddwch segur *yma?*

4. Pa ham y sefwch chwi *yma* mewn lle o addoliad yn segur? yma, yn ngwydd y Jehofa mewn modd neillduol? Pan fyddoch yn dilyn eich galwedigaethau, neu yn eistedd yn eich tai gartref, y mae rhyw beth arall yn denu eich bryd, a hyny weithiau yn dra chyfreithlon; ond yma dylai'ch ymddygiad gydfyned â geiriau y prydydd—"A dyn heb neges dan y ser, ond 'mofyn am ei Dduw." *Yma* y dylech fod yn dra diwyd ynghylch y pethau a berthynant i'ch tragywyddol orphwysfa—*yma* y mae digon o waith gwrando, gweddio, a moli; ac mewn gair, os ydych yn ymroddi bod yn segur, gwell yw bod felly yn mhob man nag *yma*.

V. Pa ham y sefwch chwi ar hyd y DYDD yn segur? Trefnwyd y nos i orphwys, i gysgu, ac i beidio gweithio gymmaint; ond "y mae'r tywyllwch wedi myned heibio, a'r gwir oleuni sydd yr awr hon yn llewyrchu."

1. Y mae nos dywyll Derwyddiaeth, yr hon a orchuddiodd eich teidiau, wedi myned heibio, ac y mae goleu ysblenydd efengyl y deyrnas wedi gwasgaru'r caddug. Nid oedd ryfedd oll eu bod hwy yn aros allan o'r winllan, ac "heb obaith ac heb Dduw yn y byd." Nid oedd ganddynt oleuni i'w galluogi i ganfod y lle neu'r modd y mỳnai'r Gwaredwr iddynt weithio. Y mae genych oleuni cydwybod oddi fewn, a goleuni datguddiad dwyfol oddi allan, pa ham y ceuwch eich llygaid rhag edrych ar y gwrthddrychau hyfryd o'ch hamgylch, a byw yn segur ar hyd y dydd?

2. Aeth heibio nos yr hen oruchwyliaeth. Gwir yw fod gosodiadau yr oruchwyliaeth Foesenaidd yn cynnwys rhyw raddau o oleuni, ïe, goleuni mawr mewn cymhariaeth i sefydliadau gwledydd cenhedlig, ond pan gymherir llewyrch y trefniadau Iuddewig â datguddiedigaethau yr efengyl, y mae'r hyn a ymddangosai yn dra dysglaer yno yn tywyllu yma: y cyfryw yw'r rhagoriaeth, fel y dywed yr ysgrythyr fod Crist wedi dwyn bywyd ac anllygredigaeth i oleuni *trwy'r efengyl*, &c. Mewn rhai amgylchiadau hyfryd yw goleuni ser a lleuad, ond pan gyfodo yr haul y mae'r goleuadau hyn yn diflannu, ac mor hollol ddiddefnydd â phe thywyllwch fyddent. Yn awr gan fod yr haul yn llewyrchu yn ei ddysgleirdeb mwyaf, pa ham y segwch yn segur yn y dydd yn ngwyneb yr haul, megys pe na byddai ei oleuni dda i ddim ond meithrin segurdod?

3. Pa ham y byddwch segur yn y dydd? a fynwch chwi ymdebygu i fwystfilod rheibus, y rhai a orweddant ac y gysgant yn eu llochesau ar hyd y dydd, a phan ddel y nos a ruthrant allan, gan ymofyn ysglyfaeth? Sal. civ. 22. Attolwg, pa bryd yr ydych chwi yn meddwl ceisio iechydwriaeth? Beth! wedi delo'r nos, pan na dichon neb weithio? Ar amser y waedd ganol nos, ar gyffiniau brenin braw, yn nghysgod angeu? Brysiwch, brysiwch i'r winllan, rhag i nos ddychrynllyd ganlyn y fath ddiwrnod segur.

4. Attolwg, pa ham y sefwch chwi yn segur ar hyd y dydd, gan nad oes genych (a llefaru yn gymhariaethol) ond un dydd i weithio ynddo? Dim ond un dydd ag y gellwch alw yr eiddoch eich hun arno. "*Heddyw* (nid y fory) os gwrandewch ar ei leferydd ef." Ac nid yw holl ddydd eich hoes ond dydd byr iawn a'i gymharu â'r nos faith, dywyll, a thragywyddol, ag sydd i ganlyn y fath ddiwrnod segur. Nid neb namyn gelyn-ddyn a ddygodd y pechadur i addaw iddo ei hun lawer o amser. Dyrnfedd, prydnawn, neu ddiwrnod byr yw'r ysbaid oreu i ni addaw i ni ein hunain.

VI. Yn olaf, pa ham y sefwch chwi yma ar HYD y dydd, neu yr HOLL ddydd yn segur? A wnaiff dim llai nâ diwrnod cyfan o segurdod y tro i foddio eich meistr difudd a chwithau?

1. Onid yw yr amser a aeth heibio yn ddigon, a mwy nâ digon, i dreulio eich amser am ddim? ystyriwch pa elw a ennillasoch wrth segurdod yr amser a aeth heibio, neu eich gwasanaeth i wrthwynebwr perchen y winllan—a ydych wedi cael rhyw beth ag a fedr gyflawn foddio eich meddwl?

os felly, a ydych yn sicr y dichon hyny weini yr un boddlonrwydd i chwi yn angeu ac o flaen y frawdle olaf? Darllenwch 2 Pedr iv. 3.

2. Neu a ydych yn tybied y bydd yr oriau ag ydynt etto heb eu treulio yn fwy manteisiol a buddiol mewn seguryd, neu wasanaeth y tywyllwch, nâ'r rhai a aethant heibio, gan eich bod yn segur trwy'r dydd? Ar ba sail y gosodwch y fath ddychymmyg? A gafodd rhyw ddyn erioed ei gyflawn foddio mewn dyeithrwch i waith y winllan? Os na chafodd, ai rhesymol yw tybied y medrwch chwi ei gyrhaedd? Os na chawsoch eich diwallu hyd yma, pa sail sydd i feddwl y bydd i chwi i fod yn ddedwydd rhagllaw yn yr un llwybr? A oes genych ryw ddyfais newydd heb ei gosod mewn ymarferiad etto, trwy'r hon yr ydych yn addaw i chwi eich hunain lawer o ddedwyddwch? Gweddus fyddai eich adgofio eich bod wedi addaw i chwi eich hunain yr un dedwyddwch mewn pethau a aethant heibio cyn iddynt droi allan yn dwyllodrus; a sicr yw, nad oes genych le cyfiawn i farnu yn well am y cynnygion newydd; y mae'r holl fyd yn gynt neu yn hwyrach yn dyfod i ganfod ffolineb pob dyfais i'w cadw o'r winllan! gan hyny paham, fy nghyfeillion, y sefwch yn segur ar hyd y dydd?

3. A ydych yn tybied nad yw Meistr mawr y winllan yn deilwng o'ch gwasanaeth dros un ran o'r dydd? Ond mai addas iawn yw i chwi gael eich gwobrwyo ganddo yn y diwedd am segurdod perffaith, megys pe buasech wedi treulio eich dyddiau mewn diwydrwydd mawr yn ei waith ef? Cyn cychwyn yn mhellach, gweddus fyddai ystyried, a oes rhwymau arno i wobrwyo seguryd, neu a yw efe wedi addaw ei wneuthur? Os felly, rhaid cyfnewid y darluniad o'r gwahoddiad i ogoniant a gawn yn nammeg y talentau, ac yn lle darllen, "Da was da a ffyddlon—dos i lawenydd dy Arglwydd," rhaid dywedyd, "Da was drwg a diog, buost segur a diddefnydd yn mhob peth, am hyny dos i'r llawenydd diddarfod!"

4. Neu a ydych yn dychymmygu fod rhan fawr o'r dydd heb ei dreulio, ac felly yn barod a dywedyd na fyddwch chwi segur ar *hyd* y dydd, ond ei bod yn ddigon cynnar i roddi i'r Hollalluog ei ran ef o wasanaeth y dydd? Ow! feddwl anghenfilaidd! pa le y mae'r addewid, neu'r sylfaen am hyn? Nid digon yw dywedyd, "efallai fod llawer o amser yn ol heb ei dreulio" ar bwnc o gymmaint pwys â hwn, dylech fod yn sicr o hyny; neu frysio yn ddioed at y Gwinllanwr grasol. Ac yn wir, pe byddech sicr o hyny, ni'th raid i chwi ofni rhoddi ychwaneg clod a gwasanaeth i'r Hollalluog nag sydd ddyledus iddo. Analluedig yw myned ato a chytuno âg ef yn rhy gynnar, eithr dichon fod yn rhy ddiweddar, gan hyny terfynaf yn yr un geiriau ag y dechreuais, "Paham y sefwch chwi yma ar hyd y dydd yn segur?"

*Abertawe.* ADELPHOS CYMRAEG.

## Y DYN CALL.

Nid oes dim a'r nad yw efe yn chwennych ei wybod; ond yn gyntaf, ac yn fwyaf cadarn, adnabod ei hun. Ac nid yw ei wybodaeth yn cael ei dwyn i ymadrodd yn unig, ond hefyd i'r ymarferiad; y mae efe yn ymresymwr cywrain, nid gymmaint wrth natur â thrwy brofiad. Nid yw ei feddwl gweithgar yn gwneuthur dim trwy yr amser ond ffurfio rhanau rheswm, a thŷnu allan y canlyniadau, yr hyn oll a wêl ac y glyw a wasanaetha i un o'r pethau hyn; â'r rhai hyn efe a ofala yn gyntaf i hyfforddi ei hun, ac wedi hyny i gyfarwyddo ereill. Nid yw ei ddau lygad fyth oddi cartref ar yr un pryd, eithr y mae un yn cadw'r tŷ tra fyddo'r llall yn gwibio ar led am hysbysiaeth.

Mewn pynciau pwysig a sylweddol, nid yw'n gohirio ei feddwl mewn ansicrwydd; eithr y mae yn casâu amheuaeth, lle y dichon, a lle y dylai fod yn ddiysgog. Ac yn gyntaf, efe a wna waith diogel i'w enaid ei hun, gan ei chyfrif yn beryglus i fod yn ansefydlog yn ngwybodaeth o'i gyflwr olaf; y goreu a ystyrir yn gyntaf, ac ofer yw yr ystyriaeth hyny a'r na therfyno mewn diogelwch. Y mae gan bob gofal ei drefn gywir ei hun, ac nid oes yr un yn cael ei esgeluso neu ei gamosod ganddo. Anfynych y gwelir ef wedi ei faeddu gan hygoeledd; canys, gan wybod twyll y byd, efe a ddysgwyd i ymddiried ynddo ei hun bob amser, ac mewn ereill cyn belled ag na byddo iddo gael ei waethu trwy y siomedigaeth a allai ganlyn. Efe a gais ei lonyddwch mewn anamlygrwydd, ac a arfera guddio ei hun mewn ymneillduaeth, a'i dafod ynddo ei hun. Efe a gâr fod ereill yn amcanu (nid gwybod) am dano; ac i weled y byd, heb gael ei weled; a phan fyddo rhaid iddo ddyfod i'r goleu, efe a ddengys trwy ei weithredoedd nad oedd ei neillduaeth o achos mursendod na gwendid. Nid yw ei fwriadau fyth mor amrywiol ag y gallent brofi ei fod yn ansefydlog, nac yn gyndyn anghyfnewidiol; ond fe'u ffurfir yn gyfatebol i ail ystyriaeth, neu ryw achlysuron newyddion. Y mae efe yn ysgolhaig parod ac yn athraw rhagorol; canys y mae pob peth a wêl yn ei hyfforddi, ac wedi cyfoethogi ei feddwl â sylwadau cyflawn, dichyn roddi y rheolau goreu. Ei ymadrodd rhwydd a rêd yn ol at yr oesoedd a aethant heibio, ac a adennill ddygwyddiadau ag oeddynt dros gof; ac yna, gan luddias amser wrth redeg yn mlaen at bethau i ddyfod, a chymharu'r naill â'r llall, dichyn roddi barn agos mor gywir â phrophwydoliaeth; ac yn hyn y mae ei ddychymmyg yn rhagori ar dealldwriaeth dyn arall. Ei anwydau ydynt gynnifer o wasanaethwyr da, y rhai a safant ar ddysgwylfa yn barhaus, gan fod yn barod i gymmeryd eu rheoli gan reswm, a chan grefydd; ac os ar un amser yr anghofiant eu dyledswydd, a myned yn wrthryfelgar, efe a ddichon yn gyntaf ddirgelu eu gwrthryfel, ac wedi hyny eu darostwng i ufudd-dod.

Yn ei holl fwriadau cywir a theilwng, nid yw efe fyth yn methu gwybod pa fodd i fyned rhagddo; ond y mae wedi cynllunio ei holl weith-

redoedd yn y fath fodd, fel mai yn y lle y methodd y cyntaf yn dechreu yr ail, gan gyrchu cymhorth oddiwrth yr un a fethodd. Dichon fod beiau y rhai na fyn efe eu gweled, ac nid yw efe yn edrych bob amser y ffordd ag y byddo yn meddwl, na chymmeryd sylw ar ei loeson dirgel pan fyddont yn dyfod oddiwrth wyr mawrion. Mewn cymmwynasgarwch nid yw efe yn caru bod fwy mewn dyled nag sydd raid iddo; mewn drwg (neu dramgwydd) i fod mewn dyled, a pheidio talu. Ceryddon cyfiawn, nid yw efe yn eu haeddu, canys y mae yn byw o'r tu allan i gylch gwrthwynebwr; ceryddon anghyfiawn, efe a'u dïystyra, canys gwell ganddo oddef i warth twyllodrus farw o hono ei hun, nâ gosod dwylaw arno drwy drais cyhoedd. Efe a gyfynga ei hun o fewn cylch ei achosion ei hun, ac ni thuedda i wthio ei fys i dân yn ddiraid. Y mae yn sefyll fel canol-bwynt yn ddiysgog, tra fyddo cylchedd ei etifeddiaeth yn cael ei thŷnu uchlaw, islaw, ac oddiamgylch iddo. Yn olaf, y mae ei synwyr wedi costio llawer iddo, ac efe a ddichon ei gadw, ei werthfawrogi, a'i ddefnyddio. Y mae efe yn gyfreithiwr iddo ei hun; yn drysorfa gwybodaeth; yn oracl y cynghor; heb fod yn ddall yn achos neb, ond yn canfod yn eglurach yn ei achos ei hun.

---

## Y DYN DEWR.

Efe a gymmer orchwyl mewn llaw heb fyrbwylldra, ac a'i cyflawna heb ofn; nid yw efe yn chwilio am beryglon, eithr pan gaffont hwy afael ynddo ef, efe a'u dug gyda'r gwroldeb mwyaf, a chyda llwyddiant. Yn fynych efe a edrychodd ar angeu yn ei wyneb, ac a aeth heibio iddo dan wenu; a phan ddeallo fod yn rhaid iddo roddi i fynu iddo, efe a'i croesawa ac a'i diystyra. Y mae efe yn rhagddarbod y gwaethaf o bob dygwyddiadau, ac a ymesyd arnynt cyn y delont, mewn brwydr ddirgel yn y meddwl; ac os bydd i ddisymmwythdra rhyw ddrwg annysgwyliadwy aflonyddu ei feddyliau, a throi ei wyneb yn welw-las, cyn gynted ag y byddo wedi ei faeddu yn ei fryd ei hun, efe a gasgl ei alluoedd ynghyd ac a orfoledda ar yr enbydrwydd. Y mae efe yn feistr arno ei hun, ac a ddarostwng ei anwydau i reswm; a thrwy'r fuddugoliaeth dufewnol hon, a weithia heddwch iddo ei hun. Nid oes arno ofn dim ond anfoddlonrwydd y Goruchaf, ac ni ffŷ efe rhag dim ond pechod. Nid yw efe yn edrych ar ei ddwylaw, ond ar ei achos; nid pa mor gadarn yw efe, ond pa mor ddiniwed; a phan mai daioni yw ei warrant gellir ei fwrw i lawr, ond nis gellir ei drechu.

Y cleddyf iddo ef yw'r olaf o bob prawf, yr hwn a dŷn ef o'r waun etto fel amddiffynydd, nid fel rhoddwr hèr, gyda math o ewyllysgarwch anewyllysgar, er na ddichon un dyn ei drafod yn well nag ef, gyda mwy o ddiogelwch, neu well grân. Gwell ganddo i'w waed gael ei weled nâ'i

gefn, ac efe a ddiystyra fywyd oni chaiff ei gadw ar deleran anrhydeddus. Nid oes neb yn fwy tyner wrth elyn edifeiriol neu orchfygedig, neu yn casâu yn fwy y gorchwyl o osod ei droed ar gelain; gwell ganddo fyddai mogi tramgwydd, nag ymddial ar y dirym, ac nis gwn pa un a ffieiddir fwyaf ganddo ai annewredd neu greulondeb. Ychydig y mae efe yn siarad, ond y mae yn ymffrostio llai, gan garu yn hytrach iaith ddystaw'r dwylaw, i gael ei weled yn hytrach nâ'i glywed. Efe a orwedd bob amser yn agos oddifewn iddo ei hun, wedi ei arfogi â llawn fwriadau doethion, ac ni welir ef ond gan angeu neu berygl. Nid yw efe afradlon ar waed, i'w gamdreulio yn ddiraid, nac yn gybyddlyd i rwgnach ei roddi pan fyddo Duw neu ei wlad yn galw am dano; ac nid yw efe yn fwy haelionus o'i fywyd ei hun nag o eiddo ereill. Terfynir ei allu gan ei ewyllys; ac y mae efe yn ei chyfrif y dial mwyaf i allu niweidio a pheidio ei wneuthur. Efe a lywodraetha heb ormes, ac ufyddha heb waseidd-dra, ac nid yw yn cyfnewid ei feddwl wrth gyfnewid ei sefyllfa. Uchder ei yspryd a edrych dros bob damweiniau, ac nid yw ei hyfdra yn ddyledus i anwybodaeth nac annheimladrwydd; ond yn gyntaf efe a brisia beryglon ac wedi hyny a'u dirmyga; y mae gwedi ei dafoli mor gywir gan ddoethineb fel y mae yn nofio yn ddiysgog yn nghanol pob tymhestl. Yn fyfyriol yn ei amcanion, yn ddiysgog yn ei lawn fwriadau, yn hyf yn ei ymosodiadau, diflino wrth eu cyflawni, ac yn ddedwydd mewn llwyddiant; ac os byth y gorchfygir ef, ei galon fydd y diweddaf i roddi i fynu.

---

## Y DYN AMYNEDDUS.

GWNAWD y dyn amyneddgar o fetel mwy hyblyg nag yw yn galed. Ei ysgwyddau ydynt lydain, addas i ddal baich o sarhad, yr hwn a ddyg efe, nid o herwydd annewredd neu waeledd ysbryd, o herwydd na feiddia efe ymddial, ond o herwydd gwrolder Cristionogol, ac am na ddylai ymddial: y mae wedi cael y fath fuddugoliaeth arno ei hun, fel na ddichon tramgwyddiadau fuddugoliaethu arno ef, ac yn hyn yn unig y canfyddir fod goruchafiaeth yn gynnwysedig mewn rhoddi i fynu. Y mae uwchlaw natur, tra y mae yn ymddangos islaw iddo ei hun. Gwyr y creadur gwaelaf pa fodd i droi drachefn i gynnyg talu'r pwyth; ond i reoli ei hun a pheidio gwrthwynebu, er cael ei gymhell, sydd fwy nâ gwroldeb. Ei benderfyniadau ydynt yn oestadol yn llawn o feddyliau ac ewyllys da; Naill ai, medd efe, ni wnawd y cam hwn â mi, neu os gwnawd, efallai nad oedd gyda bwriad i ddrygu; ac os oedd, dichyn iddo gael ei gyflawni oddiar hyfforddiad anghywir; ac os nid hyny, caiff byrbwylldra, er ei fod yn fai ynddo ei hun, wasanaethu yn esgus. Efe ei hun a gais faddeuant gan y troseddwr, cyn cyfaddef o hono, a chyfaddefiad byr a wna'r tro pan fyddo ar yr hwn a dramgwyddwyd chwant i faddeu. Efe yw tyst goreu

Duw, a phan safo efe ger bron y ddadleufa dros y gwirionedd, y mae ei dafod yn rhydd a thawel, ei dalcen yn ddiysgog, a chydag wynebpryd digyffro efe a glyw ei ddedfryd anghyfiawn ac a lawenycha o'i herwydd. Ceidweid y carchar ag ydynt yn cadw gydag ef yw ei weision anrhydedd, ei ddaeardŷ a gyfrif yn barth isaf o gell y nefoedd, a'r arteith-glwyd yn risiau yr esgynfa i'r nefoedd; efe a rydd hèr i'w ddihenyddwyr, ac a wyneba y poenau llymaf gyda grym ymroddiad, a thra byddo yn dyoddef tosturia yr edrychwyr wrtho, a'r poenydwyr a achwynant ar flinder, a phawb a lenwir â syndod. Ni ddichon neb loesau ei drechu, na ffyrnig-rwydd na dihoeniad. Nid yw efe yn cyfrif dysgwyliad yn gospedigaeth, am hyny dichon oddef i'w obaith gael ei ohirio ddiwrnod newydd. Cyf-reithiau da a wasanaethant i'w ddiogelu, ac nid er ymddial; a'i awdurdod ei hun a ddefnyddia i ochelyd gwarth, ac nid i'w ddychwelyd.

Ei obaith sydd mor gadarn fel y dichon fuddugoliaethu ar yr anhaws-derau mwyaf annghysurol, a'i afael mor gadarn, fel mai wedi iddo unwaith ei chael efe a gyll ei fywyd cyn gollyngo hi yn rhydd. Ni ddichon nac amser na chyndynrwydd, beri iddo ef roddi ymaith ei ymdrechiadau serchiadol, ac anobeithio am lwyddiant; ond er yn waethaf i groesau a phob gwrthwynebiadau, efe a ddybla ei gynnygion haelionus o gariad. Efe a gynnyg y môr, wedi llawer o long-ddrylliadau, ac a barha i guro wrth y drws hwnw a'r nas gwelodd yn agored erioed. Dygwyddiadau gwrthwynebus, yn lle ei lwfrhau, nid ydynt ond ei brofi ef; a phan fyddo croesau yn ei gystuddio, efe a genfydd law ddirgelaidd a dwyfol yn taro â'r fflangellau teimladwy hyn, yn erbyn yr hon ni feiddia efe wrthryfela na grwgnach. Am hyny y mae pob peth a ddygwyddo iddo ef yn gyffelyb, ac y mae efe yn myned â'r un meddwl i'r gigfa ag i'r gorlan. Ei ym-arferiadau adfywiol ydynt dawel a thirion, a dim llawnach o adloniad, nag y maent yn wag o lidiawgrwydd. Y dyn hwn yn unig a ddichon droi anghenrheidrwydd yn rhinwedd, a gwneuthur defnydd da o ddrwg. Efe yw'r cyfaill sicraf, y gelyn diweddaf ac esmwythaf; y buddugoliaethwr penaf, a chymmaint yn fwy dedwydd nag ereill, ag y dichon ddyoddef fod yn fwy greaynol nâ hwy.

---

## Y CYFAILL CYWIR.

Ei serchiadau ydynt gyssylltiedig a rhanedig; wedi eu cyssylltu wrth yr hwn a gâr, ac yn rhanedig rhwng arall ag efe ei hun; ac y mae ei galon wedi ymranu cymmaint, fel mai tra byddo ganddo beth ei hun, y mae ei gyfaill yn cael y cwbl. Ei ddewisiad a dywysir gan rinwedd, neu gan y goreu o rinweddau crefydd; nid gan elw, nid gan bleserau, ac etto, nid heb ystyried sefyllfa gyfartal, ac mewn tueddiadau heb fod yn anghyff-elyb, yr hwn pan wnelir unwaith, nis goddef gyfnewidiad, oddieithr i'r

gwrthddrych a garo gyfnewid yn hollol o fod yr hyn ag oedd, ac nid wedi hyny yn ddisymmwth, ond wedi hir ddysgwyliad. Nid yw caledi ond ei glymu yn sicrach, yn gyffelyb i fwa pont a fyddo wedi ei weithio yn dda, yn myned yn gadarnach pa fwyaf fyddo yn pwyso arno. Pan alwir arno gan anghenrheidrwydd, efe a ddichon fod yn was i'w gydradd, gydâ'r un ewyllysgarwch ag y dichon reoli ei îsradd; ac er ei dderchafu i anrhydedd, nid yw yn anghofio ei gyfeillgarwch, na goddef i anghyfartalwch sefyllfa i weithio dyeithrwch wynebpryd; ond i'r gwrthwyneb, efe a ddyrchafa ei gyfaill i anrhydedd ewyllysgar, heb genfigen, ac heb dwyll.

Pan fyddo marw ei gyfaill, nid yw yn cyfrif ei hun ond hanner byw; ac yna ei gariad, yr hwn ni ddinystriwyd gan angeu, a amlyga ei hun tuag at yr amddifaid y rhai ni wyddent erioed o'r blaen werth tad; y rhai yn awr a ddeuant yn etifeddion ei serchiadau, ac yn faich ei ofalon. Efe a gofleidia wladwriaeth rydd o bob peth, oddi eithr yr hyn a fyddo onestrwydd, cyfiawnder, neu natur yn gadw iddynt eu hunain; ac a ffieiddia y mwynhad o'r hyn a wnelai fwy o les i'w gyfaill. Ei gariad a wasanaetha i orchuddio gwendidau nodedig, nid trwy anwiredd, na thrwy weniaith, ond trwy ddirgelwch doeth; ac nid yw efe fwy hynaws wrth ddirgelu nag yw yn gyfiawn yn ei geryddon anamlwg, a phan ymddangoso ffyddlondeb diddichell arall ei hun iddo ef mewn cerydd, efe a gâr ei hyfforddwr o gymmaint yn fwy ag y gwnaeth iddo deimlo loeson. Ei fynwes yw dirgel-gell ei gyfaill, lle y dichon efe gydâ diogelwch i lettya ei achwyniadau, ei amheuon, a'i ofalon; ac wele, megys y cafodd efe hwynt, felly y mae yn eu gadael, oddigerth rhoddi ychydig gynghorion iddo tuag at ei esmwythâu. Pe dygwyddai rhyw sibrwd annedwydd ddadgymhalu ei serch, neu ei dòri, efe a gyssyllta yn ebrwydd drachefn, ac a dyf yn gryfach trwy'r pwysau hyny. Y mae efe mor deimladwy o ddyoddefiadau ereill, fel mai pan darawer ei gyfaill, efe a waedda allan, gan dderbyn loes gyfartal, er nas byddir wedi cyffwrdd ag ef, fel un a effeithid arno, nid gan gydymdeimlad, ond gan deimlad loes diledrith ynddo ei hun; ac yn mhob poen a ellir ei luddias efe a gyfrynga ei gynnorthwy, gan gynnyg gwaredu ei gyfaill âg ef ei hun; ni ddichon un awr fod yn anamserol, un gorchwyl yn anhawdd, nac un poen yn ofidus, er mwyn ei esmwythâu; a chan nad beth a wnelo neu a ddyoddefo efe, nid yw yn ewyllysio iddo gael ei gyhoeddi, rhag yr ymddangosai ei fod yn edrych am ddiolch. Gan hyny, os dichon efe gyflawni gweithred dda mewn modd lledradaidd melusaf oll fydd ei ffyddlondeb i'w feddwl; am y cymmwynasau a wnaeth, y mae ei gof yn fyr, ond am y rhai a dderbyniodd y mae yn dragywyddol; y mae yn chwith ganddo dderbyn ad-daliad am gymmwynas, ac i beidio cynnyg un am a wnawd iddo. Efe yw cyssur gresynoldeb, tywysydd anhawsderau, gorfoledd bywyd, trysor y ddaear, a dim amgen nag angel da wedi ei ddilladu â chnawd.

## Y DYN GONEST DIDDICHELL.

NID yw efe yn edrych ar yr hyn a allai wneuthur, ond ar yr hyn a ddylai wneuthur. Cyfiawnder yw ei arweinydd cyntaf, ac ail gyfraith ei arferiadau yw buddioldeb; gwell ganddo achwyn nâ thramgwyddo; ac y mae yn casâu pechod yn fwy ar gyfrif ei anurddas, nâ'r perygl a'i canlyn. Y mae ei uniondeb diaddurn yn gweithio ynddo'r fath hyder mewn ereill, yr hyn yn fynych a'i colleda ei hun, ac a rydd fantais i'r cyfrwys, pryd y tosturia efe wrth eu hanffyddlondeb yn hytrach nag edifarhau am ei hygoeledd. Nid oes ganddo ond un galon, a hòno yn agored i bawb; ac oni byddai callineb, nid yw efe fyth yn meddwl am ddim, ag y ciliai oddiwrth dyst wrth ei feddwl; ei air yw ei femrwn, a'i ïe yw ei lŵ, yr hwn ni thŷr efe rhag ofn nag yn achos colled. Dichyn anhapon dygwyddiadau canlynol beri iddo feio ei rag-barotoadau, ond ni ddichon dim beri iddo fwyta ei addewid; ac ni ddywed efe, "Hyn ni welais," ond "Hyn a ddywedais." Pan wneir ef yn gyflawnydd ewyllys ei gyfaill, efe a dâl y dyledion a'r ewyllys-roddion, gan fod yn chwith ganddo yspeilio'r amddifaid, neu anrheithio beddau, ac am hyny, ffyddlon fydd efe i gyfaill marw, o herwydd nad yw yn ei weled. Yn ei holl fasnach y mae efe yn talu i bawb ei eiddo; efe a ddatguddia fai yr hyn a fyddo yn werthu, ac a ddychwel yr elw a ddygwyddodd iddo gael trwy gamgyfrifon. Efe a ystyria lwgr-wobr yn wenwynllyd, er ei fod wedi ei oreuro drosto â'r lliw o anrheg. Nid yw ei fochau fyth yn cael eu llychwino gan wrid gwrthbroffes, ac nid yw ei dafod yn bloesgi wrth gadarnhau celwydd trwy egluriadau, neu esboniadau dau ystyr; a phan ddrwg-liwir ei enw, ei ddiniweidrwydd a'i dwg allan gyda gwroldeb; ac, wele, efe a â rhagddo yn ffordd eglur y gwirionedd, ac a fuddugoliaetha ynddo, neu a ddyoddef gydag ef. Ei gydwybod a oruchlywodraetha ei ragddarpariadau, ac felly yn mhob peth, pa un ai drwg ai da, efe a ystyria natur y weithred, ac nid ei chanlyniad. Os dichon efe weled pa beth a raid iddo wneuthur, boed i Dduw weled pa beth a ganlyn. Nid yw efe fyth yn llwytho ei hun â baich a fyddo fwy nâ'i nerth, a'r tuhwnt i'w ewyllys, a phan welo ei rwymau unwaith, yr hyn a ddichon wneuthur efe a'i gwna. Ei glust yw cyssegr enw ei gyfaill angwyddfol, a chyfrinach ei gyfaill yr hwn sydd yn ei ŵydd, ni ddichon yr un o honynt gael cam yn ei gadwriaeth ef. Efe a gofia feiau ei ieuenctyd, ac a'u tâl yn ol â'r llog yr hwn ni chymmerai efe ei hun. Gwell ganddo fod mewn diffyg nâ benthyca, a chardota nâ pheidio talu. Ei ammodau teg ydynt heb gyfrwystra, ac efe a gâr weithredoedd yn hytrach nâ geiriau. Yn olaf, y mae efe yn casâu twyll yn fwy nag angeu: nawdd-ddyn ffyddlon i'r gwirionedd yw efe; nid yw elyn i neb, ac y mae yn amheus pa un ai iddo ei hun neu i arall, y mae efe yn gyfaill penaf; a phe na byddai nefoedd, etto efe a fyddai rinweddol.

# Y DYN FFYDDLON.

NID oes gan ei lygaid wrthddrychau ereill namyn rhai angwyddfol ac anweledig, y rhai a welant mor eglur, fel y mae synwyr iddynt hwy yn ddall; yr hyn sydd mewn gwydd nid ydynt yn gweled, os na ddylaswn ddywedyd yn hytrach, fod yr hyn a aeth heibio neu a ddêl, mewn gwydd gydâ hwy. Yn hyn y rhagora efe ar bawb ereill, o herwydd iddo ef nid oes dim yn analluedig, dim yn anhawdd, i'w ddyoddef neu i'w gyflawni. Efe a rodia bob dydd gyda'i Greawdwr, ac a lefara wrtho yn gyfrinachol, gan fyw bob amser yn y nefoedd, ac edrych ar bob peth daearol islaw iddo ef. Pan elo i gyfrinachu â Duw, nid yw yn gwisgo ei ddillad ei hun, eithr efe a'u cymmer allan o wisgfa gyfoethog ei Waredwr, ac yna dichon anturio gwasgu yn mlaen yn hyderus, a cheisio bendith. Ni ddirmygir ei gymdeithas na'i wasanaeth gan yr ysbrydion nefol. Y mae yn ymdrin ag achosion bydol fel dyeithr, a'i galon sydd gartref yn oestadol. Heb warant ysgrifenedig, ni feiddia efe wneuthur dim, a chyda hi, efe a faidd wneuthur pob peth. Ei ryfel sydd yn barhaus, heb gyd-ymbaid *(truce)* ac yn ddiorphwys, a'i fuddugoliaeth sydd sicr; efe a gyferfydd â'r galluoedd uffernol ac a'u sathra hwynt dan draed; y darian a ddygir bob amser o'i flaen, nis gellir ei cholli na'i thrywanu; os clwyfir ei law, etto ei galon sydd ddiogel; efe a lithra yn aml, ond yn anfynych y maeddir ef; ac os maeddir ef weithiau, ni's gorchfygir ef fyth. Y mae ganddo ddwylaw gwynion, ac enaid glân, addas i Dduw letya ynddi, ei holl ystafelloedd ydynt wedi eu neillduo i'w santeiddrwydd ef. Galwodd anwiredd yn fynych wrth y drws, gan ymbil am dderbyniad, ond yn aflwyddiannus: neu os myn pechod o drais fod yn lletywr yn ei dŷ, bod yn arglwydd nis gall. Ei feiau ydynt anaml, a'r rhai hyn ni fyn Duw (a llefaru yn ol dyn) i edrych arnynt. Ei gyfathrach sydd mor uchel, fel yr anturia alw Duw yn Dad, y Gwaredwr yn Frawd, a'r nef yn etifeddiaeth iddo; gan dybied mai nid rhyfyg yw ymddiried mewn gweinyddiad angylion. Ei ddeall a oleuir gan belydr dwyfol wirionedd, hysbysodd Duw ei feddwl iddo, a'r hyn a ŵyr efe a feiddia i'w gyfaddef; nid oes mwy o gariad yn ei galon nag sydd o rydd-did gan ei dafod. Os saif poenydiau neu angeu ar y ffordd rhyngddo ef a Christ, efe a'u dibrisia hwynt; os ei rieni ei hun a orweddant yn ei ffordd at Dduw, ei ddiofalwch santaidd a'u gwna yn draedfeinciau. Ei brofiadau a dynasant allan reolau o ymddiried y rhai a feiddia efe osod yn wyneb holl ofnau petrusgar, pan dybio efe yn ddiogel i grybwyll i'r Hollalluog yr hyn a wnaeth, a'r hyn a addawodd. Engraffau ydynt ei brofiad diymwad: beth a ddyoddefodd ereill ar nas dichon Duw ei alluogi yntau i ddyoddef? Os bygwthir ei alltudio, yna efe a genfydd y dysgybl anwyl yn Patmos: ei dori yn ddarnau, efe a genfydd Esaias dan y llif: ei foddi, efe a genfydd Jonas yn

nofio yn y llynclyn byw: ei losgi, efe a wêl y tri llanc yn rhodfa boeth y ffwrn danllyd: ei ddifa gan anifeiliaid, efe a edrych ar Daniel yn y ffau seliedig, yn mhlith ei gymdeithion dychrynllyd: ei labyddio, efe a wel y merthyr cyntaf dan ei grug o feini bedd: tòri ymaith ei ben, wele, accw ben y Bedyddiwr yn gwaedu ar ddysgl Herodias; efe a elfydda eu poen, eu nerth, a'u gogoniant. Ni flina efe ei hun â gofalon, canys efe a ŵyr nad yw yn byw ar ei draul ei hun; nid yn segur, gan esgeuluso'r moddion, ond heb eu defnyddio gydag anhyder. Yn nghanol pob son neweidiol a phethau rhyfedd, nid yw ei wynebpryd ef yn cyfnewid; canys efe a ŵyr mewn pwy yr ymddiriedodd, ac i ba le y dichon angeu ei dywys. Nid yw efe mor sicr y bydd farw, ag yr adferir ef; gan faeddu ei angeu trwy ddal ei adgyfodiad yn ei wyneb. Yn olaf, y mae efe yn ddyfal mewn ufudd-dod, yn oludog ar weithredoedd, ac yn siriol a diysgog mewn dysgwyliad; yn well o blegid cyfyngderau, er ei fod yn marn y cyffredin yn resynol; eithr mewn barn gywir yn fwy nâ dyn.

---

## Y DYN GOSTYNGEDIG.

Y MAE efe yn elyn cyfeillgar iddo ei hun; canys er nad yw efe allan o'i serch ei hun, etto, nid oes neb yn gosod cyn leied o bris ar ei werth ag efe ei hun; nid o achos anwybodaeth neu ddiofalwch, ond o herwydd iselder gwirfoddol ac addfwyn. Efe a gymmeradwya bob peth mewn dyn arall, tra fyddo yn tybied fod yr un peth, neu well, ynddo ei hun yn cael ei ddirmygu yn deilwng: ei lygaid ydynt lawnion o'i ddiffygiadau ei hun, ac o berffeithiadau ereill. Mwy dewisol ganddo roddi nâ derbyn anrhydedd, nid o herwydd defod foesgar, ond symledd ei farn; ac nid yw efe yn blino o herwydd y rhai ag y cymhellodd efe uchafiaeth arnynt, megys un a fuasai yn gobeithio y buasai eu lledneisrwydd yn eu rhwystro i'w dderbyn; eithr y mae mewn modd didwyll yn cadw ei feddwl yn is nâ'i le priodol, ac yn barod i fyned yn iselach etto, os bydd rhaid, heb anfoddlonrwydd. Pryd na chaffo efe ond yr hyn sydd ddyledus iddo, efe a fawrha'r haelioni, gan ymwadu â phob haeddiant. Hawddach yw ei gywilyddio ag anrhydedd nâ'i flino â dirmyg; o herwydd ei fod yn tybied y cyntaf yn ddiachos, a'r olaf yn haeddiannol. Ei wyneb, ei ymddygiad, a'i arferion, a aroglant iselder difursendod; ac etto, y mae efe lawer yn is nâ'i ymddangosiad. Ei eiriau ydynt anaml ac addfwyn; nid ydynt fyth yn bendant nac yn enllibus, o herwydd ei fod yn tybied pob dyn yn ddoethach, ond nid neb yn fwy dirmygus, nag ef ei hun; a phan nesäo efe at orsedd Duw, ei feddwl sydd mor llawned o'r mawredd Dwyfol, fel y mae efe yn dra gwael, neu megys dim yn ei olwg ei hun. Lleoedd o ymddiried cyhoedd ydynt awyddus am dano ef, i'w lusgo allan o'i neillduaeth hoff a dewisol; eithr efe a'u ceidw ymaith, nid mewn modd

cyfrwys i beri taerineb, ond yn ddidwyll o herwydd teimlad o annigonolrwydd ynddo ei hun. Nid mynych yr â ef i leoedd o gynnulliad cyhoedd, eithr tybia ei hun yn ei elfen pan amgylchir ef gan furiau ei dŷ ei hun. Y mae yn dra eiddigeddus drosto ei hun, ac yn drwgdybied yr hyn a gymmeradwyir gan ereill ynddo ei hun. Nid oes gwell gwrthddrych haelioni nag efe, canys yr hyn oll a dderbynio a briodolir i haeledd y rhoddwr, ac nid dim i haeddiant. Nid yw efe yn dynwared neb dynion ond mewn daioni, a hyny gyda mwy o ddymuniad nâ gobaith i'w gyrhaedd. Nid oes un dyn mor foddlon wrth ychydig, ac mor amyneddus mewn cyfyngderau; o herwydd ei fod yn gwybod fod y gofidiau mwyaf yn llai nâ haeddiant ei feiau, a'r gymmwynas leiaf yn fwy nâ'i haeddiant. Efe a rodia bob amser mewn ofn, ac ni feiddia lai nâ darostwng pob gair ac ymddygiad i gerydd llym a thrwm. Dyffryn isel yw efe wedi ei blànu yn hyfryd a'i ddwfrhau yn dda, a daear y dyn balch ar yr hwn y sathra, er ei fod yn ddirgel yn llawn o fwyngloddiau gwerthfawr, yn llawer mwy trudfawr nâ'r hwn sydd yn sathru arnynt; maen gwerthfawr wedi ei osod mewn plwm; ac yn olaf, teml gywir i Dduw, wedi ei hadeiladu â nen isel.

## Y GWIR BENDEFIG.

Nid yw efe yn sefyll gymmaint ar yr hyn a fenthyciodd oddiar ei hynafiaid, eithr tybia fod yn rhaid iddo weithio allan ei anrhydedd ei hun; ac, os na ddichyn efe gyrhaedd at rinwedd y rhai a roddasant iddo ogoniant allanol trwy dreftadaeth, y mae arno fwy o gywilydd o herwydd ei analluogrwydd yn hyn, nag o orfoledd ar gyfrif ei enw mawr. Nid yw mawredd yn ei wneuthur yn uchelfrydig a thrahaus, ond yn hytrach, fel y ser sefydlog, pa uchelaf y byddo, lleiaf i gyd y mae yn chwennych ymddangos; ac nid yw efe yn prisio llawer am rodres a gwag rwysgfawredd. Nis gellir ysgaru rhyngddo ef a charedigrwydd a hynawsedd, mwy nag y gellir gŷru rhwng ei enaid a bywyd; nid er mwyn poblogrwydd gwael a gwasaidd, ond oddiar diriondeb naturiol ei duedd, ac iawn brisiad arno ei hun. Ei law sydd agored ac haelionus; ond nid i raddau mor bell â phe byddai yn golygu ei ogoniant yn hytrach nâ'i dreftadaeth; ac yn hyn dichon ei ddoethineb wahaniaethu rhwng gwenieithwyr a chyfeillion, rhwng cyfnewid cymmwynasau a'u treulio hwynt. Y mae'n chwith ganddo wneuthur ei uwchder yn llythyr-fraint i benrhydd-did, eithr efe a gyfrif ei ditlau yn ofer os bydd efe yn ol i ereill mewn daioni; a thybia y dylai efe fod yn fanylach yn gyfatebol i'w urddas, o herwydd ei fod yn fwy canfyddadwy, ac yn gymmaint â hyny ei feiau yn fwy patrynol. Nid oes un rinwedd a gyfrifir ganddo ef yn anaddas i fod yn addurn, neu at wasanaeth; nac un drwg nag yw yn ei farnu yn beth gwael a salw, ac yn gydymaith addas i ddiffeithwyr. Y mae efe yn myfyrio

fel un yn gwybod na ddichon anwybodaeth bwrcasu anrhydedd, na'i drefnu yn addas wedi ei gael, a bod yn rhaid i wybodaeth ei dywys a'i addurno ef. Ei ymarferiadau oddiar yn blentyn ydynt gywrain, gwrol, a gweddus, a'r cyfryw ag a dueddant at gyrhaedd doethineb, gwroldeb, a diwydrwydd; ac os ymostwng efe weithiau at gampiau damweiniol, efe a ofala fel na byddo i'w chwareu beri iddo wyneb-lasu gan ofn, na chalon-boethi trwy ddymuno elw. Nid yw efe yn ymddwyn tuag at ei ganlynwyr megys pe byddai yn meddwl na chawsant eu gwneuthur at ddim ond i'w wasanaethu ef, a bod eu dedwyddwch gynnwysedig yn unig mewn cael eu rheoli, ac ymdrechiadau o'r eiddynt i'w foddhau ef; gan eu treulio allan mewn gwasanaeth, ac wedi hyny yn ffurfio esgusodion dros eu troi ymaith yn waglaw; ond ar bob cyfle y mae yn gadael iddynt deimlo melusderau eu buddioldeb eu hunain a'i haelioni yntef. Dystawrwydd mewn gwasanaeth swyddgar yw yr araethyddiaeth oreu wrth ddadleu am barch gydag ef; nid yw pob diwydrwydd yn ei achos ef ond benthyg, nid oes dim o hono yn cael ei golli. Ei gyfoeth sydd yn ymddibynu ar dderbyn, a'i anrhydedd ar roddi; nid yw efe yn prisio pa gynnifer fyddo ddyledus iddo am ei ddaioni, na pha cyn leied fyddo'r sawl a fyddo ef yn eu dyled hwy ar y pen hwn; ac os taflodd efe gymmwynasau ymaith ar un amser, cas ganddo edliw hyny, hyd yn oed i'w elynion, neu arddelwi ad-daliad. Ni ddichon neb fod yn fwy tosturiol wrth yr anghenus, nac yn fwy parod i gynnorthwyo, a hyny yn benaf bob amser lle byddo leiaf o foddion i erfyn am nawdd, neu analluedigrwydd i ad-dalu. Y mae efe yn dra gwasanaethgar mewn rhyfel a heddwch, ac nid yw yn fwy hyddysg mewn rheoli ereill nag yw yn barod i fod yn wasanaethwr i'w wlad yn y ddau amgylchiad uchod. Y mae efe fwy gofalus i roddi gwir anrhydedd i'w Wneuthurwr, nag i dderbyn anrhydedd gwladol oddiwrth ddynion. Efe a ŵyr fod y gwasanaeth hwn yn rhydd ac ardderchog, gan gael ei lwytho bob amser â gogoniant didwyll, ac mai gwaith tra ofer yw ceisio yn awyddus ganmoliaeth dynion, cyn bod yn sicr o gymmeradwyaeth yr hwn sydd yn ffurfio pob calon ddedwydd o'r newydd, ac yn dirmygu tywysogion. Yn fyr, y mae efe yn iselhau ei hunan fel un a fyddai yn ystyried fod *corff* pendefigaeth gynnwysedig mewn gwaedoliaeth, ond ei *enaid* mewn ardderchawgrwydd rhinwedd.

---

## SAIN LLYTHYRENAU.

Y NODIADAU canlynol a achlysurwyd gan ofyniadau a ymddangosasant yn Seren Gomer yn nghylch iawn seiniad amryw lythyrenau Cymreig:— Da genyf weled holiadau Ll. ap Ioan, o Drefaldwyn, yn y Seren, yn nghylch sain cywir y llythyrenau *c* ac *ch*, mewn enwau dynion a lleoedd yn y Beibl Cymreig, gan fod tuedd bob amser yn mhob gofyniad o'r fath

hyn i hyfforddi ac i oleuo rhyw rai ymofyngar am ddysgeidiaeth Gymreig, gan ei fod yn teilyngu atebiad, ac er fod y wlad yn nechreuad y flwyddyn ddiweddaf wedi cael ei syfrdanu gan ddoniau tragywyddol yr ysgrifenwyr ar destunau y llythyrenau dwyol *diben* a *dyben*, a'r cyffelyb, etto buddiol fyddai trin ychydig ar ryw bwnc dyrus neu anhysbys i'r cyffredin perthynol i'r Gymraeg yn mhob Seren; ac o'm rhan i, nid niweidiol fyddai i'r prif feirniaid newid llythyr neu ddau yn nghylch y llythyrenau dwyol, ar yr amser hwn, gan eu bod wedi cael digon o amser bellach i ysgrifenu llythyrau bŷrion, a chynnwys sylwedd yr hyn a draethasant eisioes mewn dosbarth neu ddau, y man pellaf, o'ch tu-dalenau; ac i'r dyben i reoleiddio pob dadl o'r fath, meddyliaf na ddylai ond dau neu dri o'r un tu i'r ddadl ysgrifenu ar bynciau dadleugar yn y Seren, ac na ddylai y rhai hyny ysgrifenu ychwaneg nâ dau lythyr yr un, oddieithr danfon o honynt y drydedd waith eglurhâd byr a beirniadol ar yr hyn a gamddeallwyd neu a gamddefnyddiwyd gan eu gwrthwynebwyr; ac yna byddai y gwr a ddechreuodd y ddadl yn rhwym i adael arall i'w therfynu os chwennychai; ac ni byddai perygl iddi gael ei thragywyddoli; ac hefyd ni fyddai lle gan yr hwn a ysgrifenai olaf i floeddio buddugoliaeth mewn modd cyffrous ar ei wrthwynebwr, o herwydd os na fyddai i hwnw gael cyhoeddi ei feddyliau drachefn, ni ddylid ei ystyried yn analluog i ateb, gan nad pa un a fyddai wedi ei argyhoeddi o'i gamsyniad ai peidio; ac yn neillduol gallai hyn fod yn achos dedwydd i ddiddyfnu dadleuwyr oddiwrth y duedd niweidiol, y chwennychiad diles, a'r ymroddiad llwyrfrydig, i gael y gair diweddaf. Ni byddai hyn o golled i un dyn synwyrol, canys wedi gweled dau neu dri o lythyrau beirniadol, wedi eu hysgrifenu yn bwyllog a manwl, ymddangosai yn eglur i'r darllenydd deallus pwy fyddai yn trin y pwnc yn deg, a phwy fyddai yn chwennych dianc rhag grym rhesymau ei wrthwynebwr trwy gywreinrwydd dichellgar; ac am fy mod wedi clywed amryw feirniaid a chyfeillion diysgog i Seren Gomer, yn amlygu eu dymuniad i weled ychydig ddadl yn barhaus ar ryw beth neu gilydd perthynol i'r iaith Gymreig, heb lysu'r llythyrenau dwyol na dim a dueddo i helaethu gwybodaeth ar y pen hwn, ac am y gwn mai eich dymuniad chwi yw cydymffurfio â dymuniad eich gwladwyr yn mhob peth a ystyrir genych yn ddiniwed, dymunol fyddai i'ch holl ohebwyr amlygu eu parodrwydd i sefyll wrth y rheol uchod, neu ffurfio ac hysbysu un arall a fyddai yn fwy cymmeradwy a buddiol; a rhoddi caniatâd i chwi ddileu pob ymadrodd cyffrous o'u hysgrifau, a'r na fyddont yn cynnwys adeiladaeth na digrifwch i neb, ond yn cael eu defnyddio o fwriad i ddifrio, megys dywedyd fod un "mewn cyngrair â thad y celwydd," a'r cyffelyb; yr hyn sydd debyg iawn i ymddyddanion cenedl y cecrod, y rhai pan fethont ddyfeisio neb geiriau cyffrous ereill, a ddywedant, "Dy gelwydd di—dy gelwydd dithau." Bydd darllen y cyfryw eiriau yn Seren Gomer yn yr oes a ddel, yn gwarthruddo'r genedlaeth hon.

Bellach sylwaf ar ofyniad Ll. o Drefaldwyn, gan hysbysu iddo y dylid

seinio pob gair yn y Beibl Cymreig, enwau dynion a lleoedd, yn gystal â geiriau ereill yn ol sain y llythyrenau yn yr egwyddor Gymreig; yn yr hon nid oes ond un sain i'r un lythyren, a phob llythyren yn cadw ei sain briodol yn mhob sefyllfa; ac y mae cyfieithwyr y Beibl i'n hiaith ni wedi gofalu ysgrifenu enwau anghyfiaith bob amser yn y fath fodd ag y byddo i bob llythyren yn yr egwyddor gael cyflawni ei swydd ei hun, ac nid eiddo arall, megys y dengys yr engraffau canlynol yn eglur.:—

Mat. 3, 7. "Saduceaid," Gr. *Σαδδυκαιων*, *Sad-doukaiôn.*

Mat. 27, 32, "Dyn o Cyrene a'i enw Simon;" *ανθρωπον Κυρηναιον, ονοματι Σιμωνα, anthrôpon Kurênaion, onomati Simôna.*

Act. 2, 9. Cappadocia; Καππαδοκιαν, *Kappadokian.*

Act. 11, 19. Phenice, Cyprus, Antiochia; Φοινικης, Κυπρυ, Αντιοχειας, *Phoinikês, Kuprou, Antiocheias.*

Heb. 6, 20. Melchisedec; Μελχισεδεκ, *Melchisedec* (ac nid Melkisedec na Meltsisedec.)

Dat. 3, 14. Laodiceaid; *Λαοδικέων*, *Laodikeôn.*

Gwelir uchod fod *c* yn y Gymraeg yn cyfateb i *cappa* yn y Groeg, a *ch* i *chi* yn yr iaith wreiddiol, (ac felly yn yr un modd am yr enwau a gymmerir o'r Hebraeg,) gan hyny pa Gymro bynag a roddo sain *s* i *c*, neu swydd *c (k)* i *ch*, mewn geiriau ysgrythyrol, er mwyn boddio Meistres Saesneg, sydd nid yn unig yn dinystrio seiniau ei iaith ei hun, ond yn gwneuthur cam diesgus a gwarthus â sain yr ieithoedd gwreiddiol eu hunain, megys y llefarwyd hwy gan ysgrifenwyr santaidd y Beibl; pe buasem yn clywed ein Hiachawdwr a'i apostolion yn llefaru'r geiriau *Phenice* ac *Antiochia*, cawsem eu clywed yn dywedyd, nid *Phenise* ac *Antiokia*, ond *Phenike* ac *Antiochia*, gan roddi yr un sain i *c* ag yn *cerydd*, ac *ch* fel yn *chwi*, ac yn mhob gair arall yn y Gymraeg yn gyfatebol i'w sain yn yr egwyddor; am hyny chwithig iawn clywed Cymro yn seinio y geiriau uchod megys ped ysgrifenid hwy, "Saduseaid, Syrene, Cappadosia, Meltsisedec," a'r cyffelyb, y rhai a ddylid seinio megys ped ysgrifenid, "Sadukeaid, Kyrene," &c.

Gwnawd cynnyg ar ddiwygiad tra niweidiol i rai o'r seiniau hyn yn y Bibl Cymreig bychan a argraffwyd yn Nhrefecca yn y flwyddyn 1790; trwy droi *ch* i *c* mewn amryw enwau, ac ysgrifenu *Antiocia* yn lle *Antiochia*, megys y mae mewn Beiblau Cymreig ereill, ac yn cyfateb i'r sain yn yr iaith wreiddiol.

Myfi a wn fod rhai yn barod i haeru nad oes gwahaniaeth pa un ai sain *k* neu eiddo *s* a roddir i *c* mewn enwau lleoedd, ac mai peth tra diniwed fyddai seinio *ch* megys pe byddai yn *k* yn y cyfryw enwau; ond am y dywediad hwn dywedaf, fod hyn yn llwyr analluedig heb ddyrysu a dinystrio ardderchogrwydd yr egwyddor Gymreig; ac os addas yw seinio *Saduceaid*, megys pe byddai yn *Saduseaid*, paham nad ysgrifenid y gair felly, er mwyn dinystrio sain yr ieithoedd gwreiddiol yn fwy rheolaidd? ac os gellir hebgor sain *ch* yn *Antiochia*, *Melchisedec*, a'r cyffelyb, ac ymfoddloni wrth yr hyn a allo sain *k* ei wneuthur, nid wyf fi yn gweled un

rheswm paham na fedrem alltudio *ch* o'r iaith a'r egwyddor Gymreig yn gyfangwbl; pa fodd bynag, hysbys yw i bawb fod sain *ch* yn un o seiniau hanfodol y Gymraeg, yr Hebraeg a'r Groeg, a digon o gyfarwyddyd i Gymro uniaith yw dywedyd wrtho seinio pob gair yn ei Feibl Cymreig yn gyfatebol i swydd y llythyrenau a'i cyfansoddo yn yr egwyddor, a phan glywo efe neb yn rhoddi iddynt sain amgen, dichon ddywedyd wrthynt yn hŷ, gan nad pwy fyddont, hyd yn oed y dysgawdwyr mwyaf poblogaidd, eu bod yn gwneuthur cam diraid â'r sain; ïe, cymmaint cam â phe dodai *r* yn lle *n* ac *f* yn lle *t*, &c, yn y gair Antiochia, a'i ysgrifenu *Arfiochia*; oddi eithr haeru o ryw un nad yw *ch* ac arwyddnodau o'r un sain yn yr ieithoedd gwreiddiol yn meddu lle llythyrenau yn y gwahanol egwyddorau hyny; ïe, gydâ'r un cymhwysdra y gallid seinio *Cyprus* yn *Llytnum*, neu *Myrtur*, neu'r peth a fŷnoch, ag yw ei seinio yn Syprus, canys os gellir dinystrio un o seiniau'r Gymraeg, yn ddiachos, gellir alltuddio, cyfnewid, a darnio, dau, tri, pedwar, neu'r cwbl am yr un rheswm.

Gallwn sylwi yn mhellach, mai'r cyfryw oedd gofal y cyfieithwyr dysgedig o'r Beibl i'r Gymraeg dros gadw sain yr ieithoedd gwreiddiol yn yr enwau anghyfiaith, fel y gadawsant lythyrenau allan mewn rhai geiriau, pan na fyddai eu sain yn cyfatteb i'w gilydd, er engraff; gwelir dwy *d* yn y gair *Saduceaid* uchod yn yr iaith Roeg, ac felly yn y Saesneg, o herwydd fod dwy *d* o'r un sain ag un yn yr ieithoedd hyny, ond am fod dyblu y llythyren hon yn y Gymraeg yn cyfnewid y sain, gwelir nad oes ond un yn ein Beibl ni, yn y cyfryw amgylchiadau. Yr un modd y gellir dywedyd am *l* ac *ll*; cyn belled ag wyf yn deall, nid yw sain Gymreig *ll* yn perthyn i un iaith ond i'r Frythonaeg yn unig, gan hyny yn y geiriau *Aleluia*, *Apolyon*, *Apolos*, &c. y mae dwy *l* yn y Roeg, a'r Saesneg, ond o herwydd y rheswm crybwylledig, nid oes ond un yn y Gymraeg. Dengys hyn y gwrthuni o fod Cymro o'r enw *Wiliam*, yn gosod *ll* ac nid *l* yn ei enw, mewn dynwarediad o'r Saeson, iaith y rhai a oddef hyny heb newid y sain; os rhaid i hil Gomer gael ei enw Wiliam yn lle Gwilym, dylent ddefnyddio un *l* ynddo, neu oddef i bob Cymro diledryw seinio'r gair megys yr ysgrifenir ef; a gwybydded y cyfryw mai'r un sain sydd i *ll* yn *Will*, ag sydd iddi yn *Hyll*. Nid llawer cywreiniach yw'r sawl a ddywedant mai ei enw yw *Dafis*, ond mewn llyfr Cymreig a'i ysgrifena *Davies*, hyny yw *Da-fi-es*, neu *Da-vi-es*. Beius iawn hefyd yw i Gymro o'r enw *Risiart* (neu Ritshard) i'w ysgrifenu yn *Richard*, heb gofio fod yr un swydd gan *ch* yn yr enw hwnw ag sydd ganddi yn *twrch* neu *hwch*. Ac felly am amryw enwau ereill.

Sylwais hefyd fod rhai yn ysgrifenu *Beibl* yn gyffelyb i'r Saeson *Bibl*; nid oes genyf ond dywedyd wrth fy ngwladwyr yn nghylch hyn, ni ddylai'r pethau hyn fod, fy mrodyr; rheol gyffredin Cymro i ddarllen yw cadw pob llythyren yn ei swydd, a rhoddi iddo yn mhob amgylchiad ei chyflawn sain, megys y mae yn yr egwyddor; a dylai pob ysgrifenydd ystyried y rheol hon fel na ddyryser y darllenydd. Gwn fod rhai geiriau heblaw

enwau priodol yn cael eu darllen mewn modd gwahanol i'r hwn yr ysgrifenir hwy. Seinir *hyny* (er engraff) megys pe ysgrifenid y gair *hynu* a rhai geiriau ereill yn gyffelyb: eithr os yw dysgedigion Cymru oll yn cytuno mai *hynu* yw'r sain cywir, nid oes achos petruso yn ei gylch, ond dylid yn ddifeth ei ysgrifenu felly; dilys genyf y byddai ei ymddangosiad yr un mor hardd a *tŷnu*, *prynu*, &c. ac am fod cymmaint galwad am *y* yn y Gymraeg eisioes, dymunol er mwyn amrywiaeth, pe na byddai ond hyny, fyddai peidio gosod gormod gwaith iddi yn ddiraid.

Y mae rhai seiniau mewn ieithoedd ereill, a'r nad ydynt yn y Gymraeg, ac o herwydd hyny nid oes yn ein hiaith ni neb llythyrenau, neu sain-arwyddion, i'w dynodi, megys *J* a *Z*, y rhai ydynt o dynerach sain nâ'r *S* Gymreig; yn mherthynas i'r rhai hyn, ni chaf ond dywedyd, nad oes eu heisieu mewn un gair Cymreig, a dichon *I* neu *S* wasanaethu yn lled dda yn eu lle, mewn geiriau a gymmerir o ieithoedd ereill, eithr os ewyllysir cadw eu sain yn berffaith, rhaid yw defnyddio y llythrenau hyn eu hunain. Mewn rhai Beiblau Cymreig, arferir *J* yn y fath eiriau â *Jehofa*, *Judea*, &c. ond yn yr argraffiad ystyrdeb o'r ysgrythyrau Cymreig a rhai argraffiadau ereill, cedwir yn fanwl at yr ieithoedd gwreiddiol, trwy ysgrifenu *Iehofa*, *Iudea*, &c. ac er mwyn peidio dinystrio sain yr ieithoedd yn y rhai yr ysgrifenwyd y Beibl gyntaf, defnyddir *Z* yn *Ezeciel*, *Zecaria*, &c. er nad yw yn perthyn i'r egwyddor Gymreig; ond mewn Beiblau ereill, arferir *S* yn lle *Z*, yr hón sydd gyffelyb yn ei sain, ond ychydig yn drymach neu galettach. Ac yn hyn gwelir fod y dysgedigion yn amrywio. O'm rhan fy hun, nid wyf yn ystyried y gwahaniaeth rhwng *s* a *z* yn gymmaint a bod rhaid i Gymro ddefnyddio llythyren ddyeithr er ei fwyn, yn enwedigol pan ystyriwyf fod y Groegaid eu hunain, fel y sylwa Ainsworth, yn cyfnewid *z* am *s* mewn rhai amgylchiadau; a'r Lladinwyr y rhai a fenthygasant *z* oddiar y Groegiaid (megys y bernir iddynt hwythau wneuthur oddi wrth y *zain* Hebraeg) er mwyn seinio geiriau Groeg, mewn amryw eiriau a ddefnyddiant y naill yn lle'r llall, er eu bod wedi corpholi y ddwy yn eu hegwyddor. Am *J* nid yw y llythyren hon, nac un yn cyfatteb iddi yn yr Hebraeg na'r Groeg, er fod rhai yn ffugio seinio'r *Iod* Hebraeg fel y cyfryw, ond dengys ei henw nad yw yn meddu'r cyfryw sain yn naturiol.

Gan ein bod fel cenedl wedi ymwrthod âg egwyddor ein henaflaid a derbyn yr un Rufeinig, ni byddai genyf un gwrthdadl i dderbyn *x* a *v* gydâ'r lleill, o herwydd fod y cyntaf yn gwasanaethu yn lle dwy lythyren *cs*, ac yn lleihau gwaith y cyssodydd; a'r olaf i wasanaethai yn lle *f*, ac *f* yn lle *ff*, a thrwy hyny byddai yr orgraff wedi ei dadlwytho mewn rhan o'i llythyrenau dyblig afreidiol; ac yn wir yr wyf yn methu a deall pa fodd y meddyliwyd rhoddi swydd *v* i *f*, a dyblu hóno i'r dyben i beri iddi gadw ei sain unigol yn ei hegwyddor gyssefin a naturiol.

Clywais gryn lawer o ddadlu, neu yn hytrach haeru, dros ysgrifenu enwau priodol wrth gyfieithu yn yr un modd ag y byddont yn eu hiaith

gyssefin, eithr ymddengys i mi mai prif orchwyl cyfieithydd yw cadw ei iaith ei hun, neu'r hon ag y byddo yn cyfieithu iddi, yn ddilwgr, a'r hyn a ysgrifeno ynddi yn ddealladwy, rhwydd, ac unol ag ansawdd a throellau'r iaith, er na byddo yn cyfatteb yn mhob peth i'r un gyssefin, tra na fyddo yn dinystrio synwyr hòno; ac yr wyf yn hyderu bod yr engraffau uchod yn profi hyn i raddau cryn helaeth.

Am y geiriau amheus a gasglodd Ll. o'r Beibl Cymreig, anhawdd i mi gael allan eu tadogaeth oll; cymmerodd y Saeson y gair guard, (*gard*, 2 Cron. xii. 10.), oddi wrth eu cymmydogion hoff y Ffrancod, (*garde*), a'r gair *trumpet* o'r un iaith, neu oddiwrth yr Ellmynaidd, (*trompette*); ond yn mha le y cawsant hwy afael ynddynt sydd anhysbys i mi ar hyn o bryd.

Am *poetau* a *thronau*, yn Act. xvii. 28. Col. i. 16. geiriau anghyfiaith ydynt; Gr. ποιητων a θρονοι (*poietôn* a *thronoi*). Pa ham y gadawyd hwy yn anghyfiaith a adawaf i ereill i'w atteb.

Gobeithiwyf y dichon y sylwadau uchod fod o fudd i amryw ddysgawdwyr mewn ysgolion sabbothol, i'r rhai y dymunwn lwyddiant o'm calon, a boed iddynt liosogi fwy fwy nes byddo pob Cymro yn deall i raddau cymhedrol iaith ei wlad, a gair yr iachawdwriaeth yn yr iaith hòno. Os bydd neb o'm cenedl yn amrywio mewn barn â mi ynghylch rhai o'r pethau uchod, yn lle tramgwyddo, byddaf ddiolchgar iddynt am gyhoeddi eu gwrthddadleuon, tra y gwneler mewn hynawsedd. Y mae arnaf hiraeth am glywed oddiwrth Myrddin, Ceredig, Idris, ac ereill dysgedig, cefnogwyr dysgeidiaeth Gymreig. Terfynaf, trwy amlygu fy ewyllysgarwch i fuddioli pob Cymro, yn ol fy ngallu, nes peidwyf a bod yn—LLEWELYN.

## ADDYSGIADAU HYNAFIAETH.

*(Cyfieithad)*

### CYDWYBOD.

CYDWYBOD yn gyffredin yw'r dystiolaeth sicr a difeth, yr hon a ddwg ein heneidiau oddiamgylch ganddynt, gan ddwyn tystiolaeth o'r hyn a ddywedwn, a feddyliwn, a ddymunwn, neu a gyflawnwn; i'r drygionus, y mae yn gyhuddwr, yn farnwr, ac yn ddihenyddiwr; i'r uniawn y mae yn gysur, yn wobr, ac yn gymmorth yn erbyn pob cyfyngderau.

Cydwybod euog sydd bryf yn cnoi ac heb beidio.

Pan lychwynir y gydwybod unwaith â gwaed diniwed, bydd euogrwydd poenus yn glymedig wrthi bob amser o hyny allan.

Cydwybod gyhuddol sydd bryf cythryblus fel gwlân Ceres, yn ddirgel ac yn ddwfn; yn hawdd i'w gael, ond yn anhawdd ei dreulio allan.

Lle boddir y gydwybod â rhodres a chyfoeth bydol, yno y troir doethineb yn ffolineb.

Cydwybod yw ystafell cyfiawnder—*Orig.*

Yr hwn a ymddyg oddiallan i wneuthur yr hyn ag y ceryddir ef yn dufewnol o'i herwydd gan ei gydwybod, sydd yn gwrthwynebu cyfraith Duw yn wirfoddol.

Ofer dreulir y gydwybod lle y gwnair llong-ddrylliad o'r ffydd.

Cydwybod dda yw'r unig wir rydd-did.

Llyfr yw cydwybod yn yr hwn yr ysgrifenir ein pechodau beunyddiol.

Esmwythyd parhaus yw cydwybod dda.

Er fod cydwybodau llawer yn ymddangos megys pe byddent wedi eu serio ag haiarn poeth, ac yn amddifad o bob teimlad o herwydd pechod, etto yn ngwyneb marwolaeth hwy a ddeffroant, ïe, gŷrant yr eneidiau gresynol i ddyfnder anobaith.

Ni ddygir dim genym allan o'r byd hwn ond naill ai cydwybod dda neu un ddrwg.

Gwahaniaetha yn ddoeth rhwng da a drwg, ac ymarfer yn barchus â phethau daionus, fel y byddo dy gydwybod yn rhydd, ac na thramgwydder ereill trwy dy ymddygiad—*Greg.*

Ni raid i gydwybod rydd wrth esgus, ac nid ofna gyhuddiad; (ac ni wna esgus les i'r gydwybod ddrwg.)

Megys y mae'r llysieuyn Nephentes, yr hwn a ganmolir yn fawr gan Homer, wrth ei osod mewn gwin, yn gŷru ymaith bob trymder o wledd; ac felly cydwybod dda wedi ei gosod ynom ni, a ddilea holl drymfrydedd bywyd.

Nid oes neb yn fwy euog nâ'r hwn a gymmellir yn effeithiol gan ei gydwybod i gyhuddo ei hun.

Ymesgusodi neu ymgyfiawnhau cyn byddo neb yn cyhuddo yw cael allan anaf budr mewn cydwybod gau.

Ychydig neu ddim llywodraeth sydd gan gydwybod (llawer) pan ddygo elw ei ddadl yn mlaen.

Y gydwybod wedi ei llwytho â baich pechod, yw cyhuddwr a barnwr ei pherchenog.

Pan gyflawnir rhyw drosedd trwy anwybodaeth, neu ryw gynhyrfiad ffyrnig, a'r achosion i hyny wedi eu tòri ymaith, edifeirwch ac euogrwydd cydwybod a ganlynant yn ebrwydd.

Cyfrifai'r athronyddion y dynion hyny yn anfeddyginiaethol y rhai na's gellir cyffwrdd â'u cydwybodau ag edifeirwch am y pechodau a gyflawnasant.

Anesmwythder ffyrnig cydwybod euog sydd yn dyfod oddiwrth Dduw, yr hwn a'i gwna mor fawr fel na's dichon dyn ei oddef, ond gorfod sydd arno euogfarnu ei hun.

Cydwybod euog a ddilyn ei meistr wrth ei sodlau, a hi a ŵyr y ffordd i ymddial yn drefnus mewn amser cyfaddas.

Cydwybod bur a gynnorthwya mewn adfyd, a fuddugoliaetha ar gyhuddiadau, a siriola'r meddwl yn ngwyneb gau dystion, a orfoledda mewn cyfiawnder, ac a ddug ei pherchenog yn rhydd yn y frawdle ddiweddaf.

## GWEDDI.

Rhaid rhoddi gweddi yn rhâd ac nid byth ei gwerthu.

Gweddi yw offrwm calon ddiolchus, ac arwydd o feddwl uniawn ac edifeiriol.

Dedwydd yw'r dyn, yr hwn na's dichon pleserau bydol ei ddenu oddiwrth fyfyrdodau am Dduw, a bywyd yr hwn sydd weddi barhaus.

Gweddi yw yr aden ar yr hon yr heda'r enaid i'r nefoedd, a myfyrdod yw'r llygad â'r hwn y gwelwn Dduw.—*Amb.*

Gweddi a ennyn, a fflamia, ac a dderchafa'r galon at Dduw, ac y mae arogl-darth myfyrdod yn ddymunol yn ei olwg ef.

Treiddia gweddi'r tlawd cystuddiol trwy'r cymmylau.

Rhinwedd yw gweddi ag a lwydda yn erbyn pob profedigaeth, ac yn erbyn pob ymosodiad oddiwrth ysbrydion uffernol, yn erbyn hyfrydwch y byd dihoenus hwn, ac yn erbyn ysgogiadau'r cnawd.—*Bernard.*

Gweddi a weithia ymddiried yn yr enaid; ymddiried a weithia heddwch a thawelwch cydwybod.

Ffydd mewn cyssylltiad â gweddi sydd yn ei gwneuthur yn fwy galluog, ond gostyngeiddrwydd mewn cyssylltiad â hi a'i gwna yn fuddiol ac effeithiol.

Pobl rinweddol ac o dueddiadau duwiol a weddiant beunydd ar Dduw am lanhad oddiwrth amhurdeb y galon, ac yn ei gwylio gyda phob diwydrwydd a allont, gan ymdrechu rhwystro ei llygredd i dòri allan er niwed iddynt eu hunain neu ereill.

Y Rhufeiniaid a weddient ar ryw ddyddiau arbenig am ychwanegiad golud i bobl *Rhufain*; yr hyn a newidwyd gan Scipio, pan oedd yn Uchel Swyddwr, gan ddywedyd ei fod (y golud) yn ddigonol, ac y dylasent weddio yn unig ar fod i Dduw ei gadw fel ag yr oedd.

Dy weddi yw dy ymadrodd gyda Duw; pan ddarllenych y mae Duw yn llefaru wrthyt ti; a phan weddiech yr wyt ti yn ymddyddan â Duw.—*Aug.*

Esgyned gweddi fel y disgyno gras.

Y sawl sydd yn gwybod pa fodd i weddio yn dda sydd yn gwybod pa fodd i fyw yn dda.

Ni ddichon un weddi gyssylltu ewyllys Duw wrthym ni, oddieithr i ni yn gyntaf ymwrthod â, a gorchfygu ein hewyllysiau ein hunain.

Gweddia yn dy galon ar Dduw, wrth ddechreu dy holl weithredoedd da, fel y gallot eu dwyn i orpheniad da.—*Socrates.*

Na weddia ar Dduw i roddi i ti yr hyn fyddo ddigonol, canys hyny a rydd efe i bob dyn heb ei geisio; ond gweddia ar i ti gael bod yn foddlon ar yr hyn a roddo efe i ti.

Y nefoedd a baid i fod pan beidio a rhedeg; a dynion a beidiant a llwyddo pan beidiant a gweddio.

Gweddi ac edifeirwch a ddygant heddwch i'r gydwybod aflonydd.

## DEDWYDDWCH.

Gwir ddedwyddwch sydd guddiedig oddiwrth lygaid marwolion, ac a adawir yn wrthddrych i burach ysbrydoedd.

Ni ddichon y dyn hwnw fod yn wirioneddol ddedwydd yn yr hwn nid yw rhinwedd yn cael lle.

Dyn doeth, er iddo syrthio i eithafoedd tlodi, sydd dra goludog, ac yn ddedwydd dros ben.

Dedwyddwch sydd lonyddwch allanol.—*Arist.*

Dedwyddwch o bell a ddechreu mewn gostyngeiddrwydd.

Ni ddichon dyn dedwydd gyfeiliorni.

Nid oes cywirach dedwyddwch yn y bywyd hwn nâ'r un ag sydd yn dechreu hapusrwydd tragywyddol.

Y dedwyddwch cyntaf a ga dynion duwiol wedi'r bywyd hwn yw gorphwysdra i'w heneidiau yn Nghrist; yr ail fydd anfarwoldeb a gogoniant eu cyrff.

Hyn yw perffeithrwydd a dedwyddwch, sef, bod i bob peth gyrhaedd y dyben i'r hwn y creuwyd ef, ac yn hyny i orphwys a bod yn wynfydedig.

Atgas ac anffodiog yw'r dedwyddwch hwnw ag sydd yn dysgu dynion i fyned oddiwrth y gwirionedd at haerllugrwydd.

Gan fod gormodedd o bob peth yn niweidiol, felly, gorlawnder dedwyddwch (yn y byd hwn) sydd dra pheryglus.

Nid yw hwnw wir ddedwyddwch ag sydd a diwedd iddo.

Os gwyddost yr hyn oll a ddylit wybod, yr ydwyt yn wir ddedwydd.

Y maent hwy i'w cyfrif yn ddedwydd ag y mae tynged wedi pwyso iddynt y drwg a'r da yn gyfartal.

Pob peth a berthynant mewn gwirionedd i ddedwyddwch a gynnwysir yn benaf mewn rhinweddau ardderchog doethineb.

Gwir ddedwyddwch a gynnwysir mewn bywyd da a marwolaeth hapus.—*Solon.*

Nid y cyfoethog, ond y doeth, a ochela resyndod, ac a fydd hapus a dedwydd.

Y rhai a dybiant fod cyfoeth yn achos dedwyddwch a dwyllant eu hunain ddim llai nâ phe tybient fod chwarae medrus ar y delyn yn deillaw oddiwrth yr offeryn ac nid y gelfyddyd.

Gwirioneddol ddedwydd yw'r dynion hyny, y rhai na thrallodir gan neb ofnau, na ddifaer gan dristwch, na phoenydier gan neb chwantau cnawdol, na fliner gan ddymuniadau am gyfoeth bydol, ac na chynhyrfer i lawenydd gan un math o ffolineb.

Gwir ddedwyddwch a gynnwysir mewn ansawdd da yr enaid.

## GWIRIONEDD.

Nid yw gwirionedd yn sefyll ar dafodau dynion, nac anrhydedd ar ŵg yr awdurdodau.

Nid oes dim wedi ei guddio mor ddirgel a'r nas datguddir gan amser a gwirionedd.

Gellir beio gwirionedd yn fynych, ond nis gellir byth ei warthruddo; a gellir gorchuddio rhinwedd ag enllib, eithr hi a ddengys yn y diwedd yn ddifrychau.

Symud amheuaeth yw cael allan y gwirionedd.

Gwirionedd yw cyfraith y celfyddydau.

Y mae gan wirionedd ddau o gewri, doethineb a dianwadalwch.

Cenadwr Duw yw gwirionedd, yr hwn y dylai pob dyn ei barchu o gariad at ei Feistr.

Gwirionedd yn unig, yn mysg yr holl bethau, sydd wedi ei freintio yn y fath fodd fel mai pan ymddangoso megys pe byddai amser wedi tòri ei adenydd, yr eheda efe, ac yr ymddengys yn anfarwol.

Y gwyrdd-faen gwerthfawr *(emerald)* puraf a lewyrcha'n fwyaf dysglaer pan fyddo gwrthlun neu beth gwael yn ei ymyl, ac felly ymddengys gwirionedd harddaf pan fyddo wedi ymwisgo yn y modd tlotaf.

Dyben Ieithadur yw ein dysgu i siarad yn hyfedrus ac yn hyfryd; dyben ymadrodd yw cymdeithas; a dyben rhesymyddiaeth yw dwyn meddyliau dynion i'r un dyb, a chael allan wirionedd yn mysg llawer o gyfeiliornadau, ac felly, y mae pob celfyddyd arall yn tueddu at y gwirionedd.

Y mae gan bedair o famau daionus bedair o ferched drygionus iawn; y mae gan wirionedd gasineb; llwyddiant falchder; esmwythyd berygl; a chyfeillgarwch agos ddirmyg.

Gwirionedd sydd rinwedd a esgyn i'r nefoedd, a oleua'r ddaear, a gynnal gyfiawnder, a lywodraetha'r werin, a ladd ddigofaint, a feithrin gariad, ac a ddatguddia ddirgelion.

Gwirionedd sydd wystl sicr nad adfeilia, yn darian na thrywenir, yn flodeuyn na wywa, yn etifeddiaeth na ofna ddygwyddiadau, ac yn borth diberygl.—*Cicero.*

Y mae gwirionedd yn iechyd a'r nad yw byth yn glaf, yn fywyd diddiwedd, yn eli ag sydd yn iachau pob doluriau, yn haul a'r nad yw byth yn machludo, yn lleuad heb fod fyth dan orchudd, llysieuyn a'r nad yw fyth yn gwywo, yn borth a'r nad yw byth yn glöedig, ac yn fordaith a'r nad yw byth yn creu blinder.

Rhinwedd o'r fath yw gwirionedd, fel mai hebddo y mae ein nerth yn wendid, ein cyfiawnder yn ormes, ein gostyngeiddrwydd yn fradwrus, ein diweirdeb yn ofer, ein rhydd-did yn gaethiwed, a'n duwiolder yn anfuddiol ac yn ddiwerth.

Gwirionedd yw y canolbwynt lle y mae pob peth yn gorphwys, y

rheol wrth yr hon yr ydym yn hwylio, y ddoethineb trwy yr hon y'n iacheir, y graig ar yr hon y sefwn, y lamp ag sydd yn ein tywys, a'r darian ag sydd yn ein hamddiffyn.

Gwirionedd yw sylfaen celfyddydau, clorian elusen, delw tragywyddoldeb, a ffynnon gras.

Trwy wirionedd y gwena y diniwed ger bron ei farnwr, ac y datguddir y bradwr cyn y byddo iddo gael ei ddrwgdybio.

Gwirionedd sydd achos da, ac nid oes arno eisieu cymhorth araethyddiaeth; a'r araeth leiaf a amlyga'r geirwiredd mwyaf.

## AM DDUW.

Lle y gosodo Duw ei law, nid oes neb dynion mor alluog, bwystfil mor ffyrnig, na môr cyn ddyfned ag a ddichon wrthwynebu yn llwyddiannus ei allu.

Megys na oddef tywysog i arall gael ei alw yn frenin yn ei deyrnas ef; felly ni chaniatâ Duw i neb gael eu hanrhydeddu yn y byd hwn i'r un gradd ag ef ei hun.

Heb ddeall ewyllys Duw trwy ei air, nid yw ein golwg ond tywyllwch, ein deall ond anwybodaeth, ein doethineb ond ffolineb, a'n haddoliad ond twyll a rhagrith.

Ni oddef Duw i un dyn gael gwybodaeth o bethau i ddyfod; canys pe rhagwelai efe ei lwyddiant, efe a fyddai ddiofal; a rhagddeall ei gyfyngder a'i gwnelai yn anobeithiol.—*August.*

Duw, yr hwn a wnaeth bob marwol bethau, sydd ag awdurdod ganddo i'w trefnu â'r un gallu ag y creodd efe hwynt.

Yr ydym mor ddyledus i Dduw am ein gwaredigaethau oddiwrth beryglon, ag am y cyfoeth a'r urddas i'r rhai bob amser y cyfododd efe nyni.

Lle byddo rhinwedd yn derchafu i anrhydedd, yno ni fetha Duw gadarnhau'r urddas.

Gelwir Duw yn ffynnon, o herwydd ei fod yn cael pob peth da ynddo ei hun, ac hefyd o herwydd nad yw'r hyn oll ag y mae yn gyfranu i'w greaduriaid yn lleihau dim arno ei hun; y mae efe yn gweini i bawb, heb fod mewn diffyg o ddim, na derbyn dim gan neb.

Duw, yn ei eglwys, sydd haul ysblenydd o'r mwyaf, yr hwn sydd yn codi ar y rhai a'i hofnant, ac yn machlud ar y sawl ydynt ddiofal ac halogedig.

Trysorau drygau ydynt ynom ni, ond helaethrwydd daioni yn Nuw.—*Jerome.*

Gwelir mwy o fawredd Duw mewn trugaredd nag mewn cospedigaeth.

Nid yw Duw yn ein trin yn ol a haeddai ein pechodau, ond megys y mynai ei drugaredd.

Megys y dwg eryr ei chywion ar ei hadenydd, ac megys y dwg mam ei phlentyn yn ei breichiau, felly y cynnal Duw ei eiddo.

Fel y darpara adeiladydd medrus bob peth angheenrheidiol i'w adeilad; felly y gwna Duw i'w greaduriaid.

Megys y mae yn analluedig i'r un llygad ganfod y nefoedd a'r ddaear ar yr un pryd, ac felly, mae'r un mor analluedig ag un ewyllys i garu Duw a'r byd.—*August.*

Fel y mae Duw goruwch pob creadur, felly y mae meddwl am dano ef yn weddus goruwch pob dychymmyg arall.

Uchel yw Duw; ond os tydi a ymdderchafi, efe a ffŷ rhagot; eithr os ymostyngi ato, efe a ddaw i wared atat.—*Bern.*

Adgyfodiad Crist sydd fywyd i'r meirw, gogoniant i'r saint, a thrugaredd i bechaduriaid.

Pa fwyaf fyfyriai Simonides i wybod beth oedd Duw, caletaf fyth yr ymddangosai'r gorchwyl. [Dynion ag ydynt heb fyfyrio nemawr, neu heb alluoedd i feddwl yn ddwfn, yw'r parotaf i ymffrostio yn helaethrwydd eu gwybodaeth.—*Cyfieithydd.*]

Os cynnorthwya Duw, y mae efe yn drugarog; os ni wna, ni ddylem dybied ei fod yn anghyfiawn.

Gwaith Duw sydd dri-phlyg; creaduriaeth, ffurfiad, a pherffeithiad.

Tragywyddoldeb yw Duw, ac am hyny nid yw i'w gael ond gan y rhai a'i ceisiant yn barhaus.—*August.*

## AM Y NEFOEDD.

Y nefoedd yw gorseddfa Duw, a'r ddaear yw lleithig ei draed.

Y nef yw sefyllfa gogoniant, preswylfa angylion, gorphwysfa'r ffyddloniaid, yn mhell tuhwnt i amgyffrediad, ac yn ogoneddus tuhwnt i fynegiad.

Nid yw agwedd a sefyllfaoedd llu'r nefoedd yn meddu gallu i osod allan tynged dda neu ddrwg i ni.

Y nefoedd yw preswylfa'r etholedig, gorseddfainc y Barnwr, derbynfa'r cadwedig, anneddle'r Oen, cyflawnder hyfrydwch, etifeddiaeth y cyfiawn, a gwobr y ffyddloniaid.

Y nef yw eglwys yr etholedig, tir y cyflawn, a maes y ffyddloniaid.

Tra gresynol yw'r hwn na welo'r haul yn dysgleirio; ac efe yw'r mwyaf melldigedig ag sydd yn amddifad o gymmwynas nefol Duw.—*Greg.*

Caled yw byw yn dda, hawdd yw marw yn ddrwg (yn resynol;) anhawdd ennill y nef, ond hawdd yw cadw oddiwrthi.

Nid oes neb yn gwybod pa mor fawr yw'r golled o golli'r nef, gystal â'r rhai a farnwyd i fyw yn barhaus yn uffern.

Buchedd dda a genedla farwolaeth hyfryd; a marwolaeth ddedwydd a esgor ar etifeddiaeth ogoneddus yn y nef.

## AM ANGYLION.

Angylion bob amser, ac yn mhob lle, ydynt yn gweled gwedd ein Tad nefol.

Hunan-gariad,—dinystr angylion, a gwarth dynion.

Angylion ydynt ofalus am weithredoedd dynion, ac yn ddiogelwyr eu personau.

Golygir dau beth gan angylion: y cyntaf yw gogoniant a gwasanaeth eu Lluniwr; yr ail yw iechyd ac iechydwriaeth ei blant ef.

Cysurwyr, hyfforddwyr, a diwygwyr dynion yw'r angylion.

Angylion ydynt athrawon y saint, cenadon y nef, ac ymgeleddwyr ein cyrff a'n heneidiau.

Nid yw'r angylion yn rhagori mewn chwennychiad; ni chwennychant, o herwydd nad oes diffyg arnynt, gan eu bod yn canfod eu Creawdwr.—*Ambrose.*

Gorchymynir i angylion dywys dynion; doethineb i'w haddysgu, a gras i'w cynnal.

## AM RINWEDD.

Yr hwn a fyno gael ei alw yn rhinweddol, anghenrhaid yw iddo yn gyntaf fod yn dda; gan hyny ar gyfrif enw neu gymmeriad, anrhydeddusach yw i ddyn gael ei alw yn rhinweddol, nag yn urddasol neu yn barchedig; ond y mae'r enw hwn yn cael ei chwennych gan lawer, er nad oes ond ychydig yn ei deilyngu.

Rhinwedd a bair i estron dyfu yn naturiol mewn gwlad ddyeithr; ond drwg ansawdd a wna i'r naturiol fod yn estron yn ei wlad ei hun.

Rhinwedd yw iechyd; ond drwg sydd afiechyd.

Nid yw maddeu lai o rinwedd mewn tywysogion, pan droseddir yn eu herbyn, nag yw ymddial yn fai yn y bobl gyffredin pan wneir cam â hwy.

Cyffelyb yw rhinwedd i'r haul, gwaith yr hwn yw goleuo'r byd.

Nid yw rhinwedd yn cydfyned â genedigaeth, na gwybodaeth yn gydymaith i oedran bob amser; canys y mae hen ffyliaid, a chynghorwyr ieuainc.—*Guev.*

Rhinwedd yw brenines gweithwyr, dychymmygion yw meistres ffoliaid; gwagedd yw balchder natur, a chynhen yw dinystr teuluoedd.

Rhinwedd a wna ddynion ar y ddaear yn enwog, yn eu beddau yn ogoneddus, ac yn y nefoedd yn anfarwol.—*Chilo.*

Nid wrth ymofyn am wledydd dyeithr y ceir rhinwedd, ond trwy ddiwygio hen gyfeiliornadau.

Cymharir rhinwedd gan Pythagoras i'r llythyren Y, yr hon sydd fain yn y godre, ac yn lledan yn ei phen; gan feddwl fod ennill rhinwedd yn dra phoenus, ond fod y meddiant o hono yn or-hyfryd; (y gwr a'i dilyno a ymddengys yn well well pa uchelaf yr elo.)

Dyn da, er ei fod yn ymddangos yn anghenus, etto mewn rhinwedd y mae efe yn gyfoethog.

Y cam cyntaf tuag at fod yn rhinweddol yw caru rhinwedd mewn dyn arall.

Rhinwedd tra fyddo yn dyoddef, sydd yn buddugoliaethu.

Ni ellir canfod rhinwedd yn berffaith ond wrth oleu yr hyn sydd wrthwynebol iddi, ac ni ddichon fod yn hollol berffaith heb gyfyngderau.

Yr hwn a gofio ei rinweddau, nid oes ganddo rinweddau i'w cofio; gan ei fod heb ostyngeiddrwydd, yr hon yw mam pob rhinwedd.

Nid llai rhinweddol yw cadw pethau wedi eu cael, na'u hennill ar y cyntaf.—*Ovid.*

Rhinwedd yn gyffredin sydd yn gastell anoresgynadwy, afon nad oes anghen rhwyfo arni, môr digyffro, trysor diddarfod, byddin anorfodadwy, baich hawdd ei ddwyn, ysbïwr â'i lygad yn mhob lle, yn canfod pob drwg, arwydd didwyll, ffordd wastad a difeth, cyfarwyddwr cywir a diddichell, meddyginiaeth a iachâ yn ddiatreg, ac anrhydedd tragywyddol, yr hwn ni dderfydd byth.—*Marc. Aurel.*

## CARIAD.

Cariad yw meistr hyfdra ac ymddiried.—*Niphus de pulch.*

Cariad yw eithafoedd afresymol dymuniad, yr hwn a ddaw yn ebrwydd, ac a ymâd yn bwyllog.

Yr hwn sydd yn caru a dwyllir ac a ddallir yn fynych yn yr hyn ag y mae yn ei garu.

Y cariad a ennillo gwr trwy ei rinweddau yw y mwyaf parhaus.

Tra ymadroddus yw cariad, ond nid yw yn fwy felly mewn dim nag mewn canmoliaeth.

Cyfaill a gâr bob amser, a charwr dim ond dros amser.

Caru tegwch pryd yw anghofio rheswm.

Y cariad a ddechreuo mewn perygl a duedda i'r hyfrydwch mwyaf pan fwynheir.

Y mae cariad yn serch-swyno calonau dynion â thybiau anghywir, ac yn gosod tegwch fel magl i rwydo rhinwedd.

Pleser gwywlyd yw cariad yn gymysgedig â nwydau chwerwon, a gresynoldeb wedi ei dymheru ag ychydig hyfrydwch mynydol.

Pawb rhwymau ydynt ddigon bychain i ddala cariad.

Rhinwedd yw cariad os mesurir â dewisiad addas, ac heb ei anafu â dygwyddiadau drwg gwirfoddol.

Ni therfynodd cariad anghyfreithlon erioed heb golled, ac ni ddichon halogiad y gwely priodasol fyth ddianc yn ddi-ddial.

Serch sydd bryf ag sydd yn cnoi lymdostaf yn mynwesau tyfiannol ieuenctyd.

Ni's gellir darostwng cariad gan ddoethineb, o herwydd na's gellir ei gynnwys â rheswm.

Cariad brwd a oera'n fuan, a'r gair a wystlir trwy adduned odinebus a rwymir heb gydwybod, ac a dòrir heb ofal.

Megys y mae cariad yn gyfnewidiol, felly y mae yn alluog i ddwyn allan effeithiau heb gymmeryd pall.

Nis gellir gwrthwynebu Cupid heb ddewrder, ond y mae i'w roesawi â moesgarwch.

Cariad a faedda ormeswyr, a orchfyga falais y cynfigenus, ac a gymmoda elynion angeuol i berffaith gyfeillgarwch.

Cariad sydd wres yn llawn oerfel, melus yn llawn chwerw, poen yn llawn hyfrydwch, yn gwneuthur y myddyliau yn llawn llygaid, y calonau yn llawn clustiau, wedi cael ei genedlu gan ddymuniad, ei feithrin gan hyfrydwch, ei ddiddyfnu gan eiddigedd, ei ladd gan dwyll, a'i gladdu gan anniolchgarwch.

Yr hyn a gerir gan y galon, a alerir o'i herwydd gan y galon.

Pryf yw cariad ag sydd yn byw yn gyffredin yn y llygad, ac yn marw yn y galon.

Bod yn rhydd oddiwrth gariad sydd ryfedd, ond tybied fod dirmyg yn garedig sydd anghenfilaidd.

Ni dichon cariad a Breninoliaeth oddef cydraddd.

Dichon cariad cywir fedi dirmyg, ond nid gwarth.

Yr hwn a ymbortho ar serch a ddichon gael gofid wrth dreulio ei luniaeth.

Nid aeth cariad erioed i'r drafferth o feddwl ond yn agos i derfyn ei einioes; ac ni bu gobaith am y nefoedd erioed feddiannol ar ofn uffern.

Cariad a feithrinwyd gan swyn-serch sydd gyffelyb i flodeuyn a weithir mewn sidan, mewn dull a lliw yn dra chyffelyb (i flodeuyn naturiol) ond nid mewn sylwedd ac arogledd.

Y cariad a ennillir trwy ddewiniaeth sydd mor anhyfryd ag yw'r pysgodyn a ddelir trwy gyffeiriau meddygon, yn afiach.

Y mae cariad fel Camelion, yr hwn nid yw yn tynu dim i'r genau ond awyr, ac yn meithrin dim yn y corph ond y tafod.

Cariad a ddryllia yr ymenydd, ond nid yw byth yn briwio'r siol; yn difa'r galon, heb fyth gwrdd â'r croen; ac yn gwneuthur craith ddofn yn weledig cyn y teimlir un clwyf.

Gweddus i garwyr ddewis moesau da yn hytrach nag arian; ac onestrwydd yn hytrach nâ thegwch.

Cariad anghyfreithlon a direswn, yw'r prif tyn-faen i golled a dinystr.

## HEDDWCH.

Trud ac anfuddiol yw yr heddwch a bwrcasir â gwaed dieuog.

Y sawl a wrthodant delerau heddwch a gyfiawn haeddant gleddyf rhyfel.

Heddwch a ffŷna lle byddo rheswm yn rheoli; a gorfoledd a deyrnasa lle byddo gwylder yn cyfarwyddo.

Cyd-darawiad mewn dinas sydd gyffelyb i gynghanedd mewn peroriaeth.

Cydundeb a wna un o lawer.

Megys y mae aelodau bywiol y corff mewn unoliaeth yn cynnal bywyd, ond yn rhanedig yn brysio dyfodiad angeu; felly dinasyddion trwy gyd-darawiad a gynnaliant y wladwriaeth, ond trwy ymryson a'i dinystriant.

Gwir heddwch ŷw bod mewn heddwch â rhinwedd, ac mewn rhyfel â drygioni.

Nid yw heddwch yn gofyn llai o ddoethineb i'w gadw a'i gynnal, nag o wrolder i'w ennill.

Pan welodd Archidamia, pendefiges Spartanaidd, fod ei gwlad yn cael ei gorthrymu gan gybydd-dod yr ynadon, a Pyrrhus yn buddugoliaethu yn ei gresynderau, hi a aeth i'r Senedd-dŷ â chleddyf noeth yn ei llaw, ac yn enw yr holl bendefigesau ceryddodd y pendefigion am ddyoddef eu hunain i fyw, gan fod eu gwlad wedi ei dymchwelyd, a hwythau yn debyg o golli eu rhydd-did.

Y mae heddwch o enau gormeswr yn cael ei addaw yn fynychach nag y cyflawnir ef.—*Plato.*

Pwnc o ddoethineb dduwiol yw bod mewn heddwch â dynion ac mewn rhyfel â beiau.

Llywodraethu Talaeth sydd faich trwm, ond myned dan rwymau heddwch sydd lwyth ysgafn.

Cyd-darawiad a wna i bethau bychain gynnyddu yn ddirfawr, eithr anghydfod a bair i bethau mawrion adfeilio yn ddisymmwth.

Ffoi rhag heddwch, yr hwn a ddylem ganlyn yn awyddus, yw dilyn anghydfod, a cheisio ein dinystr ein hunain.

Mawrheir yr hyn a geir trwy eiriau heddychol, yn fwy nâ'r hyn a ennillir trwy drais a gorthrech.

---

## SYLWADAU O EIDDO'R PARCH. ROBERT HALL, M. A., O LEICESTER,

*Y rhai a wnaeth efe mewn cyfrinach yn Abertawe, ar amser y Cyfarfod Cenadol a gynnaliwyd yno ar y 19eg a'r 20fed o Gorphenaf,* 1815.

Yr oedd amryw weinidogion Cymreig yn yr ystafell yn yr hwyr, wedi dychwelyd o honynt o'r addoldy; gofynodd Mr. Hall, yn mysg pethau ereill, i un o honynt, "A ydych chwi yn pregethu Saesnaeg weithiau?"—"Anfynych iawn, (oedd yr ateb,) o herwydd nid oes angen wrth hyny yn yr ardal lle'r ydwyf yn trigo."—"Da iawn, (meddai Mr. Hall,) canys yr oeddwn wedi clywed fod yr iaith Gymreig agos a darfod; attolwg a oes rhai llyfrau yn cael eu cyhoeddi yn y Gymraeg yn awr?"—Atebodd un o'r Cymry, a dywedodd fod ychwaneg nag a fu ar un amser arall erioed, ond mai tra dymunol fyddai i'r holl deyrnas fod yn siarad Saesneg neu Gymraeg i gyd.—Yna dywedodd Mr Hall gyda chryn fywiogrwydd, "Nid felly mewn un modd, syr, byddai yn golled tra phwysig i ddysg-

eidiaeth, syr; ni fynwn i, agos am y byd i'r iaith Gymraeg ddarfod; peth cywilyddus a gwarthus yw fod neb yn peidio ymdrechu cadw iaith ei genedl rhag myned ar goll; dylid ei chadw yn grefyddol; y peth nesaf at grefydd, syr, yw hyn, dylai pob dyn, wedi cael gwasanaeth cynneddfau y meddwl, adnabod ei Dduw yn gyntaf, ac yna iaith ei genedl—colled neillduol fyddai diddymiad iaith; canys pa fwyaf o ieithoedd a fyddo neb yn wybod, helaethaf oll fydd ei wybodaeth; y mae pob iaith yn cynnysgaeddu'r meddwl ag amgyffredion newyddion ar yr un pynciau—yr ydys yn ymboeni ac yn myned i draul lawer, i gyrhaedd gwybodaeth o wahanol ieithoedd, ond yn Nghymru gellir bod yn hyddysg yn yr iaith Gymraeg, yr hon fel yr ydwyf yn clywed sydd dra chynnwysfawr, ar delerau hawdd iawn; mawrhewch eich braint; dylai pob Cymro ymdrechu ei thragywyddoli."

Nis gallaswn lai nâ rhyfeddu pan glywais Sais yn llefaru yn y modd uchod ynghylch y Frythoneg gynnwysfawr, yn neillduol Sais o enwogrwydd Mr. Hall ym mysg dysgedigion Lloegr, am yr hwn y dywedai y Parch. Mr. Owen, Offeiriad, ac un o Gofiaduron y Beibl Gymdeithas Frytanaidd, mewn cyfarfod blynyddol o aelodau'r Gymdeithas uchod, ar y 5ed o Fai, 1813, yn nghlyw Tywysogion, Esgobion, Arglwyddi, a Chyffredinwyr, ei fod, o ran dysgeidiaeth, hyawdledd, a duwioldeb, yn ddyn heb ail iddo, oddi fewn neu oddi allan i'r Eglwys sefydledig.

Yr ydwyf yn gobeithio y bydd y sylwad uchod o eiddo estron i'n cenedl ni, i weithio eiddigedd yn mhob Cymro a glywo hyn dros ei iaith —eglur yw y byddai trancedigaeth y Gymraeg yn golled i ddysgeidiaeth, o herwydd ei bod yn iaith anymddibynol, yn sefyll ar ei gwaelod ei hun, ac o herwydd nad oes neb o'r ieithoedd o'r un hŷd a lled, neu yn cyfateb i'w gilydd yn mhob peth, eglur yw fod pawb yn ein gwlad ag a esgeulusant ddysgu'r Gymraeg, ac yn neillduol y *ffol-feilchion* Cymreig ag ydynt yn ymdrechu anghofio iaith eu mamau, er mwyn bod mor *afresymol o ddedwydd* â medru dywedyd, gyda rhyw fesur o addasrwydd, "*I don't understand Welsh,*" yn difuddio eu hunain yn fwriadol o wybodaeth, yn gystal â diystyru un o'r ieithoedd henaf a mwyaf rhagorol yn y byd. Y mae clywed un o hiliogaeth Gomer yn dywedyd mai da fyddai i'r Gymraeg ddarfod, er mwyn i'r holl deyrnas fod yn uniaith, mor annaturiol, mor dramgwyddus, ac mor warthus yn fy nhyb, â phe clywswn rai o bleidwyr Bonaparte, yn amser ei lwyddiant mwyaf, yn dywedyd, "Gwyn fyd na orchfygai Napoleon y Brytaniaid a goresgyn y deyrnas hon, er mwyn i ni gael heddwch." Er mai dymunol, a thra dymunol yw i ni gael heddwch, etto cyfrifid pob Brython a ddefnyddiai y fath iaith yn Jacobiad, yn debyg i dad neu fam-leiddiad, ac yn annheilwng o drigle yn y deyrnas. Dymunol, ar rai golygiadau, fyddai, pe byddai y byd i gyd yn un ymerodraeth, fel na byddai gwahanol deyrnasoedd i'w cael i ymdrechu yn llofruddiog â'u gilydd; ond byddai hyn yn achos o fwy o anfanteision nag o fanteision: a phe na byddai felly, pwy Frython a ddymunai golli ei enw

a'i anymddibyniaeth er mwyn ymerodraeth gyffredinol? Da, mewn rhai ystyriaethau, fyddai fod yr holl fyd o'r un iaith, ond mewn ystyriaethau ereill, byddai yn golled anwelladwy; y mae cymmaint eisieu, mewn ystyriaethau masnachol, i drigolion Dover a'i chymmydogaeth ddymuno fod yr holl deyrnas hon yn gadael y Saesneg ac yn ymroddi i'r Ffrangaeg; neu i drigolion Calais a'i chymmygoaeth yn Ffrainc, i ewyllysio i'r Ffrancod oll ymwrthod â'u hiaith, a dysgu Saesneg; ag sydd i ychydig fasnachwyr Cymru ddymuno bod un iaith yn ffŷnu trwy y deyrnas hon, a'r Gymraeg yn darfod yn llwyr. Gan hyny pa raid sydd i roddi y Gymraeg i fynu yn hytrach nâ rhyw iaith arall? Ai o herwydd ei hynafiaeth, ei phereidd-dra, ei chynnwysder, a'i godidawgrwydd yn darlunio pob gwrthrych, neu rywbeth arall, nas gwyddys beth?—Os rhaid i ryw ieithoedd ddarfod, trenged y rhai diweddaraf a lleiaf eu harddercharwgrwydd.

Dilys genyf na fyddai nemawr colled i'r byd dysgedig pe elai'r Saesneg, ac, ysgatfydd, y Ffrangaeg gyda hi, i fro angof, o herwydd gellid cael y rhan amlaf o'u geiriau mewn ieithoedd ereill; ond os derfydd y Gymraeg beth a geir yn ei lle? pwy ieithoedd a wna'r golled i fynu? Nid holl ieithoedd y byd, nac yn gyfangwbl, nac mewn rhan. Gan hyny pa enw sy fwyaf teilwng i'r hwn a hânodd o'r tadau Cymreig, ac a ddiystyra iaith ei genedl, yr hon a gadwyd er y cynoesoedd hyd yn awr? Addas yw dywedyd fod y cyfryw blant yn annheilwng o'r cyfryw dadau; addas fyddai eu galw yn *Jacobiaid ieithawl;* yn fradwyr dysgeidiaeth, ac yn greaduriaid llwyr anniolchgar am y llaeth Cymreig a sugnasant, ac â'r hwn y magwyd hwy.

Y mae ffug-foesgarwch i ddyeithraid yn achos o niwed mawr i iaith ein cenedl. Peth cyffredin yn Nghymru yw ystyried ei fod yn arwydd neillduol o foesau drwg a diffyg dygiad i fynu, os gwna Cymry ymddiddan â'u gilydd yn eu hiaith eu hunain, pan ddygwyddo bod Rhonwen neu ereill o blant Hengist yn yr un ystafell. Ond o'm rhan fy hun, er fy mod yn ewyllysio bod yn garedig tuag at, a dymuno pob daioni i'r holl Ronweni ieuainc, gan wybod na allant hwy ddim oddiwrth ymddygiad eu mam; etto os bydd Saeson wedi anneddu rhyw ychydig yn Nghymru, a chael cyfleusdra i ddysgu Cymraeg, yr ydwyf bob amser yn ystyried mai gweithred o ostyngeiddrwydd ynof fi yw siarad eu hiaith hwy, ac y maent yn gyffredin yn addef hyny pan fynegwyf felly wrthynt. Hwy yw yr anfoesolion os disgwyliant i mi, yn fy ngwlad fy hun, i ymwrthod â'm iaith er mwyn eu boddio hwy. Ac am fy mod weithiau yn efengylu y'm gwladwyr yn ol fy medr, byddaf yn ei hystyried yn dra anaddas i dreulio llawer o amser i lefaru yn Saesneg er mwyn un neu ddau o bersonau a allai fod yn anhyddysg yn y Gymraeg: bûm yn ddiweddar mewn parth mor Gymreigaidd ag un yn Nghymru; clywodd un o ferched Horsa, yr hon sydd yn trigo yn y gymmydogaeth er ys ugain mlynedd, fy mod yn y lle, a gwyddai y gallaswn lefaru ychydig Saesneg; daeth i'r addolfa, a

deisyfodd arnaf lefaru yn Saesneg; eithr, heblaw fy serch i'm cenedl, nis gallaswn i o gydwybod ddifuddio yr holl gynnulleidfa er mwyn boddio un person; darllenais y testun, a rhenais ef yn Saesneg; pe gwnaethwn ychwaneg yr wyf yn credu y buaswn yn pechu yn erbyn fy Lluniwr. Er gofid calon, yr wyf wedi bod mewn cymmanfaoedd crefyddol, a chlywed pregethau Seisnig meithion, mewn manau lle na byddai gymmaint â dyn heb fod yn deall Cymraeg, ond efallai y danfonai rhyw grach-fonheddig i ddywedyd y chwenychai efe gael pregeth Saesneg, am ei fod, ysywaeth, yn ei deall yn well nâ Chymraeg! Analluedig yw i mi gyssoni hyn â chariad at Dduw, chwaethach at fy nghenedl a iaith fy ngwlad. Barned y diduedd.

---

## Y FFORDD I FOD YN DDEDWYDD TRWY GYDOL Y DYDD.

*(Cyfieithad.)*

1. Dechreua a diwedda bob diwrnod gyda Duw; yn y boreu pan ddeffroech, dyrchafa dy feddyliau at Dduw. Ystyria pa drugaredd yw i ti gael gorphwysfa nos, a'th fod wedi cael dy arbed i weled dydd arall. Ystyria pa sawl un a dreuliodd y nos a aeth heibio mewn carchar, neu mewn poenau dirfawr a chlefyd. Ystyria pa nifer o eneidiau a wysiwyd y nos a aeth heibio i ymddangos gerbron Duw, a pha mor fuan y gall dy noswaith ddiweddaf dithau ddyfod.

2. Offryma i fynu yn ddirgel dy weddi a'th ddiolchgarwch i Dduw, cyn dechreu dy orchwyl bydol. Y mae yn llawer gwell myned o weddi at orchwyl, nag oddiwrth orchwyl i weddi; oblegid os caiff y byd y blaen ar grefydd yn y boreu, anhawdd yw i grefydd oddiweddyd y byd trwy gydol y dydd ar ol hyny. Na fydded i ddim esgusodion ysgafn beri i ti esgeuluso gweddi; gwell cymmeryd ymaith ychydig amser oddiwrth gwsg yn awr, nâ galaru dros byth yn uffern o herwydd dy esgeulusdra.

3. Wedi gweddio ar Dduw, ymosod yn nghylch gwaith dy alwedigaeth gyda diwydrwydd. Ni anfonodd Duw un dyn i'r byd i fod yn segur, ond i lafurio naill ai â'r meddwl neu â'r corff, neu â phob un o'r ddau. Yr hwn a ddywed, "Cofia y dydd Sabbath i'w santeiddio ef," sydd yn dywedyd hefyd, "Chwe' diwrnod y gweithi."

Os galwyd ti i'r alwedigaeth waelaf a chaletaf, na rwgnach oblegid hyny; ond ystyria mai gosodiad Duw ydyw, ac mewn ufydd-dod iddo, bydd yn ddiwyd yn dy le: a thrwy wneuthur hyn o barch i'w orchymyn ef, ti a ogoneddi Dduw mor wirioneddol, tra fyddech yn gweithio gyda yr aradr, neu y gwŷdd, â'r gweinidog yn yr areithfa, neu y tywysog ar yr orsedd. "Nid edrych Duw fel yr edrych dyn; canys dyn a edrych ar y golygiad, ond yr Arglwydd a edrych ar y galon."

4. Bydd gyfiawn ac uniawn i'r manylrwydd eithaf yn dy holl fasnach, cofia y rheol auraidd hòno, "Gwnewch i ereill megys yr ewyllysiech i ereill wneuthur i chwithau;" ac hefyd, ystyria y gair dwys hwnw, "A pha fesur y mesuroch yr adfesurir i chwithau."

Os wyt riant neu feistr, gwylia nad yspeiliech dy blant neu wasanaethwyr, trwy dy anghymhedroldeb neu ddiofalwch, o'r hyn yr wyt yn rhwym i'w barotoi iddynt er eu cysur corfforol, ac uwchlaw pob peth er addysg i'w heneidiau anfarwol. Os wyt was neu brentis, gwylia nad yspeiliech dy feistr, naill ai yn fwriadol neu yn esgeulusol, o'r eiddo hyny a ymddiriedwyd i ti, neu o'r amser yr wyt yn rhwym i'w wasanaethu ef.

5. Llafuria am agwedd meddwl nefol yn nghanol dy fasnach ddaearol. Tra yw dy ddwylaw yn ddiwyd ar waith yn dy alwedigaeth angenrheidiol, cais gael dy galon i aros yn agos gyda Duw. Ymegnia i wneyd y goreu o'r amser mewn myfyrdodau buddiol neu weddiau byrion, pa rai ni wnant un rhwystr i'th orchwylion, ond hwy a'th gadwant rhag meddyliau ofer, ac a'th wnant yn fwy gofalus i ochelyd temtasiynau.

6. Wrth wneuthur dy ddyledswydd yn dy alwedigaeth, dyro dy oglud yn ostyngedig ar ofal tadol Duw am fendithio dy ymegniadau, a chais ei ras ef i'th ddysgu i ymddiried ynddo ef yn yr holl ganlyniadau a all ddygwydd i ti. A wyt ti yn cyfarfod â chlefyd, neu golledion, neu gyfyngderau? gwel a chydnebydd law Duw ynddynt, a gweddia arno ef am dy gynnal di, a bod i beth bynag a'th gyfarfyddo yma weithredu er dy ddaioni yn nhragywyddoldeb. A wyt ti yn cyfarfod â llwyddiant a dyddanwch? cydnebydd law Duw ynddo: a phan anfono efe ddyddanwch, bydded dy ofal dithau i ddychwelyd iddo ef foliant.

7. Gwylia yn feunyddiol yn erbyn pob pechod sydd barod i'th amgylchu, ac ymgadw oddiwrth bob cymdeithion drwg. Cofia y gair hwnw, "Yr hwn a fyddo gyfranog â ffyliaid a ddinystrir." Pan ymosodo neb temtasiynau i bechod arnat, llef yn gryf i'r nef am nerth i'w gwrthwynebu hwynt; gan wybod mai pa bryd bynag yr ymollyngech gyda themtasiwn, fod yr Yspryd Glân trwy hyny yn cael ei dristâu.

8. Yn yr hwyr, cymmer olwg ar weithredoedd y dydd aeth heibio—ymostwng dy hun ger bron Duw am dy holl bechodau, a gweddia am ei drugaredd faddeuol ef trwy Iesu Grist, i orchuddio dy holl euogrwydd. Pan wnelych y goreu a elli, fe fydd genyt achos i ddywedyd, mai gwas anfuddiol ydwyt—ac i ymofyn am faddeuant trwy waed Crist, yr hwn yn unig sydd yn glanhau oddiwrth bob pechod.

9. Cyfrif dy Feibl y trysor goreu a feddi ar y ddaear, oblegid mai efe sydd yn dysgu y ffordd fendigedig i'r nef; a bydd sicr o gyd-dymheru "gweddi y ffydd â'r hyn a ddarlleni, fel y gallech ddysgu adnabod y ffordd hòno." Os wyt riant, edrych ar i ti ddysgu dy blant i ddarllen eu Beiblau, a'u deall hwynt; a gweddia nid yn unig ar dy ben dy hun, ond gyda'th deulu hefyd; gan gofio y bydd raid i ti roddi cyfrif manwl ryw ddiwrnod, am bob un a roddwyd dan dy ofal.

10. Gwna yn fawr o'th amser gwerthfawr, ac yn enwedig y Sabboth. Ystyria pa fendith fawr yw byw mewn gwlad lle y mae gair Duw yn cael ei bregethu, a lle y mae ffordd iachawdwriaeth yn cael ei hegluro mor amlwg. Ystyria pa nifer o greaduriaid tlodion sydd heb y rhagorfreintiau hyn sydd genyt ti, a pha fodd y cyfodant hwy i'th gondemnio di yn nydd y farn, os esgeulusi iachawdwriaeth gymmaint.

Yn ddiweddaf, pa beth bynag a ddyoddefech yn y byd hwn, ystyria pa fath fyddai dy gyflwr, pe ymddygid tuag atat yn ol fel mae dy bechodau yn haeddu. Cofia fod y pechod lleiaf i'w ofni yn fwy nâ'r dyoddefaint mwyaf, a bod ffafr Duw yn werthfawrocach nag un daioni daearol.

Darllen y rheolau hyn yn fanwl drostynt unwaith yn yr wythnos, ac ymhola pa fodd y cedwaist hwynt yn yr wythnos a basiodd. Os canlyni hwynt, dy fywyd fydd yn wynfydedig, dy farwolaeth yn ddedwydd, dy dragywyddoldeb yn ogoneddus; ond os dirmygi hwynt ac esgeuluso dy enaid anfarwol, cofia—FOD BYWYD YN FYR, ANGEU, BARN, A THRAGYWYDDOLDEB YDYNT YN AGOSAU YN GYFLYM, GAN HYNY BYDD BAROD I GYFARFOD A'TH DDUW.

## ATHRAWIAETH IACHUS.

Y MAE'r byd Cristionogol wedi ei orlenwi ag athrawiaethau amrywiol, y rhai ydynt mor wrthwynebol i'w gilydd, â phe buasent wedi eu gosod ar sylfeini anghytunol a gwrthwynebus, mor anghydseiniol â phe byddai'r naill yn deilliaw ei thadogaeth o'r Beibl Santaidd, y llall yn hânu o'r Alcoran, ac arall yn tarddu o Shasters yr Hindwaid; etto y mae amddiffynwyr pob un o'r amryw dybiau anghydweddol hyn, mor hyderus, y naill a'r llall, fod eu credöau gwahanol yn eithaf cywir, wedi eu sylfaenu oll ar yr ysgrythyrau, ac yn berffaith gysson â'r holl berffeithiadau Dwyfol, ac o ganlyniad yn grynodeb o athrawiaeth iachus;—doethion a dysgedigion a berthynant i bob plaid;—pawb yn gydwybodol;—a'r rhan amlaf, er nad ymhonant anffaeledigrwydd, yn gwbl mor hyderus â phe na byddai alluedig iddynt gamsynied.

Ië, y mae'r boneddigion hyny ag ydynt yn dadleu dros ddiniweidrwydd cyfeiliornad, tra fyddo y fuchedd yn ddifrycheulyd, mor ffrynig wrth amddiffyn eu tybiau, ac mor ddiwyd a diludded yn ymledu eu hegwyddorion, â phe byddai dedwyddwch tymhorol a thragywyddol dynolryw yn ymddibynu ar y derbyniad o honynt; ac nid anfynych y dygwydd fod y rhai a ddywedant fwyaf yn erbyn ysbryd pleidiol, gan haeru ar gyhoedd nad oes wahaniaeth i ba blaid neu enw o ddynion y perthynom, tra fyddom yn meddu ar galonau briw, ac ysbrydoedd uniawn a didwyll, yn fwy dall-bleidiol nâ neb ereill, mor glymedig wrth eu plaid, fel nag unant ag ereill i wneuthur daioni mewn un modd, hyd y nod mewn pethau na's beiddiant ddywedyd fod eu cydwybodau yn eu gwahardd.

Ond er yr holl anghyssonderau hyn, credu yr wyf fod y fath beth ag athrawiaeth iachus yn hanfodi; fod y meddianad o honi o bwys mawr, ac nid wyf wedi rhoddi fynu etto, ei bod yn feddianadwy ac o hyd cyrhaedd dynion o iselradd, ac o gynheddfau tra gweinion. Pe amgen ni byddai rhwymedig arnom i "lefaru y pethau a weddo i athrawiaeth iachus." Tit. ii. 1.

Fy mwriad yn awr yw nodi allan bwysigrwydd athrawiaeth iachus a phechadurusrwydd cyfeiliornadau mewn athrawiaeth,—

Cyn myned o honof i brofi pechadurusrwydd dysgeidiaeth gyfeiliornus mewn crefydd, mi a chwenychwn i'r sylwadau canlynol gael eu hystyried. Wrth ddywedyd fod cyfeiliornad mewn athrawiaeth yn feius, fy meddwl yw, fod *pob* gau athrawiaeth yn bechadurus, nid yn unig, fod y dynion a gyhoeddant gyfeiliornadau yn wirfoddol, ac felly yn rhagrithiol, er mwyn rhyw ddybenion bydol, yn gospadwy, ond hefyd fod pob cyfeiliornad a daenir yn gydwybodol, yn gyfattebol i'w faintioli yn bechadurus. Y mae cydwybod wedi ei halogi, ac y mae llawer ffordd i'w dwyn i ymdawelu mewn pethau anghyfreithlon; ni chyflawnwyd nemawr o ddrygau erioed, heb fod rhai o'r drwg-weithredwyr yn haeru eu bod yn gydwybodol wrth eu gwneuthur; nid yn unig y mae tyngwyr a meddwon yn medru tawelu eu cydwybodau, ond puteiniaid cyhoedd a amddiffynant eu hymddygiadau ar sail cydwybod, sef eu bod yn gallu gwneuthur gwell bywioliaeth yn y ffordd hyny nag wrth un alwad arall! Darllenais am ladron cydwybodol, y rhai a amddiffynent eu hymddygiad wedi i ddedfryd marwolaeth gael ei chyhoeddi arnynt, herwydd fod angen eu teuluoedd yn fawr, ac am mai oddi ar y cyfoethog y lledratasant! Eilun-addolwyr ydynt dra chydwybodol, a dangosaf, cyn darfod, fod llawer o lofruddion cydwybodol wedi bod yn y byd! Ac am holl gybyddion ein gwlad, anhawdd yw cyfarfod ag un anghydwybodol yn mhlith eu holl filoedd hwynt, er fod y Beibl yn darlunio bydgarwch fel un o'r prif bechodau! Nid yr un rhesymau a wna leidr cydwybodol, ac a ddwg gau athraw i dybied ei fod yn ymddwyn mewn modd canmoladwy, tra y mae yn hau efrau yn mhlith y gwenith, ond dichyn nad yw ei resymau cynhyrfiol ddim gwell yn ngolwg yr Arglwydd. Ond yr un rhesymau yn hollol sydd gan leidr dros ledrata ag sydd gan fydgarydd dros gybydd-dod, nid rhyfedd gan hyny eu bod yn cael eu gosod yn nghyd yn 1 Cor. vi. 10, fel rhai na chânt etifeddu teyrnas Dduw.—Chwant ymgyfoethogi yn y ffordd hawddaf, a chadw ei eiddo yn ddiangen a gynhyrfa'r naill, a dymuniad i ymddangos yn gallach nâ'r werin yn gyffredin, os nid yn ddoethach nâ'r hyn a ysgrifenwyd, a ellai fod yn ysgogi y llall.

Os medraf brofi fod cyfeiliornadau yn gyffredin yn bechadurus, fe ganlyn fod y cyfeiliornad lleiaf yn feius yn ol ei raddau, ac felly yn deilwng o'i gyfran o gosp; canys, megys y mae'r hwn a lledrato ychydig yn haeddu cosp, er nad i'r un graddau â'r hwn a yspeilio lawer, felly y mae'r hwn a ymadawo yn y mesur lleiaf â'r gwirionedd yn feius yn gyfattebol i

helaethrwydd y cyfryw ymadawiad. Eithr pell wyf o feddwl fod pob cyfeiliornad yn gydradd, y mae rhai yn cyrhaedd at yr hyn sydd hanfodol neu yn sylfeinol i Gristionogaeth, tra y mae ereill yn perthynu i bethau amgylchiadol; nid yw pawb yn gyffelyb i'w gilydd mewn breintiau, a dilys yw fod y gwas a gafodd y cyfleusderau helaethaf i wybod meddwl ei Arglwydd, ac heb ei gyflawni, yn teilyngu ychwaneg a thrymach dyrnodiau nâ'r hwn a gafodd lai o fanteision i gyrhaedd gwybodaeth o ewyllys ei Greawdwr, ac felly heb ei wneuthur.

Hefyd, anweddus fyddai i mi haeru, megys pe byddwn anffaeledig, fy mod yn rhydd oddiwrth gyfeiliornadau fy hun, ond os ydwyf goleddwr o honynt, yn hytrach nâ dadlu dros eu diniweidrwydd, gweddus fyddai i mi fel creadur anmherffaith i geisio maddeuant, a dwyfol gyfarwyddyd, i athrawiaethu, yn gystal ag i fucheddu yn well. Fod cyfeiliornadau mewn barn yn feius ac yn beryglus a ymddengys,

1. Trwy sylwi *ar y tarddleoedd o'r rhai y maent yn deillio.* Rhaid i bob camsyniad yn nghylch y gwirionedd gyfodi naill ai oddiar ddiffyg eglurder yn nhystiolaeth Duw, neu oddiwrth dywyllwch beius yn neall y pechadur, ac anewyllysgarwch calon i dderbyn y gwirionedd; byddai haeru'r cyntaf yn cyhuddo'r Jehofa o fod yn achos o'r holl gyfeiliornadau a'u canlyniadau a daenwyd erioed yn y byd; ond os yw Sant Israel a'i orsedd yn rhydd, fel yr wyf yn gobeithio y cydnebydd y rhan fwyaf o Gristionogion, rhaid eu bod yn tarddu oddiwrth ryw beth allan o le ynom ni. Pan edrychom i'r Datguddiad dwyfol, cawn weled eu bod yn ddyledus i *hwyrfrydigrwydd arswydus y galon* i dderbyn pethau ysbrydol, oddiwrth yr hyn nid oes un dyn yn berffaith rydd; am hyn y ceryddodd ein Hiachawdwr ei ddyscyblion yn llymdost, gan ddywedyd (Luc xxiv. 25,) "O ynfydion, a hwyrfrydig o galon, i gredu'r holl bethau a ddywedodd y prophwydi." Pe buasai eu camsyniad yn ddyledus i aneglurder ysgrifenadau'r phrophwydi, neu pe buasai eu cyfeiliornad yn hollol ddiddrwg, ni buasai'r Gwaredwr tosturiol a hynaws yn beio ei anwyl ddyscyblion mor arw. Peth tra chynyrchiol mewn cyfeiliornadau hefyd, yw *Rhagfarn o blaid tybiau a dderbyniwyd eisioes;* achlysurodd hyn ddinystr y genedl Iuddewig, yr hon oedd mor glymedig wrth draddodiadau'r tadau a'r dybffynadwy yn eu plith, y buasai'r Messia addawedig yn fath o Ymerawdwr bydol, yr hwn a fawrygid dros y ddaear am ei fuddugoliaethau daearol ar eu gelynion tymhorol, fel y cauasant eu llygaid yn wirfoddol rhag edrych ar HAUL Y CYFIAWNDER, heb sylwi ar y profion a roddodd Iesu o Nasareth o'i Fessiaboliaeth; o herwydd eu rhagfarn, yr oeddynt yn methu gweled y Gwaredwr, er ei fod yn eu hymyl.

Tebyg ddigon fod cyfeiliornad llawer yn hânu o'u *hunan-ddigonolrwydd,* yr hwn a'u tuedda i "ymddiried (yn groes i'r gorchymyn, Diar. iii, 5,) yn eu deall eu hunain," a rhoddi heibio gweddio am gyfarwyddyd fel creaduriaid a'r nad oes ganddynt "ddeall dyn." Tybiant fod eu galluoedd rhesymiadol yn ddigonol i gael allan bob gwirionedd angheri-

rheidiol, heb fod yn ddyledus i Ddwyfol ddatguddiad am dano; yn lle dyfod yn "ffoliaid fel y byddont ddoethion," ymdebygolant i'r bydolion gynt, "y rhai trwy *ddoethineb* nid adnabuant Dduw," (1 Cor. i, 21,) yn hytrach nâ pheidio bod yn ddoeth uwchlaw yr hyn a ysgrifenwyd byddant feirw yn ferthyron i hunan-ddigonolrwydd.—Ereill a gyfeiliornant yn ddirfawr o herwydd eu bod yn glynu mwy wrth *farn ac arferion* eu perthynasau a'u cyfeillion, nag wrth *reolau ysgrythyrol;* y gofyniad gyda'r rhai hyn yw, nid "Pa beth a ddywed yr Arglwydd," ond beth yw barn fy nghyfeillion a'r dysgedig? "A gredodd neb o'r penaethiaid?" Byddai crefyddwyr o'r fath hyn yn Babyddion yn yr Eidal, yn Fahometaniaid yn Nhwrci, ac yn Eilun-addolwyr yn India!!! Nis gallant fod yn wasanaethwyr Duw, ond yn ryngwyr bodd dynion. Pe dygwyddai fod eu crefydd yn ysgrythyrol, ni allent fod yn wir grefyddol oddiar y fath egwyddorion, canys ufydd-dod i ddynion ac nid i Dduw fyddai eu gwasanaeth. Sylwaf wrth ddarfod â'r pen hwn, fod ein Gwaredwr yn ei eglurhad o ddammeg yr hauwr, yn darlunio y gwrandawyr a dderbyniasant y gair, fel yn meddu ar "galonau *hawddgar a da,*" Luc viii, 15, gan arwyddo trwy hyny fod y sawl a'i gwrthodant yn amddifaid o'r cyfryw gymhwysderau; ac o ddifrif, rhaid fod gwrthodiad o burion eiriau ein Harglwydd ac o athrawiaethau iachus y Testament Newydd yn ddyledus i anhawddgarwch a drygioni calon dyn.

2. Dengys *yr enw a roddir i, a'r ddarpar a wnawd yn achos cyfeiliornad mewn barn,* ei fod yn feius a pheryglus. Yn y bedwaredd o Lefiticus, gelwir trosedd a wnawd mewn ANWYBODAETH yn bendant wrth yr enw *pechod,* a rhoddir cyfarwyddiadau yn nghylch ABERTH dros y cyfryw drosedd. Ac er nad oedd defodau aberthol yr oruchwyliaeth Foesenaidd yn dileu neb pechodau yn wirioneddol, etto yr oeddynt gysgodol o ddaionus bethau i ddyfod. A theilwng o sylw yw, nad oedd neb o'r aberthau cysgodol i gael eu hoffrymu dros weithredoedd rhinweddol, ond bob amser yn achos beiau a thros bechaduriaid fel y cyfryw. Yn awr, naturiol fyddai gofyn i amddiffynwyr diniweidrwydd cyfeiliornad, os ydyw yn hollol ddiddrwg, paham y gelwir yn bechod?—Paham y crybwyllir am aberth drosto?—Pa achos wrth gymmod o'i herwydd y sydd?—Dros ba beth y cymmodir?—A yw diniweidrwydd ei hun yn gofyn cymmod!—A raid rhoddi iawn am berffeithrwydd!—A oes eisieu aberth dros burdeb! —Y mae'r meddwl yn berffaith wrthun. Dysgwyliwn yr un mor gynted i glywed am aberth dros weddi, mawl, ac ufydd-dod Cristionogol (nid eu hanmherffeithrwydd,) â thros gyfeiliornad mewn barn, os nad yw yr olaf yn bechod. Drachefn, gweddiodd ein Hiachawdwr dros ei groeshoelwyr, gan ddywedyd, "O Dad maddeu iddynt; canys *ni wyddant* pa beth y maent yn ei wneuthur," Luc xxiii, 34. A weddiodd Mab Duw am faddeuant yr hyn nad oedd bechod? (yr hyn oedd raid iddo wneuthur os nad yw camsyniadau'r meddwl yn bechadurus.) Dysgwyliwn iddo weddio yr un mor gynted am faddeuant i Gabriel am ei glodydd a'i ufydd-

dod perffaith, neu i'r "lliaws o rai nefol" am ddywedyd yn eu caniadau angylaidd uwchben Bethlehem, "GOGONIANT I DDUW, YN Y GORUCHAFION," &c.

Nid gwell nâ chellwair yn fy mryd i, fyddai dywedyd fod y weithred o groeshoelio Crist yn bechadurus, ond fod y cyfeiliornad a'i hachlysurodd yn ddiniwed, tra'r yr oedd ganddynt foddion gwybodaeth, canys gwnewch y pren yn dda, a bydd y ffrwyth yn gyfatebol iddo.

3. Eglurir pechadurusrwydd a niwed cyfeiliornad trwy yr *enwau a roddir ar ei achleswyr yn yr Ysgrythyrau,* megys "gau Gristiau, gau brophwydi, a gau athrawon," &c. "Canys gau Gristiau, a gau brophwydi a gyfodant, ac a ddangosant arwyddion a rhyfeddodau, i hudo ymaith, pe byddai bosibl, ïe, yr etholedigion.—Ymogelwch rhag gau brophwydi, y rhai a ddeuant atoch yn ngwisgoedd defaid, ond oddi mewn *bleiddiau rheibus* ydynt hwy.—Canys myfi a wn hyn, y daw, ar ol fy ymadawiad i, *fleiddiau blinion* i'ch plith, heb arbed y praidd.—Gochelwch *gwn,* gochelwch ddrwg-weithwyr, gochelwch y cyd-dôriad." Marc xiii, 22; Mat. vii, 15; Act. xx, 29; Phil. iii, 2. Mewn lleoedd ereill gelwir hwy yn *frodyr gau* a *gelynion croes Crist.*

Yn awr goddefwch i mi ofyn, pa ham y gosodai ein Harglwydd a'i ganlynwyr y fath enwau gwarthus ar y rhai a wahaniaethant oddi wrthynt mewn barn, os oeddynt yn ystyried pob egwyddorion crefyddol yn gyfartal mewn diniweidrwydd? Pa fodd na fuasent yn eu gosod allan fel brodyr anwyl, er bod yn gamsyniol mewn rhai pethau dibwys, yn cyrchu tu a'r un drigfa ddedwydd â hwythau?

A anturia rhyw un i ddywedyd nad oeddynt yn ymddywn mor gydwybodol ag arddelwyr cyfeiliornadau mewn amseroedd diweddarach? Ond ar ba sylfaen y mae'r haeriad yn gorphwys? Ni ddywedodd y cyfeiliornwyr hyny erioed, buasai hyny yn andwyo eu cyfundraeth, ac yn eu dwyn i warth. Ni allasai neb ond Duw a'r sawl a eglurai efe hyny iddynt, wybod eu hamcanion; ac os dysgwyliwn am yr amser "pan egluro efe ddirgelion calonau dynion," efallai y gwelir fod rhai mewn oesoedd diweddarach wedi gweithredu ar yr un egwyddorion â hwythau, gan nad beth oeddynt. Sicr yw fod Saul yr erlidiwr yn amddiffyn athrawiaethau a gyfrifid yn ddinystriol gan Paul yr apostol, ac nis gellir gwadu fod Saul yr erlidiwr mor gydwybodol ag oedd wedi myned yn "Paul gwasanaethwr Iesu Grist."

Byddai dywedyd fod cyfeiliornad mor ddiniwed â gwirionedd, yr un peth â haeru nad oes nemawr gwahaniaeth rhwng Crist ag anghrist—gwir ddysgawdwyr a gau-brophwydi—defaid diniwed a bleiddiaid rheibus—ŵyn gwirion a chŵn llofruddiog, neu mewn geiriau ereill, fod "galw tywyllwch yn oleuni, a goleui yn dywyllwch," yn hollol ddiniwed, er dywedyd o'r ysgrythyr, "Gwae," a wnelo felly.

4. *Y mae'r ffrwyth a ddygir gan gyfeiliornad* yn profi nas dichon fod yn ddiniwed. Pan gymmerir golwg ddiduedd ar y beiau aneirif ag

ydynt wedi halogi y byd mewn gwahanol oesau, ceir gweled fod cyfeiliornad mewn barn wedi achlysuru y rhan fwyaf o honynt, i raddau mwy neu lai; canys, a llefaru yn gyffredin am bethau, y mae dynion yn ymddwyn yn gyfatebol i'r hyn a gredir yn ddiysgog ganddynt; ac o ganlyniad yr ydym yn cael fod cyfeiliornad yn achos o eilun-addoliaeth, coel-grefydd, ac erlidigaeth.

Meddyliai y rhai a ymgryment gynt gerbron pren a maen, mai dyna y ffordd i ddedwyddwch; nid oes le i amheu fod addolwyr Baal, y rhai a dòrent eu hunain â chyllyll a'r cyffelyb wrth alw arno, mor gydwybodol ag addolwyr y bywiol Dduw; ac nid oes neb o'r sawl a gredant y Bibl, a ddywedant nad yw eilun-addoliaeth yn bechod; cospodd yr Arglwydd genedloedd Canaan yn llymdost o'i herwydd, a thraddododd ei bobl ddewisol ei hun i ddwylaw eu gelynion o achos eu hymlyniad wrtho; ac fe addefir gan bawb, yr wyf yn gobeithio, na fuasai Tad y trugareddau yn ceryddu mor llymed am yr hyn nad oedd feius. Gwelwch addolwyr Baal yn anafu eu cyrff wrth ei addoli, er mwyn ei ddenu i dosturio a gwrando arnynt—canfyddwch yr Iuddewon coel-grefyddol yn offrymu eu babanod trwy'r tân i Moloch—ac edrychwch ar rieni annedwydd plant yn India yn gwledda'r *Sharks a'r Crocodeilod* trwy fwrw ffrwyth eu lwynau iddynt, yn yr afon Ganges, a'r gwragedd gweddwon yn myned yn ewyllysgar i'r tân i losgi, i'r dyben i deilyngu dedwyddwch, neu i borthi cyfeiliornad mewn barn!

Gwrandewch ar araeth gableddus Rabshacch, pan oedd yn rhoddi hèr i Hollalluogrwydd ei hun i waredu Israel, 2 Bren. 18, 31,—35.—Ac uchlaw'r cwbl, edryched Cristionogion dan wylo ar groes y Gwaredwr a chanfyddant ddiniweidrwydd ei hun yn aberth i gyfeiliornad, yn gystal ag i genfigen a drwg ewyllys "pe *adwaenasent*, ni chroeshoeliasent Arglwydd y gogoniant," 1 Cor. 2, 8.—Gwelwch eich Ceidwad, Gristionogion, wedi ei offrymu ar allor cyfeiliornad mewn barn, a dywedwch, os beiddiwch, ei fod yn ddiniwed; a phan ddaeth yr amser dychrynllyd "pan y *tybiai y rhai a laddent* addolwyr Duw a chanlynwyr Crist, eu bod yn gwneuthur *gwasanaeth i Dduw*," gwelwyd miloedd o'n brodyr yn rhydio trwy foroedd o'u gwaed eu hunain i'r nefoedd, yr hwn a dywalltwyd gan y cyfeiliornad llofruddiog hyn, 'na ddylai hereticiaid i gael bywyd.'

Mewn gair byr, y mae cyfeiliornad mewn barn wedi andwyo unigolion—rhanu teuluoedd—dylifo'r byd â gwaed—erlid yr eglwys i farwolaeth—anafu cyrph miloedd, a chaledu eneidiau ereill.

Gwedi rhoddi o honof yn y modd hyn, ychydig o'i ffrwyth i brofi, yr wyf hyderus na byddwch awyddus i feithrin y pren a'i dygodd, ond yr ymdrechwch ei ddiwreiddio o'r manau lle planwyd ef, canys nid yw amgen nâ rhagflaenydd dinystr, pren marwolaeth, a goruchwyliwr uffern.

5. Prawf-eglurir ei bechadurusrwydd *trwy'r gresynoldeb a'r gwae y gosodir ei arddelwyr a'i gefnogwyr yn agored iddynt.*—Gellir profi ei fod yn tueddu i ddinystr oddiwrth orchymyn ein Harglwydd,—"Pregethwch

yr efengyl i bob creadur, y neb a *gredo* ac a fedyddier a fydd cadwedig; eithr y neb ni *chredo a gondemnir*." Marc xvi. 15, 16. Y neb ni chredo beth!—Y neb ni chredo ei fod yn credu rhyw beth! Os felly, y mae'r gorchymyn yn ddifudd, canys credir rhyw beth gan bawb. Ai credu fod un Duw, ei fod ef yn drugarog, y dylai dyn fod yn dda, ac y gaiff pob dyn rhinweddol ei ogoneddu?—Yr oedd yr Iuddewon yn credu hyn oll, ac etto yr oedd y corph o honynt dan gondemniad. Gan hyny, rhaid mai'r ystyr yw, "yr hwn ni chredo swm y weinidogaeth ag yr awdurdodwyd yr apostolion i'w chyhoeddi, a gondemnir."

Drachefn, "Wele, myfi Paul, wyf yn dywedyd wrthych, os enwaedir chwi, ni lesha Crist ddim i chwi."—"Pe byddai i ni, neu i angel o'r nef, efengylu i chwi *amgen* nâ'r hyn a efengylasom i chwi, bydded anathema, neu, yn neillduedig i felldith a dinystr," Gal. i. 6—10, a pen. v. 2.—Rhyfedd fyth! rhaid fod Paul yn flaenor byddin dallbleidwyr, neu yr oedd yn ystyried fod cyfeiliornad yn dra pheryglus. "Am na dderbyniasant gariad y gwirionedd, fel byddent gadwedig—y denfyn Duw iddynt hwy amryfusedd cadarn, *fel y credont gelwydd; fel y barner* yr holl rai nid oeddynt yn credu i'r gwirionedd," &c. 2 Thes. ii. 10—12. Ac yn 2 Ped. ii. sonir am gau athrawon yn dwyn i mewn *heresiau dinystriol*—barnedigaeth y rhai er ys talm nid yw segur, a'u colledigaeth hwy nid yw yn hepian.

Tystiolaethau pendant yw y rhai hyn, yn dynodi mewn geiriau eglur duedd peryglus a gresynol cyfeiliornadau, gan nad ydynt amgen nâ ffordd i ddinystr—mynedfa i byrth y bedd—a phrif dramwyfa i ystafelloedd colledigaeth. Ac am eu bod felly yn yr oes apostolaidd, nid yw debygol eu bod yn llai peryglus yr amseroedd hyn.

6. *Yr ymroddiad egniol a ddangosodd Crist a'i apostolion, yn erbyn ymlediad cyfeiliornad, a'u hymdrech i gyhoeddi'r gwirionedd mewn gwrthwynebiad iddo*, a brawf-amlyga eu bod hwy yn mhell o'i ystyried yn ddiniwed; os amgen, anhawdd yw amddiffyn eu hymddygiad, a rhoddi rhesymau boddlonol dros fod y dysgawdwyr yn Israel yn cael eu galw yn *Dywyswyr deillion*, neu amddiffyn gwaith y Gwaredwr yn danfon *cleddyf* ac nid *tangnefedd* ar y ddaear, a gosod *dyn i ymrafaelio yn erbyn ei dad, a'r ferch yn erbyn ei mam, &c.*, Mat. x, 34, 35, drwy bregethu athrawiaeth ag oedd rhai yn gredu ac ereill yn anghredu, ac o herwydd yr amrywiaeth hyn yn ei chylch yn myned i ymryson â'u gilydd; onid gwell fuasai gadael y byd mewn heddwch, nâ chodi'r fath derfysg ac ymryson diachos mewn teuluoedd; diachos, meddaf, os nad yw cyfeiliornad mewn barn yn beryglus. Paham y gwahoddir Cristionogion i sefyll *yn y ffydd;* ac fel milwyr da i Iesu Grist, i "ymdrechu hardd *ymdrech y ffydd*," a "chydymdrech gyda *ffydd yr efengyl*." Ac i ba ddyben yr oedd Paul, ychydig cyn ei aberthiad, yn dywedyd ei fod wedi cadw'r ffydd, os wedi'r cwbl nad oedd y ffydd hon o werth ei chadw, nac i sefyll yn wrol drosti? onid cymhwysach fuasai iddo ddywedyd wrth derfynu ei einioes,

"Myfi a osodais fy hun yn agored i lawer o drallodion yn ddiachos, gan y buasai unrhyw ffydd yn ateb yr un dyben!" neu, os na allasai fod yn gydwybodol heb arddel ffydd yr efengyl, gan ei fod wedi ei alw yn wyrthiol, mwy rhesymol fuasai ei glywed yn galaru nag yn llawenhau yn achos y cyfryw alwad, pe ystyriasai efe fod cyfeiliornad yn ddiberygl; canys tra'r oedd ef yn y peryglon mwyaf, yr oedd ereill mewn cyfartal diogelwch, yn ol yr athrawiaeth hon, ac mewn esmwythyd cyflawn.

Paham yr oedd y gwasanaethwr hwn i Grist yn gofidio cymmaint yn achos y gweithredoedd a wnaethai cyn adnabod y gwirionedd, a galw ei hun y penaf o bechaduriaid, o herwydd, yn benaf, iddo erlid eglwys Dduw, os nad yw cyfeiliornad yn y meddwl yn fai? Paham y galarai efe am beth ag sydd yn ddiniwed mewn ereill? Oni buasai yn ddigon iddo fod yn fwy gochelgar rhagllaw, wedi derbyn o hono ychwaneg goleuni? A ddywed rhyw un fod cyfeiliornad yn ddiniwed tra fyddom ni heb ei adnabod yn gyfryw, ond ei fod yn myned yn fai pan adwaenom ef, ac y dylem alaru o'i herwydd? Os felly, helaethrwydd ein gwybodaeth ni, ac nid gair y gwirionedd yw y rheol wrth yr hwn y bernir beiau, ac yn gyffredin, y dyn bŷraf ei wybodaeth yw'r pechadur lleiaf, a'r ffordd benaf i gael y goreu ar ein holl bechodau a'u mwynhau ar yr un pryd, yw, dwyn ein hunain yn raddol i gredu nad pechodau ydynt, ac yna hwy a beidiant bod yn gyfryw! Creded y lleidr fod diffygiadau ei deulu yn cyfiawnhau ei ymddygiad, ac yna nid lleidr a fydd!

Paham y gosodai'r apostolion eu hunain yn agored i bob peryglon wrth daenu eu hegwyddorion, os nad oeddynt yn eu cyfrif o bwys mawr? Onid doethach fuasai i Paul i aros wrth ei bebyll, neu ddilyn ei lwybrau dysgedig, nâ pheryglu ei einioes, a therfysgu y byd wrth ei egwyddorion? Os nad oes niwed a pherygl mewn cyfeiliornad, yn lle dywedyd "Gwae i mi oni phregethaf yr efengyl," cymhwysach fuasai dywedyd, "Gwae i mi os pregethaf yr efengyl, i wneuthur fy hun yn agored i fil o gyfyngderau, ac aflonyddu tawelwch y byd." Mewn gair, paham y dylem weddio yn barhaus, "Deued dy deyrnas," os nad yw o wahaniaeth pa deyrnas a fyddo yn ffŷnu?

7. *Natur a chymhwysder pethau a brofant* nas dichon cyfeiliornad fod yn ddiniweid. Ai cymhwys yw fod Duw perffaith mewn geirwiredd yn cael ei anghredu? Nid yw cyfeiliornad yn aros yn anmhleidiol, canys y mynyd yr ymadawo'r meddwl â'r gwirionedd, y mae yn myned i raddau cyfartal yn ei erbyn; pob ysgogiad oddiwrth y gwir sydd gychwyniad yn ei erbyn, ac y mae pob gwrthwynebiad a wneir i'r gwirionedd yn tueddu i'w ddirymu, a pheri i anwiredd fuddugoliaethu arno. Yn lle cyfrif gwrthodwyr y dystiolaeth a dystiolaethodd Duw am ei Fab, (gan nad beth oedd hòno,) yn ddynion diddrwg, dywedir yn bendant eu bod yn "ei wneuthur Ef (Duw) yn gelwyddog," 1 Ioan v, 10.

I ddwyn y pwnc yn nes atom ein hunain, ni a ymofynwn beth pe byddai cymmeriad un o honoch chwi frodyr, ag sydd a'ch buchedd yn ddifrych-

eulyd, yn dygwydd bod yn destun camsyniad, a dygwyddo i mi, neu ryw un arall ddyfod i'ch cymmydógaeth, ac ymholi â dau neu dri o'ch cymmydogion agosaf yn nghylch eich ymddygiadau, a gadael fod y tri chymmydog yn eich adwaen y naill fel y llall, heb fod un wedi *clywed na gweled* mwy o'ch herwydd nâ'r llall, gofynwn i'r cyntaf, "Gan eich bod chwi yn dra adnabyddus o'm cyfaill B——, beth yw eich barn chwi am dano? pa fodd y mae'n ymddwyn yn y gymmydogaeth?" Ateb, "Dyn duwiol, elusengar, tangnefeddus, a thra hardd yn ei holl fuchedd yw, ac os yw'r holl rinweddau yn medru cyfarfod yn yr un dyn, eich cyfaill B—— yw efe."

Da iawn genyf glywed hyn, ond âf rhagof at eich cymmydog arall, a gofynaf, "A wyddoch chwi, Syr, rhyw beth am fy nghyfaill B——, pa fath ŵr yw efe?"—"Adwaenwyf ef yn lled dda, nid oes genyf lawer i ddywedyd am dano, y mae megys llawer o honom yn ddyn canolig, yn rhagori ar ambell un, ac yn waeth nag ereill, y mae yn gymmydog o'r goreu, a chymmeryd un peth gyda'r llall."

Da genyf nad yw gwaeth, ond yr oeddwn yn meddwl ei fod yn rhagori ar y cyffredin; ond âf yn awr at eich trydydd cymmydog a dywedaf, "Yr wyf wedi clywed llawer o sôn am fy nghyfaill B——, ac am eich bod chwi yn preswylio mor agos ato, meddyliais y gallaswn gael gwybod ei hanes genych, attolwg, pa fath ŵr yw ef?"—"Ow! ow! y dyn mwyaf diras a diffaith yn yr holl gymmydogaeth yw efe, anghenfil meddw, ymrysongar a therfysglyd, ac oni byddai ofni hongian gerfydd ei wddf, ymddiriedwn i ddim iddo na fyddai yn lleidr ac yn llofrudd gweithredol cyn pen pythefnos, anhawdd i chwi gredu, oddieithr adnabod o honoch ef yn fwy trwyadl, y fath adyn diras ydyw!"

Yn awr gofynaf, a fyddai i chwi ystyried y gwahanol ddarluniadau hyn o'ch cymmeriad yr un mor ddiniwed y naill â'r llall?—Oni farnech y gŵr a'ch drwgliwiodd fwyaf yn ddiachos, yn deilwng o gosp, o herwydd fod ei ymddygiad yn ffrwyth cenfigen, drwg-ewyllys, neu ragfarn anesgusodol? Dilys genyf y gwnaech.

Ond i'ch gadael chwi, cymhwyswn y sylwadau hyn ar dybiau dynion, at un sydd "fwy nâ chwi, îe, mwy nag angylion y nef." Gofynaf i arddelwyr Penarglwyddiaethol ras, "Beth debygwch chwi am Grist?" yr ateb yw, "Y mae efe uwchlaw pawb, yn Dduw (mewn ystyr briodol) BENDIGEDIG YN OES OESOEDD, a thrwy ei haeddiant Ef yn unig yr ydym yn meddwl cael bywyd tragywyddol, ac iddo Ef yr ydym yn chwennych priodoli ein holl iechydwriaeth, y mae efe yn rhagori ar ddeng mil."

Yn nesaf, gofynaf i ganlynwyr parthol Sosinus, "Beth debygwch chwi am Grist?"—"O, y mae yn *ddyn da* iawn, y goreu o dysgawdwyr, a bu mor ffyddlon â chadarnhau ei athrawiaeth â'i waed."—"Ond, a ydych chwi yn ei addoli ef? A ydych yn dadleu ei deilyngdod ef am gymmeradwyaeth gyda Duw?—Ateb, "Nyni! Ffolineb eithaf! Perffeithrwydd

gwrthuni!—Nyni! fodau rhesymol yn myned i addoli dyn, er ei fod yn *ddyn da!* Na thybiwch."

Af rhagof, a gofynaf i'r drydedd blaid, sef yr Iuddewon, "Beth debygwch chwi am Grist? a yw efe yn briodol yn Dduw, neu yn ddyn da?"—"Nid un o'r ddau. Efe, yn Dduw! neu yn ddyn da!—Y meddwyn, neu yr 'yfwr gwin,' y twyllwr, cyfaill publicanod a phechaduriaid, gŵr mewn cyngrair â Beelsebub, gwrthwynebwr Moses, y Deml, a Cæsar! a gwaeth nâ'r cwbl yn *gablwr*, Pa fodd y dichon fod yn ddyn da?"

Yn awr naturiol fyddai gofyn, gan fod cam-ddarluniad o gymmeriad dyn yn cael ei ystyried yn ddrwg mawr, pa faint trymach cospedigaeth a haedda'r sawl a gam-ddarluniant gymmeriad yr hwn yr ysgrifenodd Moses a'r proffwydi am dano, yn neillduol gan fod yr ysgrythyrau, y rhai yn unig 'sydd yn tystiolaethu am dano Ef' fel Gwaredwr, yn feddiannol gan bawb, a'r dystiolaeth a roddant i bawb yn ddiwahaniaeth, a'r holl bleidiau yn addef mai wrth y rhai hyny y mae adnabod y Messia, heb fod y naill *yn clywed am dano* ond yr hyn a glywir gan y lleill.

A yw yn alluedig i ni gredu fod ysgrifenwyr y Beibl mor anhyddysg mewn ysgrifenyddiaeth, fel na fedrent wahaniaethu yn eglur rhwng cymmeriad y twyllwr penaf a'r athraw enwocaf, y pechadur duaf a'r sant dysgleiriaf? Neu rhwng *dyn da* a'r *Duw tragywyddol?* A ydyw'r pethau hyn mor debyg i'w gilydd fel na fedrai y rhai a addefir yn gyffredin, oeddynt brif-athrawon dynolryw i ysgrifenu yn ddealladwy yn eu cylch?—Neu ynte, a raid i ni gredu fod cynneddfau Cristionogion cywir yr oesoedd diweddaf mor waned, fel nas gallont amgyffred y gwahaniaeth rhwng Duw a dyn? A ydynt ddarostyngedig i dybied mai *dyn da* yw'r hwn a ddarlunir yn gyflawn ac yn eglur fel Duw yn yr ysgrythyr, neu mai Duw *cadarn* yw yr hwn y llefarir yn ddealladwy am dano fel *dyn da?* Rhaid i'r rhai o'r pethau hyn fod felly, neu ynte (yr hyn sydd hawddach genyf gredu) y mae rhyw duedd anonest neu anghywir yn y fynwes gamsyniol.

Cofiwch hyn, wrth ymadael â'r pen hwn, os *dyn da* oedd Crist, a phroffwyd anfonedig i efengylu i'r caethion, mai mwy pechadurus yw ei alw ef yn *dwyllwr*, &c., nac yw cam-ddarlunio eich cymmeriad chwi; ac o'r tu arall, os yw *dwyfol addoliad* yn perthyn iddo, yn nghyd â chlod diderfyn am 'ddwyn i mewn gyfiawnder tragywyddol' y mae trosedd y sawl a ymdrecho i gadw hyn oddiwrtho, yn fil mwy nag eiddo'r hwn a ddrwg-liwio'r gŵr mwyaf difrycheulyd ac hynaws yn y byd, canys os Duw yw efe, 'ni rydd efe ei ogoniant i arall, na'i fawl i ddelwau cerfiedig,' ac nid dieuog ganddo y sawl a gadwo ei ogoniant hanfodol rhagddo.

## SYLWADAU ATHRONIAETHOL.

NID oes rhan o waith Duw yn annheilwng o sylw y goreu o ddynion; er y dichon dynion annuwiol fyfyrio llawer ar waith creadigaeth, heb esgyn yn uwch nâ'r creadur, etto pa fwyaf yr ymëango gwybodaeth dynion grasol yn ngwaith Duw, mwyaf oll y tueddir hwy i ryfeddu a chanmol Lluniwr pob peth crëedig; canys nid yw holl weithredoedd Duw amgen nag amlygiadau eglur o berffeithiadau ei natur. Gan hyny, nid yw dywedyd fod dyn yn *rhy grefyddol* i fyfyrio ar athroniaeth ond gwrthddywediad eglur; megys pe dywedid, "Y mae dyn yn *rhy iach* i fwyta, yn *rhy gryf* i weithio, ac yn gweled yn *rhy dda* i ddarllen."

Nid yw bod anghredinwyr yn gwneuthur camddefnydd o ddysgeidiaeth o'r fath hyn ond profi y dylai credinwyr wneuthur defnydd priodol o honi, pe amgen, hawdd fyddai dangos na ddylai y gwir grefyddol na darllen na gwrando gair Duw, oblegid camddefnydd a wna'r anghrefyddol o hyn yn gystal ag o'r hyn a grybwyllwyd.

Wedi agor y ffordd yn y modd hyn, awn rhagom i sylwi ar waith Duw natur.

### AM SYLWEDD, NEU FATER.

Arferir y gair *sylwedd* mewn gwahanol ystyriaethau, eithr nid oes a fynom ag ef yn awr ond yn ei ystyr athroniaethol.—Amrywiaethau hanfod ydynt mewn ystyr gymharol yn ddiderfyn, a gwahaniaethau mewn sylweddau yn anneirif, etto cynnwysir hwy oll dan yr enw cyffredin hwn; canys ystyria athroniaethwyr *sylwedd* fel enw cyffredin am bob peth a weithreda ar ein synwyrau. Bid i'r darllenydd ieuanc gadw y darluniad hwn yn ei gof. I bob rhyw o sylweddd, a fu hyd yma dan sylw, y perthyn y cynneddfau canlynol:—Cyfander—Hyranrwydd—Symudolder—ac Anfywiogrwydd; ond ni ddichon neb ddywedyd nad yw yn meddiannu cynneddfau ereill, y rhai na ddichon ein galluoedd anmherffaith ni eu cael allan ar hyn o bryd.

Gallwn weithiau foddhau ein hunain ag helaethrwydd ein gwybodaeth, a thybied ei bod yn go ëang, ond manylach ystyriaeth a'n dysga nad ydym etto yn gwybod ond megys dim; pethau newyddion ydynt yn ddibaid yn dyfod i'r golwg, ac nid oes dadl nad felly y bydd hyd oni chyhoeddir fod diwedd pob peth yn nesâu; yna eglurir perffeithiadau y natur Ddwyfol i raddau na ddaeth i galon dyn i feddwl am danynt o'r blaen.

Wrth Gyfander y meddylir yma y gynneddf a feddiannir gan bob corff i rwystro pob sylwedd arall i feddiannu yr un lle ag ef ar yr un amser:—yr hon sydd gynneddf mor amlwg fel na raid ond ei henwi i'r dyben i'w deall. Tybiai y darllenydd fy mod yn dirmygu ei ddeall, pe cynnygwn ddywedyd fod yn rhaid iddo ef symud o'r gadair ag y mae yn eistedd arni,

neu y lle y mae yn sefyll arno, cyn y gallai fy nghorff i ei feddiannu: ac felly am gyrff llai, neu ronynau sylwedd, gan nad pa mor fychan fyddent.

Pe byddai pob math o sylwedd yn weledig, hawdd fyddai i bawb gydnabod y gynneddf gyffredin hon, ond am fod rhai rhywiogaethau yn anweledig, gan eu bod yn dryloyw, megys yr awyr ag ydym yn anadlu ynddo; anghenrheidiol yw ystyried yn neillduol fod pob math o wlybyrau hefyd yn meddu y gynneddf hon. Anwneuthuradwy fyddai gyru i chwibol neu bibell a fyddai ag un pen yn gauedig, ac yn llawn dwfr, bren ag a fyddai yn ddigon i'w llenwi yn drwyadl, heb dywallt allan y dwfr yn gyntaf; a phan ddelom, mewn rhifyn arall, i sylwi ar natur yr awyr trwy yr hwn yr ydym yn cerdded, cawn weled fod hyd y nod yr awyr trwy yr hwn yr ydym yn cerdded, ac yn anadlu ynddo, pan gaethiwer o fewn i ryw derfynau, mor gyfan a chaled â'r gàreg galetaf.

Hyranrwydd yw'r gynneddf trwy yr hon y gellir gwahanu rhanau unrhyw gorff sylweddol oddiwrth eu gilydd. Ac na fydded i'r gynneddf hon, gan nad pa mor eglur y dichon ymddangos, gael ei thrin gydâ dibrisdod. Gallwn gymmeryd corff o faintioli penodol, a'i ranu i ychwaneg o ranau nag y byddo genym amynedd neu allu i gyfrif; ïe, hyd oni fetho ein golygon i'n cynorthwyo i fyned rhagom; ac wedi hyny gallwn, trwy gymhorth gwydrddrychau addas, ddwyn yn mlaen ein gwaith o ranu, a pharhau i foddhau ein cywreingarwch yn gyfattebol i alluoedd y gwydrau a ddefnyddir genym; ond wedi'r cwbl rhaid i ni roddi heibio, a chyfaddef anmherfeithrwydd ein cynneddfau, ac anchwiliadwy ddoethineb a gallu y Creawdwr Mawr!

I ba helaethrwydd y gellir dwyn yr hyranrwydd hyn yn mlaen, nid oes un athroniaethydd hyd yma wedi ei gael allan; pa un ai yn ddiddarfod, megys yr haera rhai, neu pa un a allem yn y diwedd gyrhaedd y mymryn diweddaf yr hwn nas gellir ei ranu yn mhellach, fel y tybia ereill, sydd un o'r anhawsderau perthynol i'r cyflwr presennol, ac ysgatfydd a fydd byth yn y tywyllwch. Yr athroniaethydd Cristionogol a gyferfydd â dirgeledigaethau mewn natur, yn gystal ag mewn rhagluniaeth a gras, y rhai na ddichon rheswm anghredinwyr, er eu hymffrost ynddo, eu cael allan.

Rhydd y darluniad hyn o *sylwedd* neu *fater* y prawf egluraf o Law Hollalluog! Y mae aur o'r fath natur fel y gellir morthwylio un gronyn (sef y 480fed ran o owns) o hono, i'r fath feindra, fel y gellir gweled y ddwy-filiwnfed ran o hono â'r llygad noeth. Y mae creaduriaid byw yn hanfodi wedi eu hollol gyflunio, neu yn meddu rhanau amrywiol cyfluniedig megys creaduriaid ereill, ond mor fychan fel y dichon miloedd o honynt sefyll ar flaen nodwydd!—"Celwydd, celwydd goleu," medd Shôn o'r wlad. Gan eich pwyll, Shôn, ni wyddoch chwi ddim am y peth a siaradwch, eithr y mae'r holl fyd dysgedig, y rhai a wyddant am yr hyn y llefarant, yn tystio o unfryd mai gwir yw. Hefyd, da fyddai i chwi gofio, fod blaen nodwydd, pan edrychir arni trwy chwydd-wydr, yn mhell o fod yn wastad neu lyfn, ac yn llym. Bydded i'r hwn a amheuo y

pethau gwirioneddol hyn, yn lle breuddwydio ymaith ei amser, chwilio iddynt ei hun, ac yna gwaded hyn os dichon.

Eithr af rhagof at *symudolder*, yr hon yw y gynneddf trwy yr hon y'n galluoger i symud unrhyw gorph sylweddol o un rhan o'r gwagle, i ran arall o hono; a'r gynneddf hon sydd mor gyffredin â'r rhai a grybwyllwyd eisioes. Gwir yw fod rhai sylweddau mor fawr a phwysig, y rhai a elwir mewn modd gorwireddol yn ansymudol; eithr hyn a dardd oddiwrth ein hanalluogrwydd ni i gymhwyso grym digonol i'r gorchwyl; canys y mae craig neu fynydd mor symudadwy yn ei natur, â chareg neu bren bychan.

*Anfywiogrwydd* neu *anweitholrwydd*, yw'r gyneddf hòno perthynol i sylwedd neu fater, trwy yr hon y parhauai fyth yn yr un cyflwr o orphwysfa neu ysgogiad yn yr hwn y rhoddid ef, oddi eithr cael o hono ei rwystro gan ryw rym allanol iddo. Nid oes neb yn tybied y dichon mater i osod ei hun i fyned, neu i ysgogi ei hun; ond nid mor amlwg â hyn i bawb yw na fyddai iddo fyth aros yn llonydd wedi cael o hono ei gyffroi neu ei yru yn mlaen unwaith. Yr ydym wedi clywed llawer am gyffroad neu symudiad dibaid; ond ni welsom ddim erioed cyffelyb iddo, o herwydd fod yr holl ysgogiadau ag y wyddom ni am danynt, yn cael eu rhwystro, a'u dinystrio yn y diwedd, gan wrthwynebrwydd yr awyr, a rhugliad.

Yn gyfatebol i wendid a gwanychiad y rhwystrau hyn y bydd i ysgogiad y corph i barhau, a phe gellid symud y rhwystrau hyn yn hollol, byddai yr ysgogiad yn unffurf, cysson, a dibaid; gellid taflu careg o law, neu o ffon-dafl, a hi a elai rhagddi yn ddibaid; neu roddi tro i olwyn, a hi a droiai yn ddiorphwys; byddai mor anhawdd iddynt orphwys o honynt eu hunain ag oedd iddynt gychwyn ar y cyntaf.

Eglurir rhai o'r pethau hyn yn fwy pan ddelom i sylwi ar natur a chynneddfau awyr, a phethau ereill. Y mae gormodd yn ymddibynu ar bob o'r un cynneddfau hyn i ganiatâu i ni eu priodoli i effeithiau yr hyn a elwir, mewn modd anwybodus ac anghrefyddol, *damwain*. Pwy, ond Bod rhagorol mewn gwybodaeth, a allasai drefnu a chymhwyso elfenau creadigaeth gydâ'r fath fedrusrwydd goruchel ac anfynegol, â pheri i brydferthwch annhraethadwy i gyfodi o gymmysgedd ac annhrefn o'r mwyaf?

O, fy enaid! rhyfedda yn barhaus am berffeithiadau dy Dduw, a chyda syndod diolchus cofia mai yr Hwn a wnaeth hyn oll a gymmerodd gnawd am dano, a fu farw, ac a wnaeth iawn drosot; a'i fod wedi ymrwymo defnyddio'r galluoedd a ddygasant y byd i hanfodi, i ymgeleddu a diogelu y sawl a ymddiriedant ynddo; a meddwl fod genyt lawer etto i ddysgu!

# TWYLL RESYMAU.

Yr wyf wedi darllen llawer iawn o ysgrifenadau Sosiniaid yn ddiweddar; ac wrth sylwi ar eu dull hwy, a rhai ysgrifenwyr yn mysg pleidiau ereill, yn ymresymu, yn gŵyrdroi yr ysgrythyrau, ac yn rhoddi rhesymau golygus dros y pynciau mwyaf gwrthun, a'r egwyddorion mwyaf anamddiffynadwy á dinystriol, meddianwyd fy meddwl trwy orthrech, fwy nag unwaith, gan y cyfarwyddiadau a roddasai Pendefig digrif i'w gyfaill yn nghylch prynu a thrafod ceffyl, y rhai a ddarllenais pan oeddwn fachgenyn; yn nghyd â rhai cynghorion ar yr un testun a glywais wedi hyny; ychydig o honynt sydd debyg i'r hyn a ganlyn:—

Pan eloch i brynu ceffyl, pigwch yr hwyaf ei glustiau a alloch weled yn yr holl ffair; geill clustiau hirion eich anifail fod o wasanaeth neillduol i chwi wrth deithio mewn lleoedd dyeithrol, canys pan ofynoch y ffordd i'r cyfryw a'r cyfryw le, yr ateb a gewch yn gyffredin yw, "Ewch yn union yn y blaen," ac wrth edrych yn graffus rhwng y ddwy glust hirion gellwch fyned yn hollol ddiwyrni, yr hyn ni allech gyda chlustiau byrion.

Ni's gwaeth pa fath lygaid fyddo ganddo, ac o'r ddau mwyaf dewisol fyddai ei fod yn hollol ddall, o blegid os bydd ceffyl yn gweled yn dda, ac yn fywiog ei ysbryd, y mae yn dueddol iawn i dasgu a phallu myned yn mlaen pan welo wrthddrychau hynodion, a thrwy hyn dichon beryglu eich bywyd, neu eich rhwystro ar eich taith; ond os dall a fydd, efe a â heibio i wrach y rhibyn a phob bwci yn ddigyffro; hefyd, gan fod genych chwi bâr o lygaid da, o ba ddefnydd y mae llygaid i'r anifail? o herwydd efe a â ffordd y myno y marchogwr.

Dylech edrych ar benliniau ceffyl bob amser cyn prynu, ac os bydd clwyfau neu greithau arnynt goreu i gyd, o herwydd prawf yw hyny ei fod wedi cwympo unwaith, ac wedi cael dolur, ac am hyn efe a gymmer ofal i beidio cwympo drachefn.

Da hefyd fyddai i chwi gael yr anifail a fyddai yn pantu fwyaf yn ei gefn, oblegid chwi a eisteddwch yn esmwythach arno, ac ni bydd cymmaint perygl i chwi gwympo dros ei ben ar y gwaered, nac yn ol ar y tylau, &c.

Ni ddylech ysparduno eich ceffyl fyth yn ei ochrau, o herwydd eich bod yn dra choes-hir, byddech mewn perygl i daro eich sodlau ynghyd, rhwygo eich botasau, os nid clwyfo eich cnawd, oddi eithr bod genych geffyl tra boliog; a phe coesau byrion fyddai genych, byddech debygol i ysparduno y ceinglau ddwy waith am bob un waith y cwrddech â'r ceffyl; gan hyny dylech godi eich sodlau a phigo eich anifail ar ei ysgwyddau, o herwydd y mae ei deimlad yn fwy bywiog yno, ac ni byddai un rhwystr ar eich ffordd i'w bigo i'r eithaf.

Pan fyddoch yn myned i daith fawr a brys arnoch i'w gorphen, dylech gymmeryd un neu ddau arall gydâ chwi ar y ceffyl, canys yna byddech

ddau neu dri i yru yr anifail, ac y mae yn galed os na dichon dau neu dri wneuthur mwy o waith nag un.

Os bydd galwad arnoch i farchogaeth ar bwn a'r ceffyl yn wan, da fyddai i chwi eistedd ar y cyfrwy a chymmeryd y pwn ar eich ysgwydd cyhyd ag y galloch, ac yna byddech eich dau o dan y pwn, ac y mae yn rhyfedd os na byddai hyny yn well i'r ceffyl, nâ'ch bod chwi heb ddwyn rhan o'r baich.

Gellai y rhesymau uchod, neu amryw o honynt ymddangos yn gedyrn i'r sawl na wyddant ddim am natur ceffyl, ond i ereill ni wnant ond meithrin tuedd cryf i chwerthin; a phe byddai dynion yn gyffredin mor ymofyngar yn nghylch pethau crefyddol ag y maent am bethau daearol, byddai y rhan amlaf o resymau yr ysgrifenwyr rhagddywededig mor annerbyniol â'r rhai uchod; ac yr wyf fi o ddifri yn tystio nad ydynt nemawr, os dim, gwell nâ hwythau yn eu hymddangosiad i mi.

## LLYTHYRAU AT WEINIDOGION.

PETH arferol iawn gan grefyddwyr ac ereill yw danfon llythyrau at weinidogion yr efengyl, yn neillduol y rhai ydynt yn byw mewn trefi, i geisio ganddynt wneuthur cymwynasau o un natur neu'r llall drostynt; a'r achos o ysgrifenu at weinidogion, yn hytrach nag at ddynion ereill, yw eu bod yn fwy adnabyddus nag ereill, a'r llythyrau yn fwy sicr o'u cael allan nâ dynion anghyoedd.

Nid oes gan ysgrifenydd y llinellau hyn un gwrthddadl i hyn, ond y mae yn addef mai dyledswydd gweision cyhoedd Crist yw gwasanaethu eu brodyr ac ereill a ddygwyddo fod yn gwybod am danynt, trwy ddamweinio eu clywed yn pregethu, neu glywed son am danynt gan ereill; eithr y mae ganddo un gwrthddadl o bwys yn erbyn gohebiaeth o'r natur hyn, yn y dull ag y dygir yn mlaen gan y rhan amlaf; hyny yw y maent yn ANGHOFIO TALU am gludiad eu llythyrau; ac er fod rhai yn cofio y mae'r esgus a roddant am beidio yn un gwael ac annigonol, sef, bod "ofn arnynt, ysywaeth, nad â'r llythyrau yn ddiogel i ben y daith, os talant am danynt;" neu mewn geiriau ereill, y maent yn ofni mwy y colledir hwy gan y llythyrwr nag yr ofnant y bydd i'r dynion yr ysgrifenant atynt gael eu colledu o'u hachos hwy; yr hyn sydd brawf o hunanoldeb i raddau anghyfiawn; canys, a gadael fod eu rheswn arferol yn rymus, mwy rhesymol a chyfiawn yw i ddyn fod mewn perygl o golli ychydig yn ei achos ei hun, nâ gosod traul ar arall mewn achos nad yw yn perthyn iddo.

Eithr gwybydded yr anghyfarwydd fod llythyrau a delir am danynt mor sicr o fyned i ben y daith, â'r rhai ni thelir am danynt;—nid yw'r llythyrwyr well o herwydd y llythyrau, canys y Llywodraeth sydd yn cael yr holl arian oddi wrthynt; a phe dygwyddai i ryw lythyr fyned

ar goll, gellid galw'r llythyrwr i gyfrif, a byddai i Weinidogion y Llywodraeth ddwyn y peth i'r amlwg. Y mae'r ysgrifenydd wedi talu am ugeiniau o lythyrau cyn eu danfon ymaith, megys y gwna pob dyn cydwybodol yn ei achos ei hun, ac ni fethodd yr un o honynt a myned i'w le. Cedwais gyfrif o'r arian a delais am lythyrau dros un tri mis o amser, ac yr oeddynt ychwaneg nâ dwy bunt!! ac o'r rhai hyn nid oedd ond tri neu bedwar o'r llythyrau yn perthyn i mi. Ac oni buasai'r golled o'u hachos, cawswn gryn ddigrifwch ganddynt. Byddai un gwr wedi newid ffrwyn er ei waeth yn ffair Llangyfelach, ac eisieu arno i mi ysbïo ac holi yn mysg fy ngyfeillion am dani; chwennychai arall wybod pa bryd yr hwyliodd ei frawd o Abertawe, wedi bod o hono yn ymolchi yn y môr, tua B....; rhoddai arall i mi yr anrhydedd o ymholi yn go fanwl a oedd eisieu morwyn dda ar ryw deulu yn y dref, neu'r gymmydogaeth. Danfonasai un gwr gart i'r dref hon i'w werthu, ac yr oedd yn dewis i mi rhoddi gwybod iddo pa un a werthwyd ef ai peidio. Chwennychai y llall gael hysbysrwydd yn nghylch cymmeriad cymmydog iddo a fuasai yn byw yn agos i mi. Ac yr oedd arall yn taer ddymuno cael gwybod os oedd brethynau a llieiniau i'w cael am lai o pris yma nag yn ei artref ef. Clywsai un dyn o Ddyfed am hen gymmydog iddo yma, yr hwn a flinid gan goes friw, a pharodd i mi fynegu iddo yr hyn a wellhaodd ei goes ef ei hun wedi bod o honi yn yr un cyflwr. Dygwyddodd i ryw ddyn o sir Aberteifi fy nghlywed yn pregethu, ac yr oedd awydd arno i hysbysu i mi ei fod yn cymmeradwyo fy mhregeth yn fawr, ond y buasai hi yn well o lawer pe gwnaethwn y sylwadau a ddanfonasai efe i mi. Wedi cyhoeddi o honof lyfryn ar bwnc crefyddol, cefais lythyr dyblyg o Lanymddyfri, yn cynnwys amlygiadau o ewyllys da yr ysgrifenydd penbwl i mi yn bersonol, ond fy mod wedi esgeuluso y rheswm cadarnaf dros y pwnc a amddiffynid genyf.

Wedi cael o honof fy mhoeni fel hyn agos pob dydd, a'r wraig yn grwgnach yn ddirfawr o herwydd caredigrwydd a lliosogrwydd fy nghyfeillion gohebol; wele lythyrau yn dyfod oddiwrth naw o ddilladwyr, neu, fel y gelwir hwy yn gyffredin, teilwriaid, y rhai oeddynt wedi clywed fod llawer o alw am yr ŵydd, y gwellaif, a'r nodwydd yn y dref hon, ac yn ewyllysio gwybod os felly yr oedd, ond yr hyn a'm blinai oedd, i mi gael talu yr un faint am y llythyrau â phe buasai naw DYN yn ysgrifenu ataf.

Dros amryw flynyddau yn nghyd lladratawyd bara fy mlant oddi arnaf, weithiau byddwn yn cael o dri i chwech llythyr o'r fath hyn yn y dydd, ac anfynych y dygwyddai llai nâ hyny mewn un wythnos, a'r rhai hyny yn costio i mi o bedair i dair ar ddeg o geiniogau yr un; y maent ychydig anamlach yn awr nag y buont, o herwydd yr wyf yn danfon llawer o honynt yn ol at eu hawdwyr, gan fynegu iddynt fy mod wedi penderfynu na wnawn o hyn allan, gyflawni cais mewn llythyrau a fyddo heb dalu am danynt, oddieithr fy mod dan rwymau neillduol i'r ysgrifenwyr.

Tra ewyllysgar ydwyf i wneuthur y daioni a fedraf i belledigion, ond

yr wyf yn cyfrif mai digon yw i mi wneuthur y gymmwynas a ofynir, colli fy amser, a rhoddi fy mhapur am ddim,—nid wyf yn cyfrif ymddygiad y sawl a godant y fath dâl arnaf o'm hanfodd, i lymhau fy nheulu, nemawr gwellnâ lladron; yspeiliant fy llogell ganol dydd—drygant fy mywioliaeth trwy drais—anrheithiant fy nheulu trwy ddichell, o herwydd fy mod yn eu derbyn fel cyfeillion—a dygant ymaith fara fy mhlant er mwyn arbed yr eiddynt eu hunain. Yr wyf yn gobeithio na chyfrifir fi yn anghyfeillgar, yn anfoesgar, ac anfrawdol pan ddanfonwyf y cyfryw lythyrau yn ol i'r lleoedd y daethant o honynt; canys pa frawdgarwch a welir yn y driniaeth ag wyf yn gael yn y modd hyn. "Y neb y mae iddo gyfeillion, cadwed gyfeillach," a'r sawl sydd ganddo frodyr cadwed frawdgarwch.

---

## RHAGOFALON.

NODIADAU AR MATHEW VI, 34,—"Na ofelwch, gan hyny, dros dranoeth, &c."

Dyn a aned o wraig sydd fŷr o ddyddiau, a llawn o helbul. Ei fywyd a wneir i fynu o drafferth a gofal, o ddiflasdod a gofid. Y byd yn yr hwn y preswylia efe sydd anialwch o ddrain a mieri, tir cras a sychedig, heb ddwfr.—Dyma ein golwg am fywyd dynol, ac fe ganlyn mai cwbl wagedd yw pob dyn, pan fyddo ar y goreu. Gan hyny, prawf o wendid a ffolineb mawr fyddai llafurio i liosogi ein anhawsderau, a chynnyddu ein cyfyngderau; ond gwneir hyn yn fynych, trwy rag-oddef heddyw y gofidiau a berthyn i foru. "Na ofelwch dros dranoeth," trwy ofnau anghrediniol, a gofalon cythryblus. Darperir gan Dduw dros y foru yn gystal â heddyw, canys daw ei drugaredd ef o'r newydd bob boreu. "Tranoeth a ofala am ei bethau ei hun." Pob dydd a ddwg gydag ef ei ddyledswyddau perthynol, a gelwir arnom ni i wneuthur pob peth yn ei dymmor. Dylem fod yn ofalus bob dydd i wneuthur gwaith y dydd, a pheidio ei adael hyd dranoeth. Efallai na ddaw y foru atom ni, ac os daw, efe a ddwg ei gynnorthwyon gydag ef, ac felly a ofala am ei bethau ei hun. Hefyd, bydd gan bob dydd ei anhawsderau, ond anaddas ac anghyfiawn fyddai cyfrif i heddyw yr anfanteision a berthyn i foru. "Digon i'r diwrnod ei ddrwg ei hun."

Ymddengys mai ystyr y testun yw hyn, mai prawf o wendid, ffolineb, ac anymddibyniaeth ar Dduw, yw gorlwytho ein hunain heddyw â gofalon a chyfyngderau y foru.

1. *Dichon y drwg ag ydych yn rag-oddef beidio fyth a chymmeryd lle, a pheidio hanfodi ond yn eich dychymmyg cynnyrchiol eich hun.*—Mawr yw'r gwahaniaeth yn nghyfansoddiad meddwl a chorff dynion. Y mae rhyw ychydig yn dwyn gyda hwynt gryn lawer o lewyrch yr haul, neu o sirioldeb meddwl yn barhaus, ymddengys ei bod yn Fai a Mehefin arnynt

hwy trwy'r flwyddyn, treuliant fwy o'u hamser dan lywodraeth gobaith nac eiddo ofn. Ereill a wahaniaethir gan ofid a thywyllwch, heb nemawr o lewyrch haul i oleuo eu meddwl; lliwiant bob gwrthddrych o'u hamgylch â chaddug eu meddyliau eu hunain, meddant y dawn i droi pob melus yn chwerw, pob haf yn auaf, pob dydd yn nos, a phob addewid yn fygwthiad; treuliant eu tymmor i ben dan arglwyddiaeth ofn yn hytrach nâ gobaith, a chan mwyaf yn ymddwyn yn afresymol.—Pa sawl gwaith y siomwyd eich ofnau—y peidiodd eich rhagfeddyliau a chymeryd lle—y daeth eich rhagddywediadau tywyll i'r dim, yn nghylch eich iechyd, eich perthynasau, eich cyfeillion, eich sefyllfa, a'ch mwynhad crefyddol! Pa ham, gan hyny, y meithrinwch y fath ofalon ysol? "Digon i'r diwrnod ei ddrwg ei hun."

2. *Trwy ragofalon tywyll ac anghrediniol, yr ydych yn dyoddef ddwywaith, yr hyn, mewn modd amgen, na fuasai raid i chwi brofi ond unwaith.* —O ugain o gyfyngderau yr ydych yn gwneuthur pedwar ar bymtheg eich hunain. Os ydych mor drygionus o gywrain â gwneuthur hyny, pa ffolineb raid bod lliosogi eu nifer trwy ragofalon amheus! Gellir dywedyd am ragofidiau megys y dywedodd un am angeu, "Y mae dyn yn ffurfio angeu yr hwn ni wnaeth natur erioed, ac yna ar flaen ei ddychymyg ei hun, (megys ar flaen cleddyf llym), efe a syrth, ac a deimla fil o farwolaethau wrth ofni un." Pa sawl gwaith y teimlasoch fil o ofidiau wrth ofni un siomedigaeth, neu brofedigaeth? Bydd yn ddigon cynnar i chwi ddwyn eich gofidiau pan ddelont; eithr ffolineb anrhaethol yw poenydio eich hunain â hwy cyn y delont—yw ychwanegu anhawsderau dychymygol at rai anocheladwy—yw dyoddef loes fil o weithiau, o herwydd y rhaid i chwi ei ddyoddef unwaith. Eithr os na ddaw y drygau dychymygol byth, yna eich ofn o honynt yw eich unig gyfyngder, a rhaid bod y cyfryw ofn yn wagedd a gorthrymder ysbryd diraid ac anesgusodol.

3. *Y mae rhagofalon yn ddiles a diffrwyth, ac am hyny yn annoeth a phechadurus.*—Pan y mae ein Harglwydd yn dywedyd, "Na ofelwch dros dranoeth," nid ydym i ddeall hyn mewn ystyr gaeth, ond yn gymharol, canys canmolir y morgrugyn am ddarparu ei luniaeth yn yr haf erbyn y gauaf, a dywedir fod y doeth yn canfod y drwg o bell, ac yn ymguddio. Pe esgeulusai y llafurwr i hau ei dir yn y gwanwyn, ni ellid cael lluniaeth yn y gauaf. Ond gydâ golwg ar gystuddiau i ddyfod, nid oes genych awdurdod i luddias eu dyfodiad, "Pwy, wrth ofalu, a ddichon ychwanegu un cufydd at ei faintioli?" Pwy, wrth ofalu, a ddichon rwystro un cyfyngder? Pe gwelem ddyn yn treulio nerth ei gorff i symud y byd o'i sefyllfa bresennol, ni a alwem ei waith yn ffolineb o herwydd ei anffrwythlondeb; eithr fel hyn yn hollol y mae gydâ chwi, pan fyddoch trwy eich ofnau anghrediniol, a'ch gorchestion aneffeithiol, yn ceisio gwneuthur y gŵyr yn union, a'r anwastad yn wastad. Pe gellech gyfnewid trefn y Llywodraeth ddwyfol, gallai eich ofnau fod o ddefnydd. Ond pwy a ddichon droi meddwl Duw, yr hwn sydd yn llonaid tragywyddoldeb? Ei

gyngor ef a saif, ac nid yr eiddoch chwi, nac eiddo eich gelynion, ac efe a wna ei holl ewyllys. Perffaith oferedd, gan hyny, raid fod eich gofalon petrusgar. Gellwch ofni, gofidio, a dyhoeni, ond bydd y cwbl yn ofer, ni rydd Duw byth y Llywodraeth o'i law i chwi. Cofiwch, y dichon amheuaeth poenus i droi y gwin yn ddwfr, a'r melus yn chwerw, ond ymddibyniaeth ar Dduw yn unig, a wna i'r gwrthwyneb; gan hyny peidiwch ag ymryson â Duw yn ei ragluniaethau. "Ai wrth dy feddwl di y byddai," neu y dylai fod. Job. xxxiv. 33.

4. *Ni pherthyn trefnu yr amser i ddyfod i chwi, ac am hyny y mae yn anghyson â'ch dyledswydd a'ch dedwyddwch i drallodi eich hunain yn nghylch yr hyn a ddaw.*—Yr hyn a ddel sydd i chwi yn ardal dywell anadnabyddus; yr ydych mor bŵl eich golwg, fel na's gellwch ddywedyd gyda sicrwydd, beth a ddygwydd mewn mis, diwrnod, neu awr. Er fod llawer o bethau wedi eu rhagfynegu gan yr Ysbryd Glân, ac y byddant sicr o gyflawniad, etto ni's gellwch chwi ddywedyd yn bendant pa fis, neu pa flwyddlyn y cymmerant le, megys cwymp Babilon, dinystr Mahometaniaeth, ac ymlediad buddugol yr efengyl trwy yr holl fyd. Cadwodd Duw wybodaeth o'r amserau yn ei feddiant ei hun. Pa mor fynych y cymmerodd efe lwybr, offerynau, ac amser gwahanol i'r hyn oeddech chwi yn ddysgwyl i ddwyn ei amcanion i ben? Pa mor fynych y llwyddodd y moddion mwyaf distadl, ac y methodd y darpariadau mwyaf gorwych a pherthynasol, ac y gwelsoch nad yw y rhedfa bob amser yn eiddo y cyflym, na'r rhyfel yn eiddo y cedyrn, &c. Fe'ch arweiniwyd chwi eich hunain ar hyd y fordd na fyddyliasoch fawr am dani, gyda golwg ar eich trigfa, eich amgylchiadau, eich cyfeillion, a'ch gelynion. Gwelsoch rai yn disgyn o lawnder i fro diffyg, ac ereill yn codi o ddyffryn helbul i uchel fanau llawnder a llwyddiant, Ni's gellwch ddywedyd beth a ddygwydd i chwi eich hunain mewn ychydig amser, o ran iechyd, amgylchiadau, a chyfeillion. Y mae hyn oll mewn gwell dwylaw; gan hyny, ymddiriedwch yn yr Arglwydd, ac na phwyswch ar eich dealldwriaeth eich hun. Dilynwch yr hyn a berthyn i chwi, fe ofala Duw am ei waith ef.

5. *Pryder aflonydd a thywyll yn nghylch pethau i ddyfod a ddengys ddiffyg ymddiried yn ngweinyddiad rhagluniaeth Duw, yr hwn sydd sylfaenedig ar ddoethineb, uniondeb, ac haelioni.*—Nid yw Duw fyth yn gwneuthur dim ar antur; nid yw ei gynghor fyth mewn dyryswch, canys efe a genfydd y diwedd o'r dechreuad. Nid oes y fath beth â damwain gydag ef; yr hyn sydd ddygwyddiad gyda ni, sydd fwriad gydag ef; efe a wna bob peth yn ol cyngor ei ewyllys ei hun; a'i holl fwriadau a gyfranogant o'i ddoethineb, ei santeiddrwydd, a pherffaith ddaioni; yr hyn a ymddengys yn dda iddo ef, a raid fod felly mewn gwirionedd; nid yw efe byth yn camsynied; y mae yn rhy ddoeth i gyfeiliorni; nis gwnaeth erioed, ac nis dichon fyth wneuthur dim yn feius. Dichon i ni beidio canfod daioni y cwbl, ond dylem gofio nad ydym yn gweled ond rhan o'i gynllun ef; dylem rodio mwy wrth ffydd a llai wrth olwg. Datguddir

Duw i ni wrth yr enw hyfrydlawn *Cariad*. Yn mha le y mae eich ffydd? Gwrandewch hyfforddiadau yr Iesu yn erbyn rhagofalon poenus, (Mat. vi. 25—32.) A ellwch chwi roddi gofal enaid anfarwol i Dduw, ac ofni ymddiried achosion amserol eich corff gwael iddo? A fynech chwi gymmeryd y llywodraeth o'i law ef, a threfnu holl negeseuau y bydoedd eich hun? Cedwch eich lle eich hun, eisteddwch yn y llwch, ond na chynnygwch esgyn i'r orsedd. Nid chwi a greodd y byd, ac ni pherthyn i chwi ei lywodraethu. Dilynwch ragluniaeth, ond na ryfygwch fyned o'i blaen. Rhoddwch eich hun â'ch holl achosion i'r hwn a'ch pia chwi a phob peth; alltudiwch bob ofn anghrediniol; byddwch gadarn yn y ffydd, a chredwch mewn cof, "Digon i'r diwrnod ei ddrwg ei hun."

6. *Y mae rhagofalon cythryblus yn tueddu i suro eich tymher, i'ch gwneuthur yn anamyneddus, ac yn ddigofus.*—Nid oes y prawf lleiaf o wir grefydd lle na byddo amynedd, ac ymostyngiad i ewyllys Duw dan oruchwyliaethau trallodus. Dyledswydd anhebgorol Cristionogion yw meithrin ysbryd llonydd a thawel. Clywsoch am amynedd Job, a gwelsoch ddiwedd yr Arglwydd. Y gras hwn a addurna ac a gyfoethoga ei feddiannydd, ac a wna Gristion yn dra defnyddiol, gan ddangos i ereill fawr werth crefydd. Oni ddarfu i chwi hoff ryfeddu ymddygiad Job lawer gwaith, yr hwn a lefai allan, pan oedd yn myned yn iselach i ddyffryn trallod nag y buoch chwi erioed, "Yr Arglwydd a roddodd, a'r Arglwydd a gymmerodd ymaith; bendigedig fyddo enw yr Arglwydd." Eithr yr hwn a brydera ormodd yn nghylch pethau i ddyfod, a aflonyddir yn ei feddwl, a fydd anfoddlon i ragluniaethau Duw, ac yn barod i ymryson â phawb o'i amgylch. Efe sydd gyffelyb i darw gwyllt mewn rhwyd, neu long ar y cefnfôr garw heb lyw, wedi ei rhoddi i fynu i drugaredd y gwyntoedd. "Mewn amynedd meddiennwch eich eneidiau." Na rwgnechwch pan y dylech ddiolch; na wylwch tra byddo genych achos canu; ac nac ymddygwch megys pe na wnaethai Duw un gymwynas â chwi erioed. "Paham y grwgnach dyn byw, gwr am gospedigaeth ei bechod?" Gal. iii, 39.

7. *Ffrwyth bydgarwch, neu serch beius at y pethau sydd isod, yw y rhagofalon a ddarluniasom.*—Yn gyfattebol i rym ein serch at bethau darfodedig, y bydd ein gofalon pryderus a phoenus yn nghylch pethau i ddyfod. Cofiwch fod yr hwn sydd gyfaill i'r byd yn elyn i Dduw, ac na's gallwch wasanaethu Duw a mammon. Nid yw Duw wrth fendithio ei bobl yn cael ei gyfyngu at un math neillduol o foddion. Y mae moddion chwerw meddyginiaeth mor anghenrheidiol yn eu lle ag ymborth, trallodion mor fuddiol â chysuron, ac ni bydd tânau telyn neb îs nen mewn hwyl, oni ddysgant gânu am farn a thrugaredd. Gristion, y mae dy etifeddiaeth a'th orphwysfa mewn gwlad arall. Dylit gydio yn yslac mewn pob peth daearol, ond yn gryf a diysgog mewn pethau nefol. Y dyn da a ymeifl â'i holl egni yn mhyst pyrth y nen, a phan dreiglo daear dan ei draed, prin y teimla efe effeithiau yr ysgydwad dirfawr.

Na fydded i neb gymmeryd achlysur oddiwrth y sylwadau uchod i esgeuluso eu galwedigaethau, canys yr un awdurdod a eilw arnom i gyflawni ein gwahanol ddyledswyddau, ag sydd yn ein gwarafun i feithrin rhagofalon amheus; cyflawnwn ein dyledswydd, a gadawn ei llwyddiant gydâ Duw, ac os na thry pethau allan yn ol ein dysgwyliadau, byddwn barod i ddywedyd ei fod ef yn gwybod yn well nâ ni pa beth sydd oreu; ac er dim, peidiwn a myned, trwy ragofalon, i gwrdd â gofid, na gwneuthur gofidiau dychymygol, na chymmeryd y baich a drefnodd Rhagluniaeth i ni yn sypynau bychain, ddydd ar ol dydd, ar ein cefnau ar unwaith, canys, "digon i'r diwrnod ei ddrwg ei hun."

## Y LLEIDR DYCHWELEDIG.

(LUC 23, 42, 43.)

**Amryw o'r drych-feddyliau canlynol, ydynt wedi eu cymmeryd o Waith y Parch. Andrew Fuller.**

TYBIA rhai dynion ag ydynt wedi mabwysio yr hyn a alwant *Cristionogrwydd rhesymol*, fod gwir gymmeriad dyn yn cael ei ffurfio trwy arferiad, ac felly bod dychweliad disymwth yn anmhosibl. Ac i'r dyben i amddiffyn y dyb hon, dywedir y gallasai fod y lleidr dychweledig yn ddyn rhinweddol dros ei fywyd, a bod ei drosedd yn gynnwysedig mewn rhyw beth o natur wladol, yr hyn a gyfrifid yn derfysg, ac felly, yn ol y gyfraith, yn haeddu marwolaeth. Pa fodd bynag, nid oes dim yn yr holl hanes a duedda i amddiffyn y dyb hon. Gelwir ef yn *ddrwg-weithredwr* ac yn *lleidr*. Yr un gair yn yr iaith wreiddiol a arferir am Barrabas, yr hwn oedd "yspeiliwr a llofrudd." Ac hefyd efe a euog-farna ei hun, pwy gan hyny a ddichon ei gyfiawnhau?

Ni fyddai gan ddynion ag ydynt o'r dyb hon ddim i'w ddywedyd wrth ddrwg-weithredwr a fyddai wedi ei goll-farnu, ond yn unig chwilio allan a fyddai efe yn fwy dieuog nâ'r cyhuddiad yn ei erbyn; os na fyddai felly, rhaid iddynt ei roddi i fynu. Nid oes a fyno yr efengyl a bregethant hwy ag ef; rhaid iddo farw yn ei bechodau.

Ereill a'r nad ydynt yn myned cyn belled â'r rhai uchod, er addef ei bod yn bosibl i ddynion drwg gael eu dychwelyd, a dybiant fod hyny yn annhebyg iawn; megys pe byddai tebygoliaeth dychweliad pechadur yn ymddibynu ar ei gymmeriad blaenorol. Eithr parodd Iesu i'w apostolion bregethu "edifeirwch a maddeuant pechodau yn ei enw ef yn mhlith yr holl genhedloedd, gan *ddechreu yn Jerusalem;*" troseddau trigolion yr hon, yn nghroeshoeliad Arglwydd y gogoniant, oeddynt mor aruthrol, fel nad yw eiddo drwg-weithredwyr cyffredin, mewn cymhariaeth iddynt hwy, ond megys gwendidau bychain.

Y mae cryn wahaniaeth rhwng ffordd yr ysgrythyrau o amddiffyn athrawiaeth gras, â'r hon a geir mewn llawer o ysgrifenadau dynion; nid yw y Beibl fyth yn ei hamddiffyn trwy derfynu ei *gweithrediadau*, ond trwy ddangos ei *effeithiau.* Nid yw fyth yn holi y pechadur a wynebo ar Grist yn nghylch maintioli ei bechodau, eithr tystia yn bendant, "Od oes neb yn Nghrist, y mae efe yn greadur newydd." Yn ol yr egwyddor hon sylwn ar ddychweliad y lleidr.

1. *Y mae efe yn cyfaddef ei fai yn ewyllysgar, a chyfiawnder ei gospedigaeth,* "A nyni yn wir yn gyfiawn ydym yn derbyn yr hyn a haeddai y pethau a wnaethom."—Ni ddichon fod y sawl a esgusoda neu a leihao ei fai fod yn greadur newydd. Nid anmhosibl yw i ddyn gael ei goll-farnu yn anghyfiawn gan y barnwr a'r rheithwyr daearol mwyaf uniawn; ond cyn y gellir credu dyn o dan ddedfryd marwolaeth ei fod yn cael cam, dylid chwilio yn ddiduedd i amgylchiadau y tystiolaethau yn ei erbyn, ac nid ei gredu ar ei air ei hun. Dichon fod ganddo ef ddybenion hunanol wrth wadu ei euogrwydd o'r drwg am yr hwn yr euog-farnwyd ef, gan obeithio yr eiriola rhyw rai dros ei ryddhad neu leihad o'r gospedigaeth. Dichon iddo addef ei fod yn euog o ddrygau mawrion ereill, er mwyn ennill dynion i gredu yn rhwyddach ei fod yn ddiniwed gyda golwg ar yr hwn y mae i ddyoddef o'i herwydd; etto dylid cofio nad yw efe mewn perygl bywyd herwydd y drygau ag y mae yn gyffesu, am nad yw dan y cyhuddiad o honynt, ond ei fod dan farn marwolaeth am yr hwn a wedir ganddo, ac am hyny dichon ei fod yn mwynhau y naill er mwyn dirymu effaith y llall ar feddyliau y sawl a'u clywant. Eithr nid oedd dim o hyn yn y lleidr hwn.

2. *Nid oedd dim tuedd yn yr hyn a ddywedwyd gan y lleidr wrth farw i'w ddiogelu ei hun mewn ystyr fydol;* ond tarddai y cwbl oddiar *wirionedd a chyfiawnder.*—Trwy euog-farnu ei ymddygiad ei hun, efe a gyfiawnhaodd y driniaeth a gafodd gan ei wladwyr; ond ar yr un anadl efe a'u beiodd yn llym am eu hymddygiad at Grist. Pe gallesid meddwl ei fod yn chwennych eu tyneru tuag ato, a chael o hono ei ryddhau, o herwydd ei fod yn canmol eu triniaeth o hono, buasai ei waith yn eu cyhoeddi yn anghyfiawn tuag at Grist yn gadael effaith wahanol arnynt. Gan hyny rhaid mai gwirionedd diragrith a chasineb at bechod oedd yn blaenori yn ei feddwl—ac fel prawf ychwanegol o hyn, efe a geryddodd y lleidr arall ag oedd yn cyd-ddyoddef ag ef yn awr, a'r hwn fuasai yn cyd-droseddu ag ef.

3. *Yn gyd-fynedol â'i edifeirwch yr oedd ffydd tuag at yr Arglwydd Iesu Grist.*—Yr oedd yn credu fod Iesu yn *Arglwydd*, ei fod yn *Frenin*, teyrnas yr hwn nid oedd o'r byd hwn, a bod ganddo awdurdod ar byrth y Baradwys nefol. Nis gellir meddwl fod dyn arferol o fywiolaethu fel efe yn gwybod llawer am y proffwydoliaethau, na gwyrthiau Crist; ond yn unig ei fod fel pob Iuddew wedi llyncu y dyb gyffredin y byddai i'r Messia ddyfod. Ac nid yw debyg y gwyddai efe ddim am Grist hyd yn awr, pryd y gwelodd efe ef dan y gwarth mwyaf, ei elynion yn buddugol-

iaethu arno, a'i gyfeillion gan mwyaf wedi ei adael; ac yr oedd ei groeshoeliad yn cael ei ystyried yn anghysson â chymmeriad y gwir Fessia, bu hyn yn dramgwydd hyd yn oed i'r sawl oeddynt yn credu ynddo.

Er yr holl anfanteision hyn yr oedd yn llwyr gredu mai'r Iesu oedd y Messia, pe amgen ni allasai ddywedyd, "Arglwydd, cofia fi pan ddelych i'th deyrnas." Cynnwysai y weddi hon ddeisyfiad i gael ei achub, ac am hyny credai fod yr Iesu yn Achubwr. Rhaid hefyd ei fod yn credu y byddai yr Iesu, er ei fod yn awr yn trengu ar y groes, yn fuan mewn meddiant o deyrnas yn y byd nefol; ac yn hyn yr oedd o flaen yr apostolion eu hunain, dysgwyliad y rhai am deyrnas fydol oedd wedi dallu eu meddyliau. Ymddengys hefyd ei fod yn credu y byddai i'r Iesu yn ei deyrnas, "eiriol dros droseddwyr," os amgen, paham y deisyfai gael ei gofio ganddo? Pa fodd bynag, ni allasai efe ddywedyd yn well pe buasai yn meddu y golygiadau mwyaf eglur am eiriolaeth y Messia.

Pa fodd y gallwn roddi rheswm am y fath gyfran helaeth o ffydd yn ngwyneb y fath amgylchiadau, ac mewn cyn leied o amser? Anhawdd iawn, ie, anmhossibl yw ei wneuthur heb yr ystyriaeth o weithrediad Dwyfol ar ei feddwl, ond gyda hwn, yr oedd yr hyn a welsai ac a glywsai yn ddigon i ateb y dyben. Yr oedd wedi clywed cyngor Crist i ferched Jerusalem, (adn. 28—31,) a'i weddi ragorol dros ei elynion, "O Dad, maddeu iddynt," (adn. 34.) Gwyddai oddiwrth wawd y werin fod Iesu yn proffesu ei fod yn Fab Duw. Sylwodd ar yr arysgrifen ar y groes, "Hwn yw Brenin yr Iuddewon," yr hyn oedd yr un a dywedyd, Hwn yw y Messia, ac o herwydd hyny y mynai'r Iuddewon newid yr ysgrifen. Canfyddai hefyd y gwahaniaeth rhwng ysbryd y dyoddefwr a'i erlidwyr, ynghyd â'r rhyfeddodau a gymmerasant le tra fu yr Iesu ar y groes; yr hyn oll oedd i galon a agorwyd gan Dduw, megys cynnifer o bregethau bywiol.

4. *Wele ef yn gweddio.*—Ni oddefodd ei edifeirwch a'i ffydd iddo fod yn llonydd. "Arglwydd cofia fi," medd efe, "pan ddelych i'th deyrnas." Nid ymddengys iddo weddio erioed o'r blaen. Pe buasai yn byw dan effaith ysbryd gweddi, ni fuasai raid iddo ddyfod i'r groes. Gweddio a wna i ddyn beidio pechu, neu fe wna pechu iddo beidio gweddio. Ei weddi sydd dra chynnwysfawr. Gallasai ddywedyd, *maddeu* i mi, *achub* fi, *bendithia* fi; ond yr oedd y geiriau *cofia fi*, yn cynnwys y cwbl; rhan yn Nghrist a gynnwys ran mewn pob rheidiol ddawn a bendith. Tra addas hefyd oedd yr ymadrodd i *gyflwr* y gweddiwr; gwr gwrthodedig gan ddynion, pwy a'i cofia ef? Ni feddyliai y wladwriaeth mwy am dano, a da fyddai gan ei gyfeillion i'w anghofio, gan ei fod wedi gwaradwyddo ei dylwyth: ond y mae un at yr hwn yr anturia ef ddanfon deisyfiad, "Arglwydd, cofia fi." Dynoda ei weddi hefyd lawer o ostyngeiddrwydd; nid yw yn dywedyd, Dyro i mi le tra anrhydeddus yn dy deyrnas, megys y gwnaethai y ddau ddysgybl uchelfrydig gynt, eithr yn unig *cofia fi*, heb enwi y dull na'r amser, ond gadael hyny oll i'w Arglwydd.

5. *Bu ei ddeisyfiad yn dra llwyddiannus*, canys yr hwn a ddywedasai

o'r blaen, "Yr hwn a ddel ataf fi, nis bwriaf ef allan ddim," a ddywedodd yn awr, "Heddyw y byddi gyda mi yn mharadwys." Megys yr oedd y deisyfiad yn gynnwysfawr, felly y mae yr atebiad, ac hefyd yn dra hynod a grasol.

(1.) Nid ymddangosai fod yr Iesu yn sylwi ar y gwarth a deflid arno, a'r cabl-eiriau a gyfeirid ato gan ei elynion, ac nid yw yn eu hateb: eithr cymmerodd gweddi y lleidr gwael ac edifeiriol afael sicr yn ei sylw Dwyfol, ac atebwyd hi yn ddiatreg.

(2.) Atebwyd y weddi hon pan oedd ei gwrthddrych mewn amgylchiadau poenus dros ben, ei draed a'i ddwylaw yn hoeliedig ar bren, ei waed yn llifo i'r llawr, a llwyth dirfawr o euogrwydd dynol yn pwyso arno; gallasem feddwl y buasai yn ymesgusodi rhag gwrando ar lais un pechadur, a hwnw o'r cymmeriad gwaethaf, tra yr oedd dan y fath loeson, ond ni ddichon pechadur fyth ddyfod ato ef ar amser anmhrydlawn.

(3.) Rhoddwyd atebiad yn ddioed. Mewn amgylchiad arall cadwodd yr Iesu yr un oedd yn galw arno yn hir cyn rhoddi yr atebiad a ddymunasai, gan ddywedyd mai "nid cymhwys oedd taflu bara y plant i'r cŵn." Ond nid oedd dim amser i golli yma, mewn ychydig amser gwreichionen bywyd a ddiffoddai. Pe gyrasid ef i gyflawni cylch o ddyledswyddau, buasai y ffordd yn rhy hirfaith; ond yr oedd gair y ffydd yn *agos* ato, yn yr hwn yr ymafiodd yn gadarn, ac ni chafodd ei siomi.

(4.) *Yr oedd mwy yn yr atebiad nag a gynnwysai y gofyniad; cafodd y troseddwr fwy nag a geisiodd.* Efe a ddeisyfodd gael ei gofio yn unig, eithr cafodd *faddeuant llawn*, ac addewid o *baradwys*,—a chael bod *gyda Christ* yno, ac nid mewn trigle pell oddiwrtho.—Efe a chwennychai gael ei gofio, heb enwi y pryd, eithr dywedir wrtho mai *heddyw* y byddai yn mharadwys—mor fyr a chyflym oedd taith y dyn hwn i ogoniant! Yn y boreu yr oedd yn prysuro tua dinystr, ac yn yr hwyr yn gwledda yn mharadwys.—Rhag i hyn oll ymddangos yn ormodd i fod yn wir, fe'i cadarnheir yn y modd mwyaf difrifol gan Grist, "*Yn wir* meddaf i ti, Heddyw y byddi gyda mi yn mharadwys." Ni ddysgynodd Crist i uffern, ac nid aeth enaid y lleidr i gysgu, megys yr haera rhai, eithr aethant eill dau y *dydd hwnw* i baradwys.

4. Er bod y lleidr yn sicr y byddai efe gyda Christ yn mharadwys, *nid oes hanes ei fod ef yn gwneuthur hyn yn rhan o'i gyffes, neu ei fod yn dywedyd wrth yr edrychwyr ei fod ef yn myned i'r nefoedd.* Naturiol oedd i amgylchiadau ei farwolaeth i'w dueddu i beidio cyhoeddi hyn ei hun. Pe buasai efe yn marw yn ferthyr i'r gwirionedd, gallasai dystio, gydag addasrwydd mawr, fod Duw yn ei dderbyn, er cael o hono ei wrthod gan ddynion; neu pe buasai yn marw ar ei wely, gallasai son am dŷ nid o waith llaw yn y nefoedd yn dra chymhwys; ond gan ei fod yn marw fel drwgweithredwr, ni fynai fod yn rhy barod i lefaru am ei obaith a'i lawenydd. Pan fyddo dynion yn goddef *am eu beiau*, y mae yr amynedd mwyaf patrynol yn colli ei *glod a'i ogoniant*, a'r gorfoledd penaf yn

tramgwyddo, yn hytrach nâ boddio yr edrychwyr, ac yn fynych yn tueddu at fwy o ddrwg nag o dda. Gan hyny gwell ganddo ef ddianc allan o'r byd mewn dystawrwydd. Efe a fu ofalus i ddangos i'r byd ddrwg pechod trwy gyfaddefiad o'i ddrygioni, yr hyn oedd ofynol mewn dyn edifeiriol, ond ni phryderodd efe yn nghylch yr hyn a dybiai y byd am ei gyflwr tragywyddol.

Bydded i bawb Cristionogion ag ydynt yn ymweled â dynion wedi eu collfarnu, i ystyried y pethau uchod cyn bod yn rhy hyderus eu bod yn offerynol yn nychweliad y cyfryw. Y mae pwys mawr yn hanes y lleidr i'n hannog i lafurio dros eu dychweliad, ond nid i'n gwenieithio ein bod wedi llwyddo; rhaid cael amser o brawf cyn gwneuthur o honom y penderfyniad hwn, yr hyn nis gellir ei gael yn achos dynion o'r fath uchod, am hyny cryn raddau o ddystawrwydd a weddai i ni ar yr achos. Y mae'r iaith ymffrostgar a arferir gan amryw ddynion dan ddedfryd marwolaeth, y rhai a broffesant wir edifeirwch a ffydd yn Nghrist, a'r hanes a gyhoeddir gan ereill, hyd yn oed gweinidogion yr efengyl, yn nghylch eu marwolaeth ddedwydd, wedi peri i rai ofyn, "Os y crogpren yw y ffordd sicraf i'r nefoedd."

Tra y mae'r hanes hwn yn mawrygu gras Duw, ac yn dangos parodrwydd y Gwaredwr i dderbyn yr euog ar bob amser, dylai y pechadur rhyfygus ochelyd ei gamddefnyddio, trwy ymroddi byw yn wrthryfelgar yn erbyn ei Luniwr, ac wedi y cwbl addaw iddo ei hun farwolaeth ddedwydd; fe achubwyd *un* yn yr amgylchiad crybwylledig, fel y gallom obeithio, a dim ond *un* (a'r a wyddom) fel na byddai i ni ryfygu.

Gwybydded pob troseddwr o ddeddf Jehofa fod arno gymmaint eisieu trugaredd rad ag oedd ar y lleidr crybwylledig, a bod yn rhaid i bawb a gedwir gael eu hachub ar yr un sylfaen ag yntef, "Heb arian ac heb werth," trwy waed y cyfammod tragywyddol.

Y mae gweddi y lleidr dychweledig ar y groes yn addas i'w harfer gan Gristionogion mewn gwahanol amgylchiadau, yn ngwyneb cyfyngderau —euogrwydd—profedigaethau—ac angeu ei hun, bydd "Arglwydd, cofia fi," yn ymadrodd gweddus, a cheir gweled na fydd yn aflwyddiannus.

## OFERGOELION Y WLAD.

Rhaid i chwi ddeall fy mod newydd ddychwelyd wedi bod o honof yn ymweled â modryb *Lowri*, hen ddynes lled gyfoethog yn y wlad, lle y cefais ddifyrwch nid bychan oddiwrth yr ofergoelion ag sydd yn ffŷnu trwy yr holl gymmydogaeth, ac yn cael eu hamddiffyn gyda sel a bywiogrwydd crefyddol.

Pan ddaethum gyntaf at dŷ fy modryb, myfi a'i cefais hi a'i dwy ferch yn ddiwyd iawn wrth y gorchwyl o hoelio pedol ceffyl, (nid eiddo caseg)

wrth drothwy y drws, i'r dyben i'w diogelu rhag amcanion maleisus rhyw hen wraig yn y gymmydogaeth ag oedd yn medru rheibio, (meddynt), ac wedi bygwth drygu y teulu, o herwydd fod fy nghefnder ieuanc wedi gosod dwy wellten ar groes i'w gilydd, i gael gweled a fedrai yr hen hudoles fyned drostynt. Dywedodd fy nghyfnither ei bod hi wedi clywed yr hen wrach lawer gwaith yn mwngial wrthi ei hun, a rhaid mai dywedyd gweddi yr Arglwydd go chwith ydoedd y prydiau hyny.

Hefyd, yr oedd yr hudoles wedi ceisio pin bychan lawer gwaith ganddynt, eithr hwy a fuant dra gofalus i beidio rhoddi dim iddi ag oedd yn llym, rhag ofn y byddai iddi eu rheibio; ac adroddasant i mi lawer o ddrygau ag oedd hi ac arall o'i bath wedi wneuthur yn y gymmydogaeth, ac i gadarnhau y cwbl, taerasant fod fy nghyfnither henaf pan oedd yn fechan yn ddarostyngedig i lewygon aml, hyd oni fwriodd fy modryb gyllell lem at yr hen ddewines arall, nes ei gwaedu, yr hon wedi hyny a ddygwyd ymaith gan yr ysbryd drwg mewn gwynt uchel.

Cyn pryd swper deallais fod y gwas penaf wedi cael gwaredigaeth fawr y nos hòno, canys wrth ddychwelyd adref o dŷ arall yn y plwyf, ar hyd ffordd angladd, bu agos a chael ei sathru gan fintai o ysbrydion ag oeddynt yn efelychu neu yn ymdebygu i angladd; pan ddaeth yn agos atynt fe'i gorchfygwyd gan fraw, llifai ei waed o bob parth o'i gorff i'w wyneb, safai ei wallt, medd efe, yn syth ar ei ben, a phe buasai y tylwyth teg yn bwriadu myned ag ef ganddynt a'i gladdu yn fyw ni allasai fod ei ddychryn yn fwy; ond y mae yn debyg fod un o'r ysbrydion mor garedigol â dwyn canwyll yn ei law, trwy lewyrch yr hon y gwelodd efe ei berygl, ac yn nghanol ei ddychryn a neidiodd i ffos y clawdd, lle yr arosodd mewn diogelwch nes oedd yr olaf o honynt wedi myned heibio.

Cyn ei fod ef wedi gorphen ei chwedl yn gyflawn daeth yr ail was i mewn, gwedi bod o hono yn bwydo yr anifeiliaid, ac yr oedd yntef wedi gweled canwyll goch fawr yn cychwyn oddiwrth ryw dŷ yn yr ardal tua'r llàn, a phenderfynodd y teulu mai canwyll o flaen trancedigaeth gwr y tŷ crybwylledig ydoedd; ac yn lled fuan cawsom hanes cant a mwy o ganwyllau cyrff ynghyd a'u perthynasau, y rhai a welsid oll ychydig amser cyn hyny; yr oedd un wedi gweled canwyll yn dyfod allan o enau gwr a fu farw yn fuan wedi hyny; gwelsai arall ysbryd y dyn ag oedd i farw yn dwyn ei ganwyll yn ei law, ac yr oedd efe yn ei adnabod yn dda, ond nid hir gwedi hyny y bu efe heb huno; a'r trydydd a welsai gynhebrwng, a gwyddai pwy oedd yn yr angladd ffugiol hyn oll, ac yn mhen pythefnos daeth yr angladd sylweddol ar hyd yr un ffordd, a'r un dynion oll ynddi ag a welsai efe o'r blaen; arosasant yn yr un mànau, a chyflawnasant yr un ystumiau yn hollol ag a wnelsai yr ysbrydion o'r blaen. Mewn gair, yr oeddid wedi gweled yr arch, yr elor, a phwy oedd dan yr elor yn y màn a'r màn, clywed y clochydd yn tòri y bedd, gweled yr offeiriad yn ei wisg wen yn y fynwent, a'i glywed yn darllen y gwasanaeth; ac yn yr angladdau lle byddai athraw yn pregethu cyn codi y corff allan, yr oeddid wedi clywed

ei lais cyn hyny; ni allasai y saer liflo nac hoelio estyll yr arch a'r na byddai ei ysbryd swyddgar wedi bod yn gwneuthur felly o'i flaen. Mewn gair, yr oedd pob ysbryd yn gwneuthur pob peth a fyddai y dyn ei hun i'w wneuthur wedi hyny, ond ysbryd y clochydd, efe oedd y mwyaf anmharod o honynt oll, canys ni chyflawnai ond rhan o'i swydd, sef tòri y bedd, eithr nid oedd neb o'r teulu wedi ei glywed yn canu y gloch erioed, er fod hyny yn cael ei wneuthur yn y gwir angladd.

Pan oeddwn yn nghylch myned i'r gwely, gwnaeth fy modryb fil o esgusodion am beidio fy rhoddi i gysgu yn yr ystafell oreu yn y tŷ, yn yr hon ni orweddasai dyn wedi marwolaeth hen olchyddes, ysbryd yr hon oedd yn awr yn meddiannu yr ystafell hòno bob nos. Bernid fod yr hen wraig wedi cuddio arian yno yn rhywle, ac na allasai orphwys hyd oni fynegai yn mha le yr oeddynt; a thystiodd fy nghyfnither y gallasai hi eu mheddiannu oll unwaith, canys daethai yr ysbryd at ochr ei gwely un noswaith, ond nid oedd hi yn ddigon calonog i lefaru wrtho. Yr oedd gwas yn y teulu ryw amser yn ol wedi ymgrogi o gariad, a bu hwnw yn cerdded yn hir ar hyd y tŷ, hyd oni chafwyd gan offeiriad teilwng y plwyf ei ŷru i'r môr coch; ac yr oeddwn yn lled-dybio y byddai i'r hen wraig gael ei gŷru yn fuan at gerbydau Pharao hefyd, oni fyddai fod gobaith cael yr arian yn achos o'i harbediad.

Ar un noswaith, yr oedd y ci Towser yn udo yn ddychrynllyd iawn, yr hyn oedd arwydd difeth y byddai rhyw un a berthynai iddynt hwy farw. Yr oedd y ferch ieuengaf wedi clywed yr iâr yn canu y boreu hwnw, yr hwn oedd ragfynegydd dinystriol arall. Dywedasant wrthyf fod Towser yn udo felly amryw o nosweithiau cyn marwolaeth fy ewythr, ac na allasent gael taw arno: a chlywsai fy modryb y marw-oriawr mor amlwg â phe buasai awrlais yn yr ystafell. Tra parhaodd yr ymddyddan hwn, goglywais un o'r merched yn sibrwd wrth y llall, ei bod yn ofni na fyddai ei mam fyw yn hir, canys yr oedd, meddai hi, yn arogli rhyw beth cyffelyb i sawyr corff marw y pryd hyny yn yr ystafell. Ychydig cyn hyny clywyd elor-feirch yn aros wrth y drws, ac yn mhen wythnos, bu farw eu lleithwraig; gwelsai fy nghyfnither ysbryd ei brawd, yr hwn oedd yn yr India Ddwyreiniol, yn rhodio yn yr ardd, ac yn sicr ddigon, yn mhen naw mis wedi hyny clywyd ei fod wedi marw, ar yr un dydd a'r awr ag y gwelsai hi yr ysbryd.

Rhy faith fyddai olrhain y cwbl a ddygwyddodd tra fûm gyda hwy; ond yr oeddid yn deall llawer yn nghylch yr hyn a fyddai oddiwrth y tân a'r canwyllau. Pan syrthiai marworyn o'r tân, yr oeddynt mewn brys i'w chwilio, modd y gallent weled pa un ai arian-god neu arch ydoedd; yr oeddynt yn gwybod am fy ymweliad i cyn fy nyfodiad, o herwydd eu bod wedi gweled dyn dyeithr ar y gradell. Pan fyddai fy nghyfnither ieuengaf yn cyffro y tân â'r pwtiedydd, yr oedd yn cŷnu yn eglur a bywiog, yr hyn oedd arwydd difeth y byddai iddi gael gwr da. Ac yr oedd y ganwyll yn medru proffwydo yn gystal â'r tân, canys pan ymwelodd gwr boneddig o'r

gymmydogaeth â hwy yn ddiwedar, gwelsant yr amwisg yn y ganwyll yn troi tuag ato, ac yn fuan wedi hyny efe a dòrodd ei wddf wrth hela. Gwelwyd ar un noswaith lythyr yn y ganwyll, a'r dydd canlynol cafwyd llythyr oddiwrth y mab oedd yn Llundain. Pan fyddai ysbryd gyda ni yn yr ystafell yr oeddym yn gwybod wrth y ganwyll, yr hon yn awr a fyddai yn llosgi yn las; pan ddiffoddai y ganwyll, arwydd o anniweirdeb mewn merch fyddai os na ellai ei chwythu i gŷnu ar unwaith.

Nid oes eisieu hin-wydr arnynt, canys gwyddant wrth y gwanegau yn eu cyrff, ysgogiadau Towser a Tabi (y gath), yr adar, y moch, a'r ceffylau, ac agos bob peth arall, pa dywydd a ganlyn. Pan ddygwyddai neb o'r teulu wisgo dilledyn go chwith, yr oedd yn rhaid ei gadw felly trwy y dydd rhag ofn aflwyddiant. Os dilynid neb o honynt gan gi dyeithr yr oedd yn arwydd da; piogen yn croesi y ffordd o'u blaen dan glebran a ddynodai ryw ofid, cyn wired â phe buasai angel wedi ei ddanfon o'r nef i'w melldithio. Os byddai mân gwŷn ar yr ewin, byddai cyn sicred o dderbyn rhodd â phe byddai eisioes mewn llaw. Yr oedd y chwaer henaf i gael un gwr yn ychwaneg nâ'r llall, o herwydd fod y crychni yn ei thalcen yn amlach; ond yr oedd yn amlwg mai yr ieuengaf oedd i gael y rhifedi mwyaf o blant, gan fod cymmalau ei bysedd yn swnio yn fynychach pan fyddai yn eu tŷnu a'i troi â'i llaw.

Yr oedd ysfa yn y croen yn darogan pob peth. Os bydd ysfa yn y llygad deheu, wylo a ganlyn; ond os yn yr aswy, chwerthin fydd y canlyniad. Pan fo ysfa yn y droed, arwydd yw y rhaid cerdded tir dyeithr; os ysa y benelin, y cydwely a newidir; a phan fyddo ysgryd arnoch, y mae rhyw un yn cerdded ar hyd eich bedd, &c., &c.

Y pethau hyn a elwid genyf fi yn ofergoelion, ond a gredid yn ddiamheuol ganddynt hwy, a mwy fuasai fy mharch pe gwrthwynebaswn fy meibl nag oedd am ddywedyd yn erbyn amryw o'r arwyddion uchod, ac felly, gadewais fy modryb a'i merched mewn cyflwr anfeddyginiaethol.

Pell wyf o feddwl fod pawb yn dywedyd anwiredd bwriadol yn nghylch ysbrydion, canwyllau cyrff, &c. Y mae llawer o ddynion geirwir wedi cael o honynt eu dwyn i fynu o'u mebyd yn athrawiaeth y canwyllau cyrff a'r ysbrydion daearol segur, yn credu am bob peth anarferol a welant neu a glywant, oddieithr gwybod ar y pryd ei fod yn rywbeth arall, mai ysbryd, &c. ydyw. Athrawiaeth yw hon hefyd ag sydd yn gadael ei heffaith yn hynod ar y sawl a'i derbynio, canys cyn gynted ag y gwelo y pethau gwirion rywbeth yn y nos, y mae eu calonau yn curo, eu gwaed yn llifo i'w hwynebau, eu gwallt yn sefyll yn union syth ar eu penau, a'r dychryn mwyaf buddugol wedi eu meddiannu, fel mai hawddach ganddynt gredu myrdd o'r chwedlau mwyaf gwrthun, nâ chymmeryd calon i chwilio i wirionedd un o'r myrdd.—Os gwelant oleu heb fod mewn tŷ, yn neillduol ar ffordd eglwys, rhaid mai goleu corff yw, megys pe trosedd yw ar gyfreithiau y canwyllau cyrff, fod un goleu heb yr eiddynt hwy yn myned allan ar hyd nos, &c. Y mae y dynion hyn

yn credu yr hyn a ddywedant, ond yn credu ar sylfaen dwyllodrus, nid oddiar rym tystiolaeth safadwy, ond ar sylfaen mor dlawd â hen chwedlau pabaidd a dychryn personol.

Am ereill, yr wyf yn credu eu bod yn dywedyd anwiredd bwriadol, er mwyn cynnal yr hen ddefod i fynu, gan eu bod yn deall fod eu cymmydogion yn blasu yn hynod ar y fath chwedlau. A glywodd Wyr Japheth neb erioed yn dywedyd, cyn yr amser y gwyddent hwy pa ffordd y byddai angladd hwn a hwn i fyned, yn mha le y byddai iddynt aros ar y ffordd, a phwy fyddai dan yr elor yn y man a'r man? Myfi a glywais amryw yn dywedyd y gwyddent hyny yn mlaen llaw, ond wedi i'r peth gymmeryd lle y byddent bob amser yn dywedyd wrthyf fi, ac am hyny nid oedd genyf nemawr diolch iddynt, gan y gwyddwn i gystal â hwythau y pryd hyny.

Nid wyf fi yn gwadu posiblrwydd o ymddangosiad ysbrydion i ddynion pan fyddo rhyw beth o bwys i'w ddatguddio; ond rhaid fy mod mor ffoled ac hygoel â modryb Lowri ei hun, cyn y gallwn gredu fod ysbryd yn cael ei ddanfon i gadw meddiant o dŷ dros flwyddyn neu ddeng mlynedd, o herwydd fod rhyw hen wreigan cyn marw wedi cuddio ychydig sylltau ynddo, neu bod yno werth ceiniog neu ddwy o hen haiarn, oblegid dywedir wrthyf fod darn o haiarn cuddiedig mor sicr o dŷnu ysbryd i'r fàn, ag yw y tŷnfaen *(loadstone)* o dŷnu nodwydd cwmpawd y morwr ato ei hun. Hefyd, pe byddai ysbrydion mor hynod o segur a diswydd â dyfod at ddynion am werth ceiniog o haiarn, rhyfedd genyf na byddai hygoeledd modryb Lowri, a Madlen ei chwaer yn nghyfraith, yn rhy fach i'w tueddu i gredu fod yn rhaid i'r peth hurt aros yno flynyddau cyn cael cyfle teg i ddywedyd ei neges.—Yr wyf yn darllen yn fy meibl fod ysbrydion yn ymweled â dynion ar achosion teilwng o'u hurddas, ond ni ddeallais iddynt gael eu danfon erioed ar negesau ag y gwelwn i hwy yn rhy wael i ddanfon fy merch neu fy morwyn dros deirawr oddi cartref o'u herwydd, ac ni chefais erioed eu bod yn methu cael cyfle i draddodi eu cenadwri yn ddioed.

Od oes y fath beth a bod ysbrydion yn ymddangos, rhaid mai angylion, cythreuliaid, neu ysbrydion dynion, ydynt, ond a ellir meddwl dros fynydyn, y gallai angel dedwydd dreulio blynyddau yn nghyd uwchben dyrnaid o lwch, neu bod mintai o honynt heb well gwaith nâ dynwared angladdau ar hyd y byd, megys pe byddai un yn dywedyd, "Myfi a âf ar lun offeiriad, dos dithau yn glochydd, a thithau yn saer, ac arall o honoch yn elor, a'r llall yn arch," &c. Prin y gallwn dybied fod y llew rhuadwy, yr hwn sydd mewn brys i fyned oddiamgylch gan geisio y neb a allo lyncu, yn medru treulio efo'i dylwyth ran fawr o'i amser wrth y fath orchwylion â hyn. Ac am ysbrydion dynion trengedig, y maent naill ai yn gadwedig neu yn golledig; os mewn poenau, y mae gagendor wedi ei sicrhau rhyngddynt â'u hen drigfanau, fel na's gallant ddianc dros fynydyn i'r lleoedd a garent gynt, na chael cyfle i dderbyn trugaredd cyn leied â dafn o ddwfr oer byth ond hyny; ac am y gwaredigion, pwy ddichon gredu

yr ymddigrifent hwy i fyned o fynwes gynnes Abraham i ystafell oer, i aros blwyddyn neu ddwy uwch ben darn o fetel rhwdlyd, yn hytrach nag uno â'r myrdd dirif i seinio'r gân newydd yn Nghaersalem! Gobeithiaf y cywilyddia modryb Lowri, fy nwy gyfnithr, y tylwyth, a'r holl gymmydogaeth, pan ystyriont y pethau hyn.

Dywedir wrthym fod y canwyllau cyrff a'u trasau yn fuddiol i rybyddio dynion o'u diwedd. Gwir yw fod dynion yn hynod o anmharod i feddwl am farw, er fod hyny yn sicrach iddynt nâ dim arall. Ond etto pa beth yw yr achos na byddai y rhybydd buddiol hwn yn cael ei roddi i ddynion yn gyffredin, ac nid ei gyfyngu i esgobaeth Ty-ddewi yn unig? Pa un ai ffolach neu annuwiolach yw pobl yr esgobaeth hon nag ereill? Ai am fod hen Esgob Ty-ddewi, yr hwn, meddant, a weddiodd ar fod y rhybyddion cannwyllaidd hyn yn ei esgobaeth, yn fwy gwresog pabydd nâ phabyddion ereill ei oes, y gwrandawyd ei weddi wyrthiol ef, neu ryw beth arall? Pa fodd na byddai pawb yn yr esgobaeth hon yn cael eu breintio â'r rhybyddion yma, os er lles i'r cyffredin yr ordeiniwyd hwynt? Y mae llawer o bechaduriaid gresynol ynddi, a chymmaint o eisieu eu hadgofio o ddydd marwolaeth â neb na welsant ganwyll gorff erioed. Pa beth yw'r achos fod mwy o son am ganwyllau cyrff a'u tylwyth yn y cymmydogaethau mwyaf anwybodus nag mewn ereill? Sicr yw fod pobl y wlad, ar gyfrif eu hanfanteision, yn fwy anwybodus, hurt, a gwirion nâ thrigolion trefi mawrion, ond yn y wlad, a'r parthau mwyaf anmhoblog o'r wlad, y gwelir y lliaws mwyaf o'r goleuadau hyn.

Myfi a dreuliais y rhan fwyaf o'm hieuenctyd yn y wlad, mewn plwyfau na byddai, ysgatfydd, fwy nag angladd neu ddwy ynddynt yn hyd y flwyddyn, ac weithiau ni byddai hyny; eithr odid i wythnos fyned heibio yn y gauaf a'r na byddai fy nghymmydogion wedi gweled dwy neu dair o ganwyllau cyrff! Yr ydwyf er ys amryw flynyddau yn trigo yn y dref fwyaf yn Nghymru, lle y mae yn gyffredin dair neu bedair angladd bob dydd, a hynod iawn os â diwrnod heibio heb un, eithr nid wyf yn cofio i mi glywed ond un waith er ys 16eg o flynyddau fod neb o'm cymmydogion wedi gweled canwyll gorff yma, er ein bod yn esgobaeth Tŷ-ddewi! Ac yn wir, pe byddai y goleuadau hyn yn rheoli yma megys yr oeddynt yno, yn gyfatebol i rifedi y trigolion, byddai yn ddychrynllyd i fyned allan, neu fe ymgynnefinid â hwy o radd i radd, fel y cyfrifid hwy yn wasanaethgar at oleuo y dref, canys sicr yw y byddai y dref yn oleu trwyddi trwy'r nos! A chofied y gwrthddadleuwr fy mod i fyth yn gofyn, os nad ydynt i'w gweled, at beth y maent yn dda? Pa fodd y gallant fod yn rhybyddion, pan na ŵyr y trigolion eu bod wrth y gorchwyl?

Dilys genyf pe cymmerai fy ngwladwyr ofnog galon, a myned at y bwbachod dychymmygol, y byddai iddynt gael llwyr foddlonrwydd mai pethau naturiol ydynt. Myfi a fum cyn hyn yn ymlid llawer o ganwyllau cyrff, sef y rhai a elwid felly, a llawer o'm cymmydogion

caredig yn wylo yn dost wrth fy ngweled yn myned, rhag y cawn niwed mawr yn dâl am fy rhyfyg digymhar; pa fodd bynag mi a ddiengais yn ddianaf bob tro, a chefais allan mai goleuadau naturiol oeddynt oll. Chwedlau pabaidd yn fy mryd i yw y cwbl a ddywedir am bethau fel hyn; ac er ein bod ni wedi diwygio oddiwrth babyddiaeth, y mae llawer o epil yr hen herlodes front yn byw etto yn ein mysg, ac yn gyfatebol i'r graddau y cilio y wlad oddiwrth babyddiaeth ac anwybodaeth, y bydd i'r canwyllau cyrff a'r tylwyth teg ddiflanu.

Crybwyllais eisioes, fod ysbrydion y pregethwyr yn myned o'u blaen i bregethu i dŷ yr angladd, ac am fy mod innau dan enw pregethwr, beth a wnaeth fy ysbryd swyddgar, os credwch y bobl, ond myned i bregethu ar ryw noswaith i dŷ cyfaill anwyl i mi, plentyn yr hwn oedd yn glaf, er na chlywais i air am bregeth yr ysbryd nes daeth dwy wraig fucheddol a chrefyddol ataf wedi marw y plentyn, gan ddywedyd, "Nid ydym yn gofyn i chwi a ddeuwch i bregethu i'r angladd, o herwydd gwyddom nas gellwch beidio, canys clywsom eich ysbryd yno yn ddiweddar, ac yr ydym yn sicr ddigon, ïe, gallwn gymmeryd ein llŵ, mai eich llais chwi a glywsom, ac nid arall, pan y gwyddem eich bod chwi yn mhell." Yr oeddwn wedi clywed am farwolaeth y plentyn ychydig cyn eu dyfodiad, ac yn dysgwyl gwahoddiad i'r angladd, ac yn meddwl myned yno i bregethu, ond pan glywais hyn, gan fy mod wedi ymroddi na byddai i ofergoelion gael ymgeledd genyf fi, dywedais yn bendant nad elwn i yno, hwythau a barhausant i ddywedyd fod yn rhaid myned, ac na allaswn beidio; nid oeddwn i yn credu iddynt glywed yr ysbryd, ac nid oeddynt hwythau yn credu y gallaswn i beidio myned; a thàn rym y gred hòno yr ymadawsant. Pa fodd bynag nid aethum i'r angladd, ac ni bu un pregethwr arall yno, ac nid wyf wedi clywed fod pregeth wedi bod yn y tŷ hwnw hyd heddyw, er bod agos i 20 mlynedd oddiar y bu hyny. Felly pe pallai pawb fel fi i fyned ar ol eu hysbrydion, darfyddai pregethu y tylwyth hyn yn go fuan.—Yn Nhreletert, Dyfed, y bu hyn.

Gwnaethum dro mwy clodfawr fyth â haid o ysbrydion drygionus (meddynt), o fewn i filldir a hanner i Abertawe. Yr oedd gwraig weddw wedi gosod allan yr ychydig arian oedd ganddi i adeiladu ychydig o dai i weithwyr; syrthiodd un o'i deiliaid i'r pŵll glô a bu farw, a daeth deiliad arall i'r tŷ, ond yn fuan wedi hyny daeth ysbryd y trengedig, os nid ysbrydion lawer gydag ef, i aflonyddu y teulu bob nos, gan wneuthur pob math o ystranciau, taflu cèryg, curo'r drysau, codi'r maen pobi a'r crochan oddiar y tân o flaen llygaid y bobl oedd yn gwylied, er nad oeddynt yn gweled neb, a llawer iawn o bethau nad oedd bosibl, meddynt, i neb ond gweithydd anweledig eu cyflawni; nid oedd y bobl yn foddlon trigo yn y tai, er i'w perchen eu cynnyg iddynt dros amser am ddim. Daeth yr hen weddw ataf yn ofidus iawn, gan geisio genyf fi ac ychydig gyfeillion i ddyfod yno i gynnal cyfarfod gweddi. Na, na, modryb, eb fi, myfi a ddeuaf â dau neu dri o lanciau go nerthol a ffŷn da yn eu dwylaw

i fynu cyn hir, ac yr wyf fi yn hyderus na chyflawnir neb o'r campiau hyny y noswaith y delom ni yno. Aeth yr hen wraig adref, a thaenodd y gair o hyn trwy y gymmydogaeth, a chyn wired â'm bod yn ysgrifenu y llinellau hyn ni ddaeth y tylwyth teg fyth yn agos i'r tai, gwnaeth y son am fy ngrymusder iddynt ffoi i fôr coch modryb Lowri, o leiaf ni chlywyd fyth oddiwrthynt wedi hyny. Rhyw beth o gylch tair neu bedair blynedd sydd oddiar hyn.

Hawdd fyddai i mi enwi amryw o droion o'r fath, yr hyn oll sydd yn fy nghadarnhau yn y dyb, o fod yr hanesion yn nghylch yr holl fwbachod yn ddyledus i hygoeledd y bobl. Nid wyf fi yn barnu cyflyrau neb yn waeth oblegid eu crediniaeth o hyn, ac er bod modryb Lowri, a'r holl deulu yn barnu yn wael iawn am fy nghyflwr i, gan fy nghyfrif cynddrwg, os nid yn waeth nâ Deist, etto, gobeithiaf na chondemnir fi gan y cyffredin, am beidio credu yr hyn na sonia yr ysgrythyr am dano, ac a wrthwynebir gan fy synwyr a'm profiad.

## SWYDD FYNWY.

Dygwyddodd i mi yn ddiweddar ddywedyd mewn rhyw fath o araeth Seisnig, mewn lle cryn gyhoeddus, fod tair sir ar ddeg yn Nghymru; yn mhen ychydig wedi hyny cefais fy ngalw i gyrif gan ŵr lled gyfrifol o Sais, o eisieu cadw yn gaethach at y gwirionedd; "Canys (meddai ef) nid oes ond deuddeg sir yn Nghymru, y mae sir Fynwy yn Lloegr."—"Pa fodd y dichon hyny fod, eb fi, onid yw hi yr ochr hyn i Hafren, yr hon sydd yn rhanu Cymru a Lloegr, ac onid oes cymmaint o Gymraeg yn cael ei siarad yno ag sydd yn Dyfed, yr hon sydd bellaf o siroedd Cymru i'r gorllewin o Loegr?" "Dichon hyny fod, (eb ynteu), ond fe'i cyfrifir gyda Lloegr er ys cryn amser yn ol, er mwyn cyfleusderau y barnwyr yn eu cylchdeithiau barnol i'r brawdlysoedd." Dywedwch chwithau felly, (eb finnau,) gwelaf yn awr nad oes a fỳno y Saeson â hi ond yn achos y brawdlysoedd, ac yr wyf yn ewyllysgar iawn iddynt hwy gael ei benthyg yn y cyfryw amgylchiadau, a chymmeryd iddynt eu hunain yr holl anrhydedd ag sydd yn deilliaw oddiwrth YMRYSON CYFREITHGAR A CHROGI; ac yn ol eich tystiolaeth eich hun, y mae'r sir hòno mor Gymreigaidd ag ereill yn y Dywysogaeth yn mhob ystyr arall."

Efallai, y gellai cyhoeddi y sylwad uchod ddangos i ryw Gymro anwybodus y rheswm paham y dywedir nad yw sir Fynwy yn perthyn i Gymru, ac i'w dueddu i fod yn foddlon i'r Saeson ei chael ar eu henw, yn ngwyneb yr ystyriaeth ddywededig; ac o'm rhan fy hun, byddwn dra boddlon iddynt gael amryw o siroedd Cymru yn ychwaneg y flwyddyn hon dros gymmaint ag wythnos ar eu henw. Ychydig amser

yn ol, pan ddywedodd Sais wrthyf, fod deunaw o ddynion i gael eu dienyddio mewn *un sir* gymmydogol yn Lloegr, gallaswn ateb gydag hyfrydwch, "Nid oes gymmaint ag un trwy *dair sir ar ddeg* Cymru i gael ei brofi am ei fywyd." Och! y cyfnewidiad er gwaeth a gymmerodd le y flwyddyn hon! O Gymru anwyl, diwygia, dwg dy feibion a dy ferched i fynu yn llwybrau rhinwedd, ac yn ofn yr Arglwydd, er gogoniant i'th Luniwr, siomedigaeth i'th elynion, anrhydedd i'th enw, ac hyfrydwch i LLEWELYN.

---

## CYBYDD-DOD.

"Am anwiredd ei gybydd-dod ef y digiais, ac y tarewais ef." ESAY lvii, 17.

Y MAE pawb yn ewyllysio ennill dedwyddwch, ond y gwahanol ffyrdd a gymmerir gan y lliaws, a ddangosant na wyddant yn mha le y mae yn trigo. Tybia llawer ei fod yn guddiedig mewn miloedd o arian ac aur, ac mai'r ffordd sicraf i'w ddala yw meddiannu y rhai hyny; o herwydd pa ham, y mae eu serch mor glymedig wrthynt ag eiddo Ruth wrth Naomi, a chybydd-dod wedi gorchuddio y byd fel dylif Noa. Nid yw y cyfiawnion eu hunain yn berffaith rydd oddiwrth ei lywodraeth niweidiol; yr oedd bydgarwch yn ffynu yn fawr yn mysg Israel, am yr hyn y digiodd Duw wrtho, ac a'i tarawodd â barnau tymhorol.

Nid yw y drwg hwn gynnwysedig mewn ymlyniad diwyd wrth negesau bywyd, canys ni ddanfonwyd neb i'r byd i fod yn segur, ac ni ddylai ein teuluoedd fod mewn diffyg o achos ein syrthni ni. Ac nid yw y pechod hwn gynnwysedig mewn trefniad cynnil o fendithion Rhagluniaeth, y rhai ydynt ry werthfawr i'w dibrisio, a'u taflu ymaith am ddim; ond mewn gosod y galon ar gyfoeth—ymroddi bod yn gyfoethog *yn mhob modd*—caru y byd yn fwy nâ Duw—rhoddi cymmaint o serch ar olud fel na byddo lle i fyfyrdodau ysbrydol, nac amser i wasanaeth crefyddol—ac ymaflyd mor gryfed mewn trysorau daearol, fel na ellir ymadael â hwy heb ddolurio y meddwl yn dost, pan fyddo achos Duw, ac amgylchiadau y tlodion yn galw am gyfran o honynt.—Bernir yn uniawn gan y cybydd nad yw y dyn afradlon yn gwybod gwerth arian, heb ystyried fod y sawl a'u cadwo yn mhob modd yn berffaith mor anwybodus ag yntef o'u gwir werth; y naill a'u dibrisia, a'r llall a'u haddola; ac â'r hwn sydd yn gwneuthur Duw o honynt y mae a fynwyf yn bresennol; am y trosedd hwn y digiodd Duw wrth Israel.—Ystyriwn,

I. *Afresymoldeb a pherygl bydgarwch, neu, "anwiredd cybydd-dod."*

1. Ymlyniad gormoddol wrth y byd a feithrina ddymuniadau na's gellir eu diwallu. Tybia y nifer amlaf o ddynion y byddent foddlon pe gallent gael rhyw swm bennodol yn flynyddol; eithr profir yn eglur gan natur aflonydd y duedd hon—iaith bendant ysbrydoliaeth ei hun—ac

hanesion pob oesoedd, fod carwyr y byd hwn bob amser yn cilio yn mhellach yn ol oddiwrth foddlonrwydd, i'r un graddau yn hollol ag y maent yn myned rhagddynt mewn llwyddiant bydol; yn lle bod y can punt a drysorir o'r newydd yn rhoddi gwerth can punt o foddlonrwydd, nid yw ond dangos fod eisieu can punt ereill yn dost iawn. A sicrheir i ni gan Ddwyfol ddatguddiad, "Y neb a garo arian, ni ddigonir âg arian." (Preg. v, 10.) Nid ydynt wedi cael allan y dirgelwch o fod eû banesmwythder yn ddyledus i gulni eu heneidiau, yn hytrach nâ chulni eu meddiannau. Meddiannu llai gyda gwell eneidiau a'u gwnelai yn gysurus, ond ni ellai meddiannu yr holl fyd symud anfoddlonrwydd y fath eneidiau ag sydd ganddynt hwy.

Cyffelyb yw y duedd hon i ferched y gele, y rhai a lefant yn barhaus, "Moses, moes;" (Diar. xxx, 15,) neu y Behemoth yr hwn "a obeithiai y tŷnai efe yr *Iorddonen* i'w safn;" (Job xl, 23,) neu ffau llewod, i'r hon yr aeth miloedd, eithr ni ddychwelodd yr un ond mewn ffordd wyrthiol— neu bydew diwaelod, yr hwn a fyddai mor wag ag erioed er taflu holl fynyddau a bryniau y byd iddo—llun y bedd, a gwir ddelw uffern, y rhai a dderbyniant beunydd, heb fyth adferu yr hyn a dderbyniont, ac ni ddigonir hwy fyth.

2. Y mae y duedd hon mor annaturiol ag yw yn afresymol, yr hyn a ychwanegwyd yn afreidiol, gan dywysog marwolaeth, at y natur ddynol; canys darperir yn helaeth gan awdwr natur tuag at ddiwallu tueddiadau naturiol. Blys at fwyd, syched, blinder, a chysgu, ydynt ddiffygiadau naturiol, a dichon natur eu diwallu; eithr meddwdod, cybydd-dod, a'r cyffelyb, ydynt mor anghysson â diffygiadau naturiol ag yw tywyllwch a goleuni.

Y meddwyn a ŷf nes cynhyrfu syched—efe a ŷf yn galed; paham? am ei fod wedi yfed gormodd eisioes; ac y mae carwr cyfoeth yn awyddus am fwy golud, o herwydd fod ganddo eisioes fwy nâ digon. Y mae trefn natur yn cael ei gwrthdroi, pan fyddo yfed yn creu syched, a meddiannu golud yn gosod y byd yn y galon; y mae y cwbl go chwith; y byd wedi ei droi wyneb i wared; tueddiadau drwg yn troi meddyginiaeth yn wenwyn—bendithion yn felldithion—cyfoeth yn dlodi—a moddion bywyd yn offerynau dinystr a marwolaeth!

Un a ŷf nes codo syched cryf, ac a sycheda nes byddo farw, wedi yfed o hono fwy nâ'i loniad—ac arall a gynnydda mewn golud ac mewn trachwant—pa fwyaf a gaffo, llymaf i gyd ydyw, ac yn marw mewn diffyg yn nghanol cannoedd a miloedd fwy nag sydd eisieu arno! O'r fath ynfydrwydd!

3. Ceisio dedwyddwch mewn bendithion tymmorol sydd gynnyg i wrthwynebu dyben Duw yn y rhoddiad o honynt, a'r ffordd fwyaf effeithiol i'w gynhyrfu ef i'w cadw rhagom, neu eu chwerwi i ni, neu i'n cyfrif gyda'r gresynolion ag sydd â'u *rhan yn y bywyd hwn*. Bwriadwyd hwy i'ch cynorthwyo i fyned at Dduw, ac i fod yn weision i chwi ar eich taith

trwy'r byd; ac wele! chwi a wnaethoch feistriaid a duwiau o honynt. Beth ydynt ond megys "llef un yn llefain yn y diffeithwch, parotowch ffordd yr Arglwydd;" ymbarotowch i deyrnas Dduw: eithr nid yw bydgarwyr yn meddwl ond am barotoi ffordd i'r trysorau eu hunain bob amser; y maent yn derbyn y cenadon, ac yn gwrthod y brenin. Da fyddai ymgynghori â hwy yn mhellach, ac yn ebrwydd y clywid cyfoeth, anrhydedd a phleserau bydol yn dywedyd, (fel Ioan wrth yr Iuddewon, "Nid myfi yw y Crist, eithr fe'm danfonwyd o'i flaen ef,") nid dedwyddwch ydym ni, eithr daethom oddiwrth un ag sydd yn medru ei roddi. Pwy bynag a ddywedo wrth ei enaid i bwyso ar drysorau bydol, dichon fod yn sicr y chwerwir hwy iddo mewn un ffordd neu arall, neu fe'u cynnysgaeddir hwy âg adenydd fel yr ëhedont ymaith, a disgwyl clywed Duw yn dywedyd, O ynfyd, y nos, y mis, neu y flwyddyn hon, y cymmerant dy enaid oddiwrthyt, ac eiddo pwy fydd y pethau a barotoaist!

4. Gelwir bydgarwch wrth yr enw ffiaidd *eilun-addoliaeth*.—"Cybydddod, yr hon sydd eilunaddoliaeth." Col. iii, 5. Y mae yr enw yn gweddu yn wych i'r duedd.

Ni ddichon fod un drwg yn fwy gwrthwynebol i'n Creawdwr nâ chybydd-dod, gan ei fod yn rhoddi y gogoniant dyledus iddo ef i'w greaduriaid, ac yn gyffredin i'r creaduriaid gwaelaf, megys pren a maen, a phethau dienaid ereill; ac felly y gwna y cybydd, wrth roddi ei fryd ar ychydig lwch dysglaer. Yr hwn a esyd ei serch ar y byd yn fwy nag ar Dduw, sydd gymmaint eilun-addolwr ag ydoedd addolwyr y llo aur gynt, wrth y môr coch; nid oes gwahaniaeth pa un ai llun brenin neu ddelw llo a fyddo ar yr aur, tra fyddo yn cael y peth penaf mewn addoliad, sef y galon.

Dichon addolwyr Duw ddywedyd, "Pan ddeffrowyf, gyda thi yr ydwyf yn wastad;" Sal. cxxxix, 11. Felly dichon bydgarwyr ddywedyd am eu cyfoeth, pan ddeffront, y peth cyntaf yn eu meddwl, a'r peth olaf cyn cysgu drachefn yw eu golud; y mae yn llenwi eu myfyrdod, eu serch, a'u ymddyddanion yn barhaus. Os gwna clefyd neu ryw amgylchiad arall iddynt feddwl weithiau am fyd arall, pryd y bydd raid iddynt adael eu duw ar ol, y maent yn gobeithio y cânt iachawdwriaeth, ond y maent yn meddwl ei derbyn megys ffigys aeddfed Nahum (iii, 5), y rhai "a syrthiant i safn y bwytawr;" sef ei chael yn barod, heb drafferth i'w thŷnu oddiar Bren y bywyd—gobeithiant yr ennillir y gamp heb redeg yr yrfa—yr ânt i baradwys heb ymdrechu myned trwy y porth cyfyng—ac y cânt fuddugoliaeth ar bob gelyn heb wregysu cleddyf. Nid oes ganddynt ddim amser i fod yn grefyddol yn awr, meddant hwy, ond da fyddai iddynt ystyried, y gallai amser trugaredd achubol fod yn rhy brin yn nydd y cyfrif, i sylwi arnynt hwy, y rhai a dreuliasant eu hoes i'w hanmharchu hi; neu, mewn geiriau ereill, dichon iddynt gael curo wedi cauad y drws, ac heb gael un atebiad cysurol am byth.

5. Dywedir fod *ariangarwch* yn wreiddyn pob drwg, (1 Tim. vi, 10). Gwreiddyn tra ffrwythlon yn dwyn myrdd o ganghenau. Hawdd yw

dangos ei fod yn drosedd ar ddeg gorchymyn y ddeddf foesol.—(1.) Gwarafunir i ddyn gael duwiau ereill heblaw Jehofah; eithr addolir mammon yn weithredol gan y cybydd, a'r byd yw ei dduw.—(2). Gwaherddir addoliad i eilunod; eithr gwneir eilun-dduw o bob gwrthddrych a fyddo yn cael y lle blaenaf yn y galon.—(3). Perir i ni beidio cymmeryd enw yr Arglwydd yn ofer; eithr Absolom dan rith o dalu ei adduned i Dduw, a aeth i frad-gynghori yn nghylch dwyn coron ei dad oddiarno. (2 Sam. xv, 7). Trachwantu yn y goron oedd y gwreiddyn, a chymmeryd enw Duw yn ofer oedd y ffrwyth.—(4) "Cofia gadw yn santaidd y dydd Sabboth;" eithr pa gynnifer o negesau a wneir ar ddydd yr Arglwydd, i'r dyben i beidio colli amser ar ddiwrnod arall!—(5). "Anrhydedda dy dad a'th fam;" llawer a ddangosant yr anmharch mwyaf i'w rhieni, oni byddant yn eu cynnal â'u harian; ac Absolom, er mwyn cael golud ac anrhydedd ei dad, a wrthryfelodd yn ei erbyn, ac a fu yn achos lladdfa fawr yn Israel.—(6). "Na ladd;" lladdwyd Naboth gan Ahab, er mwyn cael ei winllan; ac, Och! gynnifer mil a myrdd o ddynion a laddwyd gan bob math o lofruddion er mwyn ennill eu harian neu eu tiriogaeth.—(7). "Na wna odineb;" yr ydym yn darllen am "Wobr putain," (Deut. xxiii, 18,) ac iaith pob putain yw, mai er mwyn arian neu fywioliaeth, y mae hi yn dilyn ei llwybr ffiaidd a gwarthus; ac ariangarwch lawer gwaith a barodd i wraig brydweddol halogi gwely ei phriod.—(8). "Na ladrata;" ariangarwch yw awdwr yr holl finteioedd o garn lladron a gyfododd yn mhob oes.—(9). "Na ddwg gam-dystiolaeth;" eithr bu cybydd-dod, neu serch anghyfreithlon yn feithrinfa gynnes i fyrdd o gelwyddwyr, ac anudonwyr, mewn gwahanol oesoedd.—(10). "Na chwennych dŷ dy gymmydog, &c." Nid oes eisieu helaethu ar y gorchymyn hwn, gan ei bod yn amlwg fod y sawl a geisiont dai neu eiddo eu cymmydogion yn anghyfreithlon, yn cael eu cynhyrfu gan fydgarwch. Felly ni a welwn fod llaw gan y drwg hwn yn mhob pechod —mammaeth ffrwythlon cynnenau, terfysgiadau, a rhyfeloedd gwaedlyd.

Megys yr oedd y sarff yn gyfrwysach nâ holl fwystfilod y maes, felly y mae'r pechod o gybydd-dod yn fwy cyfrwys nâ nemawr pechodau ereill, o herwydd fod ganddo gynnifer o lochesau golygus i lechu ynddynt: yr ydym yn darllen am rith, neu *gochl* cybydd-dod, (1 Thes. ii, 5.)—efe a wisga gochl neu fantell i guddio ei anferthwch. Ei berchen bob amser sydd dan yr anghenrheidrwydd o fyw yn gynnil—ystyrir pob mab afradlon ganddo yn ddyn drwg iawn (megys ag y mae), ac y mae arno ef rwymau i beidio ymdebygu iddo—ni oddef ei amgylchiadau iddo ef fod yn haelionus—a rhaid yw iddo ofalu am ei deulu, rhag iddo fod yn waeth nâ'r diffydd. Ac yn y modd hyn, wrth sylwi ar bechodau o natur arall, a chamddefnyddio rhai ysgrythyrau, efe a fyn berswadio pawb fod y pechod mwyaf erchyll, nid yn unig yn ddiniwed, ond yn rhinwedd neillduol ynddo ef. Ond y Duw a wel trwy y fantell hon, a farna y dyn yn ol yr hyn yw, ac nid yn ol a farno neu a ddywedo efe am dano ei hun.

6. Y mae cybydd-dod yn cau teyrnas nefoedd yn erbyn pawb sydd o dan ei reolaeth ddinystriol, megys ag y mae yn cauad y galon yn erbyn myfyrdod ysbrydol a chariad Duw, felly efe a saif rhwng yr enaid a gwynfyd, naill ai crefydd a gogoniant, neu mammon a dinystr fydd rhan pawb.—"Os câr neb y byd, nid yw cariad y Tad ynddo ef."—"Pwy bynag a ewyllysio fod yn gyfaill i'r byd, y mae yn elyn i Dduw." (Iago iv, 4).—"Canys yr ydych chwi yn gwybod hyn, am bob puteinwr, neu aflan, neu *gybydd*, yr hwn sydd ddelw-addolwr, nad oes iddynt etifeddiaeth yn nheyrnas Crist, a Duw." (Eph. v, 5.)

Felly ni a welwn fod y cybydd, wrth ymroddi ennill y llafn aur, yn ymwrthod â'r perl o uchel bris.—Pan barodd Crist i'r gŵr ieuanc ag oedd yn ymofyn am ddedwyddwch perffaith, i werthu yr hyn oll ag a feddai, a'i roddi i'r tlodion, efe a aeth ymaith yn athrist iawn; gwell ganddo fod mewn perygl o golli'r nef nag ymadael â'i olud. Nid yw neb cybyddion nemawr callach nâ'r crinwas hwnw a lanwodd ei holl logelli ag arian pan oedd y llong ag oedd ef ynddi yn mron a soddi, ac yn y cyflwr hwnw yr oedd yn myned i neidio i'r môr, i'r dyben i nofio i dir, ac oni buasai i ryw ddyn mwy pwyllog ei attal, ebrwydd y buasai efe a'i arian yn ngwaelod y môr. Pob swllt a dŷno y galon oddiwrth Dduw sydd yn soddi yr enaid ddyfnach ddyfnach mewn gresynoldeb ysbrydol.

Er y cwbl, meddwch chwi, da yw cyfoeth. Digon gwir, pan gedwir ef lle y dylai fod, ac y gwneir iawn ddefnydd o hono. Ni ddichon môrwr hwylio heb ddwfr, ond pan fyddo y dwfr yn rhedeg yn helaeth *i'r llong*, y mae angeu gerllaw. Da yw dwfr o'r tu allan i'r llong, ond dinystrydd yw pan gymmero feddiant o'r tu fewn iddi. Buddiol yw drain i gadw caeau, ond pe gwisgid hwy rhwng breichiau gŵr at ei ddwyfron byddent dra pheryglus. Cedwch y byd yn ei le, y mae yn dda, ond na roddwch orsedd y galon iddo, canys byddai fel dwfr yn y llong, ac yn fwy niweidiol nâ drain yn y fynwes.

Dengys y sylwadau blaenorol, nad oes un bai yn fwy cynnyrchiol o ddrygau, yn fwy atgas gan Dduw, ac yn fwy sicr o gau teyrnas nefoedd yn erbyn ei berchenog, nâ chybydd-dod; ac nad oes un nôd amlycach ar gybydd, nâ'i fod yn peidio cyfranu at achos Duw a'r tlodion yn ol ei sefyllfa, gan fod hyn yn profi yn eglur ei fod yn caru y byd yn fwy nâ Duw.

II. Y feddyginiaeth a weinyddwyd gan Dduw i wellhau Israel o'r anhwyldeb niweidiol hwn, sef bydgarwch, "Am anwiredd ei gybydd-dod ef y digiais, *ac y tarewais ef*." Myfi a'i ceryddais,—rhoddais ef i fynu i ddwylaw ei elynion—cymmerais oddiwrtho yr hyn y gosodai efe ei serch fwyaf arno—neu, cystuddiais ef mewn un ffordd neu arall, nes teimlodd efe fy anfoddlonrwydd, ac y gwelodd y ffolineb o geisio byw yn ddedwydd hebof fi. Yr hyn a'n tywys i sylwi fod caledi a chystuddiau, gyda bendith Duw, yn rhinweddol i symud cariad pechadurus at drysorau darfodedig, yn gystal ag at bob gwrthddrychau ereill dan haul, ag yr ymserchir ynddynt gan ddynion.

1. Trwy gystuddiau y dangosir i'r dyn wagedd pob mwyniant dacarol, ar yr hwn y gesyd efe ei holl serch pan fyddo mewn amgylchiadau llwyddiannus. Siomir ef yn yr hyn yr ymddiriedodd fwyaf ynddo—efe a gollodd ysgatfydd ei olud, ei gyfaill, neu ei blentyn, o'r rhai y gwnaethai eilunod; neu efe a darawyd nes collodd ei iechyd, fel na's dichon fwynhau ei gyfoeth helaeth, yr hwn sydd etto ar ei enw, ond mor ddirinwedd iddo ef yn yr amgylchiad hwn a phe byddai yn eiddo arall; a thrwy hyn argyhoeddir ef yn drwyadl o'r posiblrwydd iddo gael ei siomi yn yr hyn sydd yn aros i roddi iddo ychydig gysur, ac o'r mawr ffolineb o roddi y serch yn benaf ar un creadur.

Pan ymosodir arno gan gystudd trwm, efe a genfydd na ddichon golud brynu iechyd—cyfeillion—tawelwch meddwl—estyniad einioes—nac esmwythyd i gydwybod euog; yna efe a deimla wagle na ddichon dim ond Duw ei lenwi, a'r anghenrheidrwydd o'i geisio ef yn rhan ddiddarfod ac anghyfnewidiol i'w enaid anfarwol.

Cybydd-dod sydd glefyd eneidiol o'r fath ag y mae angen wrth foddion meddygol chwerwon i'w yru ymaith. A pha beth yw yr holl gystuddiau a'r trallodion ag ydynt yn dyfod i gwrdd ag Israel Duw yn y byd, ond cenadon a ddanfonir o'r uchelder i gymhwyso testun y Pregethwr breninol at y galon, "Gwagedd o wagedd, medd y pregethwr, gwagedd o wagedd, gwagedd yw y cwbl." A chenadon yw y rhai hyn a *fynant* wrandawiad, pan fyddo cynghorion mwyaf dewisol a serchiadol y pregethwyr rhagoraf yn aneffeithiol. Gwelwyd llawer yn dibrisio'r cyfarwyddiadau mwyaf anghenrheidiol, heb sylwi mwy ar dystiolaeth y doethaf o ddynion yn nghylch diffrwythdra ac annigonolrwydd trysorau a phleserau y llawr i lenwi y meddwl, ond cafwyd hwy dan driniaeth y cenadon hyn yn gorfod addef mai gwagedd yw'r cwbl dan y nef, a bod golud byd yn rhy fach i'w dyddanu.

2. Mae dynion yn gyffredin yn greaduriaid addolgar. Nid oes genedl yn y byd, ac ni bu un erioed, a'r nad oedd, neu, a'r na sydd, yn addoli rhyw wrthddrych. Y mae trigolion y gwledydd ag ydynt heb wybodaeth o'r gwir Dduw yn talu addoliad i ryw wrthddrych neu'r llall; ac mewn gwledydd lle y mwynheir moddion gwybodaeth yn y modd helaethaf, er nad yw pawb ynddynt yn rhoddi yr addoliad a'r parch dyledus i'w Lluniwr, etto, y mae ganddynt ryw wrthddrych arall yn ei le, i'r hwn y rhoddant orsedd y galon, a'r serch dyledus i'w Gwneuthurwr. Nid oes neb heb Dduw, neu eilun-dduw; ac, megys y sylwyd eisioes, duw y cybydd yw ei olud; a thrwy ei daro ef â chystudd hyd nas gallo fwynhau ei gyfoeth, y mae yr eilun-dduw yn cael ei newynu—y mae y ddelw yn diflanu—gwrthddrych gobaith yn trengu—a Dagon yn methu sefyll ar ei draed o flaen ceryddon Duw yr arch, ac yna efe a rwymir i geisio gwrthddrych mwy anghyfnewidiol a diysgog, yr hwn sydd o werth pwyso arno yn mhob amgylchiad. Newynwyd pleserau, neu eilun-dduwiau, y mab afradlon yn y wlad bell, a hyn achlysurodd ei ddychweliad i dŷ ei dad.

3. Trwy *daro* dynion, neu eu dwyn i amgylchiadau cyfyng, y dysgwyd llawer i barchu gair Duw, yr hwn a'u dysga i roddi eu "Serch ar bethau sydd uchod, ac nid ar y pethau sydd ar y ddaear." A phawb ydynt yn caru y byd yn fwy nâ'u Creawdwr, hyd oni ddysgir hwy i rodio yn ol rheolau auraidd y gair hwn; ac er fod y gair yn agos atynt, a'i fendithfawr reolau o hyd cyrhaedd iddynt, etto cyn ddalled yw llawer, hyd y nod yn Israel, fel nas canfyddant hwy nes y cyfarwyddir hwy atynt gan wialen cystudd; "Cyn fy nghystuddio yr oeddwn yn cyfeiliorni, ond yn awr cedwais dy air di.—Da yw i mi fy nghystuddio, fel y dysgwn dy deddfau." (Sal. cxix, 67, a 71).

Llawer Cristion sydd ry debyg i blant diofal yn yr ysgol, y rhai na ddysgant eu llyfrau, nac edrych arnynt, yn hwy nâ byddo y wialen uwch eu penau; a chystudd, o un math neu arall, yw y wialen a ddefnyddir gan Hyfforddwr mawr yr holl bererinion ysbrydol, i'w gyru at eu llyfr, y Beibl, a'r llyfr dedwydd hwn a'u tywys at drysorau parhaus, modd yr iacheir ni oddiwrth haint cybydd-dod, ac y gosodom i ni ein hunain drysor yn y nef.

4. Cystuddiau ydynt dra buddiol i ddarostwng balchder calon dyn, ac am fod pob cybydd o anghenrheidrwydd yn ddyn balch, tra thueddol yw cyfyngder i ladd ei gybydd-dra. Parod iawn yw y cybydd i ymffrostio yn ei gynlluniau—ei ddiwydrwydd—a'i lwyddiant—ac am ei fod yn caru y byd yn fwy nâ Duw, gallwn fod yn sicr ei fod yn priodoli ei uchafiaeth iddo ei hun, ac nid i Ragluniaeth; ac wrth gymharu ei hun ag ereill sydd mewn amgylchiadau isel, efe a edrych arnynt gyda diystyrwch, megys pe na byddent yn perthynu i'r un rhywogaeth ag ef; cyfrifir hwy ganddo yn segurwyr, afradloniaid, a ffyliaid. Er nad oes ganddo hanner digon o olud i foddio ei feddwl, etto y mae yn cael cryn foddlonrwydd ar brydiau pan gofio ei fod lawer yn gyfoethocach nag ereill; y mae tlodi ei gymmydogion yn gweini llawer mwy o gysur i'w galon dywell nâ'i holl gyfoeth ei hun.

Eithr pan darawo Duw, efe a gyfeiria ei ergydion at yr holl golofnau ag ydynt yn dala balchder i fynu; trwy hyn dangosir iddo ei waeledd ei hun—cyfnewidioldeb pob creadur—a darfodedigaeth pob mwyniant. Dyosgir ef o'r cwbl—llosgir ei nyth o dano, yr hon a adeiladwyd trwy lawer o boen a lludded—a chyda bendith yr Hollalluog, dysgir ef ei fod mor ymddibynol ar drugaredd Duw ag yw ereill.

Pan fyddo trallodau yn gadael yr effaith hyn ar ei feddwl, cyffelyb ydynt i lewod Darius yn eu hymddygiad at Daniel, sef difa ei elynion, cybydd-dod a balchder, ac yn ei adael ef yn fyw; neu ffwrn fawr danllyd Nebuchadnesar, yn llosgi ei rwymau, heb ei niweidio ef, ond ei adael yn rhydd ei draed i ffoi i'r noddfa; neu ddylif Noa, yr hwn ddinystria ei bechodau, ac a'i galluoga ef i nofio at Geidwad, trwy ddinystrio ei ddinystrydd.

5. Y mae tuedd cryf mewn cystuddiau i beri i ddyn flino ar y byd, er

maint ei ymlyniad wrtho. Nid oes neb yn achwyn mwy ar yr amseroedd, y siomedigaethau, a'r helbulon sydd yn y byd, nâ'r cybydd, ac etto y mae yn caru y byd megys pe byddai yn nghanol paradwys, ac nid mewn anialwch; dyma lle mŷn efe i drigo; nid yw yn gofalu nac yn llafurio dim am well preswylfa; ei holl fryd sydd ar droi yr anialwch yn baradwys; ond pan darawo Duw ef hyd adref, efe a gaiff achos cyfreithlon i ddywedyd mai gwagedd yw trysorau penaf y byd, ac fe'i dysgir i adnabod mai yr unig ffordd i wneuthur anialwch y byd rywbeth yn debyg i baradwys yw caru Duw yn fwy nâ phob creadur, a thàn effaith cariad Dwyfol, efe a flina ar yr anialwch, a fydd awyddus am wlad well, ac a wellheir o'i gybydd-dod.

6. Dangosir mewn amrywiol hanesion fod gwaith Duw yn taro dynion cybyddlyd wedi eu gwneuthur yn haelionus, ac iawn ddefnyddio trysorau bydol. Darllenasom am un marsiandwr cyfoethog, yr hwn a gollodd £1,500 trwy ddrylliad un long; ac yn ebrwydd wedi hyny efe a roddodd ganpunt i'w rhanu rhwng gweinidogion a phobl dlodion, gan ddywedyd, "Os yw fy ngolud yn myned ymaith yn ei grynswth o bymtheg cant ar y tro, y mae yn hen bryd sicrhau peth o hono cyn yr elo y cwbl." A nyni a adwaenom rai personau cyfoethog na roddent nemawr, os dim, yn fwy at achosion elusenaidd nâ dynion tlodion, nes cael cryn golledion, ond yn awr odid i un achos o bwys fod heb gini i'w gynnorthwyo.

Y mae yr Arglwydd yn fynych yn cymmeryd ymaith ran o olud bydolion fel y gallont ddysgu y ffordd i roddi ymaith yr hyn a fyddo anghenrheidiol o'r gweddill; ac os na fydd cymmeryd rhan o gyfoeth y cybydd yn ddigon i'w feddyginiaethu, fe gymmerir y cwbl gan Dduw i'w law ei hun, yn gynt neu yn hwyrach; neu fe'i cyfrifir ef gyda'r sawl sydd â'u rhan yn y bywyd yma yn unig.

Haelionusrwydd yw y ceidwad goreu a fedda dyn ar ei drysorau; dryllir pob cloion, chwilfriwir y gist haiarn, dinystrir y cestyll cadarnaf, a'r golud anwylaf a ysglyfaethir, oni bydd haelioni yn ei warchod; Duw bia'r cwbl, ac nid hir y goddef efe i'w eiddo fod dan ymgeledd arall. Wrth y trugarogion y bydd efe drugarog.

Gallwn ddysgu oddiyma—1. Na oddef Duw i'r byd gael calonau ei bobl.—2. Na ddylem achwyn pan gymmerir oddiwrthym wrthddrychau serch anghyfreithlon, am na ddylai dim sefyll rhwng ein calon â Duw.—3. Fod yr Arglwydd yn taro Israel, nid i'w ladd, ond i'w ddiwygio, ac wrth yr effaith a adawo cystuddiau ar ein meddyliau y gallwn wybod pa un a ydynt wedi eu santeiddio ai peidio; os dygant ein serch o'r byd i'r nef, gallwn fod yn sicr eu bod yn cydweithio er ein daioni.—4. Er mor fuddiol yw cystuddiau i'n hargyhoeddi o wagedd y byd, annigonol ydynt heb ras Duw; aeth calon Pharao yn galetach galetach dan bob plâ barnol. Aeth Israel "rhagddo yn gildynus ar hyd ffordd ei galon," pan ddechreuodd Duw ei daro, fel y gwelwch yn niwedd y testun, ond trwy ras gwelwyd ei ffordd, ac efe a iachawyd.—5. Rhaid i bawb, tlodion

a chyfoethogion, ag ydynt yn caru y byd yn fwy nâ Duw, gael eu *taro*, canys cybyddion ydynt oll—ac os na bydd un ddyrnod yn ddigon, yr Arglwydd a dery drachefn a thrachefn; ïe, efe a dery nes plygu ei blant, a dinystrio ei elynion.

Gorffwysfa lawn sy'n ol,
I bobl Dduw o'r bron,
Tudraw i derfyn gwae,
Mewn etifeddiaeth lon;
Pa'm rhed fy serch ar wagedd byd,
A'm cartref yn y nefoedd glyd!

---

# AMYNEDD.

LUC VIII, 15; XXI, 19; HEB. X, 36; IAGO V, 10, 11.

DICHON doethineb ein galluogi i ochelyd rhai o flinderau y fuchedd hon, a thrwy weddi gallwn gael gwaredigaeth oddiwrth ereill, ond rhaid yw dyoddef y nifer amlaf mewn amynedd.—"Gorthrymder sydd yn peri dyoddefgarwch," etto, nid hyny yn unig, ond gorthrymder mewn cyssylltiad â chrediniaeth o'r gwirionedd. Pe treiglai tònau cedyrn trallod dros yr enaid nad yw yn gwybod y gwirionedd, efe a soddai ac a drengai mewn anobaith. A phe dylyfai gwirionedd dwyfol i'r galon ag sydd heb brofi gorthrymder, gwnelai hyny y dyn yn ddoeth, yn gariadlawn, ac yn haelionus, ond nid yn *amyneddus*.

Dichon grasau ereill hanfodi a chynnyddu yn yr enaid mewn amserau llwyddiannus, eithr amynedd a enir mewn gorthrymder, ac a gynnydda mewn nerth i gyflawni ei gorchwylion anhawdd dan y goruchwyliaethau tywyllaf o eiddo Rhagluniaeth. Cyffelyb yw hi i'r llysiau anaml hyny a'r na thyfant yn agos i lysoedd tywysogion, gerddi pendefigion, neu baradwys ei hun, ond a geffir mewn perffeithrwydd yn nghysgod y mynyddau uchelaf a lleoedd cyffelyb.—Y mae amynedd yn ymddysgleirio yn odiaeth yn yr amgylchiadau canlynol:—

I. Yn ngwyneb cyffröadau poenus oddiwrth ddynion. "Anghenrhaid yw dyfod rhwystrau," neu dramgwyddiadau. Gellir ein harcholli yn ein tybiau—ein cymmeriad—ein swydd—a'n galwedigaeth. Y mae tymherau—cynneddfau—a manteision dynion yn wahanol, a'u budd a'u helw yn gwrthwynebu eu gilydd yn barhaus; yr hyn sydd anfanteisiol i un sydd fuddiol i arall. Profir ein hamynedd gan anwybodaeth rhai—hurtrwydd a ffolineb ereill, cyndynrwydd ereill—a thrwy lid a malais ereill. Y mae rhai dynion mor angharedig megys pe byddent wedi eu cyfansoddi o bob peth anhyfryd a drygionus, wedi eu geni yn unswydd i flino, yn faich iddynt eu hunain, ac yn benyd i bawb o'u hamgylch.—Dyma faes helaeth i amynedd, dyma gyfle iddi hi ymddangos yn ei

gogoniant a'i harddwch mwyaf. Gellai ymddial ymddangos yn ddymunol ar y pryd, ond attal yr ergyd a anoswyd gan y nwydau poeth—gyru rhesymau hynawsedd cyn belled ag yr elont—ac os rhaid taro, gadael i Dduw fod yn farnwr ac yn gospwr, yw ymddygiad buddugol amynedd yn nydd llawenydd ei chalon. Cymhellir Cristion i ymddwyn yn y modd hyn gan amryw ystyriaethau:—

1. Anghenrheidiol yw hyn er tawelwch i'w feddwl ei hun. Ymhyfrydir gan lawer i gyffroi dyn nwyd-wyllt, a'r sawl a gyffroir yn hawdd ydynt yn traddodi eu hesmwythyd tufewnol i gadwriaeth eu gelynion, gan orwedd wrth eu traed, a'u gwahodd i'w daro. "Y neb ni byddo ganddo attal ar ei ysbryd ei hun, sydd megys dinas ddrylliog heb gaer," (Diar. xxv, 28,) i'r hon y daw trwy yr adfail, seirff, crwydraid, a lladron, yn ddiattal; tra byddo yr hwn sydd mewn amynedd yn meddiannu ei enaid, a chanddo reolaeth arno ei hun, yn gosod amddiffyn o'i gylch, ac yn gwahardd dyfodiad y fath dylwyth aflonydd i'w breswylfa.

2. Gofynir hyn gan ei ddoethineb. "Y diog i ddigofaint sydd yn llawn o synwyr.—Dig sydd yn gorphwys yn mynwes ffyliaid." (Diar. xiv, 22; Ecles. vii, 9.) Doethineb a rydd i ni olygiadau helaeth, amrywiol, a chynnwysfawr ar bethau, gan roddi amser i'r meddwl oeri, a'i gynnysgaeddu ag amrywiol ystyriaethau tueddol i laesu llymdostedd at y gwrthwynebwyr, gan nad pa mor feius y byddo.

3. Y mae ei urddas, neu ei gymmeriad yn gofyn hyn. "Gorchfyga di ddrygioni trwy ddaioni." (Rhuf. xii, 21.) Y dyn a gynhyrfir i ymddial sydd yn colli holl ogoniant yr ymdrech rhyngddo ef ac arall, tra y mae'r sawl a ymattalio yn dyfod o'r maes yn orchfygwr, wedi ei goroni ag anrhydedd anarferol, "Gwell yw y diog i ddigofaint nâ'r cadarn; a'r neb a reola ei ysbryd ei hun, nâ'r hwn a ennillo ddinas." (Diar. xvi, 32.) Pan ymosodo llif ar graig efe a dreigla ymaith heb allu ei hysgogi, tra y mae yn dwyn gwellt a brigau coed ganddo mewn modd buddugol.

4. Dengys amryw engraffau tra theilwng o'n hefelychiad neu ddynwarediad fod hyn yn ofynol mewn credadyn. Er cyn ddryced triniaeth gafodd Joseph gan ei frodyr, prin y mae yn crybwyll eu bai gan mor awyddus ydoedd i gyhoeddi maddeuant. (Gen. xlv, 4, 5.) Gwelwch Stephan dan y gawod farwol o gèryg, megys pe buasai yn fwy gofalus am ei elynion nac am dano ei hun, yn penlinio wrth erfyn drostynt hwy, ond yn sefyll tra yr oedd yn gweddio drosto ei hun. Ar fryn Golgotha gwelwn fwy nâ Joseph a Stephan yn dyoddef yn anghyfiawn gyda'r addfwynder mwyaf, gan adael i ni siampl fel y dilynem ei ôl. Yr oedd pob peth yn dangos mawredd y cyffröad a gynnygwyd iddo, megys natur y trosedd yn ei erbyn—rhwymedigaeth y troseddwr i'w garu—cyfiawnder ei achos—a mawredd ei allu, oll yn galw am ddialedd. Yr oedd y greadigaeth yn awyddus i gospi—tỳnodd Pedr ei gleddyf—ymroddodd yr haul i beidio tywynu yn hwy ar y fath waith echryslon—ceisiodd y creigiau, mewn ystyriaeth, genad i'w llethu—cryn-

odd y ddaear, megys pe buasai yn barod i ymagor i'w llyncu—methodd y meirw a thrigo yn llonydd yn eu beddau, megys pe buasent yn barod i gymmeryd ei blaid, ond dysgwyl am ganiatâd. Goddefodd yr Iesu iddynt oll egluro eu cyd-ymdeimlad, eithr gwaharddodd iddynt ymddial, a rhag i Farnwr pawb dywallt o'i lidiawgrwydd arnynt, efe a ddywedodd, "O Dad, maddeu iddynt," &c.

II. Eglurir grym amynedd wrth ddyoddef trallodau rhagluniaethol. "Dyn a aned i flinder, fel yr eheda y wreichionen i fynu," (Job v, 7.) Ac yn lle bod y duwiol yn rhydd oddiwrth flinderau cyffredin bywyd, dywedir mai "*Aml* ddrygau fydd i'r cyfiawn." Rhy aml ydynt i'w henwi yma, ond gelwir arnom eu dwyn mewn amynedd. Ar hyn sylwn fel y canlyn:—

1. Nid oes galwad arnom i fyned trwy'r byd yn nghanol gofidiau a'u hystyried ynddynt eu hunain yn bleserau, arwydd o anystyriaeth ac annheimladrwydd, ac nid prawf o amynedd fyddai hyny; nid rhinwedd mewn craig yw peidio llefaru pan darawir hi, ac nid amynedd mewn neb yw dwyn yn siriol y baich nad y'nt yn ei deimlo.—Mewn adenedigaeth cymmerir ymaith y galon gareg, ac nid yw amynedd yn ei dwyn yn ol. Dylem ystyried y wialen, a phwy a'i hordeiniodd, ac nid yw y wialen fyth o les i'r plentyn cyndyn hyd oni theimlo efe hi.

2. Nid yw dwyn y baich gofidus yn amyneddus yn arwyddo ei bod yn anghyfreithlon *ceisio* gwaredigaeth, a defnyddio moddion i ymryddhau oddiwrtho. Eithr dylai pob cais o'r fath derfynu gyda, "nid fy ewyllys i, ond dy ewyllys di, O Dad, a wneler," a dylai y moddion a arferir fod yn gyfreithlon; dichon llawer ffordd o ddiangfa ymgynnyg i'r meddwl, ond ni fyn Cristion yr un heblaw yr hon a gymmeradwyir gan Dduw; os na ddichon efe gael llonydd gan ddiffyg a thlodi heb chwennych eiddo ei gymmydog, efe a driga gyda hwynt "nes delo'r awr i fyned trwy—na wnelo groes na thrallodion mwy."

3. Nid yw dwyn pob gofid yn amyneddus yn dangos y dylem beidio gwahaniaethu rhwng gofidiau mawrion ac ereill o lai pwys. Nid yw fod y teimlad yn fwy byw neu effro dan ddyrnod drom nag un ysgafnach yn brawf o ddiffyg amynedd. Swmbwl yn y cnawd a wnaeth Paul yn anesmwyth, ond nid yn anfodlon i drefn Duw. Gwelwyd perffeithrwydd ei hun yn wylo oddiar deimlad o serch ac hiraeth wrth fedd Lazarus. Dylai y teimlad fod yn gyfatebol i'r blinderau, yn y rhai y mae graddau. Haws dyoddef yr hyn a ddelo yn ddigyfrwng oddiwrth Dduw, nâ syrthio i ddwylaw dynion, (2 Sam. xxiv, 14,) ac ysgafnach yw y baich a osodo gelynion, na'r hwn a drefno cyfeillion i ni; "Canys nid gelyn a'm difenwodd, yna y dyoddefaswn," &c., (Sal. lv, 12—14.) Er mor boenus oedd y meddwl o achos syrthio i ddwylaw y Philistiaid, yr oedd cofio mai trwy Dalila ei wraig y bu hyny yn mwyhau blinder Sampson yn dost.

4. Dichon dyn fod yn amyneddus dan ofidiau, ac etto bod yn hiraethlon am yr amser pan ddelo diwedd ar ei holl drallodau. Gwr mawr ei

amynedd oedd Paul er bod arno chwant ymddatod a bod gyda Christ mewn cyflwr gwell. Nid neb hynotach nâ Job yn hyn, etto efe a ddysgwyliai yn hiraethlon am amser ei gyfnewidiad. Mewn gair, nid yw amynedd yn gwneuthur gofid yn bleser, o herwydd pe medrai gwr ymhyfrydu mewn gofid ni byddai raid iddo wrth amynedd. Swydd y gras hwn yw rhoddi y blaen i Dduw yn y cwbl pan fyddo rhagluniaethau chwerw yn ei groesi ef, a dysgwyl gollyngdod yn dawel yn ffordd ac amser Duw, yr hwn a ŵyr beth sydd oreu er ein lles, a thrwy hwn y mae'r Cristion yn myned yn dawel trwy orthrymderau lawer i deyrnas Dduw, heb feithrin meddyliau celyd am ei Arglwydd, nac anobeithio am waredigaeth. Tra y mae y dyn diamynedd yn troi y wialen yn scorpion, ac ni ddichon efe weled beth y mae Duw yn ei wneuthur, gan y dylif dagrau cintachlyd ag sydd yn llenwi ei lygaid, na chlywed llais dystaw main ei Arglwydd, o herwydd twrf dibaid ei nwydau seinfawr.

III. Ymddysgleiria amynedd yn ngwyneb oediad o'r dedwyddwch addawedig, yn gystal ag wrth ddwyn blinderau mewn tawelwch; gan ei bod mor naturiol i ni geisio daioni mwy mor awyddus a gochelyd gofidiau trymion; a'r un dymher yn anghenrheidiol i oddef siomedigaeth yn y ddau amgylchiad.

1. Nid yw Duw bob amser yn ateb gweddiau ei bobl yn ddioed pan lefont arno; y mae efe yn clywed cyn gynted ag y curont, ond heb agor y drws; gofynol yw amynedd i sefyll yma ac ymroddi peidio ymadael nes cael y fendith.

2. Nid yw efe yn gwaredu bob pryd yn yr amser ag oeddym wedi hir ddysgwyl. Iaith dymuniad yw, "O, pa bryd y deui ataf?" ac ymadrodd anamynedd yw, "I ba beth y dysgwyliaf wrth yr Arglwydd yn mhellach?" Ond y mae amynedd yn sibrwd, "Da yw gobeithio a dysgwyl yn ddystaw am iechydwriaeth yr Arglwydd." Gal. iii, 26.

3. Weithiau y mae'r daioni dymunol yn ymbellhau pan dybiom ei fod o hyd gafael i ni—y ffordd yn estyn pa fwyaf a deithiom; y fendith yn cilio fel byddom yn nghylch ymaflyd ynddi; y llong yn cael ei chwythu i'r cefnfor garw o enau y porthladd a ddymunem; y wlad dda o hyd golwg, a sawyr ei pheraroglau a hyfryd sain ei chaniadau melus yn dyfod dros yr afon hyd atom, heb ganiatâd i ni fyned drosodd, ond ein gadael i hiraethu a dywedyd, "O na byddai i mi adenydd fel colomen, yna yr ehedwn ymaith ac y gorphwyswn." Eithr clywn lais yn llefain, "Byddwch yn ymarhous frodyr hyd ddyfodiad yr Arglwydd," &c. (Iago v, 7.)

*Addysgiadau.* 1. Gwelwn yr anghenrheidrwydd o amynedd; y mae o wasanaeth cyffredinol a pharhaus; rhaid i bawb o honom wrtho. Dichon llawer fod heb ddysgeidiaeth a graddau helaeth o ddoethineb, ond beth a wna neb yn y fath fyd â hwn heb amynedd? Pa fodd y teithir trwy anialwch o ddrain a mieri heb esgidiau parotöad yr efengyl.

2. Coleddwch bob ystyriaeth a dueddo i feithrin amynedd; cofiwch nad yw yr hyn ydych yn oddef yn gymmaint ag a haeddodd eich

troseddau yn erbyn Duw, ac yna y cwynfan a dry yn ddiolchgarwch. Gwybyddwch nad yw yr amser i ddyoddef yn faith, nid yw ond dydd, a'r dydd hwnw wedi cerdded yn mhell. Heb gymhorth gobaith, rhy wan yw yr ystyriaeth o'n bod yn haeddu mwy poen nag a gawsom, er fod hyn yn wirionedd, gallai ein loeson heb obaith gollyngdod fod yn annyoddefol, o herwydd nid yw y damniaid fyth yn cael eu hannog i fod yn amynеddgar, ac nis gallant fod. Ychwanegwch at hyn, fod gofidiau o dan reolaeth y Duw a ddywedodd, fod pob peth yn cydweithio er daioni i'r sawl sydd yn ei garu; nid yw trallodion ond tòri y gadwyn gref ag oedd yn ein rhwymo wrth y byd.

3. Ceisiwch ragori yn yr ymarferiad o amynedd, na foddlonwch ar raddau bychain o hono; gwnewch ddefnydd o hono yn mhob peth, ac ar bob amser; peidiwch ofni ei dreulio, canys y mae yn cryfhau wrth ei ddefnyddio. Cofiwch fod "Duw yr amynedd" yn rhoddi gras mwy; ewch yn aml ato ef, i geisio cynnydd ar y gras hwn, nes bod yn aeddfed i'r breswylfa ddedwydd lle ni raid i neb wrtho.

## Y FARN FAWR.

"Gwŷr Ninefe a gyfodant yn y farn gyda'r genedlaeth hon."—MAT. XII 41.

ER mor ddifraw ac ysmala y treulia llawer eu hamser yn y byd hwn, rhaid fydd i'r holl fyd o fôdau deallus ymddangos mewn barn, hen ac ieuainc, tlawd a chyfoethog, modd y derbynio pawb yn ol yr hyn a wnaethant yn y corff.

Gerbron y frawdle fanwl hòno ymddengys pawb ynghyd, gwŷr Ninefe a'r genedlaeth hon; myrdd a myrdd dirif, y rhai na welsant wynebau eu gilydd erioed o'r blaen. Rhaid i holl feibion Adda gyfarfod mewn un gynnulleidfa fawr annhraethol am unwaith, a thros ychydig, ac yna fe'u didolir, ac fe'u rhenir yn ddwy dyrfa fawr, y rhai na chyfarfyddant fyth ond hyny. Mat. xxv, 23.

Pan ymgasglo yr holl genedloedd gerbron yr orsedd fawr, cyhoeddir ymddygiadau gwahanol pawb gerbron y byd cynnulledig, (Mat. xxv, 34—45,) ac ystyrir ymddygiad y naill blaid yn condemnio y llall; nid fel barnwyr, ond mewn ystyr gymharol, megys y condemnia ymddygiad dyn diwyd a gofalus yr hwn a ddewiso farw yn hytrach nâ gweithio. Y rheswm a roddir yma paham y condemnia gwŷr Ninefe y genedlaeth ag y bu Crist yn llafurio yn eu mysg yw, "Am iddynt hwy edifarhau wrth bregeth Jonas, ac wele fwy nâ Jonas yma."

I. Rhoddwn ddarluniad byr o ragoriaeth Crist ar Jonas.—Efe a ragora,

1. Yn anfeidrol yn ei berson. Nid oedd Jonas ond dyn, ac yn mhell o fod yn un o'r dynion goreu; ond wele yma Dduw, Creawdwr a Chynnalіwr pob peth, yn meddu pob priodoliaeth Ddwyfol, ac yn wrthddrych

addoliad i'r holl gôr angylaidd, wele yma Dduw-dyn, y ddau eithafed mwyaf yn cyfarfod yn ei berson, a Duwdod a dyndod, nefoedd a daear, wedi eu huno ynddo ef.

2. Yn ei swyddau. Nid oedd Jonas ond proffwyd, ac mewn modd tra anmherffaith y cyflawnodd efe yr un swydd hòno; ond wele yma broffwyd, brenin, ac offeiriad; gwr a fedr lenwi ei dair swydd mewn anrhydedd yn well fyrdd o weithiau nag y llanwodd Jonas, a rhagorach proffwydi nag ef, un o'r tair. Swydd Jonas oedd dywedyd am bechod, darlunio gweithredoedd y diafol, a dangos y pellder rhwng Duw a dyn, nefoedd a daear. Swydd Crist oedd dileu pechod, datod gweithredoedd y diafol, ac uno nef a llawr.

3. Mewn bywyd ac ufydd-dod. Yr oedd mab Amitai yn dra chyndyn ac anufydd. Pan ddanfonwyd ef i Ninefe efe a fynai ffoi i Tarsis, ac er i anfoddlonrwydd Duw ei orddiwes ar y ffordd, mwy dewisol oedd ganddo gael ei daflu i'r môr nâ cheisio gan y morwyr i droi y llong tua Ninefe, y màn y mynai Duw iddo fyned; eithr bu Crist ufydd yn ngwyneb yr anhawsderau mwyaf, dros y dynion annheilyngaf, bu efe yn ufydd hyd angeu, efe oedd yr unig gyfaill ffyddlon a difai a gwrddodd deddf Duw wedi'r cwymp, yr hwn a'i mawrhaodd mewn pob peth.

4. Efe a ragorai yn ei weinidogaeth a'i athrawiaeth. Pan orfu ar Jonas bregethu, nid oedd ganddo i'w gyhoeddi ond dinystr buan i'r Ninefeaid, soriant y Duw Hollalluog, heb fedru dangos drws gobaith ar neb telerau pa bynag; eithr Crist a gyhoeddodd y flwyddyn gymmeradwy, dydd iechydwriaeth, ac a ddaeth fel y caent fywyd, ac i roddi bywyd tragywyddol i'w holl wrandawyr crediniol.

5. Wele fwy nâ Jonas yma o ran y dull o gadarnhau ei athrawiaeth. A allasai y Ninefeaid amheu hacriad Jonas, a gofyn pa fodd y dichon efe brofi y syrthiai ein dinas ni? Onid yw ei muriau mor gedyrn ag erioed? A pha arwydd a rydd efe o'i ddwyfol anfoniad? Eithr profai gwyrthiau dirfawr Crist fod ei athrawiaeth yn gywir; yr oedd gwynt a môr, clefyd ac iechyd, bara a physgod, dynion ac amrywiol greaduriaid, yn dwyn eu tystiolaeth, mewn modd goruch-naturiol, i wirionedd ei eiriau, ac ni allai cythreuliaid beidio gosod eu dwylaw mewn cymhariaeth i selio ei athrawiaeth, gan eu bod yn ffoi o'i wydd, ac yn cyfaddef ei fod yn sant Duw.

6. Sylwch ar ei ddyoddefiadau, ei farwolaeth, a'i adgyfodiad.—Gwir yw fe ddyoddefodd Jonas lawer, ond o'i achos ei hun—o'i anfodd—a than rwgnach llawer;—a phan fu efe farw yr oedd ei angeu yn ddyledus i natur—nid oedd ei fywyd o werth llawer, ond ni thalai ei farwolaeth ddim i ereill—y mae efe etto yn y bedd a'r a wyddom ni; ond pe buasai wedi adgyfodi ni allasai gyfiawnhau neb trwy hyny. Gosodwch loeson, angeu, ac adgyfodiad Crist yn ngwyneb y sylwadau uchod, ac yna y gwelwch yn eglur fod mwy nâ Jonas yma.

II. Dangoswn fod ymddygiad y sawl a ogoneddant Dduw yn y mwynhad o freintiau llai, yn condemnio y neb a anufyddhant iddo yn y mwyniant

o freintiau mwy; "Gwŷr Ninefe a gyfodant yn y farn," &c. Pa fwyaf ac amlaf fyddo ein breintiau, mwyaf yw ein rhwymedigaethau i Dduw. Dysgwylir i'r maes a gafodd fwyaf o dail i ddwyn cnŵd mwy nâ'r hwn a gafodd lai—hawdd yw esgusodi y dall am beidio gweled, eithr condemnir y sawl a gauo ei lygaid rhag gweled i wneuthur ei ddyledswydd. Dichon morwr medrus fethu cyrhaedd y porth a ddylai, pan fyddo wedi colli ei gwmpawd, ond pe gŷrai llongwr ei lestr, mewn tywydd teg a phob moddion gwybodaeth ganddo, yn erbyn craig dinystr, efe a gyfrifid yn ddiesgus. Gan fod hyn yn wirionedd, cymharwn ein breintiau ni ynghyd ag eiddo'r Iuddewon yn amser Crist, â breintiau y Ninefeaid, ac edrychwn a ydynt hwy yn ein condemnio ai peidio.

1. Ni chafodd y Ninefeaid ond un pregethwr, ac megys y sylwasom eisioes, nid oedd hwn yn un o'r rhai goreu, ac heb fod ganddo ddim ond ei haeriad noeth i brofi gwirionedd ei ragfynegiad bygythiol, er hyny hwy a edifarhasant; eithr cafodd yr Iuddewon eu breintio â gweinidogaeth Crist a'i apostolion, yr hon a gadarnheid gan wyrthiau aruthrol, er hyny buant feirw yn eu pechodau. Beth a ddaw o ddynion anedifeiriol yr oes hon, y rhai sydd ganddynt ysgrifeniadau Moses a'r proffwydi, a Christ a'i apostolion, ac amrywiaeth doniau gwahanol barthau yn barhaus ganddynt? Pa beth a ddywedant yn ngwyneb y Ninefeaid mewn barn a ddaw?

2. Ni phregethodd Jonas ddim, megys y clywsom, ond dinystr, "Deugain niwrnod fydd etto, a Ninefe a gwympir," oedd swn y bregeth; nid oedd obaith am ddiangfa, dim son am Geidwad, nac am fuddioldeb edifeirwch, ond drws trugaredd yn cael ei gau a'i selio i fynu, a phyrth arswydus barn yn cael eu hagor o led y pen, er hyny, meddiannwyd hwy gan dristwch duwiol—hwy anturiasant i geisio trugaredd, er nad oedd ganddynt addewid, a hwy a'i cawsant. Llwyddasant megys y pedwar gwahan-glwyfus yn ngwersyll y Syriaid, ac Ester yn llys y brenin. I'r Iuddewon ac i ninnau y dangoswyd llwybr bywyd, yr anghenrheidrwydd a'r buddioldeb o edifeirwch, ac y rhoddwyd y gwahoddiadau taeraf, a'r addewidion melusaf o'r groesaw mwyaf i gymmeryd gafael mewn coron nefol. Da i ni gofio yr hyn a wnaeth y Ninefeaid, a'r hyn a wnant etto mewn barn.

3. Ni chawsant ond deugain niwrnod i edifarhau, eithr meddiannwyd hwy gan ysbryd y gwirionedd, ac nid wyf yn tybied iddynt fod ddeugain awr cyn edifarhau. Cafodd yr Iuddewon ddeugain mlynedd wedi esgyniad Crist i weled eu camsynied a ffoi rhag y dinystr bygythiedig, eithr hwy a barhausant dan lywodraeth ysbryd anghrefyddol, a dinystriwyd eu teml, eu dinas, eu breintiau, a'u hardderchawgrwydd fel cenedl. Pa sawl deugain o ddyddiau, wythnosau, a blyneddau y mae rhai yn ein mysg wedi eu cael i fwynhau breintiau lliosog, y rhai a gamddefnyddir. Amynedd Duw sydd fawr, ond fe ddaw y dydd a'r awr olaf, a rhaid fydd i'r colledig i ddywedyd, nad oedd brys ar Dduw eu damnio. Nac anghofiwn y Ninefeaid a'r farn olaf.

4. Ni chawsant ond un bregeth o'r fath ag oedd—ni arosodd y pregethwr ond ychydig yn agos iddynt—a'r hyn a'i cymhellodd i aros gyhyd oedd gobeithio y cawsai weled dinystr y ddinas. Pregethodd Iesu lawer i'r Iuddewon, ac yn lle hoffi eu dinystr efe a'u gwahoddai yn serchus ato ei hun i gael bywyd. Amledd mawr o bregethau sydd yn ein gwlad ni—cyfle ar ol cyfle y sydd i'w hiawn ddefnyddio—a llawer o genadon hedd, ewyllys calon y rhai, a'u gweddi at Dduw, sydd er iechydwriaeth eu cenedl, a pharod fyddent pe medrent i'w cymmeryd i ogoniant yn eu mynwesau.

5. Nid oedd gan y Ninefeaid neb i ymgynghori â hwy ar yr achos pwysig hwn yn eu cyfyngder mawr. Pe buasent yn danfon eu brenin at Jonas i'r tu allan i'r ddinas, i ofyn pa beth i'w wneuthur, ni fuasent gwell, am nad oedd dim a roddai foddlonrwydd i'r pregethwr hynod hwnw ond eu dinystr buan; er hyny, hwy a droisant at Dduw, ac a arbedwyd; eithr gyda ni pe gwaeddai un allan mewn blinder meddwl, "Pa beth a wnaf fel y byddwyf cadwedig?" dichon gwrdd â rhyw un yn mhob ardal i ddywedyd yn siriol wrtho, "Cred yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig a fyddi." Y mae genym Gristionogion profiadol, ac athrawon doniol yn mhob parth, a geiriau y bywyd yn agos pob tŷ, i'n hyfforddi yn y pethau mwyaf eu pwys; ond os ydym fwy anedifeiriol ac anffrwythlon nâ'r Ninefeaid wedi y cwbl, pa fodd y diangwn rhag y dinystr mwyaf?

Dysgwn, 1. Oddiwrth edifeirwch ac arbediad y Ninefeaid, nad oes bygythiad yn y beibl a fedr ddrygu dynion gwir edifeiriol—2. Er nad yw edifeirwch yn teilyngu y drugaredd leiaf, etto, ei fod yn arwydd mor sicr o'r drugaredd fwyaf, sef, bywyd tragywyddol, â phe byddai yn haeddu dedwyddwch diddarfod.—3. Gan fod Iesu wedi ei dderchafu i roddi edifeirwch a maddeuant pechodau, y dichon ef eu rhoddi trwy y moddion gwaelaf, ac mai aflwyddiannus, heb ei fendith ef, fydd yr offerynau a'r moddion godidocaf.—4. Y dylai pob troseddwr anedifeiriol sylwi ar hanes y Ninefeaid, cywilyddio o herwydd ei ymddygiad ei hun, a cheisio cymhorth gras i ddiwygio.

## Y SWPER SANTAIDD.

Sicr yw fod ychydig ddadleu yn nghylch pynciau nad yw pobl dda yn cydweled yn eu cylch, yn tueddu i hyfforddi meddyliau petrusol y Cristion ymofyngar, tra fyddo hyn yn cael ei wneuthur mewn cariad at y gwirionedd, ac at ein gilydd; ond pan welir dynion yn ymroddi sefyll dros eu pwnc er yn waethaf i dystiolaeth yr ysgrythyr a grym rhesymau, gellir dywedyd fod eu cyflwr yn anfeddyginiaethol; dynion anonest ydynt, ac ni thalai yr un o honynt yr hyn sydd ddyledus i'w gymmydog oni byddai fod rhyw ystyriaethau bydol yn ei gymhell i hyny.

Gwir yw fod llawer o bethau, a'u hystyried ynddynt eu hunain, yn hollol ddibwys, ac ar ryw olwg gallai gosodiadau pendant yr efengyl fod felly, yn gystal â'r dull o'u harferyd, ond pan ystyrir eu bod o dadogaeth Ddwyfol a bod awdurdod y nef yn eu cefnogi, y maent o'r pwys mwyaf, ac nis gellir eu hesgeuluso hwy na'r dull ysgrythyrol o'u cyflawni, heb ddiystyru eu Hawdwr, a rhoddi hèr i'r awdurdod sydd yn eu cefnogi.

Os yw yr ysgrythyr yn dangos y modd y derbyniwyd y swper gan Grist a'i apostolion, nid wyf fi yn gwybod am un rheswm digonol i'n hesgusodi am beidio gwneuthur yr un modd, os bydd hyny yn alluadwy; pob ymadawiad gwirfoddol oddiwrth y cynllun dechreuol a duedda i ddangos ein bod yn tybied y medrwn drin achosion crefyddol yn well nâ Phen yr eglwys, ac y gwyddom ni gryn lawer yn well nag efe pa ffordd sydd fwyaf adeiladol, neu mai cymhwysach yw i ni gael ein meddwl ar bethau nâ Brenin Seion; eithr os na ellir cael allan o'r ysgrythyr yr agwedd yn gystal â sylwedd yr ordinhad, yna yr ydym at ein rhydd-did i wneuthur fel y barnom yn fwyaf cyfleus ac adeiladol.

Yn hanes gweinyddiad cyntaf yr ordinhad, (Mat. xxvi, 17—30.; Marc xiv, 12—26.; Luc xxii, 7—20,) yr ydym yn gweled iddi gael ei gosod mewn grym yn ddioed wedi i Grist a'i apostolion fwyta y pasg. Pan drefnwyd y pasg gyntaf ymddengys fod y bobl yn ei fwyta o'u sefyll, o herwydd eu bod ar eu cychwyniad o wlad yr Aifft i'w tir eu hunain, ond fyth wedi hyny newidiwyd yr agwedd o *sefyll* i *eistedd;* a dywedir gan ysgrifenwyr Iuddewig, nad oedd gyfreithlon i'w fwyta ond dan eistedd, neu ledorwedd, yr hon agwedd a ddynodai eu bod yn wŷr rhyddion, tra y byddai sefyll yn arwyddo eu bod yn weision. Ni raid lliosogi geiriau i brofi fod y cyfnewidiad yn ol meddwl Duw, canys *eisteddodd Crist* gyda'r deuddeg i'w fwyta; ac y mae yn amlwg nad peth dibwys oed yr *agwedd* hon, pe amgen, prin y gallwn feddwl y byddai i'r *tri Efengylwr* sylwi yn neillduol ar yr amgylchiad hwn; pe buasai sefyll neu benlinio yn gystal ystum ag eistedd, naturiol fuasai i'r haneswyr santaidd ddywedyd am brif amgylchiadau y pasg, a gadael yr agwedd fel peth canolig, heb ei chrybwyll.

Wrth ddarllen hanes y pasg a'r swper santaidd yn y tri Efengylwr, nid oes yr awgrym lleiaf yn cael ei roddi am newidiad yr agwedd, ac am hyny nid oes dim ag sydd heb ei enwi yn bendant, yn eglurach nag mai yr un ydoedd; canys "Tra yr oeddynt yn bwyta" (y pasg), y cymmerodd yr Iesu y bara, sef bara y cymun. Nid ydym ychwaith yn gweled llai nad oedd yr un rheswm dros agwedd gyffelyb yn y naill a'r llall; yr oedd y ddwy ddefod yn gynnwysedig mewn bwyta ac yfed, a hyny oddiar yr un bwrdd, a'r un agwedd yn ofynol; yr oedd y ddwy yn ddefodau coffadwriaethol, y naill o waredigaeth dymmorol, a'r llall o waredigaeth dragywyddol, neu yr achos o honi. Ac os oedd yr *agwedd* o bwys yn y gyntaf a'r leiaf, pa fodd y gellir meddwl ei bod yn ddibwys yn yr olaf a'r fwyaf?

Gan hyny ymddengys yn eglur iawn i mi mai eistedd oedd Crist a'i apostolion, ac mai eistedd ddylai ei holl ganlynwyr wrth y swper santaidd.

Er dywedyd o honof fod yr *agwedd o bwys*, pell ydwyf o farnu cyflyrau dynion ag ydynt yn amrywio yn hyn, ond diamheu genyf ei bod o bwys i bob Cristion ymdrechu cadw yr holl wasanaeth crefyddol yn ol y portreiad Dwyfol. Er tybied o rai mai yr ystum oreu yw penlinio, gan farnu nas gallant fod yn rhy ostyngedig mewn ymarferiad mor santaidd; dilys genyf nad oes modd i arwyddo gostyngeiddrwydd i Frenin Seion yn well nâ thrwy ddilyn ei gamrau ef, a bod pob crwydriad gwirfoddol oddiwth y ffordd a deithiodd ef a'i ganlynwyr gynt, yn dwyn nes perthynas i falchder nag i ostyngeiddrwydd, gan fod hyny yn rhoddi y flaenoriaeth i ddyfais ddynol, ac yn gosod doethineb Dwyfol yn y tir cefn.

Clywais ddywedyd fod penlinio yn agwedd addas, o herwydd y dylai pob cymunwr fod yn gweddio wrth gyfranogi o'r swper; eithr y mae hyn mewn effaith yn dywedyd i Grist a'i ddysgyblion ei gymmeryd mewn ffordd na ddylent, yr hyn a ddynoda gryn raddau o hunan, ac o ymddiried mewn doethineb ddynol yn hytrach nag ymostyngiad i drefn Ddwyfol. Dywedir hefyd gan rai, nad oes neb yn cymuno yn gymhwys yr un dull ag oedd Crist a'i ddysgyblion, y rhai, meddant, a swperasant o'u lledorwedd, math o ystum Iuddewig rhwng eistedd a gorwedd. Mewn atebiad i hyn, sylwer fod y ddau swper yn ddarluniadol o wledd, a bod yr agwedd o'u bwyta yr un ag ar amserau gwleddoedd neu brydiau nodedig ereill, pan fyddai ganddynt lythau, neu fath o welyau, cyfleus o gylch y bwrdd, y rhai oeddynt barod mewn tai annedd, ond nid mewn addoldai lle byddai cynnulleidfaoedd lliosog yn ymgasglu; ond oblegid nas gallwn gael glythau fel hyn i'n haddoldai, ai doethineb a gostyngeiddrwydd yw ymadael cyn belled ag y gallom oddiwrth y cynllun cywir o'n blaen? Onid ein dyledswydd yw cadw at y portreiad nefol cyn agosed ag y goddefo amgylchiadau gwahanol i ni wneuthur? Dengys hyn fod amgylchiadau cynnulleidfa a fyddo yn llenwi yr addoldŷ yn gwneuthur lledorwedd yn anmhosibl, ond os penlinio yw y dull addasaf, yr oedd yr un rheswm dros hyny yn y gweinyddiad cyntaf o'r swper ag sydd yn awr. Hefyd, os dynodi gostyngeiddrwydd a wna penlinio, ymddengys fod gorwedd yn myned yn mhellach oddiwrth hyny nag yw eistedd.

Darllenais fod penlinio yn y cymun wedi cymmeryd lle agos yr un pryd â chrediniaeth mewn traws-sylweddiad; ac am fod pabydd yn credu fod yr elfenau yn y swper yn troi yn wir gnawd ac yn wir gorff Crist, ac yn eu haddoli, nid mor wrthun ynddo ef yw penlinio ac yw mewn Protestaniaid. Yn awr gadawaf i'r darllenydd farnu pa un ai o'r ysgrythyr y cymmerwyd ymgrymu yn y cymun, neu fod rhai dynion da yn ein gwlad wedi ei gymmeryd ar goel oddiwrth Eglwys Loegr, a hithau wedi ei gymmeryd oddiwrth Eglwys Rhufain.

Mewn rhai cynnulleidfaoedd ag ydynt yn eistedd wrth y swper, gwelir hwy oll yn cyfodi pan fyddo y gweinidog yn rhoddi diolch, ac mewn

ereill, gwelir rhai yn sefyll a rhai yn eistedd. Gwn fod cryn lawer i ddywedyd dros y ddwy agwedd ar ddodiad diolch; ond ymddengys i mi mai sefyll neu benlinio ddylid y pryd hyny, er nad oes *son* yn yr hanes i Grist a'i ddysgyblion wneuthur felly.

Odid na thybia rhai fy mod wedi myned i fagl yn awr, ac yn nghylch tynu i lawr yr hyn a adeiledais mor ddiweddar, gan fy mod newydd osod cryn bwys ar waith Crist yn *eistedd* wrth y pasg, ac heb son iddo *godi* ar y cymun, ac am hyny yn terfynu iddo eistedd wrth y ddau, ond yn awr yn casglu iddo godi i roddi diolch, er bod yr hanes mor fud yn nghylch y cyfodiad hwn a'r llall. Pa un a fedraf fi foddloni y darllenydd ai peidio, yr ydwyf yn meddwl mai magl ymddangosiadol yn unig yw, ac y deuaf yn ŵr rhydd o'r perygl hwn. Sylwais eisioes ar y debygoliaeth rhwng y ddwy ddefod goffadwriaethol hyn; bod yr un rheswm dros eistedd wrth y naill a'r llall—ac am fod yr agwedd o ryw bwys yn y naill, oni raid ei bod felly yn y llall—ac am na sonir am newid yr agwedd, ymddengys yn dra eglur mai yr un ydoedd. Sylwer yn mhellach mai gosodiadau pendant ac nid moesol oedd y ddau swper dywededig, a bod yn rhaid cael allan y dull a'r agwedd o'u cyflawni yn neddf eu gosodiad neu hanes eu gweinyddiad; ond am roddiad diolch neu weddio, ymarferiad moesol ydyw—gweithred yw ag sydd mewn ystyriaeth yn dwyn ar ei hwyneb y dylid ei chyflawni mewn ystum gostyngedig, a'r ystum hwnw wedi ei ddarlunio yn ddigonol mewn gwahanol barthau o'r Beibl, ac am hyny afreidiol yw ei grybwyll yn mhob màn.

Addefir gan bawb Cristionogion, cyn belled ag y gwn i, mai sefyll, penlinio, neu ryw agwedd ostyngedig arall, yw y dull i iawn weddio —dyma y rheol gyffredinol—ac os eisteddodd Crist a'i ganlynwyr wrth ddiolch yn y swper, rhaid bod hyn yn eithriad i'r rheol gyffredinol, yn drosedd ar reol a darddodd o galon y ddeddf foesol; ond pa fodd y daethpwyd i wybod i Grist ymadael â'r rheol arferol? Os oedd ei ymddygiad ef yn eithriad, neu ymadawiad oddiwrth reol mor gyffredin, rheol a gadarnheir gan natur pethau ei hun, rhaid bod hyny yn cael ei fynegu, nid yw dystawrwydd yn ddigon yma. Rhoddodd ein Iachawdwr ddiolch cyn bwyta y pasg yn gystal ag am elfenau y swper olaf, ac am mai gweithredoedd o addoliad uniongyrch yw gweddi a diolch, rhaid credu iddo ddiolch ar y ddau achos yn yr agwedd ostyngedig arferol, oddieithr bod rhywbeth yn yr hanes yn dangos y gwrthwyneb. Hefyd, meddyliaf fod gweinidogion y cynnulleidfaoedd ag ydynt yn eistedd ar ddodiad diolch, o'r un farn â mi, canys eu harfer hwy oll, a'r a wn i, yw sefyll, ac yr wyf yn hyderus yr addefir gan bawb, y dylai y bobl fod yn yr un agwedd â'r gweinidog mewn pob gweithred o addoliad uniongyrch.

# YR UN PETH ANGHENRHEIDIOL.

[YSGRIFENWYD y sylwadau canlynol mewn dadl rhwng Mr. H. â dau arall, a gyfenwent eu hunain *Gaius* ac *Ymofyngar*,—gwahaniaethai y tri yn eu tybiau ar y pwnc.—D. R. S.]

Yr ydwyf mewn sefyllfa beryglus, wedi cael fy ngosod mewn cymhariaeth rhwng dau dân—magnelau dychrynllyd gwarchglawdd Ymofyngar o'r naill du, ac arfau mân byddin Gaius o'r tu arall, yn curo arnaf yn galed. Ond am fod yn awr dri o olygiadau gwahanol am y testun mewn dadl, y mae yr ystyriaeth y bydd raid i Ymofyngar a Gaius yn eu tro i newid sefyllfa â mi, sef, cael dau yn erbyn un, yn esmwythâu ychydig arnaf yn fy nghyfyngder presennol.

Ymddengys fod Ymofyngar yn foddlon i'm heglurhad i, a rhoddi i fynu ei *un ddysglaid* felus, pe medrwn brofi mai yr "un peth anghenrheidiol" yw y "rhan dda." Myfi a wnaethum gynnyg i brofi hyny eisioes, ac am hyny, ymddygiad tra annheg ac anfoneddigaidd o'i eiddo ef, oedd fy ngosod allan fel gŵr yn cymmeryd yn ganiataol y peth a ddylaswn brofi, ac felly, yn brwydro â mi fy hun; os na chyflawnais fy ngorchwyl yn iawn, dylasai ddangos hyny, ac nid haeru i mi gymmeryd pethau ar antur. P'odd bynag, a chyfaddef y gwir, yr oedd y cyssylltiad yn ymddangos mor naturiol i mi, fel y bum yn meddwl peidio dywedyd gair mewn ffordd o brawf, gan dybied nad oedd ddyn yn y byd a farnai fod yr *un peth* a'r *rhan dda* yn golygu gwrthddrychau gwahanol.

Gan nad oes ond un peth i'w derfynu rhwng Ymofyngar a mi, sef pa un ai *crefydd Mair a thrafferth fydol Martha*, neu *un ddysglaid Mair* ac *aml seigiau Martha*, sydd yn cael eu cyferbynu, y naill yn derbyn canmoliaeth, a'r llall gerydd dyladwy, brysiaf i ddywedyd yr hyn a ymddengys i mi yn anwrthwynebol o du y cyntaf. Nid oes modd i ddyn amddifad o ysbrydoliaeth wybod meddwl testun ag y byddir yn dadleu o'i gylch, yn well nâ thrwy sylwi ar y cyd-destun, yr achlysur o'r geiriau, yn nghyd â chyssondeb yr athrawiaeth a dynir oddiwrtho â dywediadau ysgrythyrol ereill, &c.

1. Am y cyd-destun dilynol, dangos yn eglur a wna hwn, mai rhagoriaeth Mair mewn *crefydd*, ac nid ei gwaith yn dewis *un* saig o fwyd yn hytrach nâ *llawer*, oedd yr hyn a alwai am y ganmoliaeth a gafodd. Mor amlwg yw hyn, fel yr addefir gan Ymofyngar ei hun, mai ei chrefydd, ac nid ei dysglaid unigol, oedd y rhan dda na ddygid oddiarni. Cyn belled, gan hyny, ag y gellir casglu oddiwrth yr adnod a ganlyn beth yw meddwl y testun, y mae y ddadl yn myned yn erbyn Ymofyngar.

2. Sylwn ar y cyd-destun blaenorol, yn yr hwn y cawn yr achlysur o lefaru y geiriau mewn dadl; yma yr ydym yn cael fod Martha drafferthus

yn ofalus yn nghylch llawer o *wasanaeth*, neu *bethau*; pa un ai parotoi llawer o ddysgleidiau o wahanol fwydydd, neu ymdrafferthu yn ormoddol yn nghylch un ddysglaid, a'i pherthynasau, neu osod llawer o bethau yn y tŷ mewn trefn, ac yn gofidio am nad oedd pob peth fel y dymunasai pan ddaeth gwr ag oedd hi yn barchu gymmaint i mewn, ni's gwyddom ni, (canys nid oes air yn yr ymadrodd am fwyd, na son fod un na dwy ddysglaid yn angenrheidiol ar hyn o bryd;) a pha beth oedd Mair yn wneuthur y pryd hwn? Pe darllenem ysgrifen Ymofyngar, ac nid eiddo Luc, gallem fod yn hyderus mai trin un ddysglaid o ymborth, neu ddwyn bwyd oer i'r bwrdd, oedd hi. Eithr nid yw Luc yn yngan gair am y fath beth, ond efe a ddywed yn bendant "mai eistedd wrth draed yr Iesu, a gwrando ar ei ymadrodd ef," oedd hi; heb ein cynnysgaeddu â'r awgrym lleiaf fod ganddi ddim arall mewn llaw! Oddieithr dangos o Ymofyngar fod Martha yn trafferthu yn nghylch *llawer* o seigiau, a bod Mair yn ofalus am *un*, ymddengys i bob beirniad diduedd fod ei holl haeriadau, (maddeued i mi am beidio eu galw yn rhesymau,) fel cestyll yn yr awyr, yn berffaith ddisylfaen; a gwaeth nâ hyny, canys mae tuedd cryf ynddynt i wneuthur ymddygiad Martha yn well nag eiddo Mair; bai Martha (a gadael mai am fwyd yr oedd y ddadl,) oedd parotoi mwy nâ'r un peth angenrheidiol, eithr rhaid myned o'r beibl i geisio profi fod Mair wedi gwneuthur cymmaint a gofalu am yr un peth angenrheidiol hwnw, dengys ysgrythyr a rheswm fod yn hawddach maddeu i gariad am weithred roesawus a wnelo dros ben, nac i gariad mewn enw, yr hwn ni wna ddim. Eithr os addefir, gyda Luc, mai ymddygiad Mair oedd fwyaf canmoladwy, ac os cymmerir tystiolaeth yr ysgrythyr yn nghylch eu gwahanol ymddygiadau, cawn weled yn eglur fod Mair yn derbyn addysg oddiwrth Esgob ei henaid tra yr oedd "Martha yn trafferthu yn nghylch llawer o wasanaeth," nid gwasanaeth o'r un natur ag eiddo Mair, canys ni fuasid yn ei beio am fod yn fwy crefyddol nâ hi.

3. A ellir meddwl fod esboniad Ymofyngar yn cael ei gadarnhau gan yr ysgrythyrau mewn manau ereill? A ellir cael ymadrodd cyffelyb i hwn, "un saig o fwyd yw yr un peth angenrheidiol," trwy yr holl feibl? Ai peth cyffredin gan yr ysgrifenwyr santaidd yw beio ffrwythau cariad yn llymdost, os na fydd y ffrwyth i gyd mewn un ddysgl, neu o'r un natur? O! Esay efangylaidd, pa fodd y gallasit ddywedyd y byddai i'r *Arglwydd* wneuthur gwledd o basgedigion breision, ac o loyw win puredig? Lefi, Lefi! ai'r peth cyntaf wedi dy alw trwy ras a wnaethost oedd *gwledd fawr* i'r hwn a ddywedodd mai un saig sydd angenrheidiol! (Esay xxv, 6; Luc v, 29.) Attolwg, Lefi, pa fodd y dihengaist rhag cerydd Martha, neu ei gyffelyb! Gwir yw y dichon bwydydd gael eu camarfer fel pob peth arall, a bod pob trugaredd dymmorol yn cael ei chamarfer pan roddir y flaenoriaeth iddi yn hytrach nag i Dduw; ac yr wyf yn credu yn ddiysgog y buasai Martha yn geryddadwy am drafferthu llawer yn nghylch un ddysglaid pan y dylasai ddefnyddio y cyfle a gafodd,

yn gystal â Mair, i dderbyn addysg ysbrydol. Addefaf yn ewyllysgar yr hyn a ddywed Ymofyngar yn nghylch cymhedrolder mewn bwydydd, ac nad yw dywedyd yn erbyn glythineb yn fwy annheilwng o Grist nâ beio meddwdod; ond etto, pwy hebddo ef sydd heb wybod y dichon gwr feddwi ar wirodau o'r un natur, ac nad oes raid cael cwrw, *brandi*, a *rum*, i wneuthur meddwyn; a phwy sydd anhysbys y dichon dyn glwth wneuthur gloddest o un ddysglaid, os bydd hòno wrth ei fodd, ac yn ddigon mawr. Am *un saig* o fwyd, ac nid am lawer o honynt, y gwerthodd y blysig Esau ei enedigaeth fraint. (Heb. xii, 26.)

4. Sylwn ar y cyssylltiad sy rhwng y geiriau mewn dadl; mae yr 'un peth' wedi ei gyssylltu wrth y rhan dda, gan y cyssylltiad cyplysol *A*, fel nas gellir meddwl, heb wneyd y trais mwyaf anesgusodol ar y geiriau, fod y ddau ymadrodd yn golygu pethau mor wahanol yn eu natur ag yw dysglaid o fwyd a gwir grefydd. Os yw geiriau cyssylltiol o ryw wasanaeth yn yr ysgrythyr, rhaid i Ymofyngar grafu yr *A* ddywededig o'r geiriau, neu brofi fod yma eithriad i'r rheol gyffredin yn nghyfansoddiad ymadroddion, cyn y gallo ddangos fod agosach perthynas rhwng ei esboniad ef ag ystyr yr adnod, nag sydd rhwng bwyd corff ag ymborth enaid. Pa beth a ddichon fod yn fwy annaturiol a gwrthun nâ dywedyd, "Un saig o fwyd sydd angenrheidiol. A Mair a ddewisodd y rhan dda, yr hon ni ddygir oddiarni!!" Nid yw bod y diwedd-nod (.) yn cyfryngu rhwng y geiriau *anghenrheidiol* ac *a*, yn dinystrio y cyssylltiad yn y mesur lleiaf, gan ei fod yn cael ei arfer yn aml iawn, lle nad amheuir y cyssylltiad rhwng y geiriau o'i gylch, &c.

5. Nid anmherthynasol fyddai sylwi ar ymddygiadau dynion da mewn gwahanol amserau gyda golwg ar hyn. Gwnaeth Lot, Abraham, Isaac, Samson a Solomon, wleddoedd; cyfranogodd Crist ei hun o'r wledd fawr a wnaeth Lefi, a rhoddodd gyfarwyddiadau i'w wrandawyr yn nghylch y gwrthddrychau addas i wahodd i'w gwleddoedd. Cymmeraf yn ganiataol fod *gwledd* yn arwyddo darpariaeth anarferol o fwydydd, a dengys yr engraffau uchod fod gwleddoedd ar achosion addas yn ddiniwed, pe amgen ni buasai Perffeithrwydd ei hun yn eu cymmeradwyo. Pe adwaenwn Ymofyngar, odid na chawn ei fod ynteu weithiau yn gwneuthur defnydd o fwy nâg un ddysglaid o fwyd ar y pryd; eithr yn ol ei eglurhad ef, dylai geryddu yn llym y sawl a gynnygo iddo wahanol fwydydd. Os yw efe yn yfwr cawl, ni ddylai gymmeryd cig ar ei ol, a phechod dirfawr fyddai cymmeryd tafell o boten ar ol y cig!! Canys cofied, un saig sydd anghenrheidiol, a chofied hefyd fod y geiriau mewn dadl yn cynnwys rhan o'r cerydd a gafodd Martha. Pan ysgrifeno efe nesaf, dysgwyliaf iddo ddywedyd ei fod yn rhydd oddiwrth y pechod o gymmeryd ychwaneg nâg un math o ymborth ar y pryd, neu ei fod yn wir edifeiriol o achos cymmeryd cawl, cig, a photen, ar y pryd, neu fara a chaws ar ol sucan a llaeth, ac yn ymroddi diwygio yn ei fuchedd. A rhag iddo dybied fy mod i yn dadleu dros yr anghenrheidrwydd o lawer o

ddysgleidiau, a hyny oddiar flysigrwydd, gwybydded nad wyf ond dangos fod hyny yn bur ddiniwed ar amserau ac mewn amgylchiadau addas, ac o'm rhan fy hun, mai anfynych iawn y byddaf yn ymborthi ar ychwaneg nâg un math o fwyd ar y pryd, hyd y nod pan fyddo amrywiaeth ar y bwrdd.

Os nad yw y sylwadau uchod yn ddigon i argyhoeddi Ymofyngar o'i gyfeiliornad, rhaid ei roddi i fynu fel gwr anwelladwy, er dim a fedraf fi wneuthur iddo. Nid wyf yn meddwl ysgrifenu ychwaneg ar y pwnc, oddieithr mewn ffordd o eglurhad, pe digwyddai iddo fy nghamddeall etto, neu ddyfod o ryw beth newydd o bwys i'r golwg rhagllaw. Ymddengys i mi fod gwrthuni ei esboniad yn weledig ar bob tir, yr hwn sydd wedi codi ei ben hagar mor uchel o fro anghof, modd y byddai yn nod cymhwys i warth o bob gorsaf; sefwch o'i flaen ac o'i ol, edrychwch arno o bell neu agos, ni's gallwch lai nâ'i ddirmygu. Gwelwyd eisioes fod pob ystyriaeth a derddir oddiwrth y cyd-destun blaenorol a dilynol—yr achlysur o'r ymadrodd—lleferydd cyffredin yr ysgrythyrau—cyssylltiad yr ymadroddion—arferion dynion da yn mhob oes—ac ymddygiad Ymofyngar ei hun, onid wyf yn camsynied yn fawr, yn dangos nad yw y peth gwael o werth ei arddel. Pell wyf o ddiystyru cywreinrwydd a galluoedd meddwl Ymofyngar, credaf ei fod yn o fedrus mewn dadl, ond ei fod mewn ffrwst wedi coleddu esboniad anghywir, ac yn chwennych gwneuthur ei oreu drosto cyn ei roddi i fynu; ac hefyd parod wyf i gredu, ei fod mor gydwybodol fel na ysgrifena efe drosto ond hyny, oddieithr barnu o hono y dichon efe ddirymu yr hyn oll a ddywedais yn ei erbyn.

Fy ngham-ddeall a wnaeth Ymofyngar pan dybiodd fy mod yn brwydro â mi fy hun; nid wyf yn dywedyd na allaswn ysgrifenu yn eglurach, eithr barnu yr oeddwn y byddai i bob dyn deallus wybod mai ymresymu oddiar egwyddorion Tyro yr oeddwn yn yr ymadrodd a ddifynir gan Y., heb achos dywedyd hyny mewn cynnifer o eiriau, yn neillduol am i mi ddefnyddio yr ymadrodd i ddangos fod Tyro yn geryddadwy.

Nid wyf yn gwybod yn iawn beth yw meddwl Y. yn yr ymadrodd canlynol:—"Beth yw y dyn hwn? Arwydda i ni ei fod yn deall nid yn unig Cymraeg, ond hefyd Saesonaeg a Lladin, a rhywbeth tebyg i Roeg, meddant hwy." A ddichon efe brofi i mi gamddefnyddio yr un o honynt? neu a ydyw efe yn chwennych gosod y wybodaeth hon yn nghofres fy meiau? Os felly, gellir barnu ei fod ef yn rhydd oddiwrth y pechod o ddysgu Groeg, Lladin, &c.

Am i mi ddywedyd fod y cyssylltiad yn eglur iawn rhwng yr ymadroddion yn y testun mewn dadl, efe a ddywed, "Mae hyn gystal â dywedyd mai tywyll yw pob peth." Digon gwir, nid oes dim yn eglur i rai dynion, tywyll yw pob peth i'r deillion, ac i'r sawl a gauant eu llygaid rhag gweled.

Haerir hefyd gan Ymofyngar fy mod, "Yn brwydro â'r gwynt." Pell

oddiwrthyf fi fyddo ei wrthddywedyd yn hyn, canys gwyddys yn gyffredin fy mod yn brwydro âg ef.

Agos i mi anghofio ei fod yn fy meio o eisieu ymdebygu i geryddwr eglwysi Asia, yr hwn cyn ceryddu a grybwyllai yr hyn oedd ganmoladwy ynddynt. Gobeithio yr esgusodir fi am yr esgeulusdra hwn pan ystyrir nad oeddwn yn gweled dim o werth ei ganmol yn ei lythyr cyntaf, ac nad oeddwn yn caru gwenieithio.

O herwydd dywedyd o honof mai crefydd yw yr un peth angenrheidiol, meddyliodd y difeddwl ddrwg Ymofyngar, nad oedd dim eisieu Crist hefyd. Llwyddiant lawer iddo, os dichon efe gael crefydd y Testament Newydd heb gael ei llonaid o Grist. Rhaid terfynu, y mae y papurlen yn mron bod yn llawn; rhaid gadael Gaius hyd ryw amser arall. Gan nad pwy yw Ymofyngar a Gaius, gobeithiaf nad oes dim yn y ddadl hon a'n tuedda i edrych yn ansiriol ar ein gilydd, pe dygwyddai i ni gyfarfod ac adnabod ein gilydd mewn amser i ddyfod, ond y bydd i ni oll gael y rhan ddewisodd Mair yn etifeddiaeth ddedwydd fyth.

---

## CYFIAWNDER PHARISEAIDD.

**"Canys meddaf i chwi, oni bydd eich cyfiawnder yn helaethach nâ chyfiawnder yr Ysgrifenyddion a'r Phariseaid, nid ewch i mewn i deyrnas nefoedd." MAT. V, 20.**

PLAID o ddynion dysgedig a defnyddiol yn mysg yr Iuddewon, oedd yr Ysgrifenyddion gynt, gwaith y rhai oedd ysgrifenu ac egluro y ddeddf i'r mwyaf anwybodus; yr oedd llawer o'r rhai hyn yn yr hen amseroedd yn ddynion duwiol, megys Ezra, ac ereill, (Ezra vii, 6,) ond yr oeddynt wedi dirywio yn dost yn amser Crist.

Y Phariseaid oeddynt sect o grefyddwyr ag oeddynt wedi neillduo oddiwrth bawb ereill, dan y rhith o fod yn santeiddiach, ac yn fwy selog dros y ddeddf a thraddodiadau yr henuriaid, nâ phawb ereill. Yr oeddynt yn dra aml ac enwog yn nghyfrif y werin, yn amser ein Hiachawdwr. Barnai y bobl gyffredin eu bod mor hynod mewn crefydd, fel yr oedd yn ddiareb yn eu mysg, "Pe nad elai ond dau ddyn i'r nefoedd, byddai un o honynt yn ysgrifenydd, a'r llall yn pharisead." Eithr yn Mat. iii, 7, lle y sonir gyntaf am danynt yn y beibl, gelwir hwy yn 'genedlaeth gwiberod,' ac yn y testun, dywed yr hwn sydd ag agoriadau y galon ganddo, nas gallasent hwy na neb ereill fyned i deyrnas nefoedd, heb ragorach cyfiawnder nâ'r eiddynt hwy. Anrhydeddid y dynion hyn, nid gymmaint am eu doethineb, eu dysg, a'u golud, ond am eu cyfiawnder; ac wele, eu *cyfiawnder* yw yr hyn a gyhoeddir yma yn ddiffygiol.

Er bod cyfiawnder cyfrifol Crist, yr hwn ni feddai y phariseaid, yn anhebgorol i ddedwyddwch tragywyddol, etto, nid hwnw a feddylir wrth

y cyfiawnder helaethach yn y testun, canys ei gyfiawnder Ef, mewn ystyr briodol yw hwnw, a gwrthun fyddai dywedyd, "Oni bydd fy nghyfiawnder, yr hwn sydd eiddoch chwi trwy gyfrifiad, yn helaethach nâ chyfiawnder yr ysgrifenyddion a'r phariseaid, nid ewch i mewn i deyrnas nefoedd." Ymddengys yn annaturiol i Grist gymharu ei gyfiawnder perffaith ei hun ag eiddo y phariseaid. Pe buasai efe yn golygu ei gyfiawnder ei hun, buasai yn datgan ei berffeithrwydd, ac nid defnyddio y gair cymharol *helaethach* i'w ddynodi;—a dengys cyfeiriad y geiriau, ynghyd â'r cyd-destun, ac yn wir y bennod hon a'r ddwy ganlynol, mai annog y dysgyblion i ddilyn gwir santeiddrwydd, a dangos yn mha beth y dylai bucheddau ei ganlynwyr ragori ar eiddo y phariseaid, y mae ein Harglwydd yma; gan hyny, rhaid fod ein cyfiawnder personol yn rhagori ar yr eiddynt hwy cyn gallom fod yn ddysgyblion iddo ef, a chyrhaedd dedwyddwch.

Wrth *deyrnas nefoedd*, nid ydym i ddeall yr oruchwyliaeth efangylaidd, neu yr eglwys weledig yn unig, canys dichon phariseaid, neu eu perthynasau nesaf, ddyfod i mewn yma, ond teyrnas Crist, yn ei chyflwr gogoneddus, i'r hon ni ddaw dim aflan. Cyn meddiannu hon, rhaid i ni ragori ar y rhai a ymddangosent i fod yn rhagori ar bawb.

I. Rhoddwn ddarluniad byr o gyfiawnder yr ysgrifenyddion a'r phariseaid; ac wrth wneuthur felly, cawn weled eu bod hwy yn rhagori yn mhell ar lawer a elwir yn Gristionogion.

1. Ymroddent i *weddio llawer*. Nid oeddynt yn gweddio fyth yn anamlach nâ thair gwaith y dydd, ac nid ychydig amser a dreulient wrth y gwaith hwn, canys yr oedd eu gweddiau yn feithion iawn. Dywedir eu bod yn rhanu y dydd i dair rhan gyfartal, un ran a dreulid mewn gweddi, y llall mewn darllen a myfyrio y ddeddf, a'r drydedd i ddilyn eu galwadau; ac felly, yr oeddynt yn rhoddi dwy ran o dair at wasanaeth Dwyfol, ac yn cymmeryd ond y drydedd ran o'u hamser iddynt eu hunain. Eu dysgyblion a ddysgid, pe anghofient i dalu diolch am eu hymborth, i ddychwelyd o'r maes, neu ryw le arall, at y bwrdd, a moliannu Duw yno.

Etto, odid nad oes llawer dan yr enw o Gristionogion, a welant *un awr* yn y dydd yn ormodd i addoli Duw—nid ydynt yn gweled y dichon achosion mammon ganiatâu iddynt golli hyny o amser. A pha beth a ddywedwn am y sawl a welant un diwrnod o saith, ïe, hanner, ac weithiau llai nâ'r bedwaredd ran, o'r dydd a neillduwyd at addoliad, yn ormodd i'w dreulio yn ngwasanaeth ein Cynnaliwr mawr! Yr oeddynt hwy yn dwyn llyfr y ddeddf ganddynt, ac yn ei ddarllen mor fynyched, fel y dywed Josephus, "Nid oes neb o'n pobl ni a'r na fedrant ateb i bob gofyniad o'r ddeddf cyn baroted â dywedyd eu henwau." Eithr gwelir llawer yn ngwlad yr efengyl mor anwybodus yn mhethau Duw, â phe buasent heb weled na chlywed son am feibl erioed.

2. Ymddengys eu bod yn dra manwl a chywir yn eu masnach, yn talu

i bawb eu gofyn; "Nid wyf fi fel y mae dynion ereill, (meddai y pharisead yn y deml,) yn drawsion, yn anghyfiawn," &c. (Luc xviii, 11.) Nid oeddynt fyth yn prynu nwyddau heb dalu am danynt, ac wrth werthu nid oeddynt yn codi mwy nâ gwerth y nwydd am dano, neu dreisio eu cymmydogion trwy grib-ddeilio. Credaf fod y dywediad uchod o eiddo y pharisead yn cynnwys mwy nâ gwag-ymffrost, canys pe buasai efe a'i frodyr yn euog o drais cyhoedd o'r fath, ebrwydd y diflanasai y clod digyffelyb a gawsent gan ddynion; ac eglur yw fod ymddygiad onest a chyfiawn tuag at ddynion yn ganmoladwy yn mhawb.

Och! pa fodd y gwna llawer a elwir yn Gristionogion? Nid oes ond ychydig yn meddwl am werth cywir nwyddau mewn masnach; y mae y prynwr yn llawen os bydd amgylchiadau y gwerthwr yn ei rwymo i ymadael â'i foddion am lai nâ'r hanner a dalont; ac nid yw y gwerthwr yn tybied fod ei fasnach yn fuddiol iawn, oddieithr cael o hono lawer mwy nâ gwir werth ei nwydd am dano. Pa gynnifer sydd yn prynu heb feddwl talu? Pan fyddo y rhai hyn yn siarad â'u heneidiau, nid ydynt yn gofyn, "Pa faint a allwn ni dalu, neu pa mor gynnil y dylem ni fyw modd y gallwn dalu am y pethau a farnwn yn anghenrheidiol i'w prynu?" ond, "Pa faint a allwn ni gael heb arian?" nid, "Trwy ba foddion cyfreithlon y gallwn ddyfeisio talu yr hyn oll sydd ddyledus?" ond, "Pa fodd y gallwn ddianc rhag dannedd y gyfraith, a pheidio talu byth?" a llawer, yn lle dywedyd, "Bydd ymarhous wrthyf, a mi a dalaf y cwbl oll," a ddifriant eu gofynwyr am geisio yr eiddynt eu hunain! Os â Phublicanod a phuteiniaid i deyrnas Dduw o flaen y phariseaid, eglur yw fod y phariseaid yn nes at borth Paradwys nâ Christionogion o'r fath hyn. Na thwyller chwi, ni ddichon yr anghyfiawn etifeddu teyrnas Dduw.

3. Dynion a ddygent fawr sêl dros ddiweirdeb oeddynt, ac ni allasid eu cyhuddo o'r pechod o odineb; "Nid wyf fi, (meddai y pharisead yn ei weddi,) fel ag y mae ereill, yn—odinebwyr." Ymdrochai rhai o honynt ddydd a nos mewn dwfr oer er mwyn diweirdeb. Tost yw meddwl fod aflendid yn ffynu cymmaint lle y proffesir ffydd yn yr efengyl—ei fod yn cael ei adael yn ddigosp gan ein Seneddwyr, er fod cyfraith Duw yn dedfrydu pawb euog o odineb i farwolaeth—a bod y drwg gwarthus hwn yn cael ei gefnogi gan fucheddau llawer o fawrion ein tir. Ond er fod hyn yn cael ei oddef, ni chaniateir i ddynion addoli Duw yn ol cyfarwyddiadau eu cydwybodau heb genad neu ysgrif-oddef. Da iawn pe byddai ein blaenoriaid yn eu deddfau a'u hymddygiadau bob amser, yn rhoddi mwy o annogaeth i ymdrechiadau rhinwedd nag i eiddo anwiredd; onid peth teilwng o sylw Offeiriaid yr Eglwys Sefydledig, yw y gwrthuni o geryddu a chospi y sawl a gynnygai ddywedyd ychydig eiriau defoisynol, neu fyned i weddi yn yml bedd ei gyfaill, yn absennoldeb Gweinidog y plwyf, o herwydd ei fod yn sefyll ar dir cyssegredig, tra y goddefir i ddynion siarad am bethau bydol, yfed cwrw hyd at feddwdod, a thyngu a rhegu, yn ddigosp, ar yr un tir cyssegredig! Pa fodd

bynag, ni ddichon beiau o'r fath ddianc byth yn ddigosp, canys "putein-iaid a phuteinwyr a farna Duw."

4. Ymroddent lawer i ymprydio, a degyment yr hyn oll a feddent, y pethau lleiaf yn gystal â'r mwyaf, hyd yn oed eu llysiau cawl. O dan y ddeddf yr oedd y goreu o ddynion yn ymprydio yn fynych—rhoddir rheolau gan Grist i'w ddysgyblion yn nghylch ymprydio—a dywed yr apostol Paul ei fod ef "yn cospi ei gorff, ac yn ei ddwyn yn gaeth," (1 Cor. ix, 27,) trwy ymprydio, fel y bernir yn gyffredin. Eithr yn ein mysg ni hawddach yw cyfarfod â mintai o ddynion a roddant fwy nâ digon i'w cyrff, gan ddifrio eu natur, a gwneuthur eu hunain yn waelach fyrdd o weithiau nâ'r anifeiliaid a ddyfethir, trwy roddi i natur fwy nâ'i llonaid, a gosod arni faich mwy nâg y dichon hi ei ddwyn, nâg yw cyfarfod â llawer o ymprydwyr cydwybodol; yn lle ymprydio ddwy waith yn yr wythnos, hwy a orlwythant eu cyrff, hyd yn oed ar y dydd a drefnwyd i addoli Duw, fel na's gallant yn fynych aros yn effro yn yr addoliad. O ran degymu, yr oedd hyn yn ofynol gan ddeddf Moses, ac yr oedd yn ddyledswydd ar bawb i'w wneuthur dan yr hen oruchwyliaeth; ac er nad yw y Testament Newydd yn gofyn degymau, ac na dderbyniodd Crist a'i apostolion mo honynt erioed, er fod eu canlynwyr hwy mor barod i'w rhoddi ag oedd dysgyblion Moses, pe gofynasid hwynt, etto y mae yn ddyledswydd ar bawb Cristionogion i ddwyn offrymau gwirfoddol i gynnal achos yr efengyl; ond y mae lle i ofni fod y phariseaid yn rhagori yn hyn ar lawer iawn o Gristionogion.

5. Tra selog oeddynt dros helaethiad eu hachos crefyddol, gan "am-gylchu môr a thir i wneuthur un prosoleyt." (Math. xxiii, 15.) Nid oeddynt yn gweled un daith yn rhy bell, nac un perygl yn ormodd i wynebu arno wrth ddwyn yr achos hwn yn mlaen. Pa fodd y gwna Cristionogion, y rhai sydd ganddynt well crefydd? Llawer o honynt a adawant eu cymmydogion nesaf, a'u teuluoedd eu hunain i fyned i ddinystr o'u rhan hwy, heb geisio eu hyfforddi, nac ymdrechu eu dwyn dan foddion gras—ac os ceisir ganddynt gyfranu tuag at gynnal y cenadon efangylaidd mewn gwledydd tramor, ni cheir nemawr iawn gan rai, a dim gan ereill, o'r sawl a allant roddi! Onid yw ymddygiad y phariseaid yn condemnio y rhai hyn?

6. Ymroddent lawer dros santeiddrwydd deddfol, cadwent yr holl ddefodau, neu seremoniau, gorchymynedig yn llyfr y ddeddf gyda manyl-wch neillduol; a sicr yw fod y dyn a gadwo yr hyn a orchymynir gan Dduw, yn fwy canmoladwy nâ'r sawl a beidio. Yr oedd yr Iuddewon yn genedl neillduedig oddiwrth bob cenedl arall, gan hyny dywedir fod y phariseaid yn casâu presennoldeb—tân—defodau—enwau—a llyfrau y Cenedloedd a'r Samariaid, y rhai a ystyrient yn wrthwynebwyr y ddeddf. Pe digwyddai iddynt gwrdd â dyn aflan ebrwydd yr ymolchent eu holl gorff. Eithr gwelir llawer o Gristionogion yn medru mwynhau cymdeithas yr halogedig, gan eistedd gyda'r meddwon, a gwenu pan fyddo tyngwyr yn

cymmeryd enw Duw yn ofer, megys pe chwennychent ddangos eu cymmeradwyaeth o'r hyn a wna y cyfryw ddynion halogedig!

Pe crynhoem yn nghyd y cwbl perthynol i gyfiawnder y phariseaid, ymddangosai ei fod yn fwy nâ llonaid deddf, yr hon oedd ry gyfyng i'w gynnwys; canys gwnaethant nid yn unig yr hyn a orchymynwyd, ond llawer yn ychwaneg—parwyd iddynt ddegymu, ond nid llysiau cawl, a'r cyffelyb—i weddio, ond nid yn nghonglau yr heolydd—i gadw y Sabboth, eithr ni wnelent hwy gymmaint â tharo y bwrdd â llaw, er mwyn dystewi plentyn, na rhwbio eu croen pan fyddai yn ysu ar y dydd hwnw—parwyd iddynt ymgadw rhag eilun-addoliaeth, eithr hwy a ddysgasant eu dysgyblion, pe byddai delw ar y ffordd ag y teithient ar hyd-ddi, i beidio myned y ffordd hòno, ond oddiamgylch ffordd arall, gan nad pa faint bynag a fyddai hòno yn mhellach, ond os byddai rhaid myned y ffordd hòno, y dylent rhedeg heibio i'r fàn, a phe digwyddai draen fyned i'w troed, i beidio penlinio fodd yn y byd i'w dynu allan, &c. Onid yw Cristionogion yn mhell iawn yn ol! Ie, mor belled o'r tu ol ac islaw y ddeddf, ag oeddynt hwy o'i blaen ac yn uwch nâ hi—ac etto rhaid yw i'n cyfiawnder personol ni ragori ar yr eiddynt hwy cyn y caffom fynediad i deyrnas nefoedd.

II. Byrdra a diffygiadau eu cyfiawnder hwy, a rhagoriaeth cyfiawnder y gwir Gristion lleiaf ar eiddo y Pharisead mwyaf clodfawr a rhinweddol. Dengys y sylwadau canlynol nad oedd ganddynt ddim ond ffurf duwioldeb heb ei grym—ac am hyny fod eu crefydd megys corff heb yr ysbryd, yn farw.

1. Er eu bod yn ffugio llawer o barch i'r ddeddf, nid oeddynt yn cyfyngu eu hymddygiadau crefyddol at y rheol berffaith hòno—yr oeddynt yn gwneuthur traddodiad yr henuriaid yn gydradd, os nid ei ystyried o uwch awdurdod, nâ'r gair santaidd, ac am hyny nid oedd Duw yn cael anrhydedd oddiwrth eu crefydd; "Eithr yn ofer y'm hanrhydeddant i, gan ddysgu gorchymynion dynion yn ddysgeidiaeth." Mat. xv, 9. Gosodir yr un pwys gan babyddion ar yr hyn a alwant yn draddodiadau yr apostolion, ac y mae gormodd o duedd mewn rhai Protestaniaid i derfynu dadleuon crefyddol trwy dystiolaeth tadau yr eglwys (fel eu gelwir), a hen arferion, yn hytrach nâ thrwy awdurdod yr ysgrythyrau—pa fodd bynag, ewyllys-grefydd, neu goel-grefydd, yw pob ymarferiad defosiynol na fyddo yn sylfaenedig ar y Beibl; dylai pob un teilwng o anrhydedd gael ei anrhydeddu yn ei ffordd ei hun, os amgen cyfrifir yr anrhydedd cynnygedig yn ddirmyg; pan gynnygo dynion wasanaeth crefyddol i'r Arglwydd o'r fath nad yw efe yn ei geisio, nid yn unig efe a'i gwrthyd ac a'i dirmyga, gan ddywedyd, "Pwy a geisiodd hyn ar eich llaw?" eithr efe a ystyria eu bod yn cynnyg gwaradwyddo ei ddoethineb, diystyru ei awdurdod, gwrthryfela yn erbyn ei lywodraeth, a dirymu ei air; "Fel hyn y gwnaethoch orchymyn Duw yn ddirym trwy eich traddodiad eich hun." Mat. xv, 6. Da fyddai i ni oll gadw

mewn cof na ddygir traddodiadau Rabbiniaid Iuddewig—tystiolaethau tadau pabaidd—dywediadau ein hynafiaid ein hunain—na thybiau y dynion goreu, i'r farn, i'n profi ni wrthynt, ond y gair santaidd yn unig a'n barna yn y dydd hwnw.

2. Yr oedd y Phariseaid yn amddifaid o wir egwyddor ufydd-dod, yr hon sydd hanfodol i bob gweithred dda, sef, *cariad goruchel at Dduw;* "Myfi a'ch adwaen chwi, nad oes genych gariad Duw ynoch." Ioan v, 42. Caru Duw â'r holl galon yw gorchymyn mawr y gyfraith, ac nid yw yn bosibl gwneuthur un weithred ag a fyddo yn wirioneddol dda, os bydd hyn yn eisieu. Gellir cymharu gweithred dda i beiriant, yr hwn a wneir i fynu o wahanol ranau, ond ni thâl ddim os bydd rhyw ran hanfodol yn ddiffygiol. Gellwch gymmeryd holl ranau gwahanol oriawr a'u gosod ynghyd; dichon fod yr olwynion o'r fetel mwyaf trudfawr, y cauadur o aur coeth wedi eu haddurno â meini gwerthfawr, ond os bydd y prif-lamlafn yn eisieu, cystal fyddai gosod darn o gàreg yn eich llogell tuag at wybod yr amser o'r dydd, â dwyn hwnw genych, y mae ysgogydd yr holl ranau yn absennol; felly pan fyddo cariad at Dduw yn ddiffygiol, nid oes un weithred a wnelo dyn yn dderbyniol gydag ef, ac o ganlyniad ni wnaeth y Phariseaid un weithred dda mewn ystyr briodol erioed; eithr y mae y Cristion yn caru Duw, ac yn cael ei gymhell gan gariad Crist i ufyddhau i'r gwirionedd, ac am hyny y mae yn rhagori ar y Phariseaid mwyaf manwl yn ei grefydd.

3. Eu crefydd a halogid gan ragrith, yr hwn oedd yn treiddio trwy ei holl ranau. Mynych y gelwir hwy gan yr hwn a adwaenai eu calonau yn "Phariseaid, rhagrithwyr,"—"Beddau gwedi eu gwyngalchu" oeddynt, a'u holl lendid yn gynnwysedig mewn golchi y tu allan i'r cwpan a'r ddysgl, tra yr oeddynt oddifewn yn llawn budreddi; hwy wnaethant lawer o bethau, ond iddynt eu hunain yr oeddynt yn gweithio, naill ai i haeddu y nefoedd, neu i ennill clod dynion—gweddio llawer, er mwyn cael cyfle i lwyr fwyta tai gwragedd gweddwon; a rhoddi elusenau er mwyn cael eu gweled gan ddynion. Gellai rhai dybied ei bod yn go galed fod dynion ag oeddynt yn ymdrechu cymmaint mewn crefydd yn cael eu damnio, ac nid eu gwobrwyo; eithr nid yw y caledi lleiaf yn bod, canys cawsant y wobr ag oeddynt fwyaf yn ei cheisio, sef, clod poblogaidd, a chryn gyfoeth bydol; "Y maent yn derbyn eu gwobr." Nid oeddynt yn gwneuthur dim i Dduw, ac am hyny ni allasent ddysgwyl oddiwrtho ef. Eithr y credadyn gwanaf a lefa am galon lân, a nerth i weithio er gogoniant i Dduw, gan gofio fod calon ragrithiol yn ddigon i anafu a dirinweddu llonaid byd o'r gweithredoedd a allent ymddangos yn dda gerbron dynion, ond o herwydd hyny yn ffiaidd gerbron Duw.

4. Eu hufydd-dod oedd dra anghysson ac anghyfartal; tra yr ymddangosai eu bod yn dwyn sel mawr dros y ddeddf, yr oeddynt yn dyfeisio llawer ffordd i ochelyd ei hawdurdod pan fyddai hyny o wasanaeth iddynt; er engraff, dywedai y ddeddf na ddylasai gŵr gwahanglwyfus ddyfod i'r

deml, eithr hwy a haerent mai yr ystyr oedd, na ddylasai ddyfod i'r deml trwy un o'i phyrth, ond pe gollyngid ef i lawr trwy'r nen nad oedd hyny yn anghyfreithlon!—tra yr oeddynt yn degymu amryw bethau nad oedd y ddeddf yn ofyn, yr oeddynt yn esgeuluso barn a thrugaredd, y y rhai a ellid ystyried megys enaid ei gofyniadau! Yr oeddent yn dra gofalus i hidlo gwybedyn ond yn llyncu camel heb betruso. Yr oeddynt megys dynion diwyd yn adeiladu castell i ddiogelu eu hun rhag barn, ac yn codi y mur o un tu yn uchel iawn, tra yr oedd y sylfaen heb ei gosod o'r tu arall, ac er hyny tybient fod y gwaith ar ben, heb ystyried fod digon o le i'r felldith ddyfod i mewn a'u lladd, tra yr oeddynt yn esgeuluso mur trugaredd a barn, a'u bod yn esgeuluso y parth ag oedd fwyaf agored i'r perygl. Dylai muriau ein crefydd fod mor rheolaidd, cysson, a chyfartal, fel na byddo lle i'r angel dinystriol ddyfod i mewn heb ddringo drostynt, yr hyn ni wna efe, er na byddant yn furiau uchel iawn. Ymdrecha credadyn yn ei ufydd-dod i roddi y pwys mwyaf ar y pethau mwyaf, ac ar yr un ffunud nid yw yn gwneuthur hyny yn esgus dros esgeuluso y pethau lleiaf. "Rhaid oedd gwneuthur y pethau hyn, ac na adewid y lleill heibio." -Mat. xxiii, 23.

5. Cyfansoddwyd eu crefydd yn y fath fodd fel nad oedd lle i ostyngeiddrwydd ynddi—nid oedd dim yn amlycach ynddi nâ balchder, hunanddigonolrwydd, a meddyliau gwael am ereill. Dichon gweddi un o honynt, (Luc xviii, 10—12,) wasanaethu i brofi hyn. 1. Nid oedd, meddai ef, fel dynion ereill; tra yr oedd wrth natur megys hwythau, ac mewn ymddygiad yn waeth nâ llawer o honynt. 2. Efe a ymffrostiai lawer yn ei weithredoedd; sylwasom eisioes fod gweithredoedd yn dda yn eu lle, eithr dylasai eu gadael gartref, ac nid eu crugio gerbron gorsedd gras. Daeth y Publican â'i holl bechod a'i resynoldeb gerbron Duw, gan adael ei rinweddau gartref; ond wele hwn yn gadael ei holl bechodau gartref, ac yn casglu ei holl rinweddau dychymmygol i'w lledu a'u dangos gerbron Duw. Nid rhyfedd fod yr hwn a ddaeth i alw pechaduriaid i edifeirwch, ac nid y rhai cyfiawn, yn dywedyd i'r blaenaf fyned i'w dŷ wedi ei gyfiawnhau yn hytrach nâ'r llall. 3. Nid oedd eisieu dim arno, nid oes un deisyfiad yn yr holl weddi, nid oedd yn teimlo angen dim ond dangos i'w Luniwr y fath ŵr glân a rhinweddol ydoedd.—3. Nis gallasai lai nâ beio a chyhuddo y publican gwirion yn ei weddi druenus—dylasai ei annog i fyned rhagddo, a siglo dwylaw ag ef ar ddiwedd yr oedfa, fel gŵr ag oedd yn arwyddo ei fod yn ceisio y Ganaan well.—Ychwanegwch at hyn, fod y tylwyth yma yn fawr am gael y prif gadeiriau yn y synagogau, y cwbl yn ddarluniad o'u balchder a'u trahausder mwyaf atgas—Eithr y mae pob Cristion cywir yn ostyngedig, a chyda y cyfryw y mae hyfrydwch Duw.

6. Nid oedd nemawr neu ddim lle i edifeirwch yn nghrefydd y Phariseaid; yr oedd ganddynt gystal golwg ar eu cyflawniadau, ac edrychid arnynt gan y werin megys pe byddent yn angylion, yr hyn a wnaeth

iddynt ymchwyddo yn fwy, ïe, i'r fath raddau fel nad oeddynt yn canfod bai ynddynt eu hunain, ac o ganlyniad nid oeddynt yn deall fod achos wrth edifeirwch, canys "Nid rhaid i'r iach wrth feddyg." Eithr y mae y gwir Gristion yn ddyn edifeiriol, ac yn gweled achos edifarhau a galaru o herwydd na chyflawnodd ei weithredoedd goreu yn well. Gellir cymharu Phariseaid a chredinwyr i ddau was, y naill yn gwneuthur dim ond curo y gweision bychain gweithgar, a dryllio yr arfau gwaith, ac yna yn haeru iddo wneuthur pob peth yn dda—na wnaeth y lleill ddim a dalai son am dano—ac yn galw yn dristfawr am ei gyflog. A'r llall yn ymroddi gweithio, ond yn methu gwneuthur dim wrth ei fodd, ac wrth dderbyn ei gyflog yn gwaeddu allan, "Och fi! Meistr daionus, gwas anfuddiol ydwyf, O na buaswn yn dy anrhydeddu yn fwy."

7. Yr oedd eu crefydd, fel y gwelir, yn amddifad ò ufydd-dod perffaith, ac yn ei nhatur yn cauad allan gyfiawnder cyfrifol y Meichiau mawr, ac o ganlyniad yr oedd y nefoedd yn nghauad o'u blaen ar bob tir. Nid oeddynt yn cadw pob peth ag sydd yn ysgrifenedig yn llyfr y ddeddf i'w gwneuthur hwynt, ac am hyny nid oedd ond melldith gan y gyfraith i roddi iddynt yn wobr; ac nid oeddynt yn credu yn y Messia, ac yna nid oedd gan yr efengyl ddim i ddywedyd ond "Yr hwn ni chredo a ddemnir." Er mai nid cyfiawnder cyfrifol Crist yw yr un rhagorach a feddylir yn y testun, etto y mae crediniaeth yn Nghrist trwy yr hyn y daw ei gyfiawnder ef yn eiddo pechadur, yn ran o'r ufydd-dod ag y mae Duw yn ei ofyn gan ei greaduriaid rhesymol; galwyd arnynt hwy megys ereill i "Edifarhau a chredu yr efengyl;" trwy anufyddhau i'r alwad rasol yr oedd diffyg neillduol ac o'r pwys mwyaf yn eu cyfiawnder personol. Ufyddheir trwy ras nerthol i'r gorchymyn hwn gan bob gwir Gristion, yr hwn er nad oes ganddo gyfiawnder perffaith o'i eiddo ei hun, sydd yn rhagori yn mhell yn ei ufydd-dod ar yr hunan-gyfiawnion crybwylledig, ac yn feddiannol ar y cyfiawnder tragywyddol a ddygwyd i mewn gan y Messia, yr hwn sydd anhebgorol i etifeddion gogoniant.

At hyn oll hawdd fyddai ychwanegu fod y Phariseaid yn gybyddlyd, (Luc xvi, 14,) ac yn annhrugarogion, gan lwyr fwyta tai gwragedd gweddwon—yn gosod beichiau ar ysgwyddau ereill, y rhai na ddygent eu hunain, ac yn cyfrif aberthau a degymau yn well nâ thrugaredd. Yn hyn hefyd y rhagorir arnynt gan y Cristion cywir galon gwaelaf ag sydd yn ceisio gwlad sydd well nâ hon. Fe'n dysgir oddiyma,—

1. Yr anghenrheidrwydd o ufydd-dod i Dduw mewn crefydd, canys er mai cyfiawnder cyfrifol Crist yw achos haeddiannol ein dedwyddwch, etto heb santeiddrwydd personol, ni chaiff neb weled yr Arglwydd.

2. Dylem ochelyd hunan-dwyll ac ymchwyddo o herwydd barn dda y lliaws am danom; nid yw y byd ond barnwyr canolig mewn achosion gwir grefydd; tybiai y werin am y Phariseaid y byddent sicr o gyrhaedd gwynfyd, ond wele hwy a gyfrgollwyd!

3. Gocheled athrawon crefyddol ac ereill rhag tybied fod ufydd-dod

*manwl* i'r gwirionedd yn afreidiol, o herwydd fod Crist yn condemnio y Phariseaid, y rhai oeddynt fanylach nâ neb ereill; canys nid yw Duw yn cellwair â ni yn neb o'i orchymynion—ac nid yw Crist mewn un màn yn beio y Phariseaid am gadw gorchymynion y ddeddf, ond am eu hesgeuluso, am beidio cadw gorchymynion Duw, a gwneuthur pethau nad oedd ef yn eu ceisio, a galw crefydd ar hyny.

4. Gofalwn ar fod ein hufydd-dod yn tarddu oddiar gariad at Dduw, ac yna gwaith hawdd fydd cadw gorchymyn arall, a droseddir yn barhaus gan bob dyn hunan-gyfiawn, "Gwedi i chwi wneuthur y cwbl oll, dywedwch, Gweision anfuddiol ydym," &c., Luc xvii, 10. A thrwy hyn ymddengys yn wir fod ein cyfiawnder yn rhagori ar eiddo yr Ysgrifenyddion a'r Phariseaid.

---

## BOD DUW.

"Yr ynfyd a ddywedodd yn ei galon, Nid oes un Duw."—Sal. XIV, 1.

Y MAE gwir grefydd wedi ei sylfaenu ar y grediniaeth o fod Duw; dyma y ffynnon o'r hon y mae holl ffrydiau crefydd yn deilliaw; y graig gadarn ar yr hon y mae gwir addoliad yn gorphwys; rhaid credu fod Duw, a chredu ei fod yr hyn a dystiolaethodd ef ei hun ei fod, cyn y gellir ei geisio, ei addoli, a'i fawrhau mewn modd dyladwy—ac ni byddai un annogaeth i ni fyw yn rhinweddol, un noddfa i ffoi iddi mewn cyfyngder, dim dysgwyliad am ddiwedd gogoneddus i fywyd rhinweddol, nac achos ofni diwedd poenus i fywyd afreolaidd, pe na byddai Duw yn bod—gan hyny y mae yn llwyr anghenrheidiol i ni wybod ar ba sylfaen y mae ein crediniaeth wedi ei gosod, a pha un a bod genym fwy o sicrwydd am hyn nâ chlywed ein rhieni a'n dysgawdwyr yn dywedyd hyny wrthym; canys heb fwy o amlygrwydd nâ hyn, nid yw ein crediniaeth fawr gwell nâg anghrediniaeth yr ynfyd, yr hwn a ddywed, "Nid oes un Duw."

I. Dygaf yn mlaen ychydig resymau, y rhai a ddangosant yn eglur fod Duw.

1. Y mae cydsyniad cyffredinol yr holl ddynoliaeth yn mhob gwlad, o bob iaith, ac yn mhob oes, mor belled yn ol ag y mae hanesyddiaeth yn medru myned, mewn mesur yn profi hyn; canys er fod yr amrywiol genedloedd yn gwahaniaethu yn mhob gwlad ac oes yn mron, yn eu defodau a'u cyfreithiau, ac hyd y nod yn ngwrthddrychau eu haddoliad, a'r dull o'u gwasanaethu, etto cytunent fod rhyw fôd neu fôdau teilwng o gael addoliad—methodd y diafol, eilun-addoliaeth, ymdrech ambell i atheist yn awr ac eilwaith, a chariad dynolryw at bleserau pechadurus, ddiwreiddio y fath grediniaeth o'r byd erioed. Dywed Plutarch y geiriau hynod hyn, "Os tramwywch ar hyd y byd, (eb efe,) gellwch weled

dinasoedd heb gaerau, dysgeidiaeth, breninoedd, tai, golud, arian, chwareufa, nac ysgolion; eithr dinas heb demlau a duwiau, ac heb yr ymarfer o weddiau, llwon, oraclau, ac aberthau i gael daioni, a gochelyd niwed, ni welodd dyn erioed." Er nad yw barn lliaws yn profi peth yn anwrthwynebol, etto nid dim ond balchder ac hunan-ddigonolrwydd a wna i neb heb resymau cryfion o'u tu i wrthwynebu yr hyn a arddelwyd gan holl ddynolryw;—ac oddieithr mai llais Duw yw hyn, o ba le y mae fod yr holl fyd yn cytuno am hyn, pryd y maent yn amrywio yn mhob pwnc arall?

2. Y mae greddf dufewnol, neu argraff Duwdod ar galon pob dyn yn neillduol. Cyn gynted ag yr ymarfero efe ei alluoedd rhesymol y mae yn dechreu meddwl a siarad am ryw Fôd goruchel—er fod pechod wedi anffurfio dyn, a thywyllu llawer ar ei ddeall, etto nid yw goleuni natur wedi llwyr ymadael—yr oedd y cenedloedd, y rhai oeddynt yn ymddifaid o gyfraith Moses, yn "dangos gweithredoedd y ddeddf yn ysgrifenedig yn eu calonau," Rhuf. ii, 15. Os trwy ddysgeidiaeth ddynol gyda dybenion gwladol, y ffurfiwyd y dyb gyffredin hon, heb un sylfaen arall iddi, yr oedd yn ddyfais un dyn, neu fwy wedi ymgyssylltu yn nghyd, megys y dywed y Dr. Gill,—"Os dichell un dyn yw, dywedwch pwy oedd y dyn? yn mha le ac yn mha oes yr oedd yn byw? beth yw ei enw, neu enw ei fab ef?—Os ychwaneg a'i lluniodd, yn mha le, a pha bryd y buont yn y byd? pwy oedd yn gwneuthur i fynu y gymdeithas? ac yn mha le y ffurfiasant y ddyfais? pa fodd na allasai y lliaws o wyr doethion a fu yn y byd gael y ddichell allan?"—Y gwir yw, y mae yr anian hon wedi ei hargraffu mor ddwfn ar galon dyn, fel na fedr y diafol fyth ddileu yr ysgrifen nefol.

3. Gweithrediadau a dychrynfeydd cydwybod a brawf fod Duw—gallasai Cain waedlyd ladd ei frawd diniwed gyda gwrolder, ond nid oedd dim a fedrai ei gadw rhag dywedyd, yn ol llaw, "Pwy bynag a'm caffo a'm lladd,"—yr oedd mil o dywysogion arfog, a gwin goreu Babilon, o lestri goreuwych y deml, yn rhy fach i gadw Belshazzar yn dawel, wrth weled darn llaw yn ysgrifenu ar y mûr, tra yr oedd cydwybod yn argraffu llinellau mwy parhaus oddifewn—er fod Caligula, yr Ymerawdwr Rhufeinig, am gael ei addoli fel Duw, yr oedd holl wrolder a balchder ei galon, ac anrhydedd yr ymerodraeth ëang, yn rhy fach i'w gadw rhag rhedeg i ymguddio dan ei wely, pan glywai lais dychrynllyd Duw mewn taranau! O ba le y mae fod dewrder y mwyaf annuwiol yn ffoi, a thawelwch eu meddwl yn dianc o'u gafael, a dychryn yn ymaflyd ynddynt wrth feddwl am angeu? Oni byddai fod gan Dduw oruchwyliwr yn y fynwes, yn dangos ei fod ef, byddai y cwbl yn ddisail ac afresymol.

4. Y mae gwaith y greaduriaeth yn profi fod Duw. Gyda y cymhwysder mwyaf y dywedai y Salmydd, fod y "nefoedd yn datgan gogoniant Duw, a'r ffurfafen yn mynegu gwaith ei ddwylaw ef," gan fod pob creadur ag ôl yr Achos mawr cyntaf arno. Cafodd un o baganiaid Greenland ei ddwyn i chwilio allan yr achos cyntaf o bob peth wrth sylwi ar y *kajak*,

(math o fad,) a'r pethau perthynol iddo, na ddaethant i fod felly o honynt eu hunain; a bod mwy o gywreinrwydd yn ngwneuthuriad aderyn nâ hyny; ond bod dyn uchlaw y cwbl yn gywrain; pwy a'i gwnaeth ef?—meddyliodd iddo gael ei genedlu gan ei rieni, a hwythau gan eu rhieni, ond pwy a wnaeth y rhieni cyntaf? Clywodd eu bod wedi tyfu o'r ddaear; ond os felly, paham na fyddai dynion etto yn tyfu o'r ddaear? Cafodd cyfaill didduw i Athenasius Kirchner ei argyhoeddi o'i ddidduwiaeth, trwy i Kirchner osod bŵl *(globe)* hardd o'r nefoedd serenog mewn congl o'r tŷ, yr hwn wedi i'r atheist ei weled, efe a ofynodd, "O ba le y daeth hwn, ac i bwy y mae yn perthyn?" "Nid i fi," medd Kirchner, "ac ni wnawd ef erioed gan un dyn." "Y mae hyny yn anmhosibl," medd yr atheist. Ond os na allasai bŵlyn bychan ddyfod yno wrth ddamwain, pa fodd y gallasai y nefoedd fawr, o'r hon nid oedd ond cyffelybrwydd gwan, ddyfod o honi ei hun? Yn berthynasol iawn y dadleuai yr apostol, pan y dywedai, fod *anweledig bethau Duw er creadwriaeth y byd i'w gweled yn amlwg; sef ei dragywyddol allu a'i Dduwdod* yn y pethau a wnaethpwyd. Y mae meddwl fod un creadur wedi creu ei hun, neu greu rhyw greadur arall, yn wrthuni o'r mwyaf, canys os felly, rhaid ei fod yn greawdwr cyn bod yn ddim, megys y mae yn rhaid i'r gweithydd fod cyn ei waith!—rhaid iddo weithredu cyn hanfodi—bôd, ac heb fod ar yr un pryd! Yn ól y darluniad hyn, ni byddai dyn na chreawdwr na chreadur, ac etto yn bob un o'r ddau!! A phe byddai yn bosibl i ni addef y gallai dyn wneuthur ei hun, paham na buasai yn gwneuthur ei hun yn well, ac na buasai yn gwybod mwy am dano ei hun, ac yn medru cadw ei hun rhag syrthio i'r clawdd, neu y bedd. Mewn gair, tra byddo byd yn aros, moroedd yn treio, yn llenwi, ac yn meithrin pysgod; tra byddo anifail ar y maes, ehediad yn yr awyr, goleuadau yn y nef, a dynion yn byw yn y byd, fe glywir llais ar y ddaear, oddiwrth y rhai hyn oll, yn dywedyd yn uchel, "Y mae Duw yn bod, addolwch ef,"—y mae ei enw yn argraffedig mewn llythyrenau nas gellir eu dileu yn ngwyneb haul a lleuad, a phob creadur arall.

5. Y mae cynnaliad y bydoedd, *a goruchwyliaethau rhagluniaethol*, yn profi mewn modd anwrthwynebol y gwirionedd hwn. Y mae yr un gallu yn ofynol i gynnal y greadwriaeth ag a'i gwnaeth, ac y mae y gallu hyny yn ymddangos yn ardderchog yn hyn; y mae y cwbl yn aros heb arwyddion henaint er ys agos i chwe' mil o flynyddau; y mae lluniaeth yn cael ei roddi i bob creadur yn ol ei ryw; y mae rhanau pob corff yn cael eu cadw yn hardd yn eu lle; yr amrywiol fôdau crëedig yn aros yn eu sefyllfaoedd, y cyrff nefol yn troi yn yr wybrenau heb symud modfedd dros eu terfynau, na churo yn erbyn eu gilydd; efe yn ddiau sydd yn cadw creaduriaid rheibus rhag lladd yr holl ddynion sydd yn byw yn y gwledydd lle maent; ac wrth ystyried gelyniaeth dynion at eu gilydd, pwy ond efe a fedr gadw y gwledydd rhag dinystr cyfangwbl? Y mae pob dydd yn traethu ymadrodd, a phob nos yn dangos gwybodaeth; barn-

edigaethau rhyfeddol a gyflawnwyd yn gyfatebol i'r pechod, megys ar yr hen fyd, ac ar Sodoma a Gomorra, a Herod. Gwelir pechodau a gyflawnwyd yn y dirgel yn cael eu dwyn yn fynych i'r amlwg trwy foddion annysgwyliadwy; Ie, y mae y cwbl a ddarllenwn, a welwn o'n hamgylch, ac a glywn â'n clustiau, yn dangos fod Duw, yr hwn sydd yn llywodraethu yn mreniniaethau dynion.

6. Gellir sylwi fod yr amryw weithredoedd rhyfeddol a osodir i lawr yn yr ysgrythyrau, megys Abraham ag ychydig weision yn buddugoliaethu ar bedwar brenin, ac amryw bethau o'r cyffelyb, yn gystal â gwyrthiau Moses a Christ a'i ddysgyblion, ynghyd â'r proffwydoliaethau hynod a gyflawnwyd yn nghylch personau a gwledydd, yn dangos fod yr un gallu yn cael ei amlygu yn hyn ag yn nghreadigaeth y byd, ond gan fod yr hyn a ddywedwyd yn ddigon, ac na fedrodd y mwyaf gelynol i Dduw erioed i ddadymchwelyd y rhesymau blaenorol, ac o herwydd bod rhai yn ffugio gwrthwynebu y dystiolaeth ysgrythyrol ar y pwnc hwn, ni soniwn ychwaneg am hyn ar hyn o bryd, ond brysiwn,—

II. I wneuthur ychydig gasgliadau oddiwrth y pwnc pwysfawr yma. Gan fod pob peth crëedig yn dangos fod Duw, gwelwn gymhwysdra yr enw a roddodd y Salmydd i'r hwn a wadai y bôd o Dduw, "Yr *ynfyd* a ddywedodd yn ei galon, Nid oes Duw," canys y mae yn amlwg na fuasai neb ond *ynfyd* yn ei ddywedyd; rhaid fod yr *atheist* yn wallgof cyn y gwadai beth ag y mae holl ddynolryw yn ei addef, yr hyn sydd yn cael ei brofi hyd y nod gan rwyd y pryf-gopyn, gwe y pryf-sidan, ystafelloedd y gwenyn, ystordai y morgrug, ac holl luoedd nef a daear, Ie, a chan ei gydwybod ei hun.

2. Gan fod Duw i'w weled yn y greadigaeth, astudiwn y creaduriaid—hwy yw cyhoeddwyr gogoniant Duw; y maent i gyd fel mynegfys yn dangos y ffordd at Dduw. Nid yw y byd ond teml ëang lle y mae dyn wedi ei osod i fyfyrio ar degwch ei Arglwydd: darllenwn lyfr natur, a molwn ei awdwr.

3. Os ffolineb yw gwadu y bod o Dduw, onid ynfydrwydd yw peidio addoli Duw? Nid oes dim yn fwy anghysson nâ dywedyd fod Duw Hollalluog, a pheidio ei ofni a chadw ei orchymynion. Y mae llyfr natur yn dangos ei fod yn ddoeth, yn dda, ac yn alluog, gan hyny efe a ddylai gael ei garu; y mae pob peth ag sydd yn dywedyd fod Duw, yn dangos y dylai gael y parch mwyaf; ac felly yn haeru mai ynfyd yw y dyn a beidio addoli Duw.

4. Gan mai ffolineb ac ynfydrwydd yw gwadu hanfod Duw, nid doethineb yw addef ei fod, a meddwl dim am dano; y mae efe yn deilwng o'n calonau: nôd du yr ynfyd a'r annuwiol yw, "nad yw Duw yn ei holl feddyliau."

5. Os ydym yn credu fod Duw, gochelwn ddidduwiaeth ymarferol: nid llawer a fu erioed mor ynfyd â haeru nad oes Duw, ond llawer a ddymunent na byddai un, ac er 'proffesu yr adwaenant Dduw,' y maent

yn ei wadu mewn gweithred, yn ymddwyn megys pe na byddai Duw, yn gorphwys ar y creaduriaid, y rhai a wnaed i'n tywys ato ef; eithr y mae dyn yn aros ar y ffordd, heb fyned at ei Greawdwr; ond ni ddichon y creadur ei wneuthur yn dangnefeddus ac yn ddedwydd, rhaid myned at Jehofa, neu fod byth yn resynol.

Os yw y diafol wedi y cwbl, wedi perswadio ambell un, nad oes Duw, ond mai trwy ddamwain y daeth y cwbl ag sydd i fod, byddai'n dda i'r cyfryw ystyried, ef allai bod uffern, yn mhlith pethau ereill, wedi dygwydd dyfod i hanfodi hefyd; a pheth os dygwydd iddo ef i syrthio iddi, a dygwydd aros yno heb ddiwedd, oni byddai hyn yn ddygwyddiad tra echryslawn iddo!!! A chofied y credadyn mai nid ar gefn damwain y mae ei gysur ef yn sylfaenedig, ond ar Graig yr Oesoedd, y Duw tragywyddol.

---

## ENWAU DUW.

"A'r rhai a adwaenant dy enw a ymddiriedant ynot."—Sal. ix, 10.

Y mae llawer gwedi cael eu dyfetha, yn dymmorol ac yn dragywyddol, o eisieu gwybodaeth—ysgubwyd byddinoedd cyfain oddiar dir y rhai byw o achos anwybodaeth eu blaenoriaid—y rhai a yrasant eu gwŷr i'r ymgyrch pan y dylasent gilio yn ol, ac ar brydiau ereill a barasant iddynt gilio yn ol, pryd y dylasent gael gorchymyn i ruthro yn mlaen yn y modd mwyaf calonog. Felly, anwybodaeth, ynghyd â chyndynrwydd calon pechaduriaid, yw yr achos fod cynifer yn esgeuluso yr iechydwriaeth a amlygir yn yr efengyl—y maent yn anystyriol o'r perygl y maent ynddo trwy bechod, ac o'r breintiau mawrion perthynol i'r rhai a ymddiriedant yn Nuw; gan hyny, gorphwysant ar eu hufydd-dod eu hunain, uniondeb eu calonau, eu bwriadau i ddiwygio mewn amser i ddyfod, neu ar drugaredd digyfrwng am achubiaeth. Gan hyny, gwnawn ychydig o sylwadau ar yr amrywiol enwau trwy y rhai y gosodir mawredd Duw allan yn yr ysgrythyrau, y rhai a eglurant mewn mesur helaeth ei berffeithiadau anghymharol, o herwydd paham yr ymddiried y rhai a adwaenant ei enw ynddo ef, ac nid mewn dim arall.

Cyn myned yn mhellach byddai yn weddus sylwi, er amled yw yr enwau wrth y rhai y gosodir Duw allan, ei fod ar ryw olwg, yn neillduol ar gyfrif ei anfeidroldeb, yn ddienw, ac am nad oes raid iddo wrth enw i'w wahaniaethu oddiwrth ereill; gan hyny, medd Plato, "Nid oes ganddo un enw," ac felly y geilw efe ef yn gyffredin, Y Bôd; ac felly y danfonodd Duw Moses at Pharao, heb un enw gwahaniaethol, ond Ydwyf a'm hanfonodd; pa fodd bynag, er nad oes un enw yn cyflawn gynnwys Duw, y mae ei holl enwau wedi eu cymmeryd oddiwrth ei briodoliaethau, ac felly yn deilwng iawn o'n sylw.

I. Pa beth sydd i ni ddeall wrth enw, neu enwau Duw?

1. Y mae yn arwyddo yn fynych Duw ei hunan, megys yn Sal. xx, 1, "*Enw* Duw Jacob a'th ddiffyno;" pen. cxv, 1, "I'th *enw* dy hun dod ogoniant;" Mat. vi, 9, "Santeiddier dy *enw*."—Hyny yw, Duw Jacob a'th ddiffyno, ac i ti dy hun y byddo'r gogoniant, &c. Y mae y gair *enw* yn cael ei roddi yn fynych am y pethau neu y personau a olygir wrtho, megys Act. i, 15, oblegid fod personau a phethau yn cael eu gwahaniaethu oddiwrth ereill wrth eu henwau.

2. Y teitlau perthynol iddo ef ei hun, y rhai na pherthynant i neb ereill, ond mewn ystyr anmhriodol—y mae enwau priodol Duw yn yr ieithoedd gwreiddiol yn llawer amlach nag yn yr ieithoedd Seisnig a a Chymreig.—(1.) Elohim yw yr enw cyntaf i Dduw yn yr ysgrythyr, ac a gyfieithir Duw, (Gen. i, 1,) yr hwn a arferir yn fwyaf cyffredin trwy yr Hen Destament; y mae rhai yn deilliaw y gair oddiwrth wreiddyn ag sydd yn arwyddo *melldithio a thyngu*, oblegid ei fod fel barnwr yn rhwymo ac yn tynghedu ereill iddo ei hun, ac oblegid ei fod yn datgan pawb yn felldigedig a droseddo ei gyfraith:—tybia ereill fod y gair yn deilliaw oddiwrth air yn yr Arabaeg, ag sydd yn arwyddo *addoli*, ac felly yn enw addas i Dduw, yr hwn yw unig wrthddrych addoliad crefyddol, ac nid delwau, na saint, nac angylion, Mat. iv, 10.—(2.) Enw arall i Dduw yw El, megys yn y gair *Beth-El*, sef, *Tŷ Dduw*, Gen. xii, 7, 8, arferir y gair yn y rhif unigol a lliosog, *El*, *Elim*, yn Dan. xi, 36, ac a gyfieithir "Duw y duwiau;" ac y mae'r gair heb ei gyfieithu yn Mat. xxvii, 46, *Eli*, *Eli*, (fy Nuw, fy Nuw,) ac a arwydda yn ol rhai, y "Duw galluog, neu nerthol," yr hwn sydd yn ddigon galluog i gyflawni ei holl fwriadau ei hun.—(3.) Enw arall yw Elion, (y Goruchaf,) Gen. xiv, 18—22. Gelwir Crist yn *Fab y Goruchaf*, a'r Ysbryd yn *nerth y Goruchaf*, Luc i, 32, 35. Mae yr enw hwn yn briodol i Dduw, oblegid ei fod yn preswylio yn y drydedd nef, neu, y nefoedd uchaf, lle y mae yn cadw ei lys—ac o herwydd ei fod yn uwch mewn awdurdod a gallu nâ phob bôd arall—ac yn uwch mewn mawredd ac anfeidroldeb ei natur, nag y dichon meddyliau meidrol amgyffred.—(4.) Enw arall a arferir yn aml yw Shadai, (Hollalluog.) Enw addas i'r hwn ag sydd a'i allu yn anfeidrol ac yn anwrthwynebol; mae rhai yn cyfieithu y gair *Shadai* yn *Ddigonol*, neu yn *Holl Ddigonol*, ac felly y mae Duw, am ei fod yn anfeidrol ddedwydd ynddo ei hun, ac na ddichon efe dderbyn dim oddiwrth ei greaduriaid ag a ychwanego ei ogoniant, ac am fod digon ynddo ef i gyflawni holl ddiffygiadau ei bobl.—(5.) Enw Hebraeg arall i Dduw yw Adonai, neu Adon, Gen. xv, 2, ac a gyfieithir yn gyffredin "Arglwydd." Oddiyma y tarddodd y gair Yspaenaeg *Don*, am Arglwydd. Y mae rhai yn ei ddeilliaw oddiwrth air ag sydd yn arwyddo *Sylfaen*, *Ateg*, neu *Gynnalydd*, ac felly, yn enw tra phriodol i'r Arglwydd, oblegid mai efe yw sylfaen, neu, efe sydd yn cynnal yr holl greaduriaeth, yn dàl i fynu golofnau y ddaear, yn dàl pob creadur byw mewn bywyd, ac yn

cynnal ei saint â deheulaw ei gyfiawnder. Arferir *Adon* yn y rhif lluosog, Mal. i, 6, ac fe arferir *Adonai* am y Mab, yn gystal ag am y Tad, Sal. cx, 1, ac am yr Ysbryd Glân, Esay vi, 9, wedi ei gymharu ag Act. xxviii, 25.—(6.) Enw ardderchog Duw yw Jehofa, yr hwn a briodola efe iddo ei hun yn unig, Esay xlii, 8, ac a gyfieithir yn fynych *Arglwydd*. Ni ellir rhoddi yr enw hwn i neb arall, Sal. lxxxiii, 18, o herwydd ei fod yn arwyddo *Hunan-hanfodol*, neu, un yn hanfodi o hono ei hun. Cafodd pob creadur ei fod trwy Dduw, gan hyny, rhaid ei fod ef yn hanfodi cyn pob peth, a'r unig un ag sydd yn hunan-hanfodol. Gellir ystyried geiriau Ioan, Dat. i 4, *yr hwn sydd, a'r hwn a fu, a'r hwn sydd ar ddyfod*, neu *a fydd*, fel cylch-lefariad priodol am yr enw hwn.—(7.) Jah ac Ejeh, ydynt enwau ereill o eiddo Duw. Crybwyllir y cyntaf yn Sal. lxviii, 4, a'r olaf yn Ecs. iii, 13, 14, ac a gyfieithir yno *Ydwyf yr hwn ydwyf*. Eithr ymddengys nad yw y ddau hyn ond talfyriad o'r gair *Jehofa*, neu, wedi deilliaw oddiwrth yr enw hwnw, ac felly, yn arwyddo yr un peth, sef, bod Duw yn hanfodi o dragywyddoldeb o hono ei hun, ac felly, yn parhau yr un heb gyfnewidiad. Sylwir yn helaethach ar hyn pan ddelom i ymdrin ag anghyfnewidioldeb Duw. Enwau Duw yn y Testament Groeg ydynt y ddau hyn, *Kurios* a *Theos*. Y mae *Kurios* yn arwyddo yr un peth â *Jehofa* yn yr Hebraeg. Am y gair *Theos*, llawer yw y gwreiddiau oddiwrth y rhai y tybia un neu arall o'r dysgedigion iddo ddeilliaw; pa fodd bynag, fe debygid ei fod yn arwyddo "Lluniwr a Threfnwr." Er i'r enw hwn yn y lle blaenaf gael ei briodoli i bob un o'r creaduriaid, neu eilunod, a addolasid gan y Cenedloedd, etto, nid yw yn briodol i neb ond i'r hwn a luniodd, ac sydd yn trefnu holl fyddinoedd y nef, a thrigolion y ddaear, yn ol cyngor ei ewyllys ei hun. Dengys yr amrywiol enwau hyn fod Duw yn dragywyddol, yn anghyfnewidiol, yn hollalluog, a'r unig wrthddrych o addoliad crefyddol, &c.

3. Er mwyn cysuro ei eglwys y mae yr Arglwydd wedi ychwanegu amrywiol o gyfenwau, a'u cyssylltu wrth ei enw gwreiddiol a phriodol, *Jehofa*, megys (1.) Jehofa Sabaoth, (Arglwydd y lluoedd.) I ddangos ei awdurdod anwrthwynebol, a'i lywodraeth dros holl dyrfa'r nefoedd, a lluoedd y ddaear, ac nid oes raid i neb ofni a fyddo dan ei ymgeledd.—(2.) Jehofa Tsidhenu, (Yr Arglwydd ein Cyfiawnder,) Jer. xxiii, 6. Oblegid iddo ddwyn i mewn gyfiawnder digonol i gyfiawnhau y mwyaf euog o hiliogaeth Adda, &c.—(3.) Jehofa Shammah, (Yr Arglwydd sydd yno,) Ezec. xlviii, 35. O herwydd ei fod ef gyda'i bobl bob amser hyd ddiwedd y byd, gan nad pwy a fyddo yn eu herbyn. —(4.) Jehofa Jire, (Yr Arglwydd a edrych, neu, a ddarpar,) Gen. xxii, 14. Oblegid pan geisio rhai lluddedig ymborth, a phethau angenrheidiol ereill, efe a wel, a glyw, ac a gynnorthwya mewn pryd.—(5.) Jehofa Nissi, (Yr Arglwydd yw fy Maner,) Ecs. xvii, 15. O herwydd ei fod yn dysgu i'w eiddo i'w dderchafu ef fel baner yn ngwyneb eu gelynion, ac am ei fod ef yn faner iddynt ni fuddugoliaethir byth arnynt.

canys tra byddo baner byddin yn cael ei dàl i'r làn, nis gall y gelyn gael concwest.—(6.) JEHOFA SHALOM, (Yr Arglwydd a roddo, neu, a ddenfyn heddwch,) Barn. vi, 24. Am mai efe yn unig a ddichon roddi llonyddwch i'w bobl oddiwrth eu caseion. Er fod rhai o'r enwau uchod yn cael eu rhoddi ar bethau difywyd, dylem gofio nad oedd hyn yn cael ei wneuthur ond mewn trefn i osod y rhai a'u henwent mewn côf o'r hyn ag oedd Duw, a'r hyn a fu iddynt hwy pan roddwyd y cyfryw enwau ar bethau dienaid, ac er addysg i'r cenedlaethau i ddyfod.

4. Wrth enw Duw gallwn ddeall ei deitlau perthynasol, neu yr enwau benthycol oddiwrth bersonau a phethau naturiol, er mwyn taro ei elynion â dychryn, a gweini cysur i'w gyfeillion—gelwir ef yn *Dad* i'w bobl, i ddangos ei ofal am danynt, a'i barodrwydd i'w meithrin—yn *Briod*, i arwyddo ei serch a'i gariad mawr tuag atynt—yn *Noddfa*, i osod allan eu diogelwch hwy ynddo—yn *Darian*, i arwyddo ei barodrwydd i'w cadw rhag niwed mewn rhyfel—yn *Haul*, i ddangos y bydd iddynt hwy gael goleu i deithio tua eu gwlad—ac yn *Wobr mawr iawn*, i ddatgan mawredd y gogoniant a'r dedwyddwch a gânt hwy fwynhau, &c., &c.

5. Wrth enw Duw y meddylir weithiau ei weithredoedd, Sal. viii, 1, "Arglwydd ein IÔR, mor ardderchog yw dy *enw* ar yr holl ddaear." Megys yr ennillodd gwrolder Abishai, mewn rhyfel, iddo enw yn mhlith cedyrn Dafydd, a glendid Ester enw iddi, yn llys Ahasferus, a doethineb Solomon iddo enw yn mhlith doethion y byd, felly y mae gweithredoedd Duw wedi gwneuthur iddo ef enw anfeidrol mwy ardderchog yn mhlith ei holl greaduriaid rhesymol; y mae enw, neu ogoniant gallu, doethineb, a daioni yr Arglwydd yn argraffedig ar ei holl waith.

6 Weithiau y mae Duw yn cael ei enwi wrth un ac arall o'i berffeithiadau. Mewn trefn i osod pwys dyladwy ar ei hoffder mewn santeiddrwydd, mynych y gelwir ef *Sant Israel*—i ddangos anfeidroldeb ei allu, darllenwn yn fynych am dano dan yr enw *Hollalluog*—i amlygu meithder ei hirymaros, gelwir ef yn Dduw yr *Amynedd a'r Dyddanwch*—ac i osod allan ymlyniad manwl Mab Duw wrth gyfiawnder, gelwir ef *Y Cyfiawn* hwnw, megys pe na byddai ganddo un enw arall; ac i hysbysu i ni ei serch at ddynolryw, gelwir ef wrth yr enw *Cariad, Duw, cariad yw.*

7. Yn olaf, y mae addoliad Duw yn cael ei ystyried fel ei enw. "Yn mhob man lle y rhoddwyf goffadwriaeth o'm henw, y deuaf atat, ac y'th fendithiaf." Ecs. xx, 24. "Canys dy enw di sydd yn y tŷ hwn." 2 Cron. xx, 9. Oblegid lle byddo gwir addoliad y mae enw Duw, neu, ei glod a'i ogoniant yn cael eu datgan, ac y mae addoliad cywir yn rhoddi ardderchocach enw iddo nâ holl weithredoedd y greadurіaeth, o herwydd ei fod yn ei osod allan fel Duw parod i faddeu i'r pechaduriaid duaf a gresynolaf.

II. Bydd i adnabyddiaeth gywir ac ystyriaeth ddifrifol o'r enwau hyn i'n dwyn i ymddiried ynddo, 'Y rhai a adwaenant dy enw a ymddiriedant ynot.'

1. Y mae pob duwiol yn ymddiried ynddo, (1.) Am lywodraeth y byd yn y dydd cymylog a niwlog, pan fyddo y cenedloedd yn ymryson â'u

gilydd, y naill deyrnas yn barod i ddystrywio y llall, gŵyr y doeth fod y llywodraeth mewn llaw ddiogel.—(2.) Am lywodraeth ei eglwys, canys y mae efe yn llywodraethu yn Jacob, ac yn frenin yn Seion; y mae gwedi ei sylfaenu ar y graig, a phyrth uffern nis gorchfygant hi.—(3.) Am ei achosion tymmorol, ymborth, a diogelwch. Sal, xxxvii, 19, "Nis gwaradwyddir hwynt yn amser drygfyd, ac yn amser newyn y cânt ddigon."—(4.) Am bethau ysbrydol a thragywyddol, am gyfarwyddyd a doethineb yn mhob amgylchiad cyfyng, am heddwch a chymmod, am nerth yn ol y dydd, a gras i gyflawni pob diffyg.—(5.) Am drosglwyddiad diogel trwy angeu, canys y mae agoriadau uffern a marwolaeth ganddo ef, ac efe a achub ei eiddo o law y bedd.

2. Y mae yr enwau a briodolir iddo yn annogaeth i ymddiried ynddo. (1.) Y mae ei enwau wedi eu cyfaddasu at sefyllfa ac amgylchiadau ei bobl, pan fyddo yn gyfyng arnynt amlygir Crist fel *brawd wedi ei eni erbyn caledi*—os mewn perygl gelynion, *Twr cadarn yw enw yr Arglwydd*—os ydynt yn droseddwyr, Crist yw yr *Iawn dros eu pechodau*—mewn gair, y mae yn rhy anhawdd i gredadyn fod mewn un amgylchiad a'r nad yw y Duwdod wedi cymmeryd rhyw enw addas i weini cysur iddo yn y cyfryw gyflwr.—(2.) Y mae Duw yn ateb i'w enwau, yn gystal â bod ei enwau yn ateb i'n hamgylchiadau ni. Peth hawdd yw cymmeryd enwau mawrion, peth arall yw ateb iddynt; y mae y Pab yn gwisgo enw mawr o anffaeledigrwydd, ac yn haeru y dichon faddeu pechodau, ond Duw yn unig sydd felly—cymmer rhai yr enw o Weinidogion yr efengyl arnynt eu hunain, a gadawant y gwaith o lenwi yr enw i ereill; ond y mae Duw yn llenwi ei holl enwau, os Achubwr yw ei enw, y mae gwedi profi hyny trwy achub hyd yr eithaf, &c.—(3.) Y mae ei enw yn ei *Fab*. Ecs. xxiii, 21, "Y mae fy enw ynddo ef;" gan hyny, gellir ymddiried ynddo. Y mae enw Duw yn yr haul, y lleuad, y ser, a phob creadur arall, eithr nid yw ei enw yno yn rhoddi sail i hyderu am fywyd gwell mewn byd arall, oblegid nad oes son am faddeuant yno, eithr y mae enwau mwyaf dychrynllyd Duw yn sirioli ar y credadyn, o herwydd eu bod yn Nghrist.—(4.) Y mae gogoniant enw Duw ynddo ei hun yn gofyn am achubiaeth i gynnifer a gredo yn y Mab. Os oedd Joshua gyda phriodoldeb yn gofyn i'r Arglwydd, "Pa beth a wnai i dy enw mawr?" Josh. vii, 8, o herwydd ofni y buasai i Israel gael eu gorchfygu gwedi i Dduw ddechreu eu llwyddo, gyda pha faint mwy o gymhwysder y gellid ymholi, "Pa beth a wnai i dy enw mawr?" os dystrywir y bobl ag y dechreuaist waith da ynddynt, ac am feiau y rhai y cefaist iawn gan dy Fab, &c.—(6.) Y mae ei enw ef yn enw tragywyddol. Sal. lxxii, 17. "Ei enw a fydd yn dragywydd; ei enw a bery tra fyddo haul;" gan hyny fe fydd ei ogoniant yn ddiddarfod yn galw am gadwriaeth a dedwyddwch ei eiddo, y rhai a'i hofnant.

Dysgwn oddiyma yn fyr, (1.) Yn mhob cyfyngder i ffoi at Dduw, enw yr hwn yw Tŵr Cadarn. (2.) I fyfyrio llawer ar ardderchogrwydd ei

enw gogoneddus, canys un o nodau y saint yw eu bod "yn ofni yr Arglwydd, ac yn meddwl am ei enw ef." Mal. iii, 15. (3.) I fynegu rhagoroldeb ei enw ef, gan ddywedyd, "Bendigedig fyddo ei enw gogoneddus ef yn dragywydd," Sal. lxxii, 19.

---

## MAI YSBRYD YW DUW.

"Ysbryd yw Duw."—IOAN IV, 24.

GOFYNODD Hiero, brenin Syracuse, i Simonides, prydydd cenedlig, *Beth yw Duw?* Dymunodd yntef gael diwrnod i ystyried y gofyniad, a phan ddaeth y dydd hwnw i ben, dymunodd ddau ddiwrnod: ac wedi i'r rhai hyny fyned heibio deisyfodd bedwar, ac a barhaodd i ddyblu rhifedi y dyddiau, i ystyried beth oedd Duw, cyn rhoddi ateb. Synodd y brenin, a gofynodd iddo beth oedd ei feddwl wrth hyn. Atebodd y prydydd, "Pa fwyaf a feddyliwyf am Dduw, mwyaf anwybodus ydwyf o hono." Nid rhyfedd iddo roddi y fath ateb, canys y mae Agur wedi dyrysu yr holl greaduriaeth, pan ofynodd, "Beth yw ei enw ef, a pheth yw enw ei Fab?" Diar. xxx, 4. Ond er na allwn gael yr Hollalluog allan i berffeithrwydd, etto y mae cymmaint wedi cael ei ddatguddio am dano yn yr ysgrythyr ag sydd yn angenrheidiol i ni wybod er iechydwriaeth, ac mewn trefn i'w addoli wrth ei fodd, oblegid y mae yr hwn ag oedd yn mynwes y Tad gwedi hysbysu i ni mai "Ysbryd yw Duw." Er na wyddom ni ond ychydig am natur ysbrydoedd, o herwydd ein bod yn preswylio mewn tai o bridd, etto y mae yn amlwg i ni fod ysbrydoedd yn rhagori ar gyrff, a bod Duw, Tad yr ysbrydoedd, yn rhagori yn mhell ar bob ysbryd arall.

I. Nodwn rai o'r ystyriaethau ag sydd yn profi mai ysbryd yw Duw.

2. Y mae yr hyn a wnaeth Duw yn profi ei fod yn ysbryd, efe a wnaeth y cwbl a wnaed, ac efe sydd yn ysgogi pob peth crëedig, canys "ynddo ef yr ydym ni yn byw, yn symud, ac yn bod;" (Act. xvii, 28,) ond y mae yn amlwg na ddichon corff, neu ddefnydd ysgogi ei hun; y mae yn ymddifad o allu i feddwl, nid oes ganddo ddeall, gwybodaeth, na doethineb, ac felly y mae yn anghymhwys i weithredu oll, pa faint mwy anghymhwys i gyflawni gweithredoedd ag sydd yn gofyn doethineb, gwybodaeth, ynghyd â medrusdra o'r fath ragoraf, y rhai a amlygir yn ngwaith creaduriaeth a rhagluniaeth. Gan hyny pe na fuasai Duw yn ysbryd ni allasai fod yn Greawdwr, na Llywodraethwr y byd.

2. Y mae Duw yn holl-bresennol, gan hyny ysbryd yw efe. Ni ddichon corff fod yn mhob màn nac mewn dau le gwahanol ar unwaith; eithr y mae Duw yn llenwi nefoedd a daear. A phe meddyliem fod corff, neu ddefnydd, mor fawr â bod iddo lanw pob ëangder neu wagle,

byddem yn rhwym o gredu y gwrthuni hyn, nad oes un corff arall mewn bod, na lle i un fod, gan fod y corff cyntaf yn llanw pob lle; ac yna byddai raid i ni naill ai gwadu y bôd o honom ein hunain, neu haeru ein bod yn ysbrydoedd, ac felly galw corff yn ysbryd ac ysbryd yn gorff, neu ymdrechu newid sefyllfaoedd â Duw!

3. Y mae Duw yn anweledig, ac nis gellir ei weled â llygad o gnawd. "Y mae efe yn trigo yn y goleuni ni ellir dyfod ato, yr hwn nas gwelodd un dyn, ac nis dichon ei weled," (1 Tim. vi, 16). Er fod llygad yr Arglwydd yn canfod pob peth, ni welodd neb Dduw erioed, o herwydd mai ysbryd yw, ac nid yw ysbryd yn fwy o wrthddrych i lygaid nag yw swn, archwaeth, neu arogl. Gellir teimlo a gweled corff, eithr nid oes gan ysbryd gnawd ac esgyrn, o herwydd paham ni ellir na'i weled na'i deimlo, ac am na ellir teimlo na gweled Duw, rhaid mai ysbryd digorff ydyw.

4. Gellir penderfynu oddiwrth y mawredd a'r ardderchogrwydd a briodolir gan lyfr natur a llyfr datguddiad i Dduw, mai ysbryd yw. Dengys pob peth i ni ei fod yn fwy anrhydeddus a gogoneddus nâ'i holl greaduriaid—y mae yn amlwg hefyd mai ysbrydion yw y creaduriaid mwyaf ardderchog o waith Jehofa—ysbrydoedd neu eneidau dynion yw y rhanau godidocaf a berthyn iddynt hwy; pan ehedo'r enaid yn angeu i fyd o ysbrydoedd, ni bydd y corff o un defnydd, ac ni bydd dim gogoniant yn ymddangos ynddo hyd oni ail gyssylltir ef â'r ysbryd yn yr adgyfodiad. Yn awr gallwn ymresymu fel hyn, os yw enaid dyn yn rhagori ar ei gorff, ac os yw angylion, ysbrydion digyrff, yn rhagori ar ddynion mewn ardderchogrwydd naturiol, ac os yw Duw yn rhagori mewn gogoniant ar bawb, y canlyniad yw ei fod ef yn ysbryd, ïe, yr ysbryd mwyaf goruchel.

5. Dengys *anfarwoldeb* Duw mewn rhyw fesur mai ysbryd yw, oblegid fe'n dysgir mai ysbrydion sydd yn anfarwol, ni all yr angylion farw, (Luc xx, 36), ni ellir lladd eneidiau dynion, (Mat. x, 28). Pell oddiwrthyf fyddo meddwl na allai Duw ddifodi y peth a ddygodd ef i fod, pe mynai, ond y mae efe wedi gweled bod yn dda i argraffu anfarwoldeb ar yr ysbrydoedd a wnaeth—ac hefyd y mae rhywbeth mewn ysbryd ag sydd yn ei anaddasu i farw, oblegid nid yw gwedi ei wneuthur i fynu o ranau, fel y gellid eu gwahanu oddiwrth eu gilydd—ac ni a allwn fod yn dra sicr nad yw Duw yn gynnwysedig o ranau, oblegid pe byddai, rhaid i ni ystyried y cyfryw ranau yn feidrol neu yn anfeidrol, os y cyntaf ni ddichon Duw fod yn anfeidrol, canys ni all mil o feidrolion wneuthur un anfeidrol; ac os golygir fod y rhanau oll yn anfeidrol, byddai raid penderfynu na fyddai mil o anfeidrolion yn gwneuthur ond un anfeidrol, yn yr un ystyr, yr hyn a fyddai yn wrthuni eithaf. Ond os yw yn brofedig mai ysbrydion sydd yn anfarwol, ac heb fod yn meddu rhanau a ellir eu dattod, a bod Duw yn *Frenin anfarwol*, ac heb feddu rhanau ag sydd bosibl i'w dattod, ysbryd anfarwol a thragywyddol yw efe.

6. Mynych y dywedir fod Crist yn Dduw, yn yr ysgrythyrau; ac yr oedd efe yn Dduw cyn cymmeryd had Abraham i undeb ag ef ei hun,

mewn amser y *gwnaethpwyd ef o wraig* ac y *cymhwyswyd corff iddo;* gan hyny ysbryd yw Duw.

II. Sylwn ar rai pethau a allai ymddangos yn groes i'r sylwadau blaenorol, ac a allent gael eu defnyddio fel gwrthddadleuon i'r athrawiaeth uchod.

1. Y mae'r ysgrythyr yn priodoli rhanau corfforol, megys traed, dwylaw, clustiau, &c., yn fynych i Dduw. Eithr y mae yn amlwg nad mewn ystyr briodol ond un anmhriodol yr arferir y cyfryw ymadroddion; y mae yr Arglwydd yn ymostwng at ein gwendid ni, ac yn llefaru yn ol dyn, fel y byddai i ddynion ddeall y pwnc mewn llaw yn well—ac felly pan arferir y gair *wyneb Duw,* y mae yn arwyddo ei bresennoldeb, neu amlygiad o'i ewyllys dda a'i gariad, ac weithiau ei lid yn erbyn y drygionus, (Sal. xxvii, 8, 9, a xxiv, 16.)—Y mae ei *lygaid* yn arwyddo ei holl bresennoldeb, (Diar. xv, 3.)—Ei *glustiau* a arwydda ei barodrwydd i dderbyn ac i ateb gweddiau, ei bobl, (Sal. xxxiv, 15.)—Ei *ffroenau,* a olyga ei gymmeradwyaeth o bersonau a'u gwasanaeth, neu ei wrthodiad a'i ffieiddiad a honynt, (Gen. viii, 21, Esay lv, 5.)—Ei *enau* sydd yn arwyddo cael o'i orchymynion, ei addewidion, a'i fygythion, (Esay i, 20, Jer. xxiii, 16.)—Ei *freichiau* a'i *ddwylaw* a esyd allan ei allu i gyflawni ei fwriadau, (Sal. lxxxix, 13, a cxviii, 16,) mewn cyfeiriad at waith dynion yn cyflawni eu gorchwylion â'u dwylaw.

2. Darllenwn yn fynych yn yr Hen Destament fod person Dwyfol yn ymddangos ar ddull dyn, (Gen. xviii, 3, a xxxii, 24, 30, Barn. xiii, 6, 10, 18. Ond gellir sylwi, nad oedd yr ymddangosiadau uchod ond gwaith Mab Duw (canys ni welwyd gwedd y Tad un amser, Ioan v, 37,) yn cymmeryd *dull* corff dynol i amlygu, ysgatfydd, ei hoffder yn y wisg o gnawd, ac i arwyddo y byddai iddo ymddangos yn wirioneddol mewn cnawd yn nghyflawnder yr amser, ac i alw ystyriaeth y bobl at, a pharotoi eu meddyliau erbyn yr amser hyny; ond y mae yn amlwg nad oedd ganddo gorff dynol diledrith yr amseroedd hyny, canys yn hir ar ol hyny y gwnaethpwyd y Gair yn gnawd, ac y gwnaethpwyd Mab Duw o wraig, a than y ddeddf.

3. Dywedir fod dyn wedi cael ei greu ar *lun* a *delw Duw,* gallai hyn dywys rhai i gasglu fod rhyw beth corfforol yn perthyn i Jehofa; eithr gellir rhoddi rheswm am y geiriau uchod heb dynu y fath gasgliad oddiwrthynt—yr oedd gan Adda enaid, yn yr hwn yr oedd tebygoliaeth i Dduw yn gorphwys yn benaf—ac y mae yn sylwadwy mai nid llun a delw naturiol, ond delw foesol Duw a olygir; yr oedd Adda yn ei greadigaeth yn hollol ddibechod, ac felly ar ddelw Duw mewn santeiddrwydd—tybia rhai fod corff Adda wedi ei ffurfio yn hollol ar ddelw y corff a fuasai i'r ail Adda i gymmeryd mewn amser, yr hwn oedd wedi ei ffurfio yn fwriadol eisioes.

4. Gan mai ysbrydion yw angylion ac eneidiau dynion, gellid gofyn pa wahaniaeth sydd rhwng Duw a hwythau? Llawer, yn mhob rhyw fodd.

Er ei bod yn anhawdd i ni, o herwydd ein mawr anwybodaeth, i gael un drychfeddwl am berffeithiadau ysbryd, heblaw yr hyn a ganfyddwn yn ein heneidiau ein hunain, etto gallwn gael golygiadau lled gywir o berffeithiadau Duw trwy symud yn ein meddwl bob peth ag sydd yn wan ac yn feius ynom ni oddiwrth Dduw, ac ychwanegu anfeidroldeb at bob cynneddf dda yn ein hysbrydoedd ni pan feddyliom am dano ef, ac ystyried yr hyn sydd gynneddf mewn enaid dynol yn briodoledd ynddo ef. Er siampl, y mae ynom ni beth gwybodaeth, peth nerth, peth cariad, ychydig o dosturi, ychydig santeiddrwydd, ac ychydig o serch at gyfiawnder; ac wrth gyssylltu anfeidroldeb wrth bob un o'r rhai hyn y gallwn ffurfio rhyw ddrychfeddyliau am Luniwr y bydoedd—ac er bod angylion yn ysbrydion ardderchog, rhai crëedig a meidrol ydynt, ni allant wybod pob peth, na llanw pob lle, gweision neu ysbrydion gwasanaethgar ydynt, (Heb. i, 14,) Duw yw eu rheolwr, ac efe yw Tad yr ysbrydoedd, (Heb. xii, 9,) gan hyny y mae yn anfeidrol fwy nâ phob ysbryd arall.

III. Y mae yr athrawiaeth o ysbrydoldeb Duw yn dysgu i ni amryw wersi buddiol.

1. Nad yw Duw yn ddarostyngedig i ddyoddefiadau. Dichon dynion annuwiol gyfodi eu banerau a byddino eu lluoedd digllon i ymladd yn erbyn Duw, (Act. v, 39,) ond pa niwed a fedrant wneuthur iddo ef? Gallant gymylu ei ogoniant mynegol dros amser, ond ni allant gyffwrdd â'i hanfod. Efe a fedr eu clwyfo a'u lladd hwy heb iddynt ei weled; y cwbl a fedrant hwy wneuthur yw dangos eu bod yn elynion, eithr "Yr hwn sydd yn y nefoedd a chwardd, yr Arglwydd a'u gwatwar hwynt," (Sal. ii, 4.)

2. Mai Duw ei hun yw yr unig wrthddrych addas i'n heneidiau ni, y rhai ydynt ysbrydion; rhaid i bob creadur gael rhyw beth addas i'w natur cyn y gallo ymfoddloni; rhaid i gorff daearol gael lluniaeth o'r ddaear, nes caffo ei gyfnewid; felly rhaid i enaid ysbrydol gael dedwyddwch oddiwrth Dad yr ysbrydoedd neu fod yn amddifad o hyny; collodd dyn ddedwyddwch pan gefnodd ar Dduw, oferedd yw dysgwyl cael yn ol yr hyn a gollodd nes wynebu ar Dduw drachefn.

3. Mai ffolineb ac ynfydrwydd yw addoli Duw trwy luniau a delwau. Peth anmhosibl yw gweled ysbryd, ac felly anmhosibl yw gwneuthur ei lun, na dychymmygu yn iawn yn y meddwl fod iddo un llun. Gorchymynodd Duw yn bendant i Israel beidio gwneuthur un cyffelybrwydd o hono, ac a ddywedodd wrthynt nad oedd ganddynt un esgus i wneuthur hyny, oblegid 'ni welsant lun dim' pan lefarodd yr Arglwydd wrthynt (Deut. iv, 12.—Heblaw hyny, os yw delwau yn ateb un dyben, gallant ddarlunio rhyw beth absennol, neu ryw wrthddrych a fu mewn hen oesoedd, ond peth gwrthun fyddai addoli delw y brenin, ac ef ei hun yn bresennol; y mae addolwyr gau dduwiau yn fwy esgusodol am addoli lluniau eu heilunod, y rhai ydynt yn absennol, nac addolwyr y gwir Dduw yr hwn sydd yn holl-bresennol, ac yn ein hymyl yn mhob man.

4. Mai addoliad ysbrydol yn unig a rynga fodd Duw; "Rhaid i'r rhai a'i haddolant ef ei addoli mewn ysbryd a gwirionedd," (Ioan iv, 24,) "I ychydig y mae ymarfer corfforol yn fuddiol;" er y mynai Duw gael gwasanaeth ein cyrff, ni foddlona hyny mo hono ddim pellach nag y byddo yn amlygiad o ymlyniad ein hysbrydoedd wrtho ef—rhaid rhoddi ein cyrff yn aberthau byw i Dduw, ond ysbrydoldeb ein haddoliad yw brasder yr aberth.

5. Mai gwobr ysbrydoliaeth a gaiff plant Duw mewn gogoniant. Gwobr a fyddo yn cyfateb i natur y Rhoddwr. Ac ni ddylai neb lwfrhau o herwydd hyn, canys gallwn fod yn sicr mai y rhoddion a'n gwnelo debygaf i Dduw yw y rhai ardderchocaf yn eu natur—y bendithion rhagoraf ag ydym yn gael yn awr yw, nid aur ac arian, tai a thiroedd, ond bendithion ysbrydol; y mae gelynion Duw yn cael llawer o gyfoeth daearol, ond ei gyfeillion sydd yn gwledda ar fwyd a diod ysbrydol—gan hyny llafuriwn am y bwyd a bery i fywyd tragywyddol.

---

Ein Duw sydd ysbryd pur,
Llwyr anweledig yw;
Digymhar yn ei hanfod glân,
Heb fesur, llun, na lliw.

Gall eulun-garwyr wneyd
Cyff'lybrwydd Duw dirin;
Ond pwy gyff'lybrwydd wneir i'r hwn
Na welodd llygaid dyn?

Fy ysbryd egwan ffo
At Dad'r ysbrydoedd oll,
Cai yma fodd i ganu byth,
Pe elai'r byd ar goll.

O, *f'enaid!* mola di,
Derchafa glodydd llawn,
Mewn ysbryd a gwirionedd mae
Addoli'r Tad yn iawn.

Cael f'ysbryd at dy waith,
Fy Nuw, ymdrechu wyf,
Trwy hyn i ti bydd cyflawn glod,
I mi iachâd o'm clwyf.

Pan ddelwyf mewn i fysg
Ysbrydion dysclaer nen,
Ysbrydol fawl heb ddiffyg ro'f
I'm Prynwr mawr a'm pen.

---

## HOLLALLUOGRWYDD DUW.

"Myfi yw Duw Hollalluog."—Gen. xvii, 1.

Nid oes un peth yn fwy parod i daro i'r meddwl gyda'r ystyriaeth o fod Duw, nâ'i fod ef yn alluog o nerth—y mae y ddau beth hyn mewn cysylltiad anwahanol â'u gilydd; nis gallwn gael un drychfeddwl am Dduw analluog—gan hyny, dywed yr apostol, fod *tragywyddol allu* Duw, yn gystal â'i Dduwdod, i'w weled yn amlwg, wrth ei ystyried yn y pethau a wnaed, Rhuf. i, 10. Y mae pob peth ag sydd yn dangos fod Duw, yn profi ei fod yn anfeidrol mewn gallu, neu yn *Hollalluog*—wrth yr enw *Duw Hollalluog* yr amlygodd efe ei hun i Abraham mewn trefn i gefnogi a gwroli ei ffydd ef yn yr addewid a roddwyd iddo, o gael llawer o hiliogaeth, pan yr oedd agwedd allanol pethau yn tueddu i'w lwfrhau—yr oedd y geiriau hyn, *Myfi yw Duw Hollalluog,* yn ddigon i foddloni Abraham yn ngwyneb pob anhawdd-dra—y mae yr un enw yn cael ei

roddi iddo mewn amryw fânau yn yr hen Destament a'r Newydd—ac yn wir pe na byddai ef yn Hollalluog, nis gallai fod yn *Fod* perffaith, byddai rhywbeth yn eisieu, neu yn ddiffygiol ynddo; eithr nis gall gwrthddrych anmherffaith i fod yn Dduw; o ganlyniad y mae Duw yn Hollalluog.

Wrth Hollalluogrwydd Duw yr ydym i ddeall ei allu i wneuthur pa beth bynag a ewyllysio efe, ag sydd yn gysson â pherffeithiadau ei natur —ond er ei fod yn Hollalluog, ni ddichon efe wneuthur llawer o bethau ag y mae dynion yn fynych yn eu cyflawni, y mae yn anmhosibl iddo ef ddywedyd celwydd, (Heb. vi, 11,) nis gall wadu ei hun, (2 Tim. ii, 13,) nis gall gyfnewid, nac edifarhau, (a llefaru yn briodol, Num. xxiii, 19,) nis gall gysgu na marw, &c., oblegid gwendid, ac nid gallu a fuasai yn ei addasu i hyny; gan hyny, cofiwn, pan y dywedir fod rhai pethau nas dichon Duw eu gwneuthur, mai ei gryfdwr, ei fawredd, a'i burdeb, yw yr achos o hyny; megys y dywedwn nas gall y cadarn fod yn wàn, y glân fod yn aflan, y doeth fod yn ynfyd, na'r geirwir fod yn gelwyddog. Y mae yr anfeidrol allu sydd yn Nuw o dan dywysiad ei ewyllys santaidd, (Sal. cxv, 3.) "*Efe* a wnaeth yr hyn a *fŷnodd* oll," ac nid cymmaint â *allasai* wneuthur; buasai yn hawdd iddo ef wneuthur myrdd o fydoedd yn ychwaneg nag a wnaeth; i ddwyn y greaduriaeth i fôd fyrdd o oesoedd yn gynt nag y gwnaeth—a lluddias pechod i ddyfod i'r byd —ac nid gwaith gorchestol iddo ef fyddai cynnal ei holl greaduriaid yn ddiofid yn y byd; dwyn holl ddynolryw i ymostwng i'w ddeddfau; a'u hachub hwy oll, ynghyd â diaflaid, pe byddai yn ewyllysio; ac er y gallem ni dybied mai gwell fuasai i Dduw wneuthur felly, byddai yn weddus i ni ystyried pe byddem ni yn meddu ar ddoethineb a phurdeb y Jehofa y byddem yn sicr o ddywedyd am ei holl waith ef, nid yn unig *Da iawn ydyw*, ond y gwaith *goreu* ydyw.

Bellach, dangoswn y modd y mae Hollalluogrwydd Duw yn ymddangos—yn ngweithredoedd creaduriaeth—rhagluniaeth—ac iechydwriaeth.

I. Y mae gwaith y greaduriaeth yn amlygu Hollalluogrwydd Duw, "Yn y dechreuad y crëodd Duw y nefoedd a'r ddaear," Gen. i, 1, a'u holl luoedd hwynt, Sal. cxlvi, 6; yn hyn y mae efe yn cael ei wahaniaethu oddiwrth y duwiau gau, Esay xlv, 18—20, y rhai na allasent na llunio dyn na'i waredu o gyfyngder; ac am hyn, mewn rhan, y mae efe yn cael ei glodfori gan deulu y nefoedd, Dat. x, 16. Y mae amryw bethau mewn creaduriaeth yn dangos anfeidroldeb gallu y Creawdwr gogoneddus; megys,

1. Efe a wnaeth y nefoedd a'r ddaear *o ddim*. Rhaid i'r gweithwyr mwyaf cywraint a galluog yn mhlith dynion i gael defnyddiau i weithio arnynt cyn y gallont wneuthur un peth; y mae y fath bellder mawr rhwng *dim* â *hanfod* unrhyw beth, fel nad oes ond gallu anfeidrol a ddichon ddwyn y fath eithafoedd i gyfarfod â'u gilydd; y mae yn anmhosibl i ni ddychymmygu am un pellder mwy nag sydd rhwng DIM a

RHYWBETH, rhwng *peidio bod* ac *i fod;* ac felly nis gallwn feddwl am un gallu yn fwy nâ'r hwn a ddygo *rywbeth* o *ddim;* o *beidio hanfodi* i *hanfodi.*

Pe buasai *dim* a *rhywbeth* yn nes at eu gilydd, ni buasai cymmaint o allu yn angheurheidiol i ddyfod â hwy ynghyd; ond gan nad oedd bosibl iddynt fod yn mhellach, yr ydym yn cael ein rhwymo i gydnabod fod y gallu a ddygodd y cwbl i fôd o ddim yn annherfynol; ac i ryfeddu ei nerth digymhar yn dwyn y fath nefoedd ogoneddus, a'r fath ddaear lwythog o drysorau, o wlad mor lom ac anffrwythlon ag yw *dim!* ac yn ennill meibion lawer i ogoniant o groth anmhlantadwy *dim.*

2. Efe a wnaeth y cyfan *heb offerynau.* Anghenrhaid i bob gweithiwr arall i gael arfau cymhwys at ei waith, a pha fwyaf manwl a fyddo ei orchwyl mwyaf cywraint rhaid i'r offer fod; ond efe a grëodd y nefoedd a'r ddaear yn y dechreuad heb un offeryn, ac o'r defnydd creadigol cyntaf, efe a luniodd y cwbl ag sydd mewn bôd heb un offeryn ond ei air nerthol *Bydded.* Ac nid yn unig efe a wnaeth y cwbl trwy ei air yn rhyw fodd, ond yn y modd mwyaf ardderchog; ni fedrodd y celfyddydwyr mwyaf cywraint a fu erioed yn y byd, er ceisio o honynt ddynwared gweithredoedd Duw, i wneuthur dim a dalai ei gystadlu â'i waith ef; edrychwch ar flodau celfyddgar yn yml y blodau a wnaeth ef, mor wael yw eu golwg; aroglwch hwy, mor ddiarogl ydynt; ac yn ymddifaid o fywyd llysdyfol. Y mae gran prif weithiwr ar holl waith Duw; y mae yn waith gorphenol i gyd, fel nad oes eisieu ergyd yn ychwaneg ar ddim, na chyfnewid un o'r pethau a wnaeth. Y mae efe yn ddigon o feistr ar ei waith.

3. Y mae y nerth a'r gallu a roddodd Duw i'w greaduriaid yn brawf o allu mwy anrhaethol ynddo ei hun. Nid oes un creadur heb gael gallu i ryw beth yn ol ei natur; y mae'r haul yn gwresogi ac yn goleuo gwyneb y ddaear a gwaelodion y môr, a phob rhywogaeth sydd ddyledus i'w rinwedd offerynol ef; rhoddwyd gallu digonol i un hedyn bychan i ddwyn allan bren mawr ac uchel; galluogir y llygad i weled gwrthddrychau—y glust i glywed sain—y ffroenau i wahaniaethu aroglau—a'r genau i archwaethu, ac i amlygu y gwahaniaeth rhwng blas un peth a'r llall, &c., &c. Mawr raid fod maintioli a chyfoeth ei allu ef, yr hwn sydd wedi cyfranu mor helaeth i bob creadur, ac etto heb lwmhau ei hun; fel y mae yn amlwg oddiwrth ei waith yn parhau i gyfranu yn ddidawl. Bydd i'n syndod i gynnyddu etto pan ystyriom fod y gallu ag sydd yn wasgaredig mewn mil o filoedd, a myrdd o fyrddiynau dirifedi o greaduriaid, yn gryno yn cwrdd ynddo ef, ac yn dylifo o hono; pydewau diddwfr ydynt hwy i gyd, ond fel y maent yn cael eu llanw o'r môr hwn. Pe byddai gallu yr holl angylion mewn un angel, a nerth holl ddynolryw mewn un dyn, byddai'r nerth hwnw yn mhell i'r ochr draw i'n hamgyffrediadau ni, pa faint mwy annirnadwy fyddai i'r amrywiol fyrdd o alluoedd gwahanol sydd yn yr holl greaduriaid dirifedi gwrdd mewn un creadur; etto gallu meidrol mewn natur feidrol a fyddai hyny; gan

hyny rhaid i'r meddwl am anfeidroldeb gallu Duw ein soddi mewn syndod, a'n gorchfygu trwy ryfeddod.

4. Y mae'r amrywiaeth rhyfeddol ag sydd yn ngwaith Duw yn datgan mawredd ei allu; yn neillduol *rhifedi* anfynegol ei greaduriaid, *maintioli* rhyfeddol rhai, a *bychandra* synadwy ereill. Y mae rhifedi y bydoedd a wnaeth efe yn fwy nag y mae yn bosibl i ni gael allan: yr ydym ni yn gweled â'r llygaid noeth, ar noswaith serenog, lawer mwy nag a fedrwn rifo o honynt; eithr nid yw'r llygad digymhorth yn gallu canfod ond ychydig, mewn cymhariaeth, o fydoedd dysclaer yr uchelder; canys y mae lluoedd maith yn ychwaneg i'w gweled trwy y gwydrau a arferir gan y sywedyddion—ac, heb amheu, y mae tyrfaoedd dirif heb gael eu gweled ganddynt hwy. Y mae *maintioli* llawer o'r cyrff crëedig yn dangos yn ardderchog rym y fraich a'u lluniodd—dywedir fod y byd hwn yn wyth mil o filldiroedd ar groes iddo; ond beth yw hyn at faintioli yr haul, yr hwn, meddant, sydd filiwn o weithiau yn fwy nâ'r ddaear, ac yn 90 miliwn o filldiroedd o bellder oddiwrthi! A thybir fod rhai o'r ser sefydlog yn haulau i *systems* ereill, neu i fydoedd ag sydd yn rhy bell oddiwrth ein haul ni i effeithio arnynt. Nid llai rhyfedd yw *bychandra* creaduriaid ereill, y rhai sydd yn mynegu cywreinrwydd y bysedd a'u lluniodd yn odidog. Rhyfedd fod creadur mor lleied â gwybedyn yn meddu cynnifer o ranau, ac yn medru hel ei ymborth, ac yn cael ei gynnal mewn cyffelyb fodd i'r creaduriaid byw o'r maintioli mwyaf. Ond pan ystyriom fod creaduriaid byw i'w gweled trwy wydrau addas, mor lleied ag y dichon llawer o filoedd o honynt i gael eu cynnwys mewn un diferyn o ddwfr, fe'n rhwymir i ddywedyd, "O Arglwydd Dduw, wele ti a wnaethost y nefoedd a'r ddaear—*nid oes dim yn rhy anhawdd i ti.*" Jer. xxxii, 17.

5. Gwnaeth y Jehofa y cwbl yn rhwydd, heb orchest, ac heb gymhorth neb. Efe a wnaeth y cwbl mewn ychydig amser, gorphenodd y nefoedd a'r ddaear a'u holl luoedd hwynt, mewn chwe' diwrnod—ac y mae yn amlwg y gallasai eu creu mewn un diwrnod, pe mynasai; ac mai gwaith hawdd iddo ef fuasai dwyn myrddiynau yn ychwaneg o fydoedd mawrion i fod, mewn cyn leied a mynai o amser, ïe, ar darawiad amrant. Gwnaeth y Duw anfeidrol mewn chwe' diwrnod, heb lafur na lludded, ddigon o fodd i orchestu synwyr a grym myrddiynau o'r doethaf a'r cryfaf o hiliogaeth Adda, dros agos i chwe' mil o flynyddau, mewn trefn i gael allan ei waith; ond wedi eu holl boen a'u hymdrech, ni wyddant ond megys dim; y maent wedi gadael digon o waith i'r myrddiynau sydd etto heb eu geni, dros chwe' mil ereill o flynyddau, ïe, dros fyth! Ni chostiodd y cwbl iddo ef ddim ymdrech, yr oedd dywedyd y gair *Bydded* yn ddigon. O Arglwydd, *Pa beth yw dyn i ti ei gofio? a mab dyn i ti ymweled ag ef?* Sal. viii, 4.

II. Y mae Hollalluogrwydd Duw yn ymddangos yn eglur yn ngweithredoedd Rhagluniaeth. Lluniwr y bydoedd dirif sydd yn teyrnasu arnynt, ac yn eu llywodraethu oll.

1. Y mae efe yn *cynnal* pob peth, (Heb. i, 3.) Efe yw Tad mawr y

bydoedd, i'w meithrin a'u cadw yn eu lleoedd priodol. Y mae y planedau, er eu maint, yn troi yn y cylchoedd a osododd efe iddynt, heb fyned un fodfedd dros eu terfynau, megys y mae yn amlwg oddiwrth y modd cywir y gellir rhagddywedyd am ddiffygiadau ar yr haul a'r lleuad—tymmorau y flwyddyn ydynt yn dilyn eu gilydd yn rheolaidd, "haf a gauaf, amser hau a medi," ydynt yn parhau hyd heddyw—y môr terfysglyd a geidw o fewn y terfynau a roddwyd iddo gan ei Grëwr galluog; yr un gallu sydd yn cadw pethau mor wahanol ac enaid ysbrydol a chorff llychlyd yn nghyd mewn cwlwm priodasol, hyd yr amser a drefnodd efe iddynt ysgaru; mewn gair, y mae ei allu mor rhyfedd yn nghynnaliaeth pob peth, fel y dywed Esay, (pen. xl, 12,) am dano fel hyn, *Pwy a fesurodd y dyfroedd â'i ddwrn,* (neu eu dal ar gledr ei law,) *ac a fesurodd y nefoedd â'i rychwant, a bwysodd y mynyddau mewn pwysau, a'r bryniau mewn clorianau?* Nyni a ryfeddem lawer pe gwelem ddyn mor nerthol ag y medrai ddwyn hwylbren llong ryfel o'r maintioli mwyaf ar ben ei fys; ond beth fyddai hyn at y gallu sydd yn dal y byd yn yr ehangder.

2. Y mae parhad yr amrywiol rywogaethau o greaduriaid ag sydd yn y byd, yn amlygiad o'r un anfeidrol allu; y fath luoedd o lysiau a phlanhigion a ddygir allan o'r ddaear yn flynyddol; mor rhyfedd y mae amryw greaduriaid sydd heb fod o dan olygiaeth dyn yn cael eu cadw rhag dinystr, ac yn epilio yn barhaus, megys adar, bwystfilod, ymlusgiaid y ddaear, a physg y moroedd; rhyfedd mor agos at eu gilydd yw rhifedi gwrrywaid a menywaid yn y rhywogaeth ddynol, a phwy sydd heb weled gallu daionus Duw yn lliosogi y creaduriaid mwyaf gwasanaethgar i ddyn, tra y mae llewod, eirth, nadredd, môr-feirch, ac ysglyf-gŵn y môr yn anaml?

3. Y mae yr un gallu yn weledig yn y ddarpariaeth a wneir ar gyfer pob creadur. Nid oes gallu gan un creadur i gynnal ei hun; *A gyfyd brwynen heb wlybaniaeth? a dyf hesg heb ddwfr?* Job viii, 11, nid oes ddyn nac anifail a'r nad yw yn ymddibynu ar yr hyn a dyf o'r ddaear, a Duw sydd yn ffrwythloni hon fel yr atebo ei ddyben. Y mae efe yn darparu digon i aneirif lwythau teulu mawr y greaduriaeth; adar, pysgod, ymlusgiaid, a bwystfilod, a ddysgwyliant wrtho, am roddi iddynt eu bwyd yn ei bryd, efe a egyr ei law, a diwellir hwy â daioni, Sal. civ, 27, 28. Y mae ganddo ddigon i wneuthur i fynu anghenrheidiau ei holl blant. O Dad cyfoethog a galluog!

4. Y mae gallu Duw yn dyscleirio mewn modd gogoneddus yn ei waith yn attal ysbrydion aflan rhag cyflawni eu bwriadau yn erbyn dynion. Er nas gwyddom ni lawer am y modd y mae satan a'i angylion yn amcanu drygu dynolryw, y mae yn hawdd gwybod mai nid am eu bod hwy yn dirion, ond am fod Duw galluog yn eu cadw o fewn terfynau, y maent heb wneuthur mwy o ddrwg; oblegid pan gafodd satan ei gadwyn yn ddigon hir, ebrwydd y gwnaeth Job yn ddyn tra gresynol o ran pethau daearol; ac y mae yn lled debyg y trinid ninnau yn yr un

modd, ac yn waeth, pe cai ef genad i hyny; buan iawn y danfonai efe frodyr i'r Sabeaid ac ereill, i ladd ein cyfeillion; a phe cai ond llywodraeth ar y tân sydd yn yr awyr, efe a'i bwriai i wared i losgi ffrwyth y ddaear, a'r anifeiliaid sydd at wasanaeth dyn; ac a ddanfonai ystormydd o wŷnt i siglo ein tai i lawr am ein penau, ac a orchguddiai ein cyrff â chornwydydd dolurus; ond y mae gallu Jehofa yn ddigon i'n diogelu ni a'n heiddo. Efe hefyd sydd yn cadw dynion drwg o fewn terfyn, trwy eu hattal weithiau, a goruwchlywodraethu eu gwaith er daioni, bryd arall. *Yr Arglwydd yn yr uchelder sydd gadarnach nâ thwrf dyfroedd lawer, na chedyrn dònau y môr*, Sal. xciii, 4.

5. Amlygir anfeidrol allu Duw yn y gwyrthiau rhyfeddol a wnaeth efe erioed, fel Duw rhagluniaeth, mewn trefn i gysuro ei bobl, ac i aflonyddu eu gelynion, &c. Ardderchog y dangosodd y rhyfeddodau a wnaeth efe yn yr Aifft gadernid ei fraich; ac yr oedd y gwyrthiau a gyflawnwyd gan ei holl broffwydi a'i genadon yn profi y gallasai yr hwn a roddodd gyfreithiau i natur eu galw yn ol pan y mŷnai; ond yr oedd gwyrthiau Crist yn rhagori ar y lleill i gyd; canys er lles i'r gresynol oeddynt, ac heb ddrygu ei elynion mwyaf anghymmodlon: rhoddi golwg i'r deillion, bywyd i feirwon, &c. oedd ei hyfrydwch. GALLU wedi YMGNAWDOLI, oedd efe.

III. *Ystyriwn y modd y mae gallu Duw yn ymddangos yn ngwaith iechydwriaeth.*

1. Gwelir y gallu hwn yn mherson y Gwaredwr mawr. Priodolir ffurfiad ei natur ddynol i *nerth y Goruchaf*, (Luc i, 35,) sef i'r Ysbryd Glân; o ganlyniad, *peth santaidd* dilwgr oedd efe, er iddo gael "ei wneuthur o wraig," ac er ei fod "yn nghyffelybiaeth cnawd pechadurus;" pe amgen, nis gallasai roddi iawn am bechodau ei bobl; pe buasai ganddo bechod ei hun, ni fuasai yn aberth dianaf—ac ni allasai efe sigo pen y sarff pe buasai yn gyfranog o'i gwenwyn hi—gallasai Duw greu dynoliaeth lân i'r Gwaredwr o bridd y ddaear, fel y gwnaeth â'r Adda cyntaf; ond yna ni buasai yn perthyn i ni, ac ni buasai lle genym i orfoleddu, a dywedyd, "nid naturiaeth angylion, ond *had Abraham* a gymmerodd efe."—Nid peth rhy anhawdd i Dduw fuasai cwbl santeiddio tad a mam i'r natur ddynol, fel y buasai i Grist gael ei genedlu yn lân heb arferu gwyrth; ond gweddus oedd i'r hwn sydd uwchlaw pawb yn *Dduw bendigedig yn oes oesoedd*, i gael corff mewn *modd* ag a fuasai mewn rhyw ystyr yn cyfateb i urddas ei berson, yr hyn ni chawsai oni buasai i'r Ysbryd Glân i'w ffurfio mewn modd goruwch naturiol—ac fe debygid fod cyfeiriad at hyn yn yr addewid flaenaf, lle y gelwir Crist yn *Had y wraig*, ac nid yn had y dyn.—Yr oedd mawr allu Duw yn weledig yn hyn, canys yn ol deddf natur nis gallasai *morwyn* ymddwyn ar Fab—gwelwn yr un *gallu* yn ymddysgleirio yn ngwaith Crist yn cadw rhag ei elynion hyd nes daeth ei awr; ac yn neillduol yn ei adgyfodiad buddugoliaethus o'r bedd, pan ddrylliodd efe rwymau'r bedd, ac y profodd na allasai angeu ei gadw ef yn garcharor yn hwy.

2. Ymddengys gallu Duw yn fawr dros ben yn mhlaniad Cristionogaeth yn y byd. Nid oedd yr offerynau o'i thaeniad ond dynion gwael, anenwog, ac annysgedig, pysgodwyr glàn môr Galilea a'r cyffelyb; yr oedd yr athrawiaeth a bregethent yn groes i bob crefydd yn y byd, ac felly, yn fwy annhebyg i lwyddo; yr oedd y dysgedigion cenedlig yn ei chyfrif yn ynfydrwydd fod yr hwn a groeshoeliasid yn Judea yn cael ei bregethu yn Waredwr iddynt; tybiai yr Iuddewon fod yr efengyl yn wrthwyneb i lais Duw trwy Moses; yr oedd lluoedd yn mhob gwlad yn eu gwrthwynebu oblegid y buasai eu llwyddiant yn foddion i rwystro yr elw bydol a fyddent arferol o'i gael, i ddyfod iddynt; ac nid trwy beri i'w canlynwyr i ymladd dros eu crefydd y llwyddasant, (megys y gwnaeth Mahomet, yr hwn a wnaeth i'w feirch rhyfel i sathru penau llawer o ddynion, er mwyn argraffu yr Alcoran ar ymenyddiau ereill,) ond trwy adrodd eu tystiolaeth y gorchfygasant y byd; ac felly, yr oedd yn amlwg fod "arfau eu milwriaeth hwy yn *nerthol* trwy Dduw er tŷnu cestyll y diafol i lawr;" ac mai gyda'r cymhwysder mwyaf y gelwir yr efengyl yn *allu Duw* er iechydwriaeth, Rhuf. i, 16.

3. Yr un gallu anfeidrol sydd yn ymddangos yn nghyfnewidiad pechadur, pan gymhwysir yr iechydwriaeth at ei gyflwr. Y mae dyn yn ei gyflwr natur yn *elyniaeth* yn erbyn Duw, gan hyny, rhaid cael gallu Duw i'w wneyd yn *ewyllysgar* yn nydd ei nerth, (Sal. cx, 3,) ac mewn trefn i amlygu yr anghenrheidrwydd o allu Duw at y gorchwyl hwn, gelwir ef yn *greadigaeth newydd*, 2 Cor. v, 17. Mae mwy o allu Duw yn ymddangos yma nag yn nghrëedigaeth y byd; pan greodd Duw y byd efe a'i gwnaeth heb wrthwynebiad, os nad oedd neb yn ei gynnorthwyo, nid oedd neb yn ei wrthwynebu; ond yma yr oedd diafol cryf, arfog, ynghyd â chalon elynol y pechadur yn groes—gwaith mawr yw dwyn y rhai sydd yn gas ganddynt burdeb a meddyliau parchus am Dduw, i ymhyfrydu yn ei ffyrdd, ac i garu â'u holl galon yr hyn a gasaent erioed, dwyn y cablwr yn weddiwr, symud *brychau* y *llewpard*, rhoddi bywyd mewn *esgyrn sychion*, troi llew yn oen, a gwneuthur gwas ufydd i satan yn weithiwr dyfal yn ngwinllan Crist, &c., ond y mae Duw wedi gwneuthur hyn, ac efe a'i gwna etto. *Y rhai trwy allu Duw ydych gadwedig*, 1 Pedr i 5. Y mae gallu Duw yn concwero eu meddwl a'u calon, ac felly, yn lle achwyn ar, y maent yn canmol eu gorchfygwr.

4. Nid llai amlwg yw gallu Duw yn ymddangos yn niogelwch ei eglwys yn ngwyneb y peryglon mwyaf yn mhob oes o'r byd. Mawr oedd syndod Moses pan welodd berth ar dân, ond etto heb gael ei difa. Nid oedd y berth losgedig ond arwydd o sefyllfa Israel yn yr Aifft; ond y mae yn hawdd i ni ganfod ynddi bortreiad o gyflwr yr eglwys yn amrywiol oesoedd y byd; y mae yn y byd lawer o bethau ag sydd yn angharedig iddi hi, y mae llwyddiant yn gosod mil o faglau yn ei ffordd, y mae trallodion ac aflwyddiant yn cynnyg llawer profedigaeth, ac y mae tân erlidigaeth yn cael ei ennyn o'i hamgylch, i ryw raddau yn oestadol;

os mynwn weled yr eglwys mewn hanesyddiaeth, rhaid i ni edrych arni wrth oleu y tân yn yr hwn y llosgwyd ei mheibion dewraf; os dilynwn eu hol, wrth y gwaed a dywalltodd ei mherthyron y mae i ni weled y llwybr ar hyd yr hwn yr aeth; y mae ei gwrthwynebwr diafol yn ddyfal yn ceisio y sawl a allo ei lyncu o honi; ac y mae twyll, dichell, a llygredd y galon heb eu llwyr ddifetha; wrth ystyried hyn, rhyfedd ei bod heb ei difa; a mwy rhyfedd ei bod yn cynnyddu, ond y mae rheswm cadarn am hyny, "*Eu Gwaredwr sydd gryf*, Arglwydd y lluoedd yw ei enw; efe a lwyr ddadleu eu dadl hwynt, &c." Jer. l, 34; o herwydd paham y mae hi gwedi llwyddo yn yr amseroedd mwyaf enbyd; y mae gwedi tyfu o dan fwyill erlidwyr; gwedi lliosogi mewn caethiwed; ac wedi ennill y frwydr lawer gwaith o dan draed meirch ei herlidwyr; pyrth uffern nis gorchfygant hi, am ei bod ar Graig yr oesoedd, Math. xvi, 18.

5. Y mae yr hyn a wnaeth efe i bersonau a chymdeithasau neillduol mewn ffordd annhebygol ac annysgwyliadwy, yn brawf o'i allu, yn neillduol o'i alluog drugaredd. Llawer gwaith y gwnaeth fwy nag a ddysgwyliasid oddiwrtho, dros ei eiddo; nid oedd y *mab afradlon* yn y ddammeg, yn dysgwyl cael mwy nâ bod fel *gwas cyflog*, ond efe a gafodd ei arddel yn fab, ei wisgo â'r *wisg oreu*, a gwledd yn cael ei pharotôi i arwyddo bod ei dad yn hoffi cymmaint i'w gael ef adref, ag yr oedd efe i gael lle yn ei dŷ, Luc xv, 19—22. Nid oedd y dyledwr yn Math. xviii, 26, 27, yn ceisio gan ei Arglwydd ond bod yn *ymarhous* tuag ato, ac yna y talai efe y cwbl oll; ond mae ei Arglwydd yn *maddeu* yr holl ddyled—mewn gair, y mae gwaith Duw yn mhob ystyriaeth yn profi y *dichon* efe *wneuthur yn dra rhagorol y tuhwnt i bob peth yr ydym ni yn eu dymuno, neu yn eu meddwl*, Eph. iii, 20. Gan fod ei *allu* ef yn maeddu ein *meddwl ni*, neu yn medru dwyn oddiamgylch bethau nas gallwn ni gymmaint â meddwl am danynt, fe dâl i ni roddi ein hachos i'w law alluog.

*Y mae yr hyn a ddywedwyd am allu Duw yn dysgu y gwersi canlynol i ni:—*

1. Mai *gallu* Duw sydd yn rhoddi grym a bywyd i'w holl briodoliaethau ereill, ac yn gosod pwys ar ei amcanion oll; ofer fyddai ei fwriadau boreuol heb allu i'w cyflawni, tosturi dieffaith fyddai ei drugaredd heb allu i waredu; ni byddai ei gyfiawnder ond hwdwg dirmygedig heb allu i gospi, na'i addewidion ond swn gwag heb allu i'w cyflawni; ond y mae ei anfeidrol allu yn peri i bob priodoledd i ymddysgleirio a llwyddo.

2. Fod mwy o wrthddrychau i allu Duw nag i rai perffeithiadau ereill; o herwydd y mae gallu weithiau nid yn ystyried fod gwrthddrychau yn bod, ond yn eu dwyn i fod; y mae trugaredd yn golygu'r gwrthddrych yn resynol, ond nid ei wneuthur felly; y mae cyfiawnder yn ei olygu yn feius, ond nid ei wneuthur felly; eithr y mae gallu wedi gwneuthur ei holl wrthddrychau; y mae gwrthddrychau neillduol gan drugaredd, y

rhai na fŷno cyfiawnder eu cospi yn y diwedd; ac y mae gwrthddrychau gan gyfiawnder i'w cospi, y rhai na wnaiff trugaredd eu hachub; nid yw creadur fel creadur yn ddeiliad trugaredd na chyfiawnder, yn yr ystyr yr arferir y geiriau fynychaf yn y beibl, ond y maent oll yn wrthddrychau gallu, fel y cyfryw.

3. Mawr ffolineb y rhai sydd yn gwrthryfela yn barhaus yn erbyn Duw. Pa ennill a gaiff dyn wrth ryfela â'r Hollalluog, yr hwn a fedr ei ddyfetha pryd y mŷno, gyda'r rhwyddineb mwyaf; ni'th raid iddo ond *troi ei law* yn erbyn ei elynion i'w darostwng, Sal. lxxxi, 14, neu *chwythu* arnynt, a hwy a wywant, Esay xl, 24, ïe, nid oedd raid iddo fyned i fwy o draul nag *edrych* ar fyddin yr Aifftiaid, a hwy a derfysgwyd, Ecs. xiv, 24. Gresynol raid fod cyflwr y dyn ag sydd, nid yn unig heb allu Duw o'i blaid mewn cyfyngder, ond sydd â Duw Hollalluog yn ei erbyn!

4. Mai anweddus iawn yw dywedyd fod Duw yn ewyllysio pethau na ddaw i ben. Er fod yr ysgrythyr weithiau yn son am Dduw megys pe byddai yn methu cael ei amcanion i ben, dylem gofio mai ar wedd ddynol y mae yn llefaru; canys y mae ei allu o'r un hŷd a'r un lled â'i ewyllys; lle yr elo ei ewyllys, fe fedr ei allu ei chanlyn; nid yw efe yn ewyllysio dim ond yr hyn sydd dda, ac y mae yn sicr y gall efe wneuthur pob peth ag sydd yn dda—byddai dywedyd fod Duw yn methu cael ei ewyllys, yn gwneuthur y Duw cadarn yn wàn, a'r Brenin bendigedig yn annedwydd—*yn ol ei ewyllys ei hun y mae yn gwneuthur â llu y nefoedd, ac â thrigolion y ddaear*, Dan. iv, 35; Sal. cxxxv, 6.

5. Mai dedwydd yw y rhai a ymddiriedo yn Nuw. Bydd y cyfryw yn ddiogel yn mhob amgylchiad; y mae ei alluogrwydd yn annogaeth i ni i'w addoli—i alw arno, i bwyso arno am gymhorth yn ngwyneb gorthymder, erlid, profedigaeth, ac angeu ei hun; y mae y geiriau "Myfi yw Duw Hollalluog," yn ddigon i blant Duw fyth, fe gyflawna ei addewidion, fe lwydda ei eglwys, fe gynnal y gweiniaid hyd y diwedd; fe all credinwyr fod mewn trallod yma, o herwydd fod pechod ynddynt; ond ni chyfrgollant byth, o herwydd fod Duw Hollalluog gyda hwynt.

ANFEIDROL yw dy allu mawr,
Ti Grëwr nefoedd wen a llawr;
Trwy ddweyd y gair daeth myrdd i fod,
I rwydd fynegu'th gyflawn glod.

Myrdd, myrdd o fydoedd mwy nâ rhi'
Babellant mewn ëangder fry,
A'r dirfawr lu, anrhaethol faich,
Gynnalia'n hawdd dy nerthol fraich.

Y gwynt a'r môr a ro'nt it barch,
Gan ymlonyddu wrth dy arch;
A'r mellt, sy'n peri braw a chur,
A ânt ffordd trefno'th gynghor pur.

O ym'lau'r byd hyd drigle'r sêr,
O'r eigion mawr hyd orsedd Nêr,
Iaith eglur pob creadur yw,
Mai Hollalluog ydyw Duw.

Y fraich sy'n dal sylfeini'r byd,
A maith golofnau'r nef i gyd,
Yn estyngedig heddyw sydd,
O blaid y tlawd o 'chydig ffydd.

Gwaith ofer fydd i uffern mwy
I roi merch Sion dan ei chlwy';
I'r làn â hon i'w chartre' fry,
*Hollalluogrwydd* sydd o'i thu.

# DOETHINEB DUW.

"Doethineb a nerth ydynt eiddo ef."—DAN. II, 20.

MEGYS y mae yr athrawiaeth o fôd Duw yn arwain y meddwl yn uniongyrch i'w ystyried yn fôd hollalluog, felly nid hir y gellir sylwi ar ei weithredoedd rhyfeddol, ffrwythau ei hollalluogrwydd, heb i'r enaid gael ei ddwyn i ganfod fod anfeidrol *ddoethineb* yn gystal â nerth yn perthyn iddo ef. Priodolir doethineb yn dra mynych i Dduw yn yr ysgrythyrau. *Gydag ef y mae doethineb*, &c., Job xii, 13. *Yr hwn a wnaeth y nefoedd mewn doethineb*, Sal. cxxxvi, 5. *Efe a sicrhaodd y byd trwy ei ddoethineb*, Jer. x, 12. A gelwir ef mewn amryw fanau *Yr unig ddoeth*, megys yn Rhuf. xvi, 27; 1 Tim. i, 17; Jud. 25. Ac, yn ddiau, pe na buasai efe yn anfeidrol ddoeth, ni fuasai efe yn fôd perffaith, ac heb fod yn berffaith di-ddiffyg, ni allasai efe fod yn Dduw. Nid yw y dyn a fyddo yn ymddifad o synwyr yn ddyn perffaith; felly, cyn y gallom ffurfio syniadau addas am Dduw, rhaid i ni symud pob math o anmherffeithrwydd a diffyg oddiwrtho ef yn ein meddyliau. Ni's gall haul, tra byddo yn haul, fod heb lewyrch a gwres, na dwfr fod heb wlybwr; felly ni ddichon y Jehofa lai nâ bod yn ddoeth, nid yn unig am ei fod yn caru bod yn ddoeth, ond hefyd am na ddichon efe beidio bod yn ddoeth. Rhaid i dywyllwch a goleuni, dydd a nos, gwendid a nerth, i arwyddo yr un peth, ac anmhosiblrwydd i ddyfod yn bosibl, cyn y gallom feddwl am Dduw annoeth a diffygiol.

2. Trwy ddoethineb y mae Duw wedi sefydlu ar y dyben goreu (ei ogoniant ei hun)—wedi trefnu y moddion goreu i'w ddwyn i ben—ac yn gofalu i gadw pob rhwystr i'r moddion hyny i weithredu oddiar y ffordd. Y mae gwahaniaeth rhwng gwybodaeth a doethineb yn mhlith dynion. Y mae gwybodaeth yn cartrefu yn y deall, eithr y mae doethineb yn cynhyrfu i weithredu. Gwybodaeth yw sylfaen doethineb. Y mae llawer o wybodaeth gan rai a'r nad oes ganddynt fawr doethineb. Dichon dyn wybod rheolau cyffredinol amrywiol byncian dysgeidiaeth, ond etto heb fedru cymhwyso y rheolau hyny at byncian dyrus, y rhai na fu o dan ei sylw o'r blaen. Sonir am *ddoethineb* a *gwybodaeth* Duw fel pethau gwahanol yn Rhuf. xi, 33. *O ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw.* Ac y maent yn cael eu darlunio fel rhoddion o eiddo yr Ysbryd i'r saint, 1 Cor. xii, 8. *Canys i un, trwy yr Ysbryd, y rhoddir ymadrodd doethineb, ac i arall ymadrodd gwybodaeth;* ond y mae gwybodaeth a doethineb yn cwrdd yn Nuw. Y mae efe yn gwybod pob peth, y mae yn ei adnabod *ei hun* yn berffaith, yr hyn nid yw neb arall; ac y mae efe yn adnabod pob peth arall, ac yn trefnu y cwbl i'r dybenion goreu.

3. Yr un yw doethineb Duw â'i hanfod. Peth a ychwanegwyd at ddyn yw yr ychydig ddoethineb sydd ganddo—dichon dyn fod yn un màn, a

doethineb mewn màn arall yn mhell oddiwrtho; canys y mae *ffoliaid*, y rhai nad oes fawr cyfrinach rhyngddynt â doethineb, yn y byd, yn gystal â *doethion;* ond Doethineb ei hun yw Duw, yn gystal â *Chariad.* Nid yw ei holl berffeithiadau, megys Hollalluogrwydd, Hollwybodaeth, Doethineb, Santeiddrwydd, a Chariad, ond amlygiadau o'i wahanol weithrediadau. Hollalluogrwydd Duw yw Duw yn medru gweithredu y peth a fyno efe—ei ddoethineb yw Duw yn ymddwyn yn gall yn mhob peth—a'i gyfiawnder, yw Duw yn ymddwyn yn gyfiawn yn oestadol, &c.

4. Nid oes neb yn ddoeth i raddau cyflawn ond Duw; yr oedd y rhai mwyaf hyglod yn mhlith y paganiaid yn addef hyn—yr oeddid gynt yn galw dynion medrus mewn celfyddydau yn mysg y Groegiaid, SOPHOI *(doethion;)* ond barnodd Pythagoras a Socrates, dau o'r dynion enwocaf yn eu mysg, fod hwnw yn enw rhy uchel i neb ond i Dduw; ac o hyny allan adnabuwyd hwy wrth yr enw PHILO-SOPHOI *(carwyr*, neu *gyfeillion doethineb*, neu *Philosophyddion* :) lle y gwelwn mai parch i ddoethineb Duw, gan ddynion ag oedd heb y Bibl Santaidd a fu yn achos i'r enw *Philosophyddion* gael ei ddechreuad. Brysiaf bellach i ddangos y ffordd ag y mae doethineb Duw yn amlygu ei hun yn y greaduriaeth—rhagluniaeth—ac iechydwriaeth. Y mae yr un pethau yn egluro ei anfeidrol ddoethineb ag sydd yn datgan ei anfynegol allu.

1. Y mae gwaith y greaduriaeth yn gosod allan fawr ddoethineb yr hwn a'i dygodd i ben. *Mor lliosog yw dy weithredoedd, O Arglwydd, gwnaethost hwynt oll mewn* DOETHINEB, Sal. civ, 24.

1. Y mae y synwyr ag sydd mewn amrywiol greaduriaid yn amlygiad o synwyr a doethineb mwy yn y Creawdwr, canys ni's gall un bôd gyfranu i arall y peth nad yw yn ei feddu ei hun. Efe sydd wedi cynnysgaeddu dyn â deall i gael allan lawer o gelfyddydau cywrain a buddiol—efe sydd wedi dysgu y morgrugyn i gasglu ei ymborth yn yr haf dros y gauaf—efe sydd wedi hyfforddi y wenynen i weithio ei chelloedd mor gywrain, a'u llanw trwy lafur a lludded â modd i'w chynnal yn y gauaf chwerw—efe hefyd sydd wedi trefnu i greaduriaid difywyd i ddwyn i ben ddybenion y rhai na's gwyddant ddim oddiwrthynt. Ni's gŵyr yr haul ag sydd yn llonu gwyneb natur, nâ'r ddaear, yr hon sydd yn esgor ar ei miloedd o lysiau yn barhaus, ddim am y dyben sydd yn cael ei ateb trwy hyny—eithr nid yw yr amlygiadau mwyaf o ddoethineb yn y creaduriaid mwyaf clodfawr ddim mwy i ddoethineb Duw nâg yw llun neu ddelw dyn i'r dyn ei hunan—y mae delw dyn yn arwyddo fod dyn yn bod, ond nid yw ei lun, neu ei ddelw, yn amlygu ond ychydig o ardderchawgrwydd y creadur rhesymol dyn; felly amlygiad byr o anfeidrol ddoethineb y Jehofa yw y synwyr a feddiennir gan ei amrywiol greaduriaid.

2. Y mae yr *amrywiaeth* rhyfeddol ag sydd yn ngwaith y Jehofa yn amlygiad o'i fawr ddoethineb. *Mor lliosog* (neu amrywiol) *yw dy weithredoedd, O Arglwydd! gwnaethost hwynt oll mewn doethineb*, Sal. civ, 24. Y mae y nef uwch ein penau yn cynnwys amrywiaeth anfynegol, o

ran maintioli, llewyrch, a gogoniant eu lluoedd dysclaer—mor rhyfedd wahanol hefyd yw ehediaid yr awyr, yn eu lliwiau, eu lleisiau, eu maintioli, a'u dulliau—nid llai amlwg yw yr amrywiaeth a welir yn mwystfilod y maes, ymlusgiaid y ddaear, pysg y moroedd, ac yn y greaduriaeth llysdyfawl: hawdd yw gweled yn ngerddi rhai dynion gannoedd o lysiau gwahanol yn eu harogl, eu blas, eu lliwiau, eu dulliau, a'u dybenion, yn tyfu yn yml eu gilydd, heb ddim gwahaniaeth yn y ddaear ag sydd yn eu meithrin!—y mae yr amrywiaeth ag a welir yn mhlith y rhywogaeth ddynol yn hollol anarluniadol; peth anmhosibl yw cyfarfod â dau ddyn ag a fyddo yn berffaith debyg i'w gilydd mewn dull, llais, grym, a chynneddfau. Ac y mae yn sicr fod llunio y fath amrywiaeth anfeidrol o greaduriaid ardderchog yn amlygiad o fwy doethineb nâ phe buasai pob creadur yn debyg i'w gilydd, megys y mae bod yn hyddysg mewn amryw gelfyddydau ac ieithoedd yn brawf o uwch ddysgeidiaeth nâ bod yn fedrus mewn un o honynt; ac wrth sylwi ar amryw weithredoedd Duw, o'r braidd y gallaf gyfrif neb ond efe yn deilwng o'r enw Athraw, neu *Feistr y celfyddydau* (Master of Arts;) ond y mae ei waith yn profi ei fod ef felly yn berffaith.

Y mae yn deilwng o'n sylw hefyd, fod yr *amrywiaeth* hyn mor ddefnyddiol ag y mae yn rhyfeddol, canys heb y cyfryw wahaniaeth hawdd yw rhagweled yr annhrefn a'r trueni a gymmerai le yn y byd; gallai yr echwynwr gael ei gymmeryd yn lle y dyledwr, y dyn onest a'r heddychol yn lle y lleidr a'r llofrudd, a gwenwyn yn lle meddyginiaeth, a gelyn angeuol yn lle cyfaill mynwesol; felly y mae'r amrywiaeth hyn yn fuddiol i ddyn, ac yn ogoniant i Dduw y doethineb.

3. Pe ystyriem gyfansoddiad, ansawdd, a thueddiadau ychydig o lawer o'r creaduriaid aml a wnaeth Duw, fe'n rhwymid i ddywedyd, "Mewn doethineb y gwnaethost hwynt oll,"—rhai o honynt a hoffant fyw mewn dyfroedd dyfnion, ac a drengent pe cedwid hwy yn hir oddiyno, er y byddai yr elfen ddwfr yn angeu i ereill—rhai a ymhyfrydant hwylio trwy yr awyr denau, gwedi cael eu cynnysgaeddu âg adenydd i'w dwyn yn erbyn y gwyntoedd geirwon, ac â chynffonau, â'r rhai y medrant lywio eu cyrff trwy yr uchelderau, o lawer yn well nâ'r morwr ei long ar y dyfroedd—math arall o greaduriaid a ddysgwyd ac a addaswyd i fyw o dan wyneb y ddaear, ac i gasglu eu hymborth, a medru byw ar yr hyn a gânt yno—a phe cyfyngem ein sylwadau at y creadur o ddyn, cawn ynddo fyd bach o ryfeddodau mawrion; y mae y llygad yn beth mor gywrain, fel y gellir ei alw yn "feddyginiaeth anffaeledig i atheistiaeth,"—mor rhyfedd y mae y glust yn cyflawni ei swydd—mor annirnadwy y mae pob aelod yn ufyddhau i'r ewyllys neu'r meddwl—mor rhyfedd yw gwaith y cylla yn treulio yr ymborth, ac yn trosglwyddo meithriniaeth i'r gwaed, ac felly i holl ranau y corff—ac mor synadwy y mae y galon yn gwthio y gwaed trwy y rhedweliau, i ranau mwyaf pellenig y corff, ac yn ei dderbyn yn ol trwy y gwythienau tua chan' mil o weithiau mewn diwrnod a noswaith,

heb ddiffygio dros flynyddau meithion. Ac oddiwrth bob rhan arall o'r corff y mae rhyfeddodau dirifedi yn cyfodi. *Ofnadwy a rhyfedd y'm gwnaed; rhyfedd yw dy weithredoedd; a'm henaid a wyr hyny yn dda*, Sal. cxxxix, 14.

4. Dengys y cyssondeb a'r cyd-darawiad sydd rhwng y gwahanol bethau a greodd Duw, fawr ddoethineb eu Lluniwr gogoneddus. Er fod yr amrywiaeth gymmaint fel pe byddai un peth â thuedd cryf ynddo i lwyr ddifrodi y llall, etto y mae y cwbl yn effaith dyfais anfeidrol, ac fel olwynion peiriant yn cydweithio i ddwyn yn mlaen ddyben y perchenog, er troi mewn ymddangosiad yn groes i'w gilydd—y mae y gauaf, er mor wahanol yw i'r haf, yn tyneru y ddaear, yn lladd amrywiol fath o bryfed dystrywgar, ac felly yn cynnorthwyo yr haf canlynol i feithrin ei ffrwythau dymunol—dydd a nos, er mor wahanol, a drefnwyd i ddwyn yn mlaen negesau y naill y llall; er bod y nos yn gosod rhwystr i waith y dydd, etto, fel amser o orphwysdra, y mae yn addasu dynion at orchwylion y dydd canlynol, a thrafferth y dydd a wna i'r gweithiwr lluddedig i roesawi y nos, ac i orphwysfa fod yn felus—tir a môr a gydweithiant mewn amryw ystyriaethau i ddwyn yn mlaen fasnach a chysur dynol—amrywiol goedydd a llysiau gwrthwynebol yn eu natur a'u effeithiau, a gawsant orchymyn i fod yn llesiol i ddyn yn eu lleoedd priodol—nefoedd a daear a ddangosant yn eglur rym dyfais a dyfnder doethineb yr hwn a'u lluniodd. *Gwrandawaf, medd yr Arglwydd, ar y nefoedd—a hwythau a wrandawant ar y ddaear, a'r ddaear a wrendy ar yr ŷd a'r olew, a hwythau a wrandawant ar Jezreel*, Hos. ii, 21, 22. Fel nad oes un droell neu olwyn dros ben mewn awrlais *(clock,)* felly nis gellir hebgor un o'r pethau a greodd Duw, heb fod diffyg yn y gwaith. Er bod amryw bethau crëedig nas gwyddom ni at ba beth y maent yn dda, etto y mae yr hyn a wyddom yn profi mai ein *hanwybodaeth* a'n *hunan-gariad* ni yw yr achos o hyny, y rhai ydym yn barod i benderfynu nad yw un peth o fawr defnydd, oddieithr i'r fath dylwyth clodfawr â hil y gwrthgiliedig Adda i gael lles oddiwrtho!

II. Dengys llywodraeth Duw ar ei holl greaduriaid, ei anfeidrol ddoethineb.

1. Nid llai doethineb sydd yn eisiau i lywodraethu yn heddychol y lluoedd dirif a greodd y Jehofa, nag sydd yn eu ffurfiad cyntaf;—canys os oes llawer o ddoethineb yn angheurheidiol i lywodraethu un teulu bychan, ac os nad yw brenin annoeth ond *gwae* i'r deyrnas a fyddo dan ei lywodraeth, ac os yw doethineb *esgob* yn anghenrheidiol i lywodraethu un eglwys, a hyny yn fynych yn rhy fach, pa faint raid fod doethineb anfesurol yr Hwn ag sydd yn llywodraethu tylwythau, teyrnasoedd, a lluoedd dirif y greaduriaeth? Y mae yn anmhosibl i sylwi mewn modd dyladwy ar y modd y mae y fath fyrddiynau o fôdau gwahanol ag a gynnwys nefoedd, daear, a dyfroedd, megys yn cydgynnal byd gyda'u gilydd, heb ganfod llaw anfeidrol ddoethineb wrth lyw'r llywodraeth.

2. Y mae y gwahanol *alluoedd*, *medrusder*, a *thueddiadau*, ag y mae Duw yn ei gyfranu yn barhaus i ddynion, mewn trefn i ddwyn yn mlaen ddybenion ei lywodraeth, yn amlygiad neillduol o'i fawr ddoethineb. O achos un neu ychwaneg o'r pethau uchod, nid oes un gelfyddyd mor wael a'r nad oes rhai yn ymroddi i'w dilyn; nid oes un swydd mor ddirmygedig nad yw rhai am ei gwisgo, nac un wlad na chymmydogaeth mor anial a difreintiau nad yw rhai yn chwennych byw yno. Pe byddai pawb yn llwyr ymroddi i ddilyn yr un alwad, neu i fyw yn yr un wlad, neu ddinas, y fath le annyben a thruenus a fyddai y byd hwn! ond tra fyddo Duw y doethineb wrth lyw y llywodraeth, efe a ofala i weled pob gwagle mor llawned ag y byddo eisiau.

3. Amlyga Duw ei ddoethineb yn fynych wrth gynnorthwyo a gwaredu yr anghenus a'r gresynol pan fyddo pob arwyddion presennol yn darogan dinystr iddo. Nid yw anfeidrol ddoethineb fyth mewn diffyg goleuni yn nghanol y tywyllwch mwyaf du-dew. Yn nghanol y nos dywyllaf mewn rhagluniaeth y mae efe yn fynych yn peri i seren ddydd gwaredigaeth i gyfodi, gan ein cofio yn ein *hisel-radd*, (Sal. cxxxvi, 23.) Weithiau y mae yn cymmeryd ymaith wroldeb y gelyn, fel eiddo y Canaaneaid o flaen Israel, (Jos. ii, 24;) bryd arall, y mae yn rhoddi gwaith arall iddynt yn lle ymlid y diniwed, fel y rhoddodd i Saul pan oedd yn erlid Dafydd, pan ddaeth cenad i ddweyd, "*Brysia, a thyred, canys y Philistiaid a ymdaenasant ar hyd y wlad*," 1 Sam. xxiii, 27. Pan fyddo yr eglwys weithiau, fel Isaac, ar yr allor yn barod i gael ei lladd, y daw doethineb ddwyfol i nodi allan ffordd o ddihangfa.

4. Datguddir doethineb y Creawdwr yn fynych yn ei waith yn dwyn oddiamgylch ymwared trwy y moddion mwyaf annhebygol i lwyddo. Ffordd annhebyg iawn i dderchafu Joseph yn llys yr Aifft oedd goddef iddo gael ei gasâu, ei ddirmygu, a'i werthu gan ei frodyr digasog, ei gamgyhuddo gan ei feistres, ei daflu i garchar gan ei feistr, a'i anghofio yn hir gan y pen-trulliad, i'r hwn y bu efe mor wasanaethgar; pa fodd bynag yr oedd pob un o'r pethau hyn fel cynnifer o ffyn yn ysgol rhagluniaeth i'w dderchafu ef yn uchel. Pan fyddo ymddangosiad pethau yn peri i lawer Credadyn i ddywedyd, gyda Jacob, Gen. xlii, *Yn fy erbyn i y mae hyn oll*, dyna'r amser, yn fynych, y mae dwyfol ddoethineb yn peri fod y cwbl o'i blaid ef.

5. Dengys doethineb Duw yn fawr yn ei waith yn diddymu doethineb y deallus, ac yn *dal y doethion yn eu cyfrwystra*, Job v, 13. Yr oedd y fath olwg gan y bobl yn gyffredin ar synwyr Ahitophel, fel y cymmerid y cyngor a roddai efe *fel ped ymofynai un â gair Duw*, 2 Sam. xvi, 23; ond ei gyngor ei hun a fu yn achlysur o'i farwolaeth, ac o rydd-did i Dafydd, yr hwn a chwennychai efe ei ladd. Daeth holl ddyfais Haman llidiog i'r dim trwy waith Duw yn aflonyddu y brenin Ahasuerus yn y nos, yr hyn a'i hannogodd i gael ysgrifeniadau y deyrnas yn ddarllenedig o'i flaen, yn ganlynol Haman a gafodd brofi o *flaen-ffrwyth* y pren chwerw a blanodd

efe ei hun. Gellid cymharu y ddau wr anserchog uchod, ynghyd â'u tylwyth, i adarwr, yr hwn, er mwyn gwneyd digon o waith angeuol yn mhlith yr adar gwirion, a lwytha ei ddryll yn ddyblyg, a thrwy hyny yn hollti, gan niweidio ei berchenog, tra y mae yr ehediaid diniwed yn dianc. *Yr annuwiol a faglwyd yn ngweithredoedd ei ddwylaw ei hun*, Sal. iv, 16.

III. Y mae gwaith iechydwriaeth o'r dechreu hyd y diwedd yn amlygu anfeidrol ddoethineb yn y modd mwyaf ardderchog.

Y mae amryw o eiriau mwy hynod yn cael eu defnyddio i osod allan ddoethineb y Jehofa yn nhrefn iedchydwriaeth, nag mewn un peth arall.

1. Dywedir am yr Iachawdwr ei hun. Col. ii, 3, *Bod* HOLL DRYSORAU *doethineb a gwybodaeth yn guddiedig ynddo.* Yr oedd doethineb, fel y sylwyd eisioes, wedi cyfranu yn helaeth o'i chyfoeth yn y greadur-iaeth, ond yn mhrynedigaeth yr amlygodd hi gyflawnder ei thrysorau, ac y dangosodd hi ei thlysau a'i pherlau anmhrisadwy. Yr oedd hi wedi gosod ei haddurn yn ardderchog ar y bydoedd crëedig, ond yma mae wedi ennill enw tragywyddol iddi ei hun, pan ballo y greadigaeth ei chanmol.

2. Fe'i gelwir yn *ddoethineb guddiedig,* 1 Cor. ii, 7. Nid bod Duw wedi cuddio y ddoethineb hon rhag angylion na dynion yn mhob ystyr; canys y mae efe wedi ei dadguddio i *dywysogaethau ac awdurdodau trwy yr eglwys;* ond ei hanfeidrol *fawredd* sydd yn guddiedig, ac fel cariad Crist, y mae *uwchlaw gwybodaeth*, fel nad oes un meddwl meidrol, mewn seraph nac mewn dyn, a all ei gynnwys, dim mwy nag y gallasent lunio a threfnu y llwybr a gymmerodd i achub ar y cyntaf. Y mae y geiriau fel yn arwyddo y gellid cael allan weithredoedd doethineb mewn pethau ereill, er mor rhyfeddol ydynt, neu o leiaf, fod y rhyfeddodau sydd yn nglŷn wrth greu a chynnal yn darfod wrth eu cymharu â'r rhai a amlygir yn iechydwriaeth.

3. Gosodir hi allan wrth yr enw, *Mawr*, AMRYW *ddoethineb Duw*, Eph, iii, 10, neu, *ddoethineb amryw-blyg*, megys ped fuasai wedi ei phlygu i fynu mewn llawer o blygiau; gan arwyddo fod doethineb yn y greadig-aeth a rhagluniaeth, fel yn arwain bywyd sengl, ond yn y brynedigaeth y mae yn ymddangos yn nghymdeithas lluaws; y mae ei gweithredoedd yn yr olaf yn rhagori cymmaint ar ei heiddo yn y cyntaf, ag yw ymdrech-iadau tyrfa yn maeddu gorchestion un dyn yn unig. Nid oedd yr amlygiadau newyddion a gafwyd erioed o'r Messia ddim yn amgen nag agoriadau ar blygiau doethineb; ac y mae yn lled sicr fod gogoniant y nef yn gynnwysedig mewn dadblygiad parhaus o ddoethineb achubol. Pan ddechreuom syllu ar hon, yr ydym yn debyg i forwyr a fyddai wedi cael gafael mewn gwlad newydd ffrwythlon, y rhai, pan diriont gyntaf a syllant ar ei hymylau, heb wybod fawr etto am ei helaethrwydd a'i chyf-lawnder; eithr deuant i wybod fwy-fwy pa hwyaf y byddant ynddi—y mae gwlad doethineb yn ddigon ëang i ni dros dragywyddoldeb.

4. Yn yr iechydwriaeth y dywedir fod Duw yn HELAETH *i ni yn mhob doethineb a deall*, Eph. i, 8, yn eithaf digon i ateb holl ddybenion trugar-

edd achubol. Y mae hyn megys yn arwyddo yn ddystaw, fod rhyw ddiffyg neu brinder mewn doethineb wrth ei gorchwylion ereill, creu a chynnal; er mor ardderchog y gwnaeth hi y cwbl. Y mae rhai o'r rhyw ddynol wedi cael cyn leied o synwyr, fel o'r braidd y medrant drafod pethau y byd hwn, megys pe buasai doethineb wedi gadael ei gwaith ar ei hanner; ac y mae ereill mor amddifad o ddeall, fel nad ydynt yn meddu fawr o ddyn heblaw ei ddull, megys pe buasai doethineb wedi edifarhau yn ol dechreu ei ffurfio; ond yn yr iechydwriaeth nid oes dim diffyg, y mae yn gwneuthur ei holl wrthddrychau gwahanol *yn ddoeth i iechydwriaeth;* y mae yn dyfod â hwy i *adnabod Duw o'r lleiaf hyd y mwyaf o honynt.*—Yn y greadigaeth a rhagluniaeth y mae hi wedi gofalu am *lawer iawn* o bethau daionus i'r corff, ond yma y mae hi wedi trefnu i *bob peth* i gydweithio er daioni! Nid oes yma ddim prinder, gan hyny addas dros ben yw yr enw, *helaeth ddoethineb.* Ymddengys addasrwydd yr enwau uchod a roddir i ddoethineb achubol yn mhellach, pan ystyriom,

Yn ail. Weithredoedd rhyfeddol doethineb yn y drefn o achub.

1. Y mae wedi medru dwyn y daioni mwyaf allan o'r drygioni penaf. Nid oes dim yn fwy niweidiol ac atgas nâ phechod, na dim mor ddychrynllyd yn ei ganlyniadau; etto, trwy anfeidrol ddoethineb, y mae gwrthgiliad yr angylion a bechasant, eu llid parhaus fel diafliaid, a gwrthryfel dynoliaeth yn erbyn Duw, wedi achlysuru yr amlygiadau mwyaf dysclaer o ddwyfol amynedd, cyfiawnder, santeiddrwydd, a thrugaredd, yn y drefn nefol o achub; canys son am Iesu wedi ei *ladd*, ac yn *prynu* ei eiddo i Dduw *trwy ei waed*, sydd yn ennyn y *gân newydd* yn mhlith y gwaredigion, Dat. v, 10. Gwnaeth Iesu yn rhagorach ar y groes nâ throi y dwfr yn win; ond cofiwn mai pechod yw pechod fyth, ac nid rhinwedd.

2. Cymmodi pethau ag oedd yn anghytun, a dwyn pethau ag oedd a'u gofynion yn ymddangos yn groes i ymfoddloni yn yr un man. Mewn anfeidrol ddoethineb y trefnwyd i bethau yn y nef a phethau ar y ddaear i gyfarfod a chael eu huno yn Nghrist, angylion a dynion ydynt gymmodlon a chyfeillgar trwyddo ef. Yma y cyfarfu trugaredd a gwirionedd, ac yr ymgusanodd cyfiawnder a heddwch, (Sal. lxxxiv, 80,) y rhai oedd mewn ymddangosiad yn groes i'w gilydd. Cyfiawnder a ofynai ddial ar y troseddwr, a thrugaredd a fynai ei achub; buasai coron cyfiawnder yn syrthio heb gospi yn ol haeddiant y bai; a buasai anrhydedd trugaredd yn darfod heb gadw yr euog; ond doethineb trwy drefnu meichiau addas a gadwodd y ddau yn ddiogel. Cafodd cyfiawnder wneyd defnydd o'i chleddyf, a thrugaredd ledu ei breichiau achubol—cafodd cyfiawnder haeddiant dyoddefaint i dderbyn, a thrugaredd faddeuant rhad i'w gyfranu—cafodd cyfiawnder gyfle i dywallt ei holl soriant ar bechod, a thrugaredd i wlawio ei holl drysorau ar y pechadur gresynol—ac yma y mae y Jehofa yn *Arglwydd Dduw y dial* i bechod, ac yn *Dduw parod i faddau* i'r pechadur. Wele *ddaioni a thoster Duw!*

3. Dengys doethineb Duw yn nhrefniad un addas i fod yn Gyfryngwr

rhyngddo ef a'i greaduriaid, yn mherson ei Fab. Trwy y mab y crewyd y byd; pwy oedd yn gymhwysach i waredu y byd nag efe? Pwy mor addas ac mor debyg i lwyddo wrth eiriol gyda Duw â'i anwyl Fab ei hun? Dygodd unoliaeth y ddwy natur yn Nghrist y fath bellafoedd eithaf i gyfarfod â'u gilydd, fel yr oedd efe yn eithaf addas i lanw y gwagle rhwng Duw a dynion:—Cyfarfu anfeidroldeb a Meidroldeb—Hollalluogrwydd a gwendid—gogoniant a gwarth—cyfoeth a thlodi—nefoedd a daear—Creawdwr a chreadur—yn ei Berson ef; gan hyny yr oedd ganddo natur a fedrai ufyddhau, dyoddef, a marw, mewn undeb anwahanol â natur a fedrai wneyd ei ddyoddefiadau yn anfeidrol haeddiannol, ac i goncwero wrth farw! Pe na buasai ef yn ddyn ni allasai efe farw, a phe na buasai efe yn fwy nâ dyn, ni allasai fod mwy o rinwedd yn ei farwolaeth nag yn angeu rhyw ddyn arall. Gosododd doethineb ei mesurau mor ddwfn yma, fel y geilw yr Apostol ymddangosiad Duw yn y cnawd yn *ddirgelwch duwioldeb*, 1 Tim. iii, 16.

4. Trefnodd doethineb Duw, yn y brynedigaeth, gyfle i amlygu tueddiadau gwahanol a gwrthwynebol ar yr un pryd, sef y casineb mwyaf at bechod, a'r cariad cryfaf at bechadur—i gospi pechod hyd yr eithaf ac heb ddyfetha y pechadur, ac i adferu y pechadur heb goleddu pechod. Er cymmaint o anfoddlonrwydd a amlygodd Duw tuag at bechod wrth foddi yr hen fyd, llosgi Sodom, a phoeni y damniaid yn uffern, yr oedd fflamiau ei ddigllonedd yn llosgi yn araf mewn cymhariaeth i'r modd yr amlygodd efe ei lidiawgrwydd ar y groes, canys *Mab ufydd*, ac nid *gelyn anufydd*, oedd yn dyoddef yno; a'r hwn ag oedd yn *ffurf Duw*, wedi cymmeryd arno *agwedd gwas*, oedd yn sefyll dan y ddyrnod ar Golgotha!—Tra yr oedd galluoedd uffern yn curo ar Grist ar y groes, ac yn meddwl yn ddiau i ddystrywio ei deyrnas trwy ei ladd ef, dyfeisiodd doethineb i'r hyn a dybiodd yr hen sarff gyfrwysgall, fuasai yn ddyrnod angeuol i achos efengyl i fod yn sylfaen ddisigl i iechydwriaeth dragwyddol; gwnaeth dwyfol ddoethineb i'r rhod i droi, fel y profodd *awr a gallu y tywyllwch* yn *awr a gallu maddeuol ras.* Yr un natur a faeddwyd yn Eden a orchfygodd ar le y benglog. Trwy ladd Adda yn Eden, fe'n lladdwyd ni i gyd—ond trwy ladd yr ail Adda ar Galfaria, daeth bywyd i luoedd dirif o feirwon. Trwy lwyddo gydag Adda i fwyta o ffrwyth y pren yn Mharadwys, y medrodd yr hen sarff wenwyno dynoliaeth—ond trwy lwyddo gyda'r Iuddewon i hoelio yr ail Adda ar bren yn Judea, cafwyd meddyginiaeth rhag y gwenwyn; mewn gair bŷr, daliwyd galluoedd uffern yn eu rhwydau eu hunain ar bren y groes.

5. Yr un anfeidrol ddoethineb a ddatguddiwyd ac a ddatguddir etto yn llwyddiant yr efengyl. Pan ddechreuodd y fflam o gariad Iesu ennyn yn Jerusalem, tybiodd blaenoriaid teyrnas y tywyllwch mai'r ffordd oreu i'w ddiffodd oedd taflu dwfr erlidigaeth arno; goddefodd Duw i'w weision gael eu herlid, ond i ddyben tra gwahanol, canys ni wnaeth erlid yr apostolion ond eu gwasgaru ar hyd y gwledydd, gan ddwyn y tân sant-

aidd gyda hwy, nes darfu iddynt dânio'r byd â charaid at yr Oen! Yswyd Diana'r Ephesiaid, ynghyd â'r holl dduwiau mân, gan y fflam angherddol. Tybiodd y gelynion ond bwrw Paul a Silas i garchar sicr, y buasai hyny yn foddion i'w dystewi hwy; ond trefnodd doethineb hyny i ennill ceidwad y carchar a'i deulu i'r ffydd. Yr oedd tad y celwydd yn bwriadu gwneyd rhyw les i'w deyrnas wrth yru dau o'i ffyddlon weision, sef y Pab a Harri'r VIII, o Loegr, ben-ben â'u gilydd; ond trefnodd doethineb dwyfol hyny yn foddion i ddadymchwelyd Pabyddiaeth, ac i sefydlu Protestaniaeth a rhydd-did yn y deyrnas hon. Llawer gwaith y gyrodd y diafol ei weision i'r addoliad mewn trefn i wawdio ac aflonyddu yr addolwyr; ond trwy ras Duw tröwyd hyny er lles tragywyddol iddynt, daliwyd llawer o honynt yn rhwyd yr efengyl. Cymmered y diafol y llwybr a fyno, y mae dwyfol ddoethineb yn ei ddala yn ei rwyd, ac ar ei dir ei hunan!

6. Dengys doethineb yr Arglwydd yn ei waith yn addasu ei ymddygiadau at ansawdd a chyflyrau ei bobl yn y fath fodd ag y byddont i ddwyn allan ffrwyth heddychol cyfiawnder. Y mae gwedi trefnu a chyhoeddi iechydwriaeth o ras i gyd, fel y byddai y gogoniant i gyd i'w enw ei hun, ac y cauid allan ymffrost dyn i'r hyn y mae efe yn dra thueddol; ac fel hyn y mae ufydd-dod santaidd yn cael ei roddi iddo, yr hwn a gynhyrfir gan gariad ac iechydwriaeth anhaeddol trwy ras y nef. Pan fyddo credinwyr yn glaiar a chysglyd mae efe yn eu ceryddu, fel y cofiont eu hymddibyniaeth ar, a'u rhwymau i'r Gwaredwr nerthol. Ac fel na byddo iddynt lwfrhau o dan y wialen, neu mewn un perygl, y mae yn dangos iddynt, mai yn ol eu *dydd y bydd eu nherth;* ac mai *digon iddynt yw ei ras ef.*

Dysgwn oddiyma,

1. I ryfeddu mawr ddoethineb Duw, ac i weled gyda gostyngeiddrwydd ein ffolineb ein hunain. Ac wrth gymharu y mwyaf deallus o fôdau crëedig â Duw, fe'n rhwymir i'w alw ef "*y Duw unig ddoeth.*"—Canys, 1. Efe yw yr unig ddoeth, tragywyddol ac anghenrheidiol; y mae mor anghenrheidiol ei fod ef yn ddoeth â'i fod yn Dduw; ni allasai efe wneuthur ei hun yn ddoeth, mwy nâ gwneuthur ei hun yn Dduw; ac nid trwy oedran a phrofiad y daeth efe i ddoethineb. 2. Efe yw yr unig *berffaith* ddoeth; y mae'r ychydig ddoethineb ag sydd mewn creaduriaid yn wasgaredig iawn, ychydig yma ac ychydig acw; ychydig sydd yn yr un màn o hono: y mae un yn wybodus iawn mewn un gelfyddyd ac arall yn y llall; ond y mae y cwbl yn cyfarfod yn Nuw; y *mae efe yn gosod ynfydrwydd (ffolineb) yn erbyn ei angylion*, Job iv, 18, ni wyddant hwy ond ychydig. 3. Efe yw yr unig ddoeth yn *wastadol;* nid yw y mwyaf gwybodus o ddynion ond doeth weithiau, y mae y callaf yn colli yn fynych, ac y mae clefyd a henaint yn gwneuthur llawer call yn ffol; ond nid yw amser na dim arall, yn ychwanegu at, na chymmeryd oddiwrth ddoethineb Duw. *Cynghor yr Arglwydd a saif byth*, Sal. xxxiii,

II. 4. Efe yw yr unig *anghynnwysol* ddoeth: dichon doethineb un dyn gael ei gynnwys gan ddyn arall, a dichon angel fesur gwybodaeth angel arall; ond, *Oh, ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw! Mor anchwiliadwy yw ei farnau ef, &c.* Rhuf. xi, 33.

2. Fod yr athrawiaeth hon yn beio pedwar math o bobl yn neillduol.—1. Y rhai sydd yn sefydlu seremoniau a defodau crefyddol heblaw y rhai a ordeiniwyd yn yr ysgrythyrau, megys pe na fyddai yr unig ddoeth Dduw yn ddigon gwybodus wrth drefnu achosion ei dŷ ei hun, heb gymhorth y fath fôdau deallus â dynion. Dylem gofio'r gorchymyn, "Gwel ar wneuthur pob peth yn ol y portreiad." 2. Nid llai rhyfygus ac ynfyd yw y rhai sydd yn esgeuluso y gosodiadau crefyddol a drefnodd Duw, megys pe buasai efe mor anwybodus ag ordeinio rhai pethau diles; cofiwn fod y Phariseaid, wrth anufyddhau i un ordinhad, yn ddiystyrwyr ar gynghor Duw, (Luc vii, 30.) 3. Y mae yr athrawiaeth yn dangos mawr drueni y rhai a wadant athrawiaethau ysgrythyrol, o herwydd eu bod uwchlaw eu deall: megys pe na allai Duw, yr hwn sydd yn anfeidrol yn mhob peth, lefaru y gwir heb fyned yn uwch nâ'n cyrhaeddiadau ni! 4. Y rhai, fel Saul, mewn cyfyngder a arferant foddion anghyfreithlon i gael eu gwaredu. Pa bellaf y crwydrom oddiar ffyrdd doethineb, mwyaf i gyd o ffordd a fydd genym i ddyfod yn ol; ac yn ol y rhaid i ni ddyfod, neu fod yn golledwyr mawr, ac yn dra thruenus ein cyflwr yn y diwedd.

3. I adael ein holl achosion personol, teuluaidd, a chrefyddol, yn llaw Duw, analluedig yw i ni gael y fath hyfforddwr—na lwfrhawn pan fyddo achos yr eglwys yn isel, a ninnau mewn cyfyngderau; pe cyfodai mynyddau yn ein herbyn, geill Duw Hollalluog eu gwneuthur yn wastadedd; ac os na wel efe yn addas i wneuthur hyny, fe fedr doethineb dwyfol ddangos ffordd hyfryd i fyned dros eu penau.

4. I fyned at Dduw am ddoethineb, "os bydd ar neb o honoch eisieu doethineb, gofyned gan Dduw," Iago i, 5. Eisieu llawer o ddoethineb sydd arnom i adnabod Duw, a ffordd iechydwriaeth, canys y mae camsyniadau am grefydd yn llawer mwy niweidiol nag mewn dim arall, ond wrth nesâu at Dduw yr ydym yn myned at ffynnon doethineb; gweddus yw i ni fyned yn fynych at yr Haul hwn i ennyn ein lampau. Ac yn awr "i'r unig ddoeth Dduw y byddo y gogoniant" trwy Iesu Grist.

DOETHINEB uwch nâ chyrhaedd clod
Feddianna Lluniwr byd;
Y tir a'r môr, a lluoedd nef
Ddangosant hyn i gyd.

Ni ellir chwilio allan fyth
Ei synwyr dirfawr Ef,
Mae'n maeddu dawn trigolion byd,
A holl angylion nef.

Yn yr efengyl beraidd fwyn
Dysgleiria'n hyfryd lawn,
Ddoethineb anfesurol Iôr,
Yn nhrefniad dwyfol Iawn.

Yn llyfr gras 'rwy'n gweled modd
I gadw'm henaid trist;
Yn hwn 'rwy'n gwel'd doethineb Duw,
A'i wel'd yn ngwyneb Crist.

Mewn tir a môr fe welir peth
O'r Duwdod mawr ei ddawn;
Ond yn y Cymmod gwelir fyth
Ei holl ogoniant llawn.

# DYODDEFGARWCH, NEU AMYNEDD DUW.

"Ond hir-ymarhous yw efe tuag atom ni."—2 Pedr III, 9.

Arfer ysgrifenwyr y Beibl santaidd yw gosod Duw allan wrth un o'i briodoliaethau neillduol, megys pe na fuasai yn feddiannol ar un briodoledd arall. Yr oedd Ioan wedi myfyrio cymmaint ar gariad Duw nes tòri allan gan ddywedyd, "Duw cariad yw," (1 Ioan iv, 8,) megys pe na fuasai dim arall yn perthyn iddo ond cariad, neu ei fod mor fawr mewn cariad, megys pe na fuasai lle i un perffeithrwydd arall ynddo. Geilw y Salmydd ef yn "Arglwydd Dduw y dial," (Sal. xciv, 1.) Ac y mae Paul, wrth ystyried anfeidrol ddyoddefgarwch Jehofa, yn ei alw yn "Dduw yr amynedd a'r dyddanwch," (Rhuf. xv, 5.) Y mae efe mor fawr yn mhob un o'i berffeithiadau neillduol â phe na fuasai i'w ryfeddu yn y lleill.—Dangoswn pa beth yw dwyfol amynedd—y modd y mae yn cael ei amlygu—a'r dybenion a atebir trwy yr ymarferiad o hono.

I. Ymdrechwn ddangos pa beth yw amynedd dwyfol.

1. Rhan o drugaredd a daioni Duw yw ei amynedd, neu un o'r ffyrdd sydd gan drugaredd i ddangos ei hun, neu barodrwydd Duw i oedi tywallt y farn haeddiannol ar droseddwyr ei gyfraith, ac estyn iddynt drugaredd, pan yr haeddent eu cospi. Ond er bod amynedd yn gangen o drugaredd a daioni, etto y mae yn wahanol oddiwrth bob un o honynt yn ei gwrthddrychau—gwrthddrych trugaredd yw creadur mewn gresynoldeb, gan nad pa beth a'i dygodd i'r cyflwr hwnw; a thrugaredd Duw a'i cynnyrfa i fod yn hir-ymarhous:—eithr y mae amynedd yn ei ystyried fel un beius; ni byddai raid i ni wrth drugaredd oni buasai ein bod yn resynol; ac ni buasai eisieu i Dduw fod yn hir-ymarhous tuag atom, trwy oedi tywallt arnom ei farnedigaethau, oni buasai ein bod yn eu haeddu. Ein bai ni yw yr achos fod cymmaint o annog arnom i ddefnyddio amynedd, o herwydd ein bod yn dysgwyl yr hawddfyd nad yw wedi ei drefnu na'i addaw i ni, neu yn grwgnach o eisieu cael y daioni addawedig cyn yr amser; ein bai ni hefyd a achlysurodd y fath ymddangosiad o amynedd Duw; ac er hyny y mae amynedd yn glodfawr yn Nuw, ac yn ganmoladwy mewn dyn. Y mae gwahaniaeth hefyd rhwng amynedd a daioni; gwrthddrych daioni yw pob creadur, o'r angel uchaf yn y nef hyd y creadur gwaelaf yn y byd; ond y mae amynedd yn eu golygu fel troseddwyr neu greaduriaid syrthiedig, fel y sylwyd o'r blaen.

2. Gan mai peth daionus yn Nuw yw amynedd, dylem gofio mai nid annheimladrwydd neu ddifaterwch ynddo ef ydyw; canys er nad oes un nwyd boeth danllyd ynddo ef fel sydd mewn dynion, etto y mae pob pechod yn groes i'w natur santaidd, ac y mae ei burdeb yn gyfryw fel nad yw yn bosibl iddo ef i fod yn ddifater yn nghylch yr hyn a fyddo yn

groes i'w santeiddrwydd; ac y mae yr ysgrythyr yn gosod allan deimlad (a llefaru ar wedd ddynol) yr Hollalluog yn y modd mwyaf cyffrous, fel un yn cael ei *ddryllio* â chalonau puteinllyd pechaduriaid, (Esec. vi, 9,) ac fel wedi ei *lethu* tanynt, fel y llethir y fèn lawn o ysgubau, (Amos ii, 13.) Ond etto mynych y dywedir ei fod ef yn *hwyrfrydig i ddig*, (Ecs. xxiv, 6; Num. xiv, 18.) Y mae efe yn ystyried pob cyffröad, eithr nid oes brys arno i ollwng saethau ei ddigofaint yn erbyn y troseddwyr; y mae yn gweled y pechod ac yn ei ffieiddio, ac yn canfod y pechadur gyda golwg o dosturi; ei lid sydd yn llosgi yn erbyn y naill, ac y mae ei freichiau ar led yn barod i dderbyn y llall; y mae gwrthwynebrwydd pechod a santeiddrwydd ei natur yn gwneuthur i'w amynedd i ymddangos yn wyrthiol yn ngolwg y duwiol.

3. Awdurdod neu allu yn Nuw yw ei amynedd; nid yw yn tarddu oddiar analluogrwydd i ddial ar y troseddwr, ond oddiwrth ei awdurdod arno ei hun; nid yw yr hyn a elwir yn amynedd yn fynych yn mhlith dynion, ond gwendid ysbryd, a diffyg gallu; y maent yn rhoddi eu hunain i fod yn esmwyth oblegid y gwyddant na fedrant ddial; nid oedd raid diolch i'r Iuddewon am beidio croeshoelio Crist yn gynt, nid eu hamynedd ond diffyg gallu oedd yr achos; eithr y mae mawredd amynedd Duw yn llifo oddiwrth fawredd ei allu, (Rhuf. ix, 22.) "Beth, os Duw yn ewyllysio dangos ei ddigofaint, a pheri adnabod ei *allu*, a *oddefodd trwy hir-ymaros* lestri digofaint," &c. Y mae Moses hefyd yn erfyn am i nerth Duw gael ei amlygu trwy ddangosiad o'i ddyoddefgarwch, (Num. xiv, 17, 18.) "Mawrhaer, attolwg, NERTH yr Arglwydd, fel y llefaraist, gan ddywedyd, yr Arglwydd sydd HWYRFRYDIG i ddig." Gallasai efe ddefnyddio y gallu hollalluog hyn i ddystrywio pob troseddwr, oud gwell ganddo ei arferyd arno ei hun dros amser, i ffrwyno ei lid, ac i attal tueddiadau ei gyfiawnder, ag sydd beunydd yn galw am ddial; y mae galluoedd y goreu o ddynion yn rhy fach yn fynych i lywodraethu eu hunain ar achosion bychain, a'r dyn gwanaf ei gynneddfau a'i ras yn wastad yw y byraf ei amynedd; ond y mae goddefgarwch Duw wrth arbed y byd pechadurus cyhyd yn amlygu mwy o'i allu nag y mae crëedigaeth a chynnaliaeth y byd yn ei wneuthur; dengys y creaduriaid fod ganddo allu ar bob peth o'r tuallan iddo ei hun, ond fe ddengys ei amynedd fod ganddo awdurdod arno ei hun, yr hyn sydd anfeidrol fwy nâ'r cwbl o'r tuallan iddo.

4. Gallem sylwi mai marwolaeth Crist yw y sylfaen ar yr hon y mae amynedd dwyfol yn adeiladu; yn ei haeddiant ef y mae amynedd yn gystal a thrugaredd a heddwch yn cyfarfod â gwirionedd a chyfiawnder; oni buasai fod Duw yn bwriadu achub lluoedd yn ei Fab, ni fuasai dybenion ei amynedd yn dysgleirio mor ogoneddus, ac ni fuasai cymmaint o'i ffrwythau yn ymddangos; tiriondeb trugaredd ein Duw ni oedd yr achos iddo ddanfon ei Fab, (Luc i, 78,) i agor llwybr i'r drugaredd hyny, ac i'w amynedd i weithredu; ac y mae yn debyg oni buasai cyfryngdod

Crist, y dystrywiasai efe y byd yn ebrwydd wedi dyfodiad pechod iddo; ond sylwn yn fwy neillduol ar hyn, pan ddelom at y trydydd pen.

II. Ystyriwn y modd y mae yr amynedd neu y dyoddefgarwch hyn yn Nuw wedi, ac yn cael ei amlygu.

1. Y mae yr ystyriaeth o liosogrwydd y pechodau a gyflawnir ger ei fron yn dangos golud ei amynedd. Nid UN trosedd y mae pob dyn unigol yn euog o hono, ond rhifedi mwy nâ gwallt eu penau a gyflawnir gan y goreu, (Sal. xl, 12,) beth raid fod drych y rhai mwyaf pechadurus, na wnaethant ddim erioed ond pechu! Nid oes un o'r hiliogaeth ddynol yn rhydd oddiwrth bechodau dirifedi; y mae pob aelod o'r corff yn offeryn i wneuthur drygau lawer: Rhuf. iii, 9—18. Y mae y tafod ei hun yn "fyd o anghyfiawnder," Iago iii, 6; ac od oes byd o bechod mewn un aelod, beth raid fod anwiredd yr holl aelodau, ynghyd â holl alluoedd llygredig yr enaid! Y mae troseddau dynion o'r natur mwyaf cyffrous, gwrthryfelant yn erbyn yr hwn sydd yn gwneuthur y daioni mwyaf iddynt, ac heb wneuthur y drwg lleiaf iddynt; diystyrant yr amlygiadau graslonaf o'i drugaredd yn ei Fab; y mae efe yn goddef llawer o flynyddoedd yn mhob oes, gan luoedd o ddynion annuwiol cyn eu tòri i lawr; y mae yn hir ymarhous tuag at ei etholedigion cyn y credont, ac yn barod i feddyginiaethu eu hymchweliadau ar ol iddynt fynych syrthio. Oni buasai fod ei amynedd yn anfeidrol, buasai yr holl bethau uchod yn ddigon i beri iddo ddystrywio y byd mewn un dydd, a damnio pawb ynddo; ond y mae ei amynedd yn rhagori cymmaint ar yr eiddom ni ag yw ei allu yn fwy nag eiddo holl ddynolryw; nid oes neb a fedr ddystrywio y byd ond efe, ac nid oes neb a fedrai ei arbed, pe byddai gallu dystrywiol ganddynt, ond efe.

2. Y mae efe yn fynych yn llwytho gwrthryfelwyr â daioni a thiriondeb, yn lle eu lladd â'i farn. Er fod eu pechodau yn gyffrous, y mae yn rhoddi iddynt y trysor gwerthfawr hwnw, amser, ac yn peri i ffrydiau anmhrisiadwy athrawiaethau yr efengyl i redeg yn agos iddynt; rhoddodd waredigaeth i Israel trwy y môr coch wedi iddynt gynhenu â Moses ei was, (Ecs. xiv, 11, 22,) rhoddodd iddynt fâna o'r nefoedd, a dwfr o'r graig, ynghyd â soflieir, ar ol llawer o rwgnachrwydd; y mae yn rhoddi trysorau, neu olew auraidd i losgi i oleuo plant anufydd i chwareu!

3. Pan y byddo yn bwriadu cospi, nid yw yn brysio i wneuthur hyny. Gallasai yn gyfiawn yru Adda o Baradwys a'i ladd pan y dechreuodd wrando ar y temtiwr, eithr efe a estynodd ei flynyddoedd i 930—yn lle dinystrio y Cenedloedd â thân o'r nefoedd am eu heilunaddoliaeth, "efe a esgeulusodd oes yr anwybodaeth hon," (Act. xvii, 30,) efe a beidiodd eu lladd am eu drygioni—efe a oddefodd ddeugain mlynedd gyda Israel yn yr anialwch, ac a fu yn ymarhous tuag at y genedl hòno dros 1500 o flynyddau oddiar y daethant o'r Aifft nes eu dyfetha gan y Rhufeiniaid.

4. Nid yw yn dyfod i ddial cyn rhybuddio y troseddwyr o'u perygl. Y mae yn llefaru cyn taro, yn cyhoeddi rhyfel cyn danfon byddinoedd ei farnedigaethau allan, fel y gallont naill ai llefain am heddwch neu ym-

barotoi i'r frwydr, (Amos iv, 12,)—rhagfynegwyd am yr holl farnedigaethau hynod cyn eu dyfodiad—rhybuddiwyd preswylwyr yr hen fyd 120 mlynedd cyn dyfodiad y diluw—danfonwyd Joseph mewn modd rhyfedd i ragfynegu y newyn yn yr Aifft—llefarodd Crist yn fynych am ddinystr Jerusalem a'r deml cyn i'r Rhufeiniaid erioed feddwl am hyny —nid yw neb yn syrthio i golledigaeth heb eu rhybuddio o'u perygl.

5. Pan y mae yn cospi nid yw yn tywallt ei lid ar unwaith, ond yn raddol. Y mae ei farnedigaethau yn myned allan fel y goleuni, (Hos. vi, 5,) yr hwn sydd yn myned ar gynnydd hyd at berffaith ddydd—os na wna un ddyrnod y tro, daw y llall yn drymach, tröwyd dyfroedd yr Aifft yn waed, danfonwyd llyffaint dros yr holl dir, tröwyd y llwch yn llau, llanwyd y tai o'r gymmysgbla, rhoddwyd haint ar yr anifeiliaid, gosodwyd y cornwyd llinorawg ar ddynion ac anifeiliaid, bu cenllysg trwy yr holl wlad, gorchuddiodd y locustiaid holl wyneb y wlad, bu tywyllwch dudew dros dridiau dros y tir, a lladdwyd cyntaf-anedig yr Aifftiaid, cyn i'r farn drom eu dystrywio yn y môr coch, (Ecs. vii,—xii.) Gwelwch yr un drefn yn cael ei dwyn yn mlaen yn Joel i, 4,—nid ar unwaith yr ymadawodd y gogoniant o Israel, (Ezec. ix, 3; x, 18; xi, 23.)

6. Nid oes dim cyfartalwch yn fynych rhwng y trosedd a'r farn. Y mae haeddiant y pechod yn llawer trymach nâ'r gosp a roddir o'i herwydd yn y byd hwn—nid yw yr Arglwydd yn gwaghau ei gawell saethau, na diysbyddu trysorau ei daranau, na chyffroi ei holl lid, (Sal. lxxviii, 38,) y mae amynedd yn cadw rhan o hono yn llonydd. Y mae y Salmydd wrth gofio ei *ddigofaint*, yn dywedyd, "Nid yn ol ein pechodau y gwnaeth efe â ni," &c., (Sal. ciii, 10,) er i'r cleddyf lynu wrth dŷ Dafydd am ei bechod, ni chafodd ei orchfygu gan y cleddyf—collodd Adda bleserau Paradwys, ond cafodd gymdeithas ei berthynasau, a gwasanaeth y creaduriaid.

7. Pan fyddo yn tywallt ei lid y mae yn ei wneuthur fel un a fyddai yn anewyllysgar yn ei wneuthur. Pan ddaeth i wneuthur cyfrif âg Adda, cerdded ac nid rhedeg a wnaeth â'i gleddyf yn ei law; dywedir ei fod, wrth wneuthur barn, "yn dyfod allan o'i fangre," (Esa. xxvi, 21,) megys pe buasai mor anhawdd ganddo wneuthur hyny ag i ddyn i adael ei breswylfa ar y tywydd garwaf—dim ond diffyg *cysur* neu *esmwythyd* iddo ei hun, (a llefaru yn ol dynion,) sydd yn ei yru i gospi, Esa. i, 24, "*Ymgysuraf* ar fy ngwrthwynebwyr, ac ymddialaf ar fy ngelynion." Y mae yn arferyd iaith calon doddedig, Hos. xi, 8, "Pa fodd y'th roddaf ymaith, Ephraim? y'th roddaf i fynu, Israel?" &c. Nid yw yn ymddangos fel pe byddai ofn colli amser arno wrth ddial; yr oedd digon o amser gan yr angylion i ymgyfeillachu âg Abraham, ac i fwyta (mewn ymddangosiad) gydag ef, ac adrodd y newydd am enedigaeth ei fab, cyn myned i ddystrywio Sodoma, (Gen. xviii,)—efe a wnaeth y bydoedd mawrion i gyd mewn llai o amser nâg y dystrywiodd efe un ddinas fechan, sef Jerico; chwech diwrnod y bu yn creu y cwbl, ond bu saith o ddydd-

iau yn dyfetha Jerico! Nid o'i fodd y blina nac y cystuddia efe blant dynion, (Galar. iii, 33.)

III. Nodwn allan rai o'r dybenion gogoneddus a ddygir i ben trwy y fath amlygiadau rhyfeddol o amynedd Duw.

1. Y mae hyn yn dystiolaeth sefydlog o'i natur heddychlon a chymmodlon tuag at bechaduriaid. Dengys meithder ei amynedd nad oes un pechod yn drech nâ'i ras ef; llais ei amynedd a ddywed ei fod yn "dysgwyl i drugarhau, ac ymddyrchafu i dosturio," (Esa. xxx, 18,)—nid yw efengyl ein iechydwriaeth ddim amgen nâ "gair ei amynedd," (Dat. iii, 10.)

2. I dywys dynion i edifeirwch. Dywedir fod "golud daioni, dyoddefgarwch, ac ymaros Duw yn tywys i edifeirwch," er fod y Cenedloedd yn anwybodus o hyny, (Rhuf. ii, 4,) ac y mae mwy o duedd mewn hynawsedd a dyoddefgarwch i weithio gwir edifeirwch nag sydd yn holl fygythion tanllyd y ddeddf; effeithiodd tiriondeb Dafydd ychydig ar galon felldithiol Saul, (1 Sam. xxiv, 17.)

3. I roddi iechydwriaeth yn yr amser mwyaf addas, "A chyfrifwch hir amynedd ein Harglwydd yn iechydwriaeth," (2 Pedr iii, 15.) Pe buasai barn Duw yn lladd yr holl Iuddewon ag oedd yn galw am groeshoelio Crist, pryd y dywedent *Ymaith âg ef*, ni buasent yn cael eu dwysbigo yn eu calonau ar ddydd y Pentecost; pe buasai Amon annuwiol yn cael ei dòri i lawr yn ei ieuenctyd, ni chlywsid son am y brenin duwiol Josia ei fab; y mae Duw yn arbed y rhieni er mwyn achub eu plant.

4. Er diogelwch i'w bobl. Y mae yr annuwiol weithiau mor ddefnyddiol i'r eglwys ag yw yr ûs diffrwyth i'r gwenith, neu glawdd o ddrain crinion i ymddiffyn gardd ffrwythlawn. Dat. xii, 15, "A'r ddaear a gynnorthwyodd y wraig;" ac y mae Duw yn fynych yn arbed y drygionus er mwyn ei wasanaethwyr; ni foddwyd yr hen fyd, na llosgi Sodoma, nes oedd gan Noa arch i nofio ar ddyfroedd barn, a Lot o'r tu allan i berygl; gwell gan Grist oddef i'r efrau dyfu, nâ bod perygl i'r gwenith gael ei ddiwreiddio, (Mat. xiii, 29.)

5. I osod allan uniondeb a chyfiawnder ei farnedigaethau pan dywelltir hwn allan—bydd i hyn ddifuddio yr anghrediniol o bob esgus, "Mi a roddais iddi amser i edifarhau, ac nid edifarhaodd hi," (Dat. ii, 21.) Pa hwyaf y parhao amynedd Duw, lleiaf i gyd allant wneuthur o amddiffyniad —fel y gwas anfuddiol ânt yn fud.

6. Trwy hyn y mae Duw yn dangos ei fawredd ei hun mewn mesur mawr. "Ni chyflawnaf angherdd fy llid, ni ddychwelaf i ddinystrio Ephraim." Paham, Arglwydd? "Canys Duw ydwyf fi, ac nid dyn," (Hos. xi, 9.) Buasai amynedd dyn wedi darfod er ys talm, ond y mae Duw yn fawr mewn amynedd fel yn mhob peth arall; perl dysclaer yn nghoron ymerodrawl y nef yw amynedd.

7. Trwy ei amynedd y mae Duw yn amlygu mewn rhan ei barodrwydd i wrando gweddiau ei bobl, y rhai sydd yn erfyn bob amser am i Dduw arbed y drygionus hyd nes adnabyddont ef; "Y diniwed a wareda ynys,"

(Job xxii, 50.) Y mae Duw yn arbed ereill er mwyn ei blant, buasai Duw yn arbed Sodom er mwyn deg o rai cyfiawn.

*Dysgwn oddiyma,*

1. Gymmaint yn well yw i ni fod yn nwylaw Duw, na syrthio i ddwylaw y dyn goreu yn y byd—er fod Moses yn un llariaidd iawn, etto efe a ddywedodd wrth ei frodyr, "Chwi wrthryfelwyr," (Num. xx, 10,) o achos ei fyrbwylldra yma y collodd Ganaan—buasai Job, er ei amynedd, wedi ein melldithio er ys tro fel dydd ei enedigaeth. Digiodd Jona am nad oedd llid Duw yn disgyn ar Ninefe, (Jona iv, 2,) ac er nad yw eneidiau'r saint yn y nef yn pechu, maent yn galw am ddial, (Dat. vi, 6,—9, 11.)

2. Gochelwn gamddefnyddio amynedd Duw—canys er ei fod ef yn anfeidrol yn ei amynedd, cofiwn y caiff ei elynion parhaus ei brofi felly yn ei ddigofaint hefyd, ac mai pa fwyaf a bechom yn erbyn daioni, mai trymaf i gyd fydd y gosp—ac ystyriwn mai yn y byd hwn yn unig y mae Duw yn ymarfer amynedd.

3. I fod yn ddiolchgar i Dduw am ein harbed cyhyd—gallwn fod yn sicr, gan nad beth a ddaw o honom yn y diwedd, nad oes brys arno ef i ein damnio ni—y mae llawer, heb gael yr un amser â ni, peidiwn a rhoddi mwy o waith i amynedd Jehofa.

4. I debygoli ein Lluniwr mewn gofeddgarwch—dylem fod yn amyneddgar tuag at Dduw, i ddysgwyl am gyflawniad o'i addewidion, ac i ymfoddloni i gyfyngderau a allo ein cyfarfod ar ein taith, i beidio grwgnach yn erbyn rhagluniaeth—a byddwn ymarhous wrth ddynion anwybodus a drwg, canys felly y mae Duw tuag atom ni—a chofiwn mai yn y byd hwn y dylem ninnau hefyd ymarfer âg amynedd—nid oes rhaid wrthi yn y nefoedd, ac y mae uffern yn lle rhy boeth iddi aros. Clywsoch am amynedd Job.

---

## AWDURDOD DDWYFOL YR YSGRYTHYRAU.

Gan mai trwy yr ysgrythyrau santaidd y mae Cristionogion yn profi holl bynciau eu ffydd a'u hymarferiad, ac yn sylfaenu eu gobaith am ddedwyddwch ar yr hyn a amlygir ynddynt, gweddus fyddai i bob credadyn fedru profi Dwyfoldeb a digonolrwydd y rheol wrth yr hon y mae yn rhodio; canys nid yw ffydd llawer o'r rhai a broffesant eu bod yn Gristionogion nemawr gwell nag anghrediniaeth y rhai a wrthwynebant yr ysgrythyrau; nid oes ganddynt well rhesymau i fod yn Gristionogion nag iddynt gael eu geni mewn gwlad Gristionogol, ac iddynt gael eu dwyn i fynu yn y grefydd hòno; nid yw y cyfryw ffydd yn eu gwneuthur yn Gristionogion; canys er eu bod yn credu y gwir trwy ddamwain, nid ffydd Crist sydd ganddynt, ond ffydd mewn dynion—o herwydd yr un rhesymau y buasent yn Fahometaniaid yn *Turkey*, yn ddysgyblion i

Conffusius yn *China*, neu yn addolwyr y Diafol yn mhlith yr Indiaid. Gan hyny y mae yn anghenrheidiol dangos paham yr ydym yn credu fod y llyfr a elwir Beibl yn air Duw.

Wrth yr ysgrythyrau y deallwn holl lyfrau yr Hen Destament a'r Newydd, megys y maent yn sefyll yn ein Beiblau ni yn bresennol, y rhai a dderbyniwyd gan yr eglwys fel rheol anffaeledig yn ol cael rhesymau anatebol eu bod o Dduw, fel y mae llawer o ysgrifeniadau yn dangos. Er fod llawer o ymadroddion yn y Beibl, y rhai nid ydynt yn briodol air Duw, nac yn wirioneddol, etto y maent wedi eu gosod i lawr trwy Ddwyfol orchymyn, i ddangos gwendidau a drygioni dynion a diafliaid, er rhybudd i ereill, ac mor belled â hyny y maent yn air Duw. Pan y dywedir fod "yr holl ysgrythyr wedi ei rhoddi trwy ysbrydoliaeth Duw," y meddwl yw, fod yr hyn oll a gynnwysir yn y ddau Destament, naill ai wedi cael ei lefaru ganddo ef â llais hyglyw o'r nef, neu wedi ei ysgrifenu ganddo ef ei hun, neu ei fod mewn ffordd ddirgel ac anffaeledig, trwy weithrediadau tufewnol ei Ysbryd, wedi dysgu a chynhyrfu ei weision i ysgrifenu yr hyn oll a ysgrifenwyd. Brysiaf yn awr i ddangos, trwy y rhes ganlynol o resymau, fod yr ysgrythyrau yn air Duw.

I. Nid yw yn anmhosibl i Dduw ddatguddio ei feddwl i'w greaduriaid trwy ysbrydoliaeth.* Nid oes dim yn amlycach nag y dichon yr hwn a greodd gorff dyn o lwch y ddaear, gan ei gynnysgaeddu ag enaid rhesymol, i roddi amlygiad o'i ewyllys iddo; mwy gwaith oedd ffurfio enaid rhesymol, nâ dangos i ddyn, mewn modd anffaeledig, ei ddyledswydd tuag at ei Greawdwr. Nid oes un rhwystr ychwaith yn ffordd Duw, fel na ddichon efe amlygu mai efe sydd yn llefaru wrthynt; yr oedd mor hawdd iddo ef brofi mai efe oedd yn ymddyddan â Moses ar y mynydd, ag y bydd iddo ddangos i'r holl fyd yn y dydd diweddaf, mai efe yw Barnwr yr holl genedloedd, y rhai a fyddant y pryd hyny yn gynnulledig o'i flaen; a pheth hawdd iddo ef yw datguddio ei ewyllys trwy ysbrydoliaeth, trwy argraffu ei feddwl ar ysbrydoedd dynion, y mae yn sicr ei fod mor hawdd iddo ef i ddangos ei fawredd ei hun trwy ei weithrediadau ar yr enaid, ag yw amlygu anfeidrol ôl ei nerthol law ar yr holl greadigaeth. Dengys hyn nad oes dim anhawsdra na gwrthuni yn rhwystr i ni gael Dwyfol ddatguddiad.

II. Y mae yn rhaid i bob dyn rhesymol gyfaddef mai peth tra dymunol fyddai cael amlygiad helaethach a pherffeithiach o ewyllys Duw nag a geir yn llyfr natur. Er fod pethau creadigol yn dangos fod Duw, ac y dylai efe gael ei garu a'i addoli, a bod anfarwoldeb yr enaid yn beth tebygol, nid yw yr hyfforddiadau a geir yma ond anmherffaith ac ansicr

* Er nad yw yr hyn a ddywedir dan y tri phen cyntaf yn profi yn uniongyrch wirionedd yr ysgrythyrau, etto mewn cysylltiad â'r rhesymau canlynol, y maent yn ymddangos o gryn bwys. Y mae llawer o resymau cryfion, fel olwynion mewn peiriant, y rhai nad ydynt o un defnydd ar eu penau eu hunain, ond wedi eu gosod ynghyd gwnant bethau rhyfedd.

iawn. Er cymmaint yr ymdrechodd, ac er cystal yr ymresymodd yr athronwyr Cenedlig dros gyflwr i ddyfod, trwy yr efengyl yn unig y dygodd Duw *fywyd ac anllygredigaeth i oleuni*, yr oedd megys dan gwmwl o'r blaen.

Y mae llawer o bynciau o'r pwys a'r canlyniad mwyaf, yn nghylch y rhai y mae llyfr natur yn hollol fud, heb roddi y boddlonrwydd lleiaf i ni o'u herwydd; heb yr ysgrythyrau nid yw yn bosibl i ni wybod pwy yw y rhai sydd yn rhyngu bodd i Dduw, pa fodd y boddheir ef, gan fod y dynion mwyaf rhinweddol yn fynych mewn adfyd, a'r rhai mwyaf ffiaidd a drygionus mewn esmwythyd mawr; gallai hyn ein tywys i dybied mai â drwg-fucheddau y mae dynion yn ei foddhau; ond pan arweinir ni gan yr ysgrythyrau *i gyssegr Duw*, cawn *weled eu diwedd hwynt*, ac ymdawelu yn y gofid. Gallem benderfynu oddiwrth ragluniaeth Duw fod dyn yn droseddwr, pe amgen ni chyfarfyddai â chymmaint o drallodion yn y byd, ond nis gellir profi oddiyma fod Duw yn *barod i faddeu;* a phe casglid oddiwrth ei dynerwch rhagluniaethol fod tuedd ynddo i *fyned heibio* rhai beiau bychain, ni chaid dim boddlonrwydd yn nghylch maddeuant o droseddau aml a mawrion; canys nid yw *dileu camweddau* yn argraffedig yn ngwyneb haul na lleuad, nac un o ddalenau llyfr natur. Pe gallasai y mwyaf doeth, wrth astudio yn ddiwyd a chwilio yn fanol i'r pethau hyn gael boddlonrwydd yn eu cylch, ni chawsai rhai gweinion eu cynneddfau heb nemawr o fanteision gwybodaeth ganddynt, fawr o gysur; y doethion a'r deallus yn unig a fuasent yn dawel, ond beth a ddelsai o'r *rhai bychain hyn!* Dengys y pethau hyn i ni y mawr anghenrheidrwydd o ddatguddiad Dwyfol.

III. Nid oes dim yn yr ysgrythyrau yn annheilwng o Dduw, ond y maent yn cynnwys pethau sydd o lawer yn uwch nâ goleu natur, yn eithaf rhesymol yn ol cael datguddiad o honynt. Y maent yn penderfynu y pethau ag oeddynt yn amheüus yn llyfr natur, megys y ffordd i ryngu bodd i Dduw; a dywedant yn eglur pwy yw ei gyfeillion, a phwy yw ei elynion, &c. Nid oes dim ynddynt yn wrthwyneb i berffeithiadau y Jehofa, megys ei wirionedd a'i ffyddlondeb, ei burdeb a'i ddoethineb, ei gyfiawnder a'i drugaredd, eithr yn y beibl y ceir yr amlygiad dysgleiriaf a gogoneddusaf o honynt. Nid pethau dibwys ac afreidiol a amlygir ynddynt, ond y pethau mwyaf anghenrheidiol i ni eu gwybod; megys am Dduw, cyflwr dyn trwy bechod, ei waredigaeth trwy ras, tragywyddol ddedwyddwch y crediniol, a chosp annhraethadwy y drygionus mewn gwlad arall. Nid yw yn bosibl i ni feddwl am bynciau mwy pwysig nâ'r rhai hyn. Y mae yr holl ysgrythyrau yn tueddu i bob rhinwedd a phurdeb personol a chymdeithasol—y maent yn wrthwyneb i bob trais, gormes, ac anghyfiawnder, yn annog i garu Duw yn benaf, a'n cymmydog fel ni ein hunain; eu dyben yw taenu gwybodaeth o Dduw yn mysg dynion, ac alltudio pechod o'r byd—nid ydynt yn gwarafun dim ond drwg, nac yn gorchymyn dim ond da; o herwydd paham nid yw dynion

drygionus yn hoffi eu darllen; ond y mae holl garwyr purdeb yn eu chwilio beunydd; a'r dynion sydd yn caru fwyaf ar eu beiblau yw y dynion goreu yn wastad. Er fod yr *iaith* yn gyffredin yn amlwg, yn addas i ddysgu y rhai byraf eu cyrhaeddiadau; etto, mewn manau fe ganfyddir y fath arddunaint ac ardderchogrwydd ymadrodd, fel nad yw gwaith yr ysgrifenwyr mwyaf enwog ddim i'w gystadlu ag ef; er cynnared yr ysgrifenwyd llyfr Job, nid oes gwaith un awdwr hyd heddyw, (er cymmaint y mae gwybodaeth yn ymhelaethu yn mhob oes,) yn gyffelyb iddo mewn ardderchogrwydd ymadrodd, yn neillduol y pennodau 38, 39, 40, a 41; ynghyd ag amryw o'r Salmau, gwel Sal. xviii, 7—15; cxiii, 3—8; a cxxxix, 7—12; proffwydoliaeth Esay, &c.; mae yma ddyfroedd bâs fel gallo y gwanaf fyned trwyddynt, ac hefyd foroedd mawrion yn ddigon i'r mwyaf gwrol i soddi ynddynt. Y mae holl ranau yr ysgrythyrau, er cael eu hysgrifenu mewn gwahanol oesoedd, gan amryw ddynion, gwahanol yn eu hamgylchiadau a'u manteision, heb fod yn yr un wlad a'u gilydd, na gwybod bob amser am waith eu gilydd: er hyn i gyd y maent yn eithaf cysson a chynghaneddol yn eu holl ranau; nid oes ïe a nagê ynddynt; y ddau Destament ydynt fel efeilliaid mewn cyffelybrwydd; y mae y rhanau athrawiaethol yn annog i ymarferiadau, ac y mae pob ymarferiad yn cyfeirio at ryw athrawiaeth: pa fwyaf ystyriom y rhanau sydd yn ymddangos fel yn groes i'w gilydd, lleiaf i gyd fydd yr anhawsdra, a pha helaethaf fyddo ein gwybodaeth o'n Beibl, gogoneddusach o hyny yr ymddengys ei gyssondeb. Y mae y rhanau perthynol i ffydd gadwedigol, ac ymarferiad santaidd, yn eglur ddigon i'r gwanaf ei ddeall.

IV. Y mae ysgrifenwyr yr ysgrythyrau yn mynych haeru mai llefaru a chyhoeddi geiriau Duw yr oeddynt; mynych y gwelwn y fath eiriau â'r rhai hyn, "Yr Arglwydd a lefarodd wrth Moses," ac "Fel hyn y dywed yr Arglwydd," yn yr Hen Destament; a bod "yr holl ysgrythyr wedi ei rhoddi trwy ysbrydoliaeth Duw," ac "i ddynion santaidd Duw lefaru, megys y cynhyrfwyd hwy gan yr Ysbryd Glân; ac mai yr hyn a *dderbyniodd* yr apostolion a draddodasent i ereill," yn y Testament Newydd.

2. Y mae yn amlwg fod yr ysgrifenwyr eu hunain yn credu yr hyn a ddywedent, ac mai nid twyllwyr gwirfoddol oeddynt, canys yr oeddynt yn cyhoeddi pethau ag oeddynt yn groes i'r byd; fe ddywedodd Crist wrth ei ganlynwyr, nad oedd iddynt ddysgwyl anrhydedd a mawredd bydol trwy eu hymdrechiadau yn achos ei efengyl, ond erlid, carcharau, a marwolaeth; cawsant brofi y gwirionedd o hyn hyd adref, er hyny ymroddi a wnaethant i'r gwaith, er y gwyddent nad oedd ond peryglon bywyd yn cydfyned ag ef: Ïe, rhoddasant eu heinioes i lawr yn llawen dros y pynciau a bregethent. Dengys hyn eu bod hwy yn hollol gredu mai gwir oedd eu hathrawiaeth; canys er y dichon dynion farw dros gau athrawiaeth, peth anhawdd iawn yw credu y cymmerai un dyn ei ferthyru o achos yr hyn a wyddai efe i fod yn gelwydd, heb fod yn well yn y byd hwn, na lle

i obeithio am gysur wedi myned o hono trwy hyny. Nid marw fel hunan-leiddiaid wnaethant ychwaith; blino byw mewn adfyd, a meddwl dianc ar ofid, sydd yn peri iddynt hwy lofruddio eu hunain; ond yr oedd yr apostolion yn foddlon byw yn y cyfyngderau mwyaf, ïe, a byw wnaethant cyhyd ag y gallasent yn gysson â'r gwirionedd.

3. Peth gwrthun yw meddwl ei bod yn bosibl iddynt fod yn llafurio o dan hunan-dwyll; yr oedd yn rhaid eu bod yn gwybod pa un a gawsant eu galw gan Iesu o Nazareth ai peidio, a fu efe farw ar y groes a chyfodi y trydydd dydd, neu na fu hyny, ac felly am y pethau ereill a adroddir ganddynt; ac yn wir, yr oeddynt dra gwyliadwrus yn erbyn twyll: ni chredai Thomas ei lygaid ei hun fod Crist wedi adgyfodi, eithr chwennychai gael teimlo ôl yr hoelion a'r waewffon yn ei ddwylaw a'i ystlys; yr oedd yn anmhosibl iddynt gamsynied yn nghylch llefaru â thafodau dyeithr—hwy a wyddent yn sicr mai nid trwy ddysgeidiaeth y cawsant y rhodd hon, ond mewn ffordd goruwch-naturiol.

4. Y mae eu holl hanes yn dangos nad oedd dim tuedd ynddynt i dwyllo ereill, pe buasai hyny yn fanteisiol iddynt, oblegid y maent yn cyfaddef eu beiau eu hunain, heb geisio eu cuddio, ac yn galaru o'u herwydd—dengys eu holl ymddygiadau a'u hathrawiaeth eu bod yn chwennych gogoneddu Duw, a llesâu eu cydgreaduriaid—y maent yn cyduno fel o un galon i ddwyn yn mlaen yr un achos, a phe buasent dwyllwyr rhyfedd na buasai cariad at fywyd, ac ofn angeu, yn peri i rai o honynt amlygu y twyll. Y pethau hyn a filwriant yn dda o blaid yr ysgrifenwyr.

V. Heblaw haeriadau noethion, cyflawnodd ysgrifenwyr yr ysgrythyrau wyrthiau rhyfeddol, at y rhai y cyfeirient, er prawf fod eu hathrawiaeth o Dduw; gwisgwyd eu tystiolaeth ag arwyddion nerthol. Gwyrthiau ydynt bethau uwchlaw, neu yn groes i drefn sefydlog natur, ac y mae crefydd y Beibl wedi cael ei phrofi gan luoedd o'r fath amlygiadau â hyn; yr oedd y rhyfeddodau a wnaed trwy Moses yn yr Aifft, y môr coch, a'r anialwch, yn profi ei fod ef o ddwyfol anfoniad. Nid oedd raid i Grist a'i apostolion ond galw ar y gwynt a'r môr, a bywyd ac angeu, i ddyfod yn mlaen fel tystion dros ddwyfolder eu hathrawiaeth; yr oedd golwg yn cael ei adferu i'r deillion, iechyd i'r clwyfus, a bywyd i'r meirw, trwy eu gorchymyn. Yr oedd y pethau hyn yn profi mewn modd anffaeledig wirionedd yr athrawiaeth a gyhoeddent, canys

1. Nid neb ond Duw a allasai wrthdroi cyfraith sefydlog natur: nid oes un gallu a ddichon adferu bywyd ond yr hwn a'i rhoddodd ar y cyntaf.

2. Y maent yn brofion eglur i synwyrau y mwyaf anwybodus o'r bobl; y mae llawer na fedrant brofi cywirdeb athrawiaeth trwy ymresymiadau meithion, na dechreuad crefydd oddiwrth ei thuedd a'i nhatur, ond hwy fedrant wrando ar yr hwn a fu yn fudan yn canu, a gweled y meirw yn rhodio, &c., &c.

3. Nid mewn *congl* y cyflawnwyd y gweithredoedd nerthol hyn, eithr mewn modd mor gyhoeddus fel yr oedd gelynion gwir grefydd yn cael pob

cyfle i sylwi arnynt, ac i gael y twyll allan, pe buasai twyll yn bod; ond yn lle hyny, yr oedd y rhai mwyaf ewyllysgar i feio gweision Duw yn gorfod addef nas medrent wadu y cyfryw weithredoedd, a bod *bys Duw* yn amlwg ynddynt—ïe, yr oeddynt mor argyhoeddiadol, fel y buont yn foddion i droi lluaws i'r wir ffydd.

VI. Y mae cyflawniad lluaws o broffwydoliaethau, neu ragddywediadau o eiddo ysgrifenwyr y Beibl, yn profi mai gair Duw ydyw.

1. Y mae llawer o'r fath broffwydoliaethau yn yr ysgrifeniadau santaidd—rhagddywedodd proffwyd am ddinystr allor Jeroboam gan Josia, amryw oesoedd yn mlaen llaw, 1 Bren. xiii, 2; proffwydwyd am Cyrus wrth ei enw, fel adferwr yr Iuddewon o Babilon, yn nghylch cant o flynyddau cyn ei eni, Esay xlv; ond y proffwydoliaethau mwyaf hynod yn yr Hen Destament a berthynant i'r Messia, y rhai ydynt mor fanwl, cyflawn a chywir, fel y gallent wasanaethu fel defnyddiau o'i hanes ef; ïe, mor gywir y dywedir am amser ei enedigaeth, sef, tra yr oedd y deyrnwialen yn aros yn Juda, yr ail deml yn aros, a deng mlynedd-a-thriugain Daniel yn terfynu, (sef 490 mlynedd oddiar adeiladaeth Jerusalem,) Gen. xlix, 10; Hag. ii, 7; Dan. 9, 24; ei achau—lle ei enedigaeth—amgylchiadau ei fywyd—ei farwolaeth—ynghyd â'r achos o'i farwolaeth, a lluoedd o bethau ereill rhy faith eu henwi yma, fel y gallai dyn gael ei dueddu i dybied fod y proffwydi a fuasent farw gannoedd o flynyddoedd cyn dyfodiad Crist, yn byw yn ei amser ef, ac yn ddilynwyr iddo; y mae rhagddywediadau y proffwydi yn cyfateb i hanes yr efangylwyr, megys gwyneb i wyneb mewn drych, neu fel yr etyb llythyrenau ar bapur argraffedig i lythyrenau yr argraff-wasg.

2. Megys ag yr oedd y gweithredoedd gwyrthiol yn dangos fod Hollalluogrwydd yn gweithio trwy weinidogaeth y proffwydi a'r apostolion, felly yr oedd y cyflawniad manwl o'u rhagddywediadau yn profi fod Hollwybodaeth yn cael ei amlygu trwyddynt, yr hyn na fuasai yn bosibl heb iddynt gael datguddiad oddiwrth Dduw hollwybodol, canys nid yw pethau i ddyfod yn bethau presennol gyda neb ond Duw, ni ddichon y meddwl dynol cryfaf, mwyaf craffus a synwyrol amlygu dirgelion y nefoedd hyd oni ddatguddir hwy gan Dduw.

3. Rhag i neb dybied fod cyflawniad y proffwydoliaethau ysgrythyrol yn ymddibynu ar achosion naturiol, byddai yn weddus i ni sylwi fod llawer o honynt yn perthyn i bethau allan o allu achosion naturiol, ac yn groes iddynt, megys, er siampl, genedigaeth Isaac, pan oedd natur wedi colli ei grym, dyrchafiad Dafydd i'r orsedd, pan oedd amgylchiadau naturiol yn ymddangos fel yn wrthwyneb, adferiad yr Iuddewon o Babilon, y rhai yn lle cydweithio â'r broffwydoliaeth, oeddynt fel rhai yn *breuddwydio*, pan ddaeth yr amser iddi gael ei chyflawni, ac y mae yn sicr nad oedd dim mewn natur a fedrai ragddangos dyfodiad y Messia—ac am fod y cyfryw ragddywediadau wedi eu cyflawni yn ngwyneb yr annhebygolrwydd mwyaf, gallwn fod yn hyderus y dygir i ben y cwbl a

ragfynegwyd am deyrnas Crist, dinystr anghrist, a llwyddiant yr efengyl trwy'r byd.

VII. Ystyriwn y llwyddiant mawr ag oedd yn cydfyned â chyhoeddiad o'r ysgrythyrau. Cafodd yr Hen Destament dderbyniad cyffredinol gan y genedl Iuddewig, i'r rhai y perthynai dan yr hen oruchwyliaeth, a chafodd y Testament Newydd y fath lwyddiant yn mysg Iuddewon a Chenedloedd mewn amrywiol wledydd, fel y mae yn rhy anhawdd i ni roddi amgenach rheswm am hyny nâ hyn, "Llaw yr Arglwydd oedd gyda hwynt." Yn neillduol pan ystyriom,

1. Fod Cristionogrwydd yn groes i ragfarn yr holl wledydd lle yr ydoedd yn myned; yr oedd pawb gwedi cael eu dwyn i fynu mewn crefyddau ereill, o ysbryd hollol wahanol i eiddo yr efengyl, ac yr oedd yn rhaid i'r efengyl ddiwreiddio yr holl gau-grefyddau cyn y buasai iddi gael derbyniad.

2. Yr oedd yr efengyl yn groes i ddysgeidiaeth, esmwythyd, a llwyddiant bydol; gan hyny cyfrifai y Groegiaid hi yn *ffolineb*, barnent mai yr ynfydrwydd mwyaf oedd addoli, a dysgwyl cael bywyd tragywyddol, trwy un a gafodd ei ddihenyddo fel drwg-weithredwr yn Judea—yr oedd, ac y mae yr efengyl yn gofyn i'w holl dderbynwyr i ymwadu â hwy eu hunain, codi y groes beunydd, a thynu ymaith y llygad deau,—ac am fod rhyw grefydd yn sefydledig yn mhob teyrnas, yr oedd amryw, fel Demetrius a'i grefftwyr, yn ymddibynu am fywioliaeth ar barhad yr hen grefydd sefydledig; yr oedd y rhai hyn yn mhob gwlad yn ymdrechu eu goreu i gadw allan bob crefydd newydd; ond etto buddugoliaethodd crefydd ddirmygedig Iesu ar bob gwrthwynebiad.

3. Ymosododd blaenoriaid yr Iuddewon, a holl allu ymerodraeth Rhufain yn ei herbyn; yr oedd carcharu, llosgi, croeshoelio, llabyddio â meini, a llifo â llifau, fel rhwystrau i *air yr Arglwydd redeg a chael gogoniant*, er hyny gorchfygu a wnaeth.

4. Bydd gallu Duw i'w weled yn amlycach etto pan gofiom pwy oedd yr offerynau i sefydlu y grefydd newydd hon; pe danfonasid yr angylion yn genadon heddwch, neu pe galwesid breninoedd y ddaear i fod yn apostolion buasai llawer rhag ofn, ac ereill er mwyn dyrchafiad bydol yn coleddu eu gweinidogaeth; ond pan feddyliom nad oeddynt ond *ychydig o bysgotwyr* gwael, a'r cyffelyb, rhaid addef fod *godidogrwydd y gallu o Dduw, ac nid o honynt hwy*.

5. Nid trwy un twyll na chyfrwysdra y llwyddasant, ni fedrent wenieithio i'r dynion mwyaf yn y byd—ni cheisiasant ffafr breninoedd—nid oedd eu rhifedi yn ddigonol i sefydlu Cristionogaeth trwy rym y cleddyf, ac yr oedd eu holl ymddygiad yn dangos nad oedd arfau *eu milwriaeth hwy yn gnawdol*—milwyr oedd apostolion Mahomet; eithr nid oedd gan genadon Crist ddim ond gwirionedd o'u plaid, yr hwn a adroddasent yn y modd mwyaf diysgog a syml, gan adael rhwng Duw ac eneidiau eu gwrandawyr, ac yn y modd hyn y concwerasant fwy nâ'r ymerawdwyr hynotaf yn y

byd—Cristionogrwydd yw yr unig un o grefyddau y byd a sefydlwyd yn y modd hyn. Ac yn wir nid yw parhâd Cristionogrwydd yn y byd yn llawer llai o ryfeddod nâ'i hymdaeniad cyntaf; llawer o gynnygion a wnaed gan baganiaid i ddifrodi gwir grefydd; ymdaenodd Pabyddiaeth yn rhyfedd dros y gwledydd, gwnaeth y Pabau i'r bobl gredu na ddylasent gael y beibl i'w dwylaw, &c., pa fodd bynag y mae gair Duw genym ni yn awr yn ddilwgr, ïe, gellid profi trwy hanesion diymwad fod yr ysgrythyrau genym yn awr yn yr un purdeb â chyn i Babyddiaeth ymledu yn y byd; ac y mae Duw hyd heddyw yn arddel ei air, fel y mae yn cyfnewid y dynion gwaethaf, gan eu dwyn i ymhyfrydu mewn gwrthddrychau a fuont yn ffieiddio o'r blaen; ïe, y mae yn *allu Duw er iechydwriaeth* i luoedd dirifedi. Wrth gofio am yr hyn a wnaeth Duw trwy ei air, gallwn hyderu mai myned ar led fwy-fwy a wna; canys nid oedd y llwyddiant mawr yn yr oes apostolaidd ond fel *ernes* neu wystl o'r hyn a fydd, pan elo holl deyrnasoedd y byd yn eiddo ein Harglwydd ni.

VIII. Nid oes dim grym yn y gwrthddadleuon a gyfodir yn erbyn yr ysgrythyrau, ond y mae llawer o honynt yn tueddu yn hytrach i brofi eu dwyfolder. Sylwn ar rai o'r penaf o honynt.

1. Dywed y Deistiaid "fod yn yr ysgrythyrau lawer o bethau tuhwnt i'w amgyffrediadau hwy;" eithr os dichon dyn dysgedig gyfodi ei araeth yn uwch nâ dealldwriaeth bobl gyffredin, attolwg a fedr y Duw anfeidrol ddim derchafu a chwyddo ei ymadrodd fel y byddo yn ormod i eneidiau culion anghredinwyr i'w gynnwys? A ydyw eu deall byr hwy yn rheol i wirionedd? Os felly, bydded iddynt fesur y nefoedd â rhychwant, a chynnwys y moroedd ar gledr eu dwylaw—gwadent yr undeb rhwng corff ac enaid—haerent nad yw y gwaed yn rhedeg i fynu trwy y gwythienau—dangosent pa fodd y mae y tynfaen yn gweithio—profent nad yw y môr yn treio ac yn llenwi, neu amlygent i ni pa fodd y mae hyn yn bod? Pan ddeallont hyn, safent i fynu fel beirniaid ar Dduw, ei ffyrdd, a'i air.

2. Nid yw bywydau drwg llawer o broffeswyr Cristionogrwydd yn un rheswm yn ei herbyn, canys nid yw yr ysgrythyr yn annog y cyfryw beth; pe buasai, y mae yn sicr na fuasai gan y Deistiaid fawr o awydd i'w gwrthwynebu; y mae yn amlwg mai rhagrithwyr yw pawb ag sydd yn proffesu parch i'r ysgrythyrau, ac yn byw yn afreolaidd ar yr un pryd; y dynion sydd o'u calon yn caru y beibl, yw y rhai harddaf yn eu bywydau o dan y nefoedd; nid yw rhagrith Cristionogion mewn enw yn profi dim yn erbyn Cristionogrwydd; nid yw fod llawer o ladron yn proffesu bod yn onest yn dangos fod onestrwydd ei hun yn beth drwg; ac fe addef y Deistiaid fod Athronyddiaeth yn beth da, er fod rhai o'i hastudwyr wedi cael eu crogi yn gyfiawn.

3. Nid oes dim ychwaneg o rym yn y gwrthddadl canlynol o eiddo anghredinwyr, sef, "nid yw holl broffeswyr Cristionogrwydd yn cyduno â'u gilydd yn mhob pwnc, am hyny dylid gwrthod yr ysgrythyrau." Os

felly dylent wadu buddioldeb Athronyddiaeth, llafurwaith, a phob math o fasnach, canys y mae yr Athronwyr, y tyddynwyr, a'r masnachwyr rhagoraf yn amrywio yn eu barn.

4. Gwrthddadleuir, "fod yr athrawiaeth o gosp dragywyddol, yr hon a brofir yn yr ysgrythyrau, yn greulondeb," &c. Ond attolwg a ydynt hwy yn farnwyr cymhwys mewn achosion perthynol iddynt eu hunain? Pa un ai Barnydd yr holl ddaear, neu dyrfa o ddrwg-weithredwyr sydd fwyaf addas i farnu pa raddau o gosp sydd ddigonol am y drygau mwyaf? Pe caffai drwg-weithredwyr benderfynu mewn llysoedd barn ar y ddaear, pa ryw gosp a fyddai gymhwys iddynt eu hunain, fe gai y drygau mwyaf ddianc yn ddigosp.

5. Haerir "nad yw y gwyrthiau a grybwyllir yn yr ysgrythyrau yn un prawf o'u dwyfolder, o herwydd y dywedir fod gweision y diafol wedi gwneuthur pethau cyffelyb." Y mae yn wir y dichon Duw oddef i'r diafol ddynwared ei weithredoedd rhyfeddol ef, ond efe a ofala i beri i'w waith ef ragori ar bob peth arall, megys y llyncodd gwialen Aaron wiail hudolion a swynwyr yr Aifft; ac y mae yn sicr na fedrai holl alluoedd uffern i ddad-droi cyfreithiau sefydlog natur, na rhoddi bywyd mewn un creadur; pe gallasai hudolion yr Aifft wneuthur llyffaint byw diledrith, gallasent greu byd newydd, ac os medrent gyfodi dyn marw i fywyd, gallasent gyfodi yr holl feirw i fywyd wrth eu pleser; pe credem hyn gwnaem dduwiau o honynt; nid yw yn debygol y goddefasai Duw santaidd i sêl fawr y nefoedd i gadarnhau twyll a chelwydd.

6. Dymunai anghredinwyr "i weled parhad o'r gwyrthiau crybwylledig, ac yna y maent yn addaw credu." Eithr y mae y fath gais yn afresymol; canys byddai cyfnewid cyfreithiau natur yn barhaus yn anghyfleus dros ben; byddai raid, nid yn unig i beri i'r haul aros, a phethau cyffelyb, ond byddai rhaid deffroi llawer o bryd i gilydd o gwsg angeu, a hyn i gyd i foddio mintai o anghredinwyr gwrthnysig, y rhai a chwennychant weled un oddiwrth y meirw, a phe caent hyny nid yw yn debygol y gwnai fwy o les iddynt nag i'r Iuddewon, y rhai a welsant Lasarus wedi iddo adgyfodi. Heblaw hyny, byddai y parhad o honynt yn dystrywio eu nhatur, rhaid i wyrthiau fod yn bethau *anarferol;* nid mawredd y weithred yn unig sydd yn ei gwneuthur yn rhyfedd; y mae gwaith yr haul yn codi bob dydd yn beth mor fawr â'i waith yn sefyll ar ddymuniad Joshua; ïe, y mae ffurfio a bywhau plentyn yn y groth yn weithred mor fawr â chyfodi un o feirw, a phe gwelem fod y naill yn cael ei wneuthur mor fynych â'r llall, ni phrofai y cyfryw bethau ddim; ac hefyd, y mae yn amlwg mai nid eisieu prawf o ddwyfolder yr ysgrythyrau sydd ar ei gwrthodwyr, ond eisieu cael crefydd a roddai fwy o rydd-did iddynt i ddilyn eu chwantau pechadurus.

## SYMUDIAD PREGETHWYR.

Y GOFYNIAD canlynol a ymddangosodd yn SEREN GOMER, gan un a gyfenwai ei hun G. Bach:—"Yr wyf yn deall fod gryn symud wedi bod yn ddiweddar gan weinidogion oddiwrth y naill eglwys i sefydlu gyda eglwys arall, yr hyn sydd wedi achlysuru rhyw gymmaint o ymholi a dadleu rhwng dynion. Rhai a farnant fod y cyfryw weinidogion yn feius-iawn, gan haeru eu bod yn euog o dòri cyfammod, ac o dòri priodas, &c. Ereill a dybiant eu bod yn ddifai, pan fyddo amgylchiadau yn ol eu barn-hwy yn galw am hyny. Dymunol iawn fyddai cael ychydig oleuni ar y pwnc: sef, pa mor bell y mae yr ymddygiad uchod i'w amddiffyn neu i'w feio; ac o ba le y mae y dyb sydd gan amryw, sef fod gweinidog yn rhwym wrth yr eglwys gyntaf y perthynai iddi, fel gwr wrth ei wraig?"

ATEBIAD.—

Nid wyf yn deall fod un ymadrodd yn y Beibl yn dangos y dylai gweinidog yr efengyl aros dros fywyd, yn ngwyneb pob amgylchiad, gyda'r eglwys y dechreuodd efe ei yrfa weinidogaethol ynddi; ac os nad oes ysgrythyr dros hyny, rhaid barnu cyfreithlondeb neu anghyfreithlondeb symudiad y cyfryw at bobl ereill, wrth amgylchiadau ac addasrwydd pethau. Nid yw bod gweinidog â digon o fodd ganddo i fyw yn eithaf cysurus yn symud oddiwrth bobl a fyddai yn ei garu yn fawr, a'i weinidogaeth yn llwyddianus yn eu mysg, er mwyn cael mwy elw mewn lle arall. ddim yn arwydd o ras mawr, oddieithr bod sicrwydd yn ei feddwl y medrai fod o fwy o ddefnydd mewn lle arall, neu fod mwy o'i eisieu yn y cyfryw le. O'r tu arall, meddyliaf nad oes dim ond awdurdod ysgrythyrol yn ddigon i brofi symudiad yn anghyfreithlon yn ngwyneb yr amgylchiadau canlynol:—sef, pan fyddo gweinidog wedi llafurio yn hir yn aflwyddiannus yn yr un man, ac arwyddion cedyrn y byddai ei ddoniau yn fwy derbyniol a bendithfawr mewn lle arall—pan fyddo pobl ei ofal yn ei ddiystyru, yn ymgecru ag ef yn barhaus, ac yn gwneuthur ei sefyllfa yn dra annymunol, a'i waith yn fwy o faich nag o bleser iddo yn eu mysg—pan fyddo dau neu dri o weinidogion derbyniol yn yr un eglwys ag ef, ac eglwys arall heb yr un gweinidog yn rhoddi galwad iddo, nid yn unig efe a fyddai yn ddifai am symud, eithr byddai yn bechadur mawr am beidio, oni byddai rhyw amgylchiadau cyfreithlon yn ei wneuthur yn analluedig i hyny. Peth arferol yn yr eglwysi sydd yn hoffi ordeinio llawer o weinidogion, yw barnu pan alwer un o honynt ymaith, nas gellir byw hebddo, y byddai yn hawddach iddynt hebgor un o'r lleill. Ond da fyddai i'r cyfryw eglwysi ystyried rhagllaw pa un a fedrent fyw yn gysurus o dan weinidogaeth y sawl a ordeiniant, cyn ei ordeinio; ac os na allant, ar ba gyfrifon yr ordeiniant hwynt? Dichon dynion o ddoniau bychain fod o wasanaeth ar brydiau, i lanw bylchau, megys y dywedwn; eithr ni ddylid

ordeinio neb, ond yn ngwyneb yr anghenrheidrwydd mwyaf anhebgor, oni farna y bobl fod ei fuchedd a'i ddoniau yn ei addasu i borthi y praidd, pe na byddai gweinidog arall yn y lle ond efe. Dysgu synwyr i bobl a droseddant yn hyn fyddai i'r gweinidog a ddoniwyd i'r gwaith eu gadael pan gynnygent osod y cyfryw yn gydswyddwyr, ac yn gydgyfranogion o ffrwyth ei lafur. Pa les i achos Crist yn gyffredin yw gosod llawer o weinidogion yn yr un lle, tra y mae parthau ereill yn newynu o ddiffyg clywed gair yr Arglwydd. Pechod adeiladwyr Babel oedd ceisio aros ynghyd pan ddylasent ymwasgaru. Bendithiodd Duw erlidigaeth i wasgaru y pregethwyr cyntaf o Jerusalem, fel yr ufyddasant i'r gorchymyn, a myned i bregethu ar led y byd. Yn ol eu chwantau eu hunain y *pentyra* rhyw bobl iddynt eu hunain athrawon. 2 Tim. iv, 3.

Yn olaf, pan fyddo yn gyfyng ar weinidog am fywioliaeth, a rhagluniaeth yn agor drws helaethach mewn lle arall, a'r defnyddioldeb heb ei leihau, dylai efe symud; canys os rheda i ddyled lawer, gwna hyny fwy o ddrwg i'r achos da, nag y dichon ei weinidogaeth fod o les; ac os rhaid iddo roddi ei holl amser i drin negesau bydol, ni byddai hyny ond gosod llestr mawr trwchus ar ganwyll ei ddawn a'i ddefnyddioldeb. Gwn fod rhai yn casglu y dylai fod mwy nag un gweinidog yn mhob eglwys; ond yn mha le y datguddir hyny mor eglur yn yr ysgrythyr ag y dylai gweinidogion gael byw wrth yr efengyl? ac os na ddichon cynnulleidfa gynnal un, pa fodd y cynnalia hi ddau? IORWERTH.

---

## ATHRAWON YN FEISTRIAID, &c.

Y SYLWAD canlynol, o eiddo J. J. Richards, Glan-Angof, a ymddangosodd yn SEREN GOMER:—"Mae un peth wedi terfysgu peth ar fy meddwl, sef gosodiad y MR. o flaen enwau y pregethwyr yn lle y gair *Brawd*, yr hwn oedd arferol o fod o'u blaen o'r dechreuad, yr hwn air yn fy ngolwg i sydd yn wir anrhydeddus ac ysgrythyrol, ac am hyny y dylai pob pregethwr fod yn fwy awyddus iddo nag i'r Mr., a bod yn cael ei alw Meistr, Meistr, gan bob un, yr hyn nid yw ond gair arall am Rabbi. Dywed yr apostol, Iago iii, 1, "Na fyddwch feistriaid lawer," &c. A Phaul a ddywed, Rhuf. xii, 2, "Ac na chydymffurfiwch â'r byd hwn." Gwnewch y defnydd a fynoch o hyn, ac, os gellwch, amddiffynwch y newidiad," &c.

ATEBIAD,—

WEDI darllen o honof y llythyr o Lan Angof, meddyliais fod cryn berygl o ddilyn yr arfer ffynadwy yn fy nghymmydogaeth, o alw gweinidogion yr efengyl yn feistriaid: parodd hyn i mi ofyn, "Pa beth a ddywed yr ysgrythyr?" a chesglais rifedi mawr o ymadroddion ysgrythyrol perthynol i'r achos hwn:—wele i chwi ychydig o lawer o honynt.

2 Bren. vi, 5. "Och fi, fy meistr (Eliseus,) canys benthyg oedd."—

1 Cor. xv, 27, "Cenania hefyd meistr y gân."—Mal. ii, 12, "Yr athraw *(master* yn Saesneg) a'r dysgybl."—Mat. ix, 11, "Paham y bwyty eich athraw *(master)* chwi gyda'r Publicanod?"—Mat. viii, 19, "Athraw *(master)* mi a'th ganlynaf."—Marc x, 17, "Athraw *(master)* da, pa beth a wnaf?"—Luc iii, 12, "Athraw *(master,* sef Ioan Fed.) beth a wnawn ni?"—Luc viii, 49, "Na phoena mo'r Athraw *(master.")*—Mat. xiii, 27, "Arglwydd *(Sir,* Saesneg,) oni hauaist di had da?"—Mat. xxi, 30, "Myfi a af, Arglwydd *(Sir.")*—Ioan iv, 11, 15, 19, "Arglwydd *(Sir,)* nid oes genyt ti ddim i godi dwfr," &c,—Ioan xii, 21, "Syr, (Philip,) ni a ewyllysiem i weled yr Iesu."—Ioan xx, 15, "Syr, (y garddwr fel y tybiai Mair,) os tydi a'i dygaist ef ymaith."—Dat. vii, 14, "Syr (yr henuriad,) ti a wyddost."—Actau xvi, 30, "O Feistriaid *(Sirs,* Paul a Silas,) beth sydd raid i mi wneuthur," &c. Yn y manau canlynol gwelir "Ha wyr" yn y Beibl Cymreig, a *Sirs* yn y Seisnig:—Act. vii, 26; xiv, 15; xxvii, 10. Gelwir Crist yn feistr gan y gwahanglwyfus, yn gystal a chan yr apostolion, &c.—Luc v, 5; viii, 45; x, 33; xvii, 13. Sonia Ioan am etholedig Arglwyddes *(Lady,)* 2 Ioan i, 1, 5. Gelwai Sara Abraham yn Arglwydd, 1 Pedr iii, 6.

NODIADAU,—

1. Amlwg yw oddiwrth amryw fanau yn y Beibl fod y sawl a flaenorant mewn pob achos da yn deilwng o barch, a bod athrawon ffyddlon yn deilwng o barch daublyg.

2. Y mae llawer ffordd i barchu dyn, rhai o honynt yn fwy llesiol nag ereill, eithr defnyddio geiriau am, neu briodoli enwau neu deitlau i swyddwr gwladol neu eglwysig, na fyddont yn dynodi parch, ac esgeuluso y teitlau priodol a gyfrifir yn barchus, sydd gyfeiliornad eglur oddiar un o'r ffyrdd hyny. Ac am mai dyma'r ffordd rataf i ddangos pawb o bob ffordd arall, y mae'r troseddwr yn fwy diesgus.

3. Nid yr un peth sydd yn arwyddo parch yn mhob oes, cymdeithas, cymmydogaeth, neu sefyllfa; y dull o'i roddi a amrywia yn fynych gyda'r amserau, defodau, ac amgylchiadau ereill, ond y rhwymedigaeth i'w roddi i wrthddrychau addas a erys yn ddigyfnewid bob amser ac yn wyneb pob amgylchiadau.

4. Yn yr ardal lle yr ydwyf fi yn preswylio peth cyffredin yw galw pob athraw efengylaidd parchus yn *feistr*, ac myfi a dybiwn y byddai peidio galw un felly yma yn dynodi anmharch, oddieithr fod y sawl a esgeulusai hyny yn ei wneuthur o gydwybod; eithr ni's gallaf ganiatau i neb ddwyn tynerwch cydwybod i ddadl grefyddol oni chaf le i feddwl eu bod hwy wedi chwilio yr ysgrythyrau ar y pwnc, ac yn credu oddiar hyny fod cydffurfio â'r arfer gyffredin yn bechadurus, o herwydd ei hanghyssondeb â'r Beibl; pechod yw i neb ddywedyd ei fod o gydwybod dda yn ymwrthod âg un peth, ac yn gwneuthur peth arall, oni fedr efe brofi ei fod ef ei hun, o leiaf, yn cael ei rwymo i hyny gan yr ysgrythyrau.

5. Ymddengys i mi fod darllen y gofres flaenorol, ynghyd â lliaws o

destunau ysgrythyrol ereill, yn ddigon i argyhoeddi pob meddwl diragfarn fod galw Athraw yn *feistr a syr* yn eithaf diberygl i'r gydwybod dyneraf, yn foesgarwch rhesymol, ac yn arfer a gefnogir gan rifedi mawr o engraffau ysgrythyrol.

6. Camsynied ystyr y geiriau *Meistr* a *Syr* yw yr achos fod rhai yn tybied y dylid eu cymhwyso yn unig at y sawl a fyddo yn ein rheoli mewn pethau bydol, neu y rhai fyddom yn ymddibynu arnynt mewn rhyw fodd am fywioliaeth gorfforol. Dengys y difyniadau uchod fod ysgrifenwyr y beibl yn eu cymhwyso at athrawon mor gyffredin ag at ereill; fod blaenor cerddorion yn deilwng o hono; gelwid Crist felly gan rai nad adwaenent ei wir gymmeriad, yn gystal â chan ei ddysgyblion; nid yw Crist yn beio yr hwn a ymholai ag ef ynghylch bywyd tragywyddol, am ei alw yn *Athraw* neu *Feistr*, ond am ei alw yn DDA, ac yntef (yn fy marn i) heb gredu yn ei Dduwdod. Defnyddir ef hefyd fel arwydd o barch i rai nad oeddynt feistriaid gwaith, athrawon, na blaenoriaid, i'r sawl a'i harferai; dysgybl ac nid athraw oedd Phylip, yr hwn a gyferchid â *Syr* gan y Groegiaid; tybiai Mair dduwiol mai addas oedd parchu y garddwr yn y modd hyn, er nad oedd na meistr tir iddi hi, nac yn ddysgawdwr, ar ddim a wyddom ni. Nid oedd yr hon a berchid gan Ioan a'r henuriaid â'r teitl o *Arglwyddes*, yn feistres tir, yn feistres gwaith, nac yn athrawes iddo ef. Canmol ac nid beio Sara am alw Abraham yn arglwydd, neu feistr, a wna Pedr; nid ydym yn deall fod Crist na'i apostolion, na'r proffwydi o'u blaen, yn gwahardd neb i'w galw felly; eithr dysgwylir gan J. J. R. i weinidogion yr oes hon i wrthwynebu yr arfer, a bod, gredâf fi, yn dduwiolach nâ'r apostolion, ac yn llawnach o grefydd nag yw eu beiblau; dylai fyned rhagddo i geryddu Pedr am iddo ef beidio ceryddu Sara; er mwyn bod yn gysson, dylai roddi sen egniol i Ioan am alw arglwyddes neu feistres ar chwaer grefyddol; canys yn ol duwinyddiaeth Glan Angof, teitlau y butain Fabilonaidd yw y rhai a roddid ac a dderbynid gan yr apostolion yn ddibetrus. Yr oeddym ni yn arfer meddwl mai ychwanegu at, gwyrdroi, a gadael heibio engraffau ysgrythyrol, oedd prif addurniadau yr hen Bendefiges o Babilon; ond yn awr deallwn fod y cyfryw ystyr wedi ei lwyr gollfarnu trwy holl daleithiau Glan Angof.

Anhawdd yw rhoddi cerydd digon llym i J. J. R., am y camddefnydd a wna efe â geiriau Iago a Paul, "Na fyddwch feistriaid lawer," ac "na chydymffurfiwch â'r byd," trwy eu dwyn i gynnyg profi yr hyn sydd wrthwyneb i ymddygiad y Cristionogion cyntaf, megys y gwelir uchod. Amlwg yw mai meddwl Iago oedd na ddylai brodyr dra-awdurdodi, neu draws-arglwyddiaethu ar eu gilydd, neu fod yn rhy feistrolgar; ac am Paul, sicr yw na feddyliodd efe am geryddu un math o gydffurfiad â'r byd ond yr hwn sydd warafunedig yn yr ysgrythyr; gallai J. J. R., gyda'r un cymhwysder beri i ni beidio bwyta ac ymddilladu, o herwydd fod y byd yn gwneuthur hyny, a cheisio genym ymwrthod â rhyw arfer

ddiniwed a rhesymol arall ar gyfrif y testun hwn. Naturiol iawn yw meddwl hefyd am y gair gwaharddedig *Rabbi*, mai yr awdurdod a hònai y rhai oeddynt awyddus iddo, ynghyd â'u gwaith yn diystyru ereill, sydd waharddedig, yn hytrach nâ'r arfer o'r gair ei hun; canys yn y geiriau canlynol y dysgir y dysgyblion i beidio galw neb yn *dad* iddynt ar y ddaear, ac na ddylid eu galw yn *athrawon*, (Mat. 23, 8—11;) eithr prin y meddyliwn mai drwg fyddai i blentyn alw *tad* ar yr hwn a'i cenedlodd, neu mai pechod fuasai i Timotheus alw Paul yn dad iddo ef mewn ystyr grefyddol, gan fod yr olaf yn ei alw ef yn *fab*. Yr oedd yr apostolion yn athrawiaethu, gan hyny *athrawon* oeddynt; a dywedir yn bendant fod rhai wedi eu gosod gan Dduw yn *athrawon*, am hyny rhaid deall y geiriau uchod mewn ystyr gymharol.

Na feddylied J. J. R., fy mod i yn chwennych diystyru yr enw caredig ac ysgrythyrol *Brawd*, ond hyderaf fy mod wedi profi fod *Meistr* mor ysgrythyrol ag yntef, ac mai cymhwys ddigon yw ei ddefnyddio a'i dderbyn gan bob person mewn ardaloedd ag y byddo ereill yn gyffredin o'r un sefyllfa neu alwad yn ei gael. Ofni yr ydwyf nad ydys yn galw Meistr ar J. J. R., a bod ei holl rinweddau yn ddisylw gan ei gymmydogion, am ei fod yn ysgrifenu o Lan Angof; pa fodd bynag, yn ei ysgrif ddiweddar efe a wnaeth werth ei gofio. Ni a beidiwn ei ebargofi; ymdrechwn ei symud o'r dyffryn anhyfryd ag y mae ynddo; dymunwn ddyrchafiad graddol i Mr. J. J. R., o Lan Angof. GWEINIDOG Y FFLANGELL.

---

## CYMUNDEB CYMMYSG.

[DECHREUWYD dadl ar y pwnc hwn gan IWAN, (sef y Parch. D. Williams, un o feibion dyscleiriaf Cymru yn ei ddydd,) yn SEREN GOMER am y flwyddyn 1819, tu-dal. 49;—Ateb i'r llythyr hwnw yw yr un canlynol. Atebwyd hwn gan IWAN, a gwrthatebodd Mr. HARRIS; ar hyn dyma achwyniad uchel-gri fod Mr. HARRIS yn gwneuthur y SEREN yn gyfrwng dadl bleidgar, ac na adawai i neb ond Bedyddiwr i sylwi arni, ac er gostegu y cynnwrf, ac achub bywyd y SEREN, gorfuwyd terfynu yr ymdriniaeth. Trueni na chawsid dwyn y ddadl yn mlaen, pryd yr oedd dau ysgrifenydd mor nerthol wedi gafaelyd yn y gorchwyl. Nid yw y llythyr canlynol, namyn eglurhad ar rai pethau rhag-arweiniol. Y mae y pwnc hwn yn mhell o fod yn perthyn i'r Bedyddwyr yn unig, eithr yn dwyn perthynas â phawb Cristionogion a arferant yr ordinhadau, a gobeithiwyf y gwelir yn fuan ymdriniaeth gyflawn a phwyllgar o hono yn yr Iaith Gymreig. Myfi a dybiaf ei fod yn un tra phwysig, ac yn teilyngu sylw Cristionogion yn gyffredin. Tybiaf hefyd fod yn lled hawdd profi mai IWAN, ac nid Mr. HARRIS, oedd wedi cymmeryd yr ochr fwyaf amddiffynadwy.—D. R. S.]

Darllenais lythyr Iwan dros Gymundeb Cymmysg. Er hyny yr wyf o'r un meddwl yn nghylch y pwnc a drinir ganddo ag oeddwn cyn ei ddarllen; ac yr wyf yn bwriadu gwneuthur ychydig sylwadau arno, i ddangos gwendid ei resymau. Ond gan fod dadleuon yn cael eu hestyn allan yn ddirfawr yn fynych, o eisieu na byddai y dadleuwyr yn deall eu gilydd yn well, chwennychwn wybod meddyliau Iwan yn nghylch ychydig bethau, cyn ymosod i ateb y llythyr dywededig. Ac am y bydd rhaid dywedyd ychydig am frodyr o farn wahanol i mi yn nghylch bedydd, buddiol fyddai dywedyd gair ar y pen hwn i esmwytho eu meddyliau, fel na byddo terfysg diachos i gymmeryd lle. Nid wyf yn bwriadu dywedyd gair ynghylch bedydd, ond yr hyn nas gellir ei ochelyd. Nid dadl rhwng y Bedyddwyr a Bedyddwyr babanod yw hon: ond dadl rhwng rhai o'r Bedyddwyr a'u gilydd. Ni chaf fi na dywedyd dros nac yn erbyn bedydd babanod, na bedydd crediniol, dros nac yn erbyn taenelliad na throchiad, mewn ffordd o ymresymu; er hyny, yr wyf dan yr anghenrheidrwydd i fynegu fy meddyliau mewn geiriau byrion am hyn. Er fod ein brodyr o wahanol farn, o ran moesgarwch cyffredin, yn ein galw ni yn *Fedyddwyr*, sef yr enw ag ydym yn galw ein hunain wrtho; etto, yn ol eu golygiadau hwy ar fedydd, *ail-fedyddwyr* ydym ni; ac mewn ystyr lythyrenol nis gallant hwy ein hystyried yn amgen. O'r tu arall, er mwyn cynnal yr un moesgarwch, a pheidio bod yn ol i'n cymmydogion, nyni a alwn ein brodyr, o farn wahanol i ni, yn *Fedyddwyr plant*, er, mewn ystyr briodol, yn ol ein golygiadau ni ar fedydd, pobl heb eu bedyddio ydynt; ac am yr un rheswm ag yr ystyriant hwy ni yn *ail-fedyddwyr*, y rhaid i ni eu hystyried hwy yn *ddifedydd*. Gelwir canlynwyr George Fox genym yn *Gyfeillion*, er ein bod yn chwennych bod mor gyfeillgar â hwythau. Y Browniaid yn *Anymddibynwyr*, er fod trefn ein heglwysi mor anymddibynol â'r eiddynt hwythau. A'r cymdeithasau a ddechreuwyd gan Whitfield a Wesley yn *Drefnyddion*, er barnu o honom ein bod mor drefnus, os nid ychydig yn fwy trefnus nâ hwy. Hyny yw, yn ol arfer garedig gyffredin, yr ydym yn galw gwahanol bleidiau o ddynion da wrth yr enw a ddewisant eu hunain, felly hwythau â ninnau. Er hyny ni ddylai un blaid dramgwyddo wrth y llall am egluro eu meddwl pan fyddir yn ymddyddan yn garedig, yn agos, ac yn briodol ar unrhyw bwnc. Y sawl sydd yn credu yn ddiysgog fod taenelliad babanod yn fedydd ysgrythyrol, sydd dan yr anghenrheidrwydd i'm hystyried i yn *ail-fedyddiwr*, eithr am nad wyf fi yn credu fod taenelliad babanod yn fedydd, yr wyf finnau dan yr anghenrheidrwydd i'w ystyried yntef yn *ddifedydd*, ac nad wyf ail-fedyddiwr fy hun. Fe genfydd pob meddwl diragfarn hyn, ac nad oes achos gan y naill blaid i dramgwyddo yn hytrach nâ'r llall; yr enwau gwahanol hyn a darddant mewn modd anocheladwy oddiwrth ein meddyliau gwahanol am yr ordinhad o fedydd. Eithr pa un ai trochi y crediniol neu daenellu babanod sydd oreu, nid wyf yn meddwl dywedyd; nid yw terfynu hyn yn perthyn yn y mesur lleiaf i'r pwnc mewn llaw; y

mae y ddadl hon yn gorphwys, a hi a gaiff orphwys o'm rhan i, yn y man lle yr oedd cyn i Iwan ysgrifenu; barned pob un drosto ei hun. Yr wyf hyderus na thramgwydda un dyn call diragfarn wrthyf, am y darluniad teg anmhleidgar uchod, gan nad i bwy blaid y perthyna, eithr y cenfydd pawb yn eglur fod yn rhaid i daenellwyr babanod newid eu barn am fedydd, (hyny yw, troi yn Fedyddwyr mewn barn,) cyn y gallont ein hystyried ni yn amgen ail-fedyddwyr; a bod yn rhaid i ninnau newid ein barn am ddull a deiliaid bedydd, (hyny yw, ymwrthod â'n hegwyddorion, a throi o du taenelliad babanod,) cyn y gallom eu hystyried hwy yn fedyddiedig. Ni fynwn i er dim weled SEREN GOMER yn gyfrwng dadl yn nghylch bedydd; y mae llawer wedi ei ysgrifenu eisioes o'r ddau tu ar y pwnc; ac os tybia neb fod rhy fach, mae yr argraffwasg yn rhydd iddynt; ac yr wyf yn gobeithio y credir fi pan ddywedwyf, na buaswn yn dywedyd cymmaint ag a ddywedais uchod ar hyn, oni byddai fod y ddadl a ddechreuodd Iwan yn gwneuthur hyny yn anhebgor.

Yr hyn a chwennychwn ddeall yn *eglur*, cyn ateb Iwan yw; Pa un ai fel dynion bedyddiedig, o herwydd fod dwfr wedi cael ei gymhwyso atynt, yn enw y Drindod, yn eu babandod, (er eu bod yn gamsyniol, ond etto yn dwyn sel dros fedydd) y derbynia efe fedyddwyr plant i gymundeb; neu, a yw efe dros dderbyn dynion i gymundeb a fyddo heb eu taenellu na'u trochi, os bydd amgylchiadau ereill yn dangos eu bod yn ddynion duwiol? Yr wyf wedi darllen gwaith yr enwog Robert Hall, a Mr. Cox, o Hackney, ar y pwnc, y rhai a ddywedant yn bendant, mai fel dynion difedydd y derbyniant hwy y cyfryw; ac â hwy y cytuna yr hybarch Dr. Ryland, a'r hyawdl Hughes, o Battersea. Yn ail, a oeddid yn ol barn Iwan, yn derbyn dynion difedydd i gymundeb, gan Grist, ei apostolion, a'r eglwysi cyntaf? Neu, mewn geiriau ereill, pe cynnygasai rhyw ddynion bucheddol eu hunain i gymundeb â'r apostolion, a hwythau heb eu bedyddio, pa un ai derbyniad ai gwrthodiad a gawsent? Odid na ŵyr Iwan farn Mr. Hall a Mr. Cox ar hyn, y rhai a ddywedant, na dderbyniasid y cyfryw y pryd hyny, ac na allasai y cyfryw fod yn ddynion da, gan y buasent euog o wrthwynebu yr apostolion yn wirfoddol. Deisyfaf ar Iwan fynegu ei feddwl ar hyn y cyfle cyntaf, modd y gallwyf wybod pa beth i'w brofi, a pha beth i'w gymmeryd yn ganiatâol, yr hyn a fyrhâ lawer ar y ddadl; ac nid oes genyf ddyben arall wrth ofyn y pethau uchod. Ac er mwyn byrhau ei waith ynteu, mynegaf iddo yn rhwydd, yr hyn nad yw yn ymddangos yn eithaf eglur ei fod yn ei wybod, sef, fy mod i a'm brodyr cyn belled ag wyf yn wybod, yn credu fod lluaws o ddynion duwiol yn perthyn i gymundeb bedyddwyr plant; fy mod yn meddwl mai dyledswydd pawb dynion da yw cyfrinachu ynghyd, a myned gyda'u gilydd law-law yn mhob peth, oni bydd eu cydwybodau yn eu gwahardd, ac mai un o'r pechodau echryslonaf ag y dichon Cristion fod yn euog o hono yw coleddu rhagfarn, a meithrin pleidgarwch anysgrythyrol a diachos; ac am hyny, os na fedraf brofi trwy ysgrythyr a

rheswm fod fy ymddygiad fel Caeth-gymunwr, yn amddiffynadwy ac yn ganmoladwy, dichon Iwan ddysgwyl clywed yn fuan fy mod wedi troi yn Rydd-gymunwr; teilwng o eglwys Rhufain, a'r rhai a ryfeddant ar ol y bwystfil yn unig, yw amddiffyn pwnc crefyddol ag arfau mellditblawn rhagfarn, megys gogan, enllib, a phethau mwy dinystriol, pan feddont ar y gallu. Gan ddysgwyl clywed oddiwrth Iwan yn fuan, y gorphwys ewyllysiwr da i gariad brawdol, rhydd-did cydwybod, a phob rhan o'r gwirionedd.

---

## TRAED-FUANYDD.

Ychydig wythnosau yn ol, gwelsom ddarluniad o ddyfais newydd, er cynnorthwy i deithwyr ar draed, yr hon sydd yn awr mewn bri mawr mewn amryw barthau: gellir gweled ugeiniau ynghyd o'r Traed-fuanyddion yn nghymmydogaeth Caerodor, a lleoedd ereill yn Lloegr. Ac wrth ddychwelyd o Gaerdydd, pythefnos i fory, gwelsom ninnau un o honynt yn y Bontfaen, Morganwg, yr hwn a wnawd gan saer ag sydd yn trigo gerllaw i'r dref olaf, yr hwn a'i gwnaeth heb yr un cynllun, namyn y darluniad a welodd yn mhapurau y newyddion. Ymddengys ei fod yn beth tra hawdd i grefftwr ei wneuthur wedi cael cynllun o'i flaen. Fe'i gwneir i fynu o ddarn o bren, digon cryf i ddala pwysau dyn, rhyw gymmaint dros hyd llathen, ac un droell ysgafn dan y pen blaen, ac arall dan y pen ol, ac ar y pren gosodir cyfrwy i'r teithiwr i eistedd arno, yn y fath fodd ag y gallo ei draed gyffwrdd â'r llawr, â'r rhai y gweithir ef yn mlaen. Ei bwysau oll sydd o gylch 30 pwys. Gellir ei droi yn ddioed ffordd y myno y marchogwr.

Cymmerasom ef i gae gwastad wrth gefn y dref uchod, heb wybod i neb ond tri neu bedwar o'r gyfrinach, rhag y buasai ymdyriad y lluaws yn ein rhwystro i gael prawf teg o hono. Yn ol myned ar y cyfrwy, deallasom fod yn rhaid i ŵr ymarfer ychydig ag ef cyn y gallo fyned rhagddo yn hwylus. Nis gallasem ei gadw yn gywir rhag tramgwyddo i'r naill ochr neu'r llall. Pa fodd bynag, nid oedd hyn ddim rhwystr i'r gŵr cywrain a'i gwnaeth; yr oedd efe yn medru ei gadw yn gymhwys heb boen yn y byd, trwy bwyso â'i freichiau ar bren croes bychan ag sydd wedi ei osod o flaen y cyfrwy i'r perwyl hyny, tra yr oeddym ni yn gorfod gwneuthur hyny â'n traed, y rhai a ddylasent fod wrth waith arall. Hefyd, adwaenir ei farchogydd gan bob anifail, felly ymddangosai i ni megys pe buasai y creadur difywyd hwn yn adnabod ei feddiannydd, am nad oedd y duedd leiaf ynddo i ysgoi tra byddai efe ar ei gefn. Mewn cae gwastad, yr oedd efe yn symud ei draed megys pe buasai yn cerdded yn bwyllig wrth ei bleser, eithr yr oedd yn ein cadw ni i redeg yn galed i'w ddilyn. Wrth yr hyn a welsom ac a ddarllenasom, yr ydym yn

meddwl y byddai hwn o wasanaeth mawr i ddynion ag ydynt yn teithio llawer ar draed. Ar dir gwastad, ymddengys yr â efe cyn gynted â cheffyl da ar lawn duth, ac ar benwaered mor gynted â cheffyl ar bedwar carniad gwyllt, ac ar y tylau cyn gynted ag y cerddo gŵr heinyf ar ei draed. Pa galetaf a sychaf fyddo'r ffordd, goreu i gyd: nid oes eisieu ffordd gerbyd, y mae llwybr troed yn ddigon llydan, am hyny dichon gŵr ddewis y màn goreu yn y ffordd heb ddim anhawsdra. Os bydd eisieu croesi dyfroedd lle na byddo pont, gellwch yn rhwydd gymmeryd eich ceffyl dan eich cesail dros y bontbren, dros y clawdd, neu i un rhyw fàn ag y dichon gŵr ar ei draed fyned. Nid oes perygl iddo gwympo yn ol nac yn mlaen, a phe dygwyddai, o herwydd anfedrusrwydd y marchogwr, gwympo y naill ochr, ni byddai mwy o berygl nâ bod gŵr yn cwympo oddiar ei draed ei hun; a phe syrthiai eich ceffyl arnoch, ni byddai mwy o niwed nâ phe cwympai un goes ar draws y llall. Yn ol dysgu marchogaeth yn hwylus, gellwch faeddu y llythyr-gerbyd mewn cyflymdra, a'i adael gryn lawer ar eich ol, mewn ychydig oriau, o leiaf yr ydym yn darllen fod gŵr yn Lloegr wedi gwneuthur hyny, pan oedd yn rhedeg am y cyntaf â'r cerbyd, am gryn swm o arian. Gellwch fyned i Lundain, ac Edinburgh, ac yn ol, heb newid eich ceffyl, nac aros i'w geircho. Pan fyddoch yn aros dros nos mewn unrhyw le, ni raid gofidio rhag na byddo eich anifail yn cael digon o ebran; efe a geidw yr un wedd heb geirch, gwair na dwfr, trwy y flwyddyn; nid oes achos talu swllt na chwe' cheiniog i'r marchwas wrth gychwyn yn y boreu. Dim treth am geffyl cyfrwy, na dim i dalu yn y toll-borth, oni wneir cyfraith newydd. Nid â hwn byth i grwydro, nid ymâd efe byth â'i feistr heb genad; ni bydd achos byth i'w ffaldio am droseddu; a gellwch ei ddàl y boreu yn ddiboen, heb y gogr a'r ceirch, na dim o'r cyfryw. Gellwch ei gadw hefyd rhag rhuthr y lleidr mwyaf annaturiol a digywilydd, o herwydd nad oes achos ei droi yn rhydd i'r cae, na'i adael mewn marchdŷ na cherbyd-dŷ, gellwch ei gymmeryd genych i'ch ystafell-wely, ni cheidw efe gymmaint o le â dwy gadair yno, a bydd yn sicr o fod mor esmwyth a syber yno â phost y gwely ei hun; a phe dygwyddai i'ch ystafell fod yn dra chyfyng, gellwch ei roddi dan y gwely yn ddiberygl; dengys hyn, nid yn unig nad oes raid i chwi fyned i'r draul i adeiladu marchdŷ gartref, ond hefyd y gellwch fyned i ymweled yn ddidrafferth â'ch cyfeillion yn mhob rhyw amgylchiad, canys os bydd lle i chwi, gellwch fod yn sicr y bydd lle i'ch ceffyl hefyd. Am i ni golli ceffyl da unwaith, o'r achos iddo ef ac arall ymgynhenu a churo eu gilydd yn dost yn y marchdŷ, naturiol yw i ni eich adgofio, nad oes berygl gosod cant o'r traed-fuanyddion ynghyd, byddant fwy diniwed nag ŵyn, ni friwiant eu gilydd yn y mesur lleiaf. Er ei fod mor fywiog wrth deithio, nid yw yn ysgoi byth gan ofn, gan nad pa mor ddychrynllyd fyddo'r gwrthddrychau o'i amgylch; efe a'ch dwg yn ddiarswyd trwy ganol myrdd o finteioedd o ddrychiolaethau, a deng myrdd o ganwyllau cyrff! Ni fedr rhuad holl lewod y goedwig, na thwrf dychrynllyd mil o filoedd o fagnelau llofruddiog beri iddo gilio modfedd o'i lwybr.

Dywedir y dichon gŵr gymmeryd dynes gydag ef; gwelsom lun Dug Caerefrog ar un o honynt a'i Dduges wrth ei sgîl; eithr ofni yr ydym y byddai gormod gwaith i draed un dyn i wthio dau yn mlaen, ond ar benwaered. Y mae y gŵr a'i gwnaeth gyntaf yn Lloegr wedi cael breinsgrif, ac am hyny ni ddichon neb ereill ei werthu nes terfyno oes yr ysgrifen hòno; eithr dyn o Sermania a'i dyfeisiodd. Y pris yw o wyth i ddeg gini; pa fodd bynag, gellai y gwr celfydd, gerllaw y Bontfaen, yr hwn a wnaeth yr un a welsom ni, ei werthu, pe byddai hyny yn gyfreithlon, am dri gini. Meddyliwn y dichon y sawl a fŷno wneuthur un iddo ei hun, ond nis gwyddom a fedr efe anrhegu cyfaill ag un ai peidio.

Yr ydym wedi anghofio enw y saer uchod; dichon Mrs. Lewis, arwydd y Seiri Meini, Pontfaen, roddi hysbysrwydd i'r ymdeithydd ymofyngar yn ei gylch. Deisyfir ar y darllenydd wahaniaethu rhwng yr hyn a welsom a'r hyn ag ydym yn fynegu ar ol ereill; os deallwn fod gair camsyniol yn y darluniad uchod, byddwn sicr o'i ddiwygio y cyfle cyntaf.

---

# HANES EISTEDDFOD CAERFYRDDIN,

Yr hon a gynnaliwyd yn mis Gorphenaf, 1819.

[Yr oedd cynnaliad yr Eisteddfod yn Nghaerfyrddin yn 1819, yn fath ar adfywiad ar Lênyddiaeth a Barddoniaeth Gymreig, ac am hyny y mae yn teilyngu bod ar gof a chadw. Hyderaf na thramgwydda un derbyniwr wrthyf am osod yr hanes ganlynol yn y Gyfrol hon, eithr y bydd yn foddion boddineb cyffredin.—D. R. S.]

Rhwng 11eg a 12eg o'r gloch dydd Iau, y 9fed, cynnullodd tyrfa fawr, wrth sain udgorn, yn rhandy mawr Gwestdŷ y Llwyn Eiddew, *(Ivy Bush,)* yn cynnwys aelodau y Gymdeithas Gymröaidd, Beirdd, a Cherddorion, y rhai oll a dderbyniwyd i mewn trwy arwydd-nodau, ar y rhai yr oedd eu henwau yn ysgrifenedig; ni pherthynai y fraint o fod yn bresennol i neb ereill. Yr oeddid yn gobeithio y buasai Llywydd y gymdeithas yn bresennol, sef, y Pendefig tra chlodfawr Argl. Dynefwr, un o gyndadau yr hwn, Gruffydd ab Nicolas, ymgeleddwr enwog y Beirdd, a flaenorodd yn yr Eisteddfod fawr a gynnaliwyd yn Nghaerfyrddin, yn y fl. 1451; sef, agos i bedwar can mlynedd yn ol; eithr siomwyd dysgwyliadau y gymdeithas yn hyn, trwy absennoldeb anocheladwy ei Arglwyddiaeth yn Llundain; pa fodd bynag, cynddrychiolwyd ei Arglwyddiaeth yn y modd mwyaf rhagorol gan Arg. Esgob Tyddewi, sel ac ymdrechiadau hyglod yr hwn oeddynt dra amlwg a llwyddiannus.

Yn nechreuad y gweithrediadau, ymddangosodd Mr. Edward Williams, (Iolo, *hen* Fardd Morganwg, gan bwyso ar Mr. Daniel Evans, (Daniel ab Ieuan Ddû,) Bardd *ieuanc* Ceredigion; a'r cyferbyniad rhwng ieuenctyd a henaint, yr ymestynydd a'r cynydd-fab, neu y taer-geisydd a'r meddian-

nydd, a barodd i'r amgylchiad hwn fod yn dra hyfryd. Y Gadair Farddonol, neu Gadair Teilyngdod, yr hon a saerniwyd erbyn yr achlysur, o dderw brodorol, mewn agwedd hen-ddulliog *(gothic)* pur, a osodwyd ar y bwrdd, i'r dyben i foddhau cywreingarwch y Gymdeithas, yn gystal ag i gynhyrfu awydd cyd-ymgystadliad y rhai a allent fod yn chwennychu i'w meddiannu.

Agorwyd yr Eisteddfod gan y Llywydd gweinyddawl, yr hwn a amgylchid gan y boneddigion canlynol, y rhai a ffurfient y Cynghor Trefnidaeth:—yr Archddiacon Beynon; William Lewes, ysw., Llysnewydd; D. Davies, ysw., Meddyg; Thomas Bowdler, ysw.; Charles Morgan, ysw.; Parch. Edward Picton; Parch. J. Bowen; Wm. Morgan, ysw.; Parch. B. Millingchamp; Parch. Eliezer Williams; Parch. W. Morgan; Parch. J. Rees; ac aelodau ereill o'r Gymdeithas. Y Parch. D. Rowland Cofiadur; Mr. Edward Williams; Parch. D. Richards; a Mr. R. Davies, y rhai a drefnwyd i farnu pwy a ddylai gael y campau, neu y gwobrwyon, am y cyfansoddiadau goreu mewn dysgeidiaeth; amryw Feirdd a Cherddorion, yn nghyd ag ereill, y cwbl o ddau i dri chant yn bresennol. Agorwyd gwaith y cyfarfod gan yr Esgob dysgedig a theilwng, mewn araeth fer a thra pherthynasol. Pan derfynodd yr anerchiad yma, yr hwn a dderbyniwyd gyda boddlonrwydd a gorfoledd mawr, cyfododd Mr. E. Williams, (Iolo Morganwg,) ac a anerchodd y cyfarfod yn Saesneg, yn y modd canlynol:—

"At yr hyn a ddywedodd ei Arglwyddiaeth mor ddillynaidd, a pherthynol i'r achos, nis gallaf ychwanegu ond ychydig; etto, mewn modd gostyngedig, crefaf ganiatâd i wneuthur ychydig sylwadau. Un o brif wrthddrychau y Gymdeithas Gymröaidd yw amaethu ein Barddoniaeth cenedlaethol, a'i hadferiad i'w hen gymmeriad, sef bod yn ymgeleddydd ac yn addysgydd gwirionedd. Yn mabandod pob cenedl a adwaenir yn hanesol genym ni hyd yn hyn, Barddoniaeth oedd trosglwyddydd cynoesol gwybodaeth; y mae wedi bod yn ddechreuydd dysgeidiaeth. Yn gynar yn oes y byd gwareiddiwyd y Cymry trwy ganiadau moesol a synwyrlawn eu Beirdd cyntaf i raddau cryn helaeth. 'Yn llewyrch y gân' unwyd hwy mewn cwlwm cymdeithasol. Gweddillion eu hen ddysgeidiaeth Barddonol a Derwyddol sydd hyd y dydd hwn yn ein mysg, ac a eglurant feddiant o'r fath wybodaeth ddiledryw ag nas gellir ei gael yn mysg cenedloedd y byd hwn. Barddoniaeth a gadwodd i ni ein iaith gysefin hyd y dydd hwn, yn ei holl burdeb dechreuol, trwy holl oesoedd tywyll anwybodaeth, yn y rhai y trengodd holl ieithoedd cenedloedd lliosog yr ymerodraeth Rufeinig; yr iaith Roeg ardderchog, yr hon a barhausai ddwy fil o flynyddoedd agos yn ei phurdeb digyfnewid, sydd *wedi darfod*;—y Lladin, iaith sefydledig trwy gyfraith yr ymerodraeth ddirfawr hòno, sydd er ys mwy nâ mil o flynyddoedd yn *iaith farw*;—ond y mae yr hen iaith Gymreig etto yn *fyw*. Ynddi hi y ceir golygynau awduredig o ddysgeidiaeth, y rhai a ddeallir yn hawdd hyd y dydd hwn. Iaith Cymru yw yr unig iaith ag sydd wedi gorfucheddu marwolaeth yr ymerodraeth Rufeinig, a'i holl ieithoedd ereill. Amaethyddiad dysgeidiaeth yr iaith hon sydd wedi cynhyrfu sylw bywiog gwir barchedig sylfaenydd a thad y Gymdeithas Gymröaidd tra chyfrifol ag sydd yn ymddangos ger ein bronau heddyw; diwrnod a gyhoeddir genym fel dydd adgyfodiad dysgeidiaeth yn ein hiaith frodorol, yr hon sydd dra anwyl genym. Y dydd hwn a wawria gyda dysgleirdeb mawr yn Nghaerfyrddin. Caerfyrddin a gafodd yr anrhydedd uchel tra haeddiannol, agos i bedwar can mlynedd yn ol, o ymddangos yn seren ddysglaer yn ngwawriad dydd tym-

heetlog; byr yn wir a gauafol oedd y dydd a ganlynodd; ac yn llwythog o'r ystormydd a redasant allan, megys pe byddai o'u ffanau, yn nhai Caerefrog a Chaerwerydd. Y mae yr ystormydd hyn, diolchwn i Ddwyfol Ragluniaeth, wedi treulio eu hanadliad olaf. Yr ydym ni yn byw yn nyddiau tawel heddwch; boed i ni obeithio y cofrestrir hwy gan oesoedd a ddel, fel dyddiau gwir grefydd a moesoldeb; a bydded i ni ag ydym yn byw yn y dyddiau hyn, ymdrechu i sefydlu eu cymmeriad fel y cyfryw. Yn y fl. 1451, cannaliwyd Eisteddfod mawrwych yn Nghaerfyrddin, dan nawdd y gwir odidog Gruffydd ap Nicolas; un o'i hiliogaeth pendefigaidd, a charwr ei wlad, a ymddengys yn awr yn gydweithiwr a'n teilyngaf Arglwydd Esgob Tyddewi; ei law a gynnorthwya yn rymus yn ngosodiad sylfaen ein sefydliad harddwych; a than ei nawdd urddasol ef yr ydym heddyw yn gweled dan lawenychu wledd dysgeidiaethol fawrwych arall yn Nghaerfyrddin. O Gaerfyrddin, fel o le canol-barthol, boed i angylion gwybodaeth, dysgeidiaeth, a phob rhinwedd ag sydd dderbynadwy gan feddwl dynol, gymmeryd eu ehediad i bob parth, ar adenydd pob gwynt, gan gawodi arnom o'u hesgyll euraidd holl fendithion dealldwriaethol, doethineb bur, tangnefedd, a dedwyddwch. Pa le mae y dyn a chwennycho gael ei ystyried yn garwr ei wlad, a'r nad ewyllysia ac a ymdrecha hyd yr eithaf i ddiogelu llwyddiant i'r bwriad mawrwych a hynaws?"

Derbyniwyd yr araeth hon gyda llawenydd ac arwyddion canmoliaeth, agos i fod yn ddiderfyn.

Hysbysodd y Gwir Barch. Lywydd fod cyfarfod wedi cael ei gadw yn nhŷ Arglwydd Dynefwr, yn Llundain, ar y 14eg o'r mis diweddaf, i ystyried y priodoldeb o ffurfio Cymdeithas Ganghenol yn y Brif-ddinas, i gyd-weithredu â hon, yn yr hwn yr oedd amryw bersonau enwog o Wynedd yn bresennol, a barnwyd ei bod yn gynghoradwy i oedi hyny hyd y flwyddyn nesaf. Wedi hyny darllenwyd llythyr oddiwrth Arglwydd Dynefwr, yr hwn a fynegai ofid ei Arglwyddiaeth o eisieu bod yn bresennol, a'r achosion o'i absennoldeb.

Englynion Cymreig ar wrthddrychau y cyfarfod a draddodwyd wedi hyny olynol gan Mr. Edward Williams, y Parch. D. Richards, Mr. Rob. Davies, a'r Parch. Walter Davies, y rhai a ganmolwyd yn fawr. Adroddwyd rhai pennillion hefyd gan John Cain Jones, y rhai, ar gyfrif dull awyddus ac ymddangosiad isel yr adroddwr, a wnaethant gryn argraff ar y cyfarfod. I symud y blinder a allasai adroddiad o'r cyfansoddiadau Cymreig beri i'r sawl nad oeddynt yn deall yr iaith, yr oedd pedwar telynwr yn bresennol, y rhai a ganasant amryw dônau peraidd rhwng adroddiad y naill gyfansoddiad a'r llall.

Cyhoeddwyd enw benthycol awdwr yr englyn goreu "ar y Delyn wedi ei thantio o'r newydd," gan yr Esgob; arddelwyd yr enw gan y Parch. Walter Davies, Periglor Manafon, gerllaw y Trallwn, swydd Drefaldwyn, trwy gyfodi ar ei draed ac ymgrymu i'r cadeirwr. Deisyfwyd arno i adrodd yr englyn; efe a wnaeth felly, ac a derfynodd yn nghanol dylif o orfoledd cymmeradwyol.

Cyhoeddwyd hefyd mai yr un gŵr boneddig oedd awdwr yr Awdl oreu ar (rai o y) 24ain mesur, er "Coffadwriaeth am y gwron Cymreig Syr Thomas Picton;" ac ar hyny efe a dywyswyd gyda bloddest i'r Gadair Farddonawl. Gwedi eistedd o hono yn ei gadair newydd, yr hon,

megys y sylwasom eisioes, oedd ar fwrdd uchel yn nghanol y rhandŷ, dringodd hen Fardd Morganwg, i fynu, a chlymodd ysnoden lâs am ei fraich ddehau, sef arwydd Bardd. Wedi hyny disgynodd Mr. Edward Williams, a nesâodd at yr Esgob, gan ddywedyd wrtho ei fod wedi cael ei awdurdodi (neu ei gymhell, canys ni's gallasom ei glywed yn eithaf eglur) i wisgo ei Arglwyddiaeth âg Urdd Derwydd: Wel, eb yr Esgob, myfi a ymostyngaf i bob peth a farnoch yn gymhwys: yna rhwymodd y Bardd ysnoden wen am fraich ddeheu yr Esgob. Creodd hyn ddywenydd hir a chyffredin. Dangosai hyn fod rhagfarn grefyddol wedi cael ei gadael o'r tu allan i'r gynnulleidfa gan fawrion a chyffredin. Gweled *Esgob Tyddewi* yn cael ei urddo gan hen *Ymneillduwr* oedd olygfa mil mwy hyfryd gan goleddwyr cariad ac ewyllys da cyffredin, a gwrthwynebwyr rhagfarn a phleidgarwch, nâ phe gwelsid Arch-esgob Caergaint, yn ei holl wisgoedd a'i rwysg prif-esgobawl, yn cyflawni yr un gorchwyl. Wedi darllen o Mr. Davis ei Awdl, canwyd y dôn gwynfanus hyfrydlon *Morfa Rhuddlan* gan y Telynorion Blayney a Humphreys yr ieuengaf.

Yna cyhoeddodd yr Esgob enw benthycol awdwr yr Awdl oreu ar "Farwolaeth y Frenines," ac am nad oedd neb yn ateb, tòrwyd y sêl ag oedd yn cuddio ei iawn enw, a gwelwyd mai Mr. Griffith Williams, Llandegai, sir Gaernarfon, oedd y Bardd llwyddiannus: darllenwyd y cyfansoddiad hwn gyda medrusrwydd mawr, gan y Parch. D. Williams, Ystradmeirig. Gadawodd y Parch. W. Davis ei orsedd, neu gadair ei anrhydedd, a chwareuodd y telynorion "Duw gadwo'r Brenin;" ac ar eu hol canwyd yr unrhyw gan Mrd. *Garbett*, *Loder*, a *Rolle*, aelodau proffesedig o Gymdeithas Gyngherddol Caerbaddon. Adroddodd y Parch. W. Davis rai Pennillion a gyfansoddwyd ganddo ar Dafydd ab Edmwnt, ei ragflaenor yn y Gadair Farddonol, yn Eisteddfod Caerfyrddin, yn y flwyddyn 1451. Os oedd rhai o gyfeillion trefniant barddonol D. ab Edmwnt yn bresennol, rhaid oedd iddynt deimlo cyfnewidiad, neu loesion trymion yn eu meddwl.

Wedi hyny dygwyd y Camp-draethiadau yn mlaen. Pan ofynodd y Llywydd a oedd neb yno yn arddel enw benthycol awdwr y Traethawd goreu "*Ar gymmeriad pennodol, a manteision cymharol Sefydliadau Barddonol swyddi Caerfyrddin a Morganwg;*" er syndod i bawb cyfododd y Parch. Walter Davis, yr hwn a ennillasai gymmaint anrhydedd eisioes, ac wele ef yn ben-campwr y drydedd waith. Eglurwyd dwfn ddysgeidiaeth, gwybodaeth helaeth, barn gywir, a medrusrwydd beirniadol tra godidog, yn adroddiad y Traethawd hwn, nes oedd y gwrandawyr yn cael eu gorchfygu gan syndod ac hyfrydwch ar gylch. Triniwyd rhai o'r mesurau perthynol i'r pedwar mesur ar hugain gyda llymdostedd teilyngol, yn ein bryd ni. Rhoddwyd clod dyladwy i Feirdd Morganwg, a dynoethwyd Sefydliad Barddonol Caerfyrddin hyd y sylfaen; dirmygwyd "Gorchest y Beirdd," &c., yn dra chyfiawn; senwyd eu dyfeiswyr; a dyrchafwyd eu dirmygwyr gyda phriodolder mawr. Gan ein bod yn

dysgwyl y gwaith hwn o'r wasg yn fuan, ymattaliwn rhag ychwanegu—geill ein darllenwyr gael cyfle i farnu drostynt eu hunain cyn hir. Cyn gadael y testun hwn, gweddus fyddai hysbysu i'r anwybodus mai wrth *Sefydliad Barddonol Caerfyrddin*, y meddylir, nid unrhyw drefniant prydyddol a berthyna i'r sir hòno yn unig, ond yr hwn a osodwyd mewn grym yn y flwyddyn 1451, trwy gymhelliad Dafydd ab Edmwnt, brodor o Wynedd; a'r rheswm dros ei alw yn Sefydliad Barddonol Caerfyrddin yw, oblegid i'r Eisteddfod ddywededig, yn yr hon y cafodd ei gadarnhau, gael ei chynnal yn Nghaerfyrddin; a Beirdd Morganwg, (oni cham-hyfforddwyd ni,) a gyfododd eu llais yn ei erbyn, pan oedd yn cael bri trwy yr holl Dywysogaeth; gan hyny nid cael eu derchafu uwchlaw Beirdd swydd Gaerfyrddin yn unig, ond eu cyhoeddi yn fuddugoliaethwyr ar holl Feirdd Deau a Gogledd a gafodd Awenwyr Morganwg. O'r tu arall, nid yw y gwyr da hyn yn hòni hawl i unrhyw glod neillduol iddynt eu hunain, nac i'w hynafiaid, gan na wnaethant hwy ddyfeisio dim mewn Cerdd, ond yn unig ei chadw o fewn i'w hen derfynau, a gwrthwynebu y cyfnewidiad gwrthun a wnawd gan D. ab Edmwnt. Os nad yw ein cof yn pallu, rhoddir enwau dyfeiswyr y mesurau gwahanol yn y Traethawd hwn.

Testun y Camp-draethawd nesaf oedd "*Iaith a dysgeidiaeth y Brytaniaid, tra fuont dan y Llywodraeth Rhufeinig.*" A'r Parch. I. Jones Llanfair Usgaer, swydd Gaernarfon, oedd awdwr y Traethawd goreu ar y pwnc hwn. Am nad oedd yr awdwr yn bresennol, darllenwyd ei ysgrif ef gan y Parch. D. Williams: profai y cyfansoddiad hwn fod ei awdwr wedi chwilio i, a darllen llawer o lyfrau dysgedig, ac nis dichon y cyflawniad fethu ennyn tân yn mynwesau Cymry cywir. Ysgrifenwyd y ddau Draethawd hyn yn Saesneg; eithr cynnwysir amryw eiriau Cymreig yn y blaenaf, a Lladin yn yr olaf. Dywenydd gan liaws o Gymry cyfrifol, ond annysgedig mewn ieithoedd meirwon, fyddai cael cyfieithad o'r ymadroddion Lladin cyn argraffu y gwaith.

Cynnygodd y Gwir Barch. Lywydd ar fod i ddiolch y Cyfarfod gael ei roddi i'r Parch. W. Davis am ei ymdrechiadau gorchestol a llwyddiannus yn ngwasanaeth y Gymdeithas Gymröaidd, â'r hyn y cydsyniwyd gyda bloddest. Wedi hyny annogodd ei Arglwyddiaeth y Beirdd ag oeddynt bresennol, ac o duedd i hyny, i wneuthur Pennillion Cymreig i goffadwriaeth y diweddar Barch. Peter Roberts, awdwr amryw weithiau ar ddysgeidiaeth Gymreig, yr hwn fuasai yn aelod selog a galluog o'r Gymdeithas, a phe arbedasid ei fywyd buasai yn un o farnwyr Barddoniaeth dros y Gymdeithas y flwyddyn hon. Cytunwyd yn unfrydig a chalonog i roddi diolch y Gymdeithas i Arglwydd Dynefwr, er yn absennol, am ei barodrwydd i ddyfod yn Llywydd, a'i ymdrech mewn llawer modd i ddwyn yn mlaen ddybenion y Gymdeithas.

Darllenwyd llythyr pwysfawr yn y Ffrangaeg, ac wedi hyn yn Saesneg, gan Thomas Bowdler, Ysw., oddiwrth Lywydd Cymdeithas Freninol o Henafiaethwyr yn Ffrainc, at Lywydd y Gymdeithas hon; yn yr hwn y

mynegai y Gymdeithas Dramor ei chwennychiad i ohebu â hon, a'i pharodrwydd i ddanfon trosodd hanes ei llafur a'i hymdrechiadau, mewn henafiaeth, &c. Derbyniwyd yr hysbysiaeth hyn gyda llawenydd mawr. Rhoddwyd diolch gwresog a thra chalonog i'r Esgob, am ei ymddygiad yn y gadair, a'i ymdrech ganmoladwy dros y Gymdeithas; ac ar hyn terfynodd y Cyfarfod ychydig cyn 4 o'r gloch y prydnawn.

Dygwyddodd Rhagdremynt a Gosodaethau y Gymdeithas i fyned hyd at y Parch. John Bowen, o Gaerbaddon, (brodor o Forganwg,) Tad Cymdeithas Gyngherddol y ddinas hòno; efe yn ddioed a ddaeth yn Dansgrifiwr i'r Gymdeithas Gymröaidd, a chyda'r parodrwydd a'r egni hyny ag sydd yn enwogi ei gymmeriad, efe a ddaeth yn mlaen yn gynnorthwyydd selog o'i hachosion, a danfonodd gynnyg i'r Cynghor am Gytgerdd leisiawg ac offerynol, gan gynnyg dwyn prif gyflawniedyddion y Gymdeithas Gyngherddol i waered, heb ddim traul i'r Gymdeithas Gymröaidd, i ganu Cyd-ganiadau yn yr Eglwys y Sabboth blaenorol, er budd i weddwon ac ymddifaid Offeiriaid tlodion; ac yn yr Eisteddfod, er budd Telynorion methedig. Derbyniwyd y cynnyg hwn yn barchus gan y Cynghor; am hyny efe a bigodd allan rai hen dônau Cymreig hyfrydlon, â'r rhai yr ymarferwyd yn fynych yn ei dŷ ei hun, nes cafwyd y beroriaeth i fynu i'r radd uchelaf o ragoroldeb. Ac i'r dyben i sicrhau yr ymarferiad effeithiol o honynt, daeth ef a'i deulu i Gyfarfod yr Undeb Eglwysig, ac i'r Eisteddfod. Cyfarfu y cantorion proffesedig hyn, sef, *Miss Bartlett, a Mrd. Loder, Garbett, a Rolle*, yn Llysdŷ'r dref, yn hwyr y dydd hwn; noddwyd y Gytgerdd gan y Llywydd, y Cynghor, a thros 300 o foneddigesau a boneddigion, ac ni chafwyd y fath wledd beroriaethol, ysgatfydd, erioed o'r blaen yn y Dywysogaeth. Nid oedd mynediad i mewn i neb heb arwyddnodau, y rhai a ddygasant i mewn 60p. er budd i'r cantwyr.

Boreu dydd Gwener, yn Llysdŷ'r dref, cymmerodd y cytgais am y Delyn Arian le. Yr oedd yno amryw delynorion, ond yr oedd pob ymgeisiwr am y gamp i gael dewis ei dôn ei hun—penodwyd ar Mr. Edward Jones, Telynor y Tywysog Rhaglaw, i fod yn farnwr yn yr achos hwn. Er bod yno gynnifer o gydgeiswyr, nid anhawdd i ddyn heb glywed telyn erioed o'r blaen, os gwyddai ryw beth am beroriaeth, i derfynu pwy oedd y telynor teilyngaf; yr oedd agos cymmaint o wahaniaeth rhwng y goreu a'r gwaethaf â phe buasai y naill yn tynu tànau peraidd telyn â'i fysedd, a'r llall yn curo rhaffau ystlys llong â throsol. Mr. Thomas Blayney, telynor Iarll Powys, swydd Drefaldwyn, oedd y goreu; y nesaf at hyny oedd Mr. Henry Humphreys, yr ieuengaf, o'r un sir; a'r trydydd mewn teilyngdod oedd bachgenyn 12 mlwydd oed, o'r enw William Williams, o dref Caerfyrddin; dichon ef fod yn ben-campwr mewn ychydig amser. Wedi cyhoeddi Blayney yn fuddugol, gosodwyd ysnoden lâs am ei wddf, wrth yr hon y crogai y Delyn Arian, gan Mr. Jones, y Barnydd. Arwydd anrhydedd a pharch, ac nid offeryn cerdd oedd y delyn arian; gellir ei gosod mewn blwch myglys, o ran ei maint. Nid

oedd dim anweddus yn cydfyned â'r beroriaeth hon, megys y gallai yr anwybodus ddychymmygu; heblaw Esgob a rhifedi mawr o Offeiriaid yr Eglwys Sefydledig, yr oedd yn bresennol amryw weinidogion, a llawer o grefyddwyr, o wahanol enwau, yn mysg yr Ymneillduwyr. Ni ddygwyddodd i ni glywed telyn erioed o'r blaen, oddieithr mewn diodtŷ wrth fyned heibio, ac am fod oferedd ac anfoesoldeb yn gyffredin yn glynu wrthi yn y cyfryw leoedd, nid cymhwys oedd aros i'w gwrando. Nid yw camddefnyddio unrhyw beth ar un achlysur yn reswm paham na ddylid gwneuthur iawn ddefnydd o hono wedi hyny; yr ydym yn barnu fod telyna a chrwtha, efo dawnsio, meddwdod, rhegu, ymladd, a drwg arferion ereill, yn bethau ag y dylai Cristionogion eu gochelyd yn mhob modd; eithr mewn amgylchiad o'r fath hwn, yr oedd y—

"Mil o leisiau melusion
A geir o hyd y'mola hon,"

yn ddywenydd diniwed. Yn lle cynhyrfu meddyliau ysgafn a phechadurus, yr oedd yn cymhell mewn modd anorfod i'n hystyriaeth, y llinellau hyn,—

"A boed fy nghalon i mewn hwyl,
Fel telyn Dafydd ar yr wyl;"

Ie, paroddd telyn Blayney, yn neillduol, i ni gofio, "A chan bob un o honynt yr oedd telynau, a hwy a ganasant ganiad newydd,"—"a thelynau Duw ganddynt, a chânu y maent gân Moses,"—"ac mi a glywais lef telynorion, yn cânu ar eu telynau,"—"Moeswch dympan, y *delyn fwyn* a'r nabl." Dat. v, 8, 9; xv, 2; xiv, 2; Sal. lxxxi, 2. Ac ni wnaeth golwg ar y *delyn arian* ond dwyn i'r cof ardderchocach telyn,—

"Pob un â'i *delyn aur*,
Mab Mair a gaiff y clod," &c.

Ymgasglodd lluoedd mawr yn yr hwyr, i wrando y Gytgerdd, yn Llysdŷ'r dref, er budd i delynorion methedig, a derbyniwyd £82 7s. 6c. am arwyddnodau gollyngiad i mewn. Yr oeddid wedi derbyn £50 yn y boreu i'r un perwyl.

Dydd Sadwrn, cymmerodd y ddefod o roddi urddau cynnydd le; ac am ei bod yn anghenrheidiol i hyn gael ei wneuthur allan, dewiswyd gardd Gwestŷ y Llwyn Eiddew. Wedi i wyth Bardd wrth farn a defod, sef, Mr. Edward Williams; y Parch. Walter Davies; Parch. Elieser Williams; Parch David Richards; Parch. Dan. Evans; Mr. Robert Davies; a Mr. Taliesin Williams ddewis Mr. Edward Williams i fod yn Fardd gweinyddol ar yr achos, efe a ddechreuodd y ddefod trwy nodi allan gylch â chèrig bychain, gan osod un fawr yn nghanol y cylch; nid oedd neb ond Beirdd i ryfygu myned o'r tufewn i'r cylch. Yna efe a gymmerodd gleddyf yn ei wain o law. y cledd-gludydd, Mr. T. Williams, (Gwilym Morganwg), yr hwn hefyd oedd Fardd, wrth farn a defod, diwainwyd y cleddyf gan yr holl Feirdd o fewn i'r cylch, oll yn cydio yr un pryd yn ngharn y cleddyf, a'r Bardd gweinyddol yn mlaen y wain. Aeth yr olaf rhagddo i fynegu y cymhwysderau gofynol mewn ymgeisydd

i radd Bardd; gan sylwi na allasid derbyn neb ond trwy ganmoliaeth rhyw Fardd ag oedd yn bresennol, neu brawf o'i fedrusrwydd mewn Cyfansoddiadau Barddonol, trwy ei holi. Y ddefod o dderbyniad, wedi canmoliaeth ddyladwy, a chymmeradwyaeth unfrydig, oedd gynnwysedig yn ngwaith y Bardd gweinyddol yn dala y cleddyf â'i flaen tuag ato ei hun, a'r ymgeisydd yn cydio yn ei garn; a'r blaenaf yn sylwi wrth yr olaf, mai wedi ei dderbyn i'r gradd hwn, ei fod dan ymrwymiad i beidio gwneuthur trais â neb â'r cleddyf. Gwedi ei dderbyn, cylymodd y Bardd gweinyddol ysnoden lâs am ei fraich ddeheu. Wedi derbyn yr holl Feirdd, gosodwyd y cleddyf ar y gàreg yn nghanol y cylch.

Tra yr oedd ymgeiswyr yn cael eu derbyn i radd Derwyddon, gorphwysai y cleddyf ar y gàreg yn nghanol y cylch, ac wedi derbyn canmoliaeth ddyladwy i'r ymgeisydd, adrodd ei gymhwysderau, a neb yn gwrthddadlu, efe a dderbynid gan y Bardd gweinyddol, yr hwn a gylymodd ysnoden wèn am ei fraich ddeheu. Sylwyd fod gwŷr llên yn Dderwyddon, o herwydd eu galwad, ac nad oedd dim yn eisieu er eu derbyniad i'r gradd hwn, ond eu haddurno â'r ysnoden wèn. Yr oedd derbyniad ereill i radd Ofyddion yn gyffelyb i'r olaf, ond bod y rhai hyn yn cael eu haddurno ag ysnodeni gwyrddion. Yn ol derbyn yr holl ymgeiswyr, cymmerwyd y cleddyf i fynu, a'r holl feirdd yn cydio yn ei garn, tra yr oedd y Bardd gweinyddol yn dala'r wain, i'r hon y gŷrwyd ef, ac ar hyn terfynodd y ddefod. Yr ysnoden *lâs*, yr hyn a berthyn i'r *Beirdd* sydd arwydd-lun o wirionedd; y *wèn*, diniweidrwydd; a'r *werdd*, y celfyddydau.

Derbyniwyd Elisabeth Jones i radd Ofydd, ar gyfrif ei theilyngdod llëenawl. . Adroddwyd penillion er coffadwriaeth y Parch. Peter Roberts, y rhai a gyfansoddwyd yn unol â chais y llywydd dydd Iau, gan y Parch. Walter Davies; Mr. Thomas Williams; John Cain Jones; a Mr. Robert Davies; yr oedd rhai o honynt yn odiaethol o dda. Wedi hyny cânodd Mr. T. Williams a Mr. R. Davis bennillion efo'r Delyn, ar gyfer eu gilydd, ac ar gylch, yn ol yr hen arfer Gymreig. Ac, ar daer ddeisyfiad, chwareuodd Mr. Edward Jones, telynor y Tywysog Rhaglaw, ei Delyn felusber, mewn modd tra godidog.

Rhoddwyd diolch cyhoedd i'r Parch J. Bowen, Caerbaddon, am ei ymdrechiadau galluog o du y Gymdeithas hon; a rhoddwyd diolch cyhoedd i aelodau proffesedig Cymdeithas Gyngherddol Caerbaddon, y rhai a enwyd eisioes, am eu gwasanaeth prisfawr a rhadlawn ar yr achos hwn. Derbyniasid y Parch. Mr. Bowen a hwythau i Radd Pencerdd-dant.

Ar annogaeth y Parch. Mr. Bowen, rhoddwyd diolch unfrydig ac awyddus y cyfarfod, gyda bloddest, i Arglwydd Esgob Tyddewi, am yr ymgeledd effeithiol a dderbyniodd y Gymdeithas oddiwrtho ef.

Wedi hyny rhoddwyd Cytgerdd gan Mrs. Bowen, Caerbaddon, i gydnawd pennodol, er dywenydd neillduol i'r cyfeillion ag oeddynt bresennol.

Cafodd Mr. Thomas Blayney, y prif Delynor, tuag at ddwyn y draul,

30 gini, heblaw y Delyn arian; Henry Humphreys, 15 gini; a William Williams, (12 oed) bum gini; Mary Leake, a David Davies, (telynorion oll) bob o ddau gini. A chytunwyd bod i'r Parch. Elieser Williams; Parch. David Richards; Mr. Edward Williams; a Mr. Robert Davies; barnwyr y Cyfansoddiadau Barddonol; y Parch. David Rowlands; a Mr. Edward Jones; barnydd yn y cydgais am y Delyn; a Mr. Richard Phillips, trefnwr y gytgerdd, i gael pob o dlws arian, gwerth pum gini, ag arysgrifen briodol arnynt.

Cafodd Mr. Edward Williams a Mr. Robert Davies bum gini yr un tuag at ddwyn eu traul; a Lewis Roberts (Eös Twrwg), datceiniwr efo'r Delyn; Ioan ap Hywel; Gwilym Morganwg; Sion Cain Jones; a T. Williams, (Eös y Mynydd), Beirdd, Cyfansoddiadau y rhai oeddynt yn meddu teilyngdod, ddau gini yr un.

Fel hyn terfynodd cyfarfod na bu mo'i fath yn y Dywysogaeth er ys agos i 400 mlynedd o'r blaen; nid ydym wedi clywed yn bendant yn mha le neillduol y bydd yr Eisteddfod nesaf yn y Gogledd; clywsom enwi Llangollen, Gwrecsam, a Dolgelley. Deallir y bydd yr Eisteddfod yn cael ei chadw bob yn ail flwyddyn yn y Deheudir a'r Gogledd, a bod sir Forganwg yn dysgwyl ei chael blwyddyn i'r haf nesaf. Rhifedi amlaf o lawer y tansgrifwyr hyd yma ydynt yn y Deheudir, eithr dygwyd yr holl gamp-wobrau i'r Gogledd, a phedwar o'r chwech i sir Drefaldwyn yn unig, a'r ddau ereill i sir Gaernarfon. Nid ydym wedi clywed etto beth yw Camp-destunau yr Eisteddfod nesaf.

Collodd rhai Beirdd rhagorol bob cyfle i ennill y Gamp, o ddiffyg cadw yn gaeth at reolau y Gymdeithas; bu Gwilym Morganwg yn rhy ddiweddar cyn danfon ei Awdl ar farwolaeth Picton i mewn; yr oedd y farn wedi pasio pan ddaeth i law. Gosododd y Parch. D. Saunders, Merthyr, ei enw priodol wrth ei waith, ac am hyny fe'i gwrthodwyd; ni ddylai y barnwyr, fodd yn y byd, gael gwybod pwy a ysgrifenodd y naill gyfansoddiad na'r llall nes byddo y ddedryd wedi myned heibio. Clywsom un o'r prif-farnwyr yn dywedyd fod y ddau waith uchod yn odidog rhagorol. Yr ydym yn crybwyll hyn, rhag i wŷr enwog golli cyfle i ennill y gamp nesaf.

Swm yr arian a gafwyd i gynnal y Gymdeithas:—

| | £. | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Rhoddion | 99 | 17 | 0 |
| 166 Tansgrifwyr blynyddol, gini yr un | 174 | 6 | 0 |
| 24 Etto, dau gini yr un | 50 | 8 | 0 |
| 3 Etto, pum gini yr un | 15 | 15 | 0 |
| | £340 | 6 | 0 |

Dilys genym y bydd y Gymdeithas hon o fawr fudd i'r Cymry ag ydynt yn caru eu gwlad a'u hiaith, gan fod y tuedd cryfaf yn ei gweithrediadau i ddwyn pendefigion a boneddigion ein gwlad i ymhyfrydu mewn dysgu Cymraeg; ac od oes rhai o honynt dros ben oedran, i'w dysgu eu hunain, gwyddom am lawer ag ydynt yn ymrodddi dwyn eu

plant i fynu mewn hyddysgrwydd ynddi. Tebyg ddigon y bydd yr iaith eurglod hon mewn mwy o fri cyn pen nemawr o amser, nag y bu er ys cannoedd o flynyddau yn ol. Nid bychan yw rhifedi y Saeson eu hunain ag ydynt yn ymdrechgar dros ei pharhad, y rhai a'u cyfrifent yn golled a gwarth dirfawr pe goddefid iddi drengu. Sais geni yw Esgob Tyddewi, er hyny, dengys yr hanes blaenorol pa mor selog yw efe dros ddysgeidiaeth Gymreig. Cymmerwch galon Gymry diledryw; od yw *Dic Sion Dafydd* a'i dylwyth anenwog yn diystyru Iaith Gomer, cewch luoedd o wŷr urddasol yn lle y creaduriaid mulaidd hyny, i'ch cefnogi.

Er calondid pellach, gallwn hysbysu fod y Cymry yn gwellhau yn eu hymgais am wybodaeth o bethau yn gyffredin; y mae darllenwyr Seren Gomer yn cynnyddu, a llawer o honynt yn ymroddi sefyll wrthi tra fyddont. Nid ydym yn deall fod un Cyhoeddiad Cymreig o'r fath wedi cael ei gynnal dros ddwy flynedd erioed o'r blaen. Gwyddom am Drysorfa fisol y Trefnyddion Wesleyaidd, ei bod wedi dechreu er ys 10 neu 11eg o flynyddau; eithr nid yw o'r un natur â'r eiddym ni; cynnelir hi gan sêl ac arian un sect, yr hon y mae yn wasanaethu yn ffyddlawn. Eithr yn y Seren nid oes yr ymddibyniaeth lleiaf ar un sect neillduol, ond yn unig ar deilyngdod y gwaith, ac archwaeth lëenawl y wlad yn gyffredin. Pell iawn ydym ni o feio y blaid uchod wrth y sylwadau hyn; perthyna pawb o honom i ryw sect; ïe, gwnawd cynnygion gan sectau ereill cyn hyn i wneuthur yn gyffelyb iddynt hwythau, eithr diffygiodd eu sêl yn fuan.

Yn wir, yr ydys wedi dywedyd wrthym na buasai yr Eisteddfod uchod yn hanfodi oni buasai y cynnwrf a weithiodd ein Seren trwy y Dywysogaeth a'r brif-ddinas yn mynwesu y Cymry yn gyffredin. Pa un a fydd ein gwladwyr yn foddlawn priodoli cymmaint â hyny o rinwedd i Gyhoeddiad o'r eiddym ni ai peidio, nis gwyddom; pa fodd bynag, yr ydym hyderus yr addefir yn gyffredin, ein bod ni yn gyfattebol i'n galluoedd a'n manteision, wedi gwneuthur ein rhan i gyfarwyddo yr anneallus, a phuro iaith ein mam oddiwrth y sothach a'r rhwd a lynodd wrthi dros oesoedd; ac o'n calon y dymunem lwydd dibaid i'r Gymdeithas Gymroaidd, a phob sefydliad arall tueddol i ymgeleddu Cymry a Chymraeg.

---

## RHIFYDDIAETH CYMREIG.

Addefir yn gyffredin fod godidawgrwydd iaith yn gynnwysedig, mewn rhan fawr, yn anamledd y geiriau a'r llythyrenau gofynol i osod allan amgyffredion ein meddwl; yr ystyriaeth o hyn a barodd i mi synu pa beth a wnaeth i'n henafiaid ddefnyddio cynnifer o eiriau afreidiol i egluro ychydig rifnodau yn y Gymraeg; ïe, agos pob rhifedi dros ben deg; tra y mae y Saeson ac ereill yn medru mynegu eu rhifnodau lawer yn fyrach,

a'r geiriau hefyd a arferant yn ateb i gyflawn ystyr y rhifnodau o lawer yn well nâg eiddo y Cymry; er engraff—

| SAESNEG. | CYMRAEG. |
|---|---|
| 12 Twelve ................ | Dau ar ddeg—(bai erchyll yw galw deuddeg ar 12) |
| 13 Thirteen .............. | Tri ar ddeg |
| 39 Thirty nine ............ | Pedwar ar bymtheg ar hugain! |
| 99 Ninety nine ............ | Pedwar ar bymtheg a phedwar ugain!! |
| 199 Hundred ninety nine .... | Pedwar ar bymtheg a phedwar ugain wedi'r cant!!! |

Onid oes yma wahaniaeth mileinig! Ac od oes cymmaint gwahaniaeth mewn ychydig rifedi, pa faint raid fod o ddeg i fynu hyd fil! Dichon y Sais rifo mil yn araf dêg cyn y gallai y Cymro, er poethi ei gêg gan frys, rifo pedwar cant. Heblaw hyny y mae y fantais hyn gan y Sais, sef, bod golwg arwynebol o'r rhifnodau yn naturiol yn gosod geiriau addas yn ei enau i'w darlunio; megys lle byddo tair rhifnod, y cyntaf sydd sicr o fod yn gant, dau, tri, &c., neu 9 cant, yn ol y byddo y nôd; a'r ail a ddengys pa sawl deg sydd wedi'r cant neu'r cantoedd, a'r olaf a ddengys pa sawl un sydd dros ben y degau; 377, *three hundred seventy seven*, i. e. *three hundred, seven tens, and seven*. Eithr rhaid i'r Cymro, oni fydd yn go gyfarwydd, fyned i fyfyrio cryn dipyn cyn adrodd ei rif; dichon ddywedyd y nôd cyntaf, sef tri chant, gystal â'r Sais, eithr pa le y dichon y peth gwirion gael *dau ar bymtheg a thrugain?* Edrychwch etto ar y tri rhifnod 377; er bod tri chant yn amlwg yma, nid oes yma na *dau*, na *phymtheg*, na *thrugain*, ac etto rhaid gwneuthur tri chant, a dau ar bymtheg, a thrugain, o'r tri nôd hyn, yn ol y dull presennol! Y mae yma wall cywilyddus, ac y mae y fantais a ga y Sais ar y Cymro yn hyn yn fwy nag y dichon ap Gomer, fal myfi, ei oddef heb wingo.

Gwn mai hawddach yw nodi allan wallau nâ'u diwygio; ond yn yr achos hwn, hyderaf y medraf argyhoeddi pob dyn o synwyr naturiol y gallaf ddiwygio mor hawdded â beio, ïe, y medraf ddysgu holl fechgyn a genethod hawddgar Gomer i rifo o un i gant, wrth gyn leied o sillau, cyn leied o drafferth, a chyn leied o amser ag y dichon plant Hengist; ac o un cant uchod, byrach ac hawddach rhifo yn Gymraeg nag yn Saesnaeg. Os medr y Saeson amlygu 4 a 12 *(four and twelve)* yn fyrach nâ'r Cymry, etto dichon yr olaf ddarlunio 7 ac 11 *(seven and eleven)* yr un gymmaint yn fyrach nâ'r blaenaf; er engraff, rhifwch hyd at 10 yn y dull arferol, ac wedi hyny yn y dull canlynol:—11, deg un—12, deg dau—13, deg tri, ac felly yn mlaen hyd at 19, deg naw, h. y., deg a naw—yna 20, deuddeg—21, deuddeg un, sef deuddeg ac un, (megys y dywed y Saeson *twenty one* am *twenty and one, or two tens and one,)*—22, deuddeg dau—23, deuddeg tri—24, deuddeg pedwar—25, deuddeg pump—26, deuddeg chwech—27, deuddeg saith—28, deuddeg wyth—29, deuddeg naw—ac yna 30, trideg—31, trideg un, &c.—40, pedwardeg—50, pumdeg—60, chwedeg—70, saithdeg—80, wythdeg—90, nawdeg. Yma y gwelir mor fyred y gellir mynegu pob rhifnod hyd at gant; ïe, y dichon y Cymro ddyfod i ben â'i gant gyda'r un esmwythder â'i gymmydogion

Seisnig; a bod y rhifnodau yn dysgu iddo pa fodd i'w llefaru yn ddifyfyr, gan fod y cyntaf o'r ddau bob amser yn dangos rhifedi y degau, a'r hyn a ganlyn pa gymmaint sydd dros ben y degau; ond yn ol y dull presennol, heblaw y meithder poenus, fe'n dysgir i lefaru yn groes i'r rhifnodau megys, 99, sef pedwar ar bymtheg a phedwar ugain; er nad oes yn y rhifnodau na 4, na 15, na phedwar 20! Wfft byth i'r arfer! Rhwydded a byred fyddai *nawdeg naw!*

Hyd yma, nid wyf yn unig ond gosod y Cymro yn gydradd â'r Sais; eithr rhy fach o anrhydedd yw hyn i ap Gomer; wedi rhifo hyd at *gant*, bydd mantais fawr gan y Cymro, efe a rifa o gant i ddau cant â chant o sillau yn llai nâ'r Sais, o herwydd bod dau sill yn *hundred*, a dim ond un mewn *cant;* ac wrth ei hîr ddilyn at fil ac uchod, lliosoga manteision y Brython, am gyffelyb reswm, sef bod *mil (thousand)* y Sais, fel ei gant, gymmaint arall o hyd ag eiddo y Cymro; ïe, wrth rifo yn gysson o fil hyd ddwy fil, byddai raid i'r gwr draw i Hafren seinio lawer dros ddwy fil o sillau yn fwy nâ'r Gomeriaid; fel hyn, "*One thousand, three hundred, and fifty six,*" (10 sill,) 1356, Mil, trichant, pumdeg chwech, (6 sill,) &c. Nis gwelaf fod lle i godi ond un gwrthddadl yn erbyn y dull a gymmeradwyir genyf, sef fod *trideg naw* (39) yn arwyddo naw drideg o weithiau, (sef 270), eithr hawdd gochelyd grym y gwrthddadl hwn, trwy gymmeryd yn ganiataol mai trideg *a* naw a feddylir, yn gymhwys fel y dywedir yn Saesneg, *thirty nine*, er mai *three tens and nine* yw y iawn rif; ac ychydig arfer a wnelai gamsyniad yn nghylch hyn yn annichonadwy; ac yn wir, llawer byrach fyddai dywedyd y cwbl yn llawn, sef *trideg* a *naw*, nâ'r hen ffordd wrthun o ddywedyd *pedwar ar bymtheg ar ugain.*

O hyn allan nid wyf yn dysgwyl clywed un gwr wrth enwi ei destun yn dywedyd, "*Y bedwaredd Salm ar bymtheg wedi y cant, a'r unfed adnod ar bymtheg a thri ugain wedi y cant!*" canys adrodd hyn ddwy waith a gymmer i fynu gryn lawer o amser y bregeth; eithr dywedyd, *Salm, cant deg naw; adnod, cant saith deg chwech,* (176.) Gwelwch fyrdra ac eglurder y geiriau.

Deisyfaf ar fy ngwladwyr gymmeryd hyn i'w hystyriaeth; ac od oes unrhyw wrthddadl o bwys yn erbyn fy ngosodiad, da fyddai genyf ei weled yn Seren Gomer. Deallwyf fod amryw Gymdeithasau Cymröaidd yn y deyrnas, y rhai a gymmerant amryw byneiau perthynol i'w cenedl a'u hiaith i'w hystyriaeth yn eu cyfarfodydd misol; gobeithiaf nad ystyriant hwn yn destun anaddas o'u sylw. Clywais fod y Cymry yn Ffrainc yn rhifo yn llwyr wahanol i ni; eithr am nas gwn pa beth yw eu harfer hwy, hyfrydwch i mi fyddai clywed gan y sawl fu yn eu mysg, neu sydd feddiannol ar rai o'u llyfrau y modd y maent yn rhifo, &c. Llwydd lawer i Gymry ddysgu rhifo mor fuan a didrafferth â'r Saeson; tu yma i hyny, gwr heb ei foddio fydd LLEWELYN.

## CYNGHOR I FRENIN SPAIN.

CANMOLWYD Fferdinand yn fawr ar ei ddychweliad o gaethiwed i orsedd Spain, gan un o'r Offeiriaid Pabaidd, mewn pregeth o'i eiddo, yr hon a argraffwyd, fel cynllun duwioldeb, o herwydd iddo wneuthur pais â'i ddwylaw ei hun i'r Forwyn Fair, pan oedd yn garcharor gan Bonaparte.

BENADUR dewr, mi glywais son
Am nodwydd-fawredd a mawr bo'n,
Eich ardderchowgrwydd mewn un lle,
Wrth wneuthur santaidd duwiol bais,
A'ch dwylaw glân, heb arch na chais,
I'r Forwyn Fair trigiannydd ne'.

Pwy raid wrth wisg o'ch gwniad chwi?
'Dyw'r Forwyn byth yn myn'd o'i thŷ;
Attolwg, Syr, gwrandewch fy llais!
Rhyw lances anniolchgar yw!
Chwi wyddoch hyn, a phawb sy'n fyw,
Na ddaeth hi byth i hol y bais!

Na fyddwch mwy yn destun gwawd
I bawb fo'n rhedeg ar eu rhawd;
Diffoddwch fflam coel-grefydd syth;
Dewch, drylliwch eich nodwyddau mân,
Neu ffwrdd â'r brenin-grefft yn lân,
A throi'n ddilladwr onest byth!!

---

## PRIODAS.

### GOFYNIAD.

A YDYW adduned rhwng mab a merch i briodi (a'r adduned hyny rhyngddynt ill dau) mor safadwy â phe byddent yn y llan, neu yn ngwydd tystion?—R. W., *Basaleg*.

### ATEB.

YR ydym yn ystyried y gofyniad hwn yn dwyn perthynas mor agos â moesoldeb ac anrhydedd ein gwlad, fel nas gallwn oddef iddo fyned heibio yn ddisylw. Nis gallwn ymattal dywedyd, NAC YDYW! NAC YDYW! Nid galluadwy yw priodi yn ol deddf Duw na chyfraith ein gwlad, heb ei fod yn gyhoeddus neu yn ngwydd tystion; ac nid oes neb mewn un wlad a gynnyg ddywedyd hyn, ond y sawl a chwennychant ddywedyd rhywbeth tueddol i dawelu eu cydwybodau, a lleihau eu baich

o gywilydd, o herwydd cyfrinach anweddus yn yr amser a aeth heibio. Nid oes briodas gyfreithlon yn ein gwlad heblaw y rhai a wneir yn Llan y plwyf, neu gan Iuddewon, Pabyddion, neu Gyfeillion. Er nad oedd a fynai offeiriaid â gweini priodasau yn ol yr hanes ysgrythyrol, etto, yr oedd pob priodas a grybwyllir yn y Beibl yn cael ei gwneuthur yn gyhoeddus, i raddau mwy neu lai; byddai rhywrai heblaw y priod-fab a'r briod-ferch yn gwybod am yr undeb. Yr oedd gwyryfon yn cael eu dyweddio weithiau cryn amser cyn y briodas, eithr nid oedd y bobl ieuainc yn berchen ar eu gilydd cyn dydd y briodas gyhoedd; nid oedd pob adduned a phob cytundeb cyn hyny ond adduned a chytundeb *i briodi*, ac yn llwyr wahanol i briodas ei hun; rhagbarotoadau ydynt erbyn dydd yr undeb; gan hyny byddai cydorwedd cyn y dydd hwnw yn aflendid neu buteindra. Rhaid i bob gweithred o bwys gael ei gwneuthur yn ngwydd tyst neu dystion, megys cytundeb yn nghylch tyddyn o dir, llythyr cymun, a'r cyffelyb. Nid oes un cytundeb a berthyn i'r byd hwn o gymmaint pwys â'r un priodasol, ac am hyny dengys rheswm yn gystal ag ysgrythyr yr anghenrheidrwydd o'i wneuthur gerbron tystion. Nid oes genedl wareiddiedig yn y byd, a'r a wyddom ni, heb ystyried yr addasrwydd o hyn; ïe, fe'i hystyrir yn anghenrheidiol gan baganiaid. Fe'i profir gan gydwybodau y sawl a ddywedant (i'r dyben i leihau eu gwarth eu hunain) yn ei erbyn. Os digon yw yr addunedau dirgel, paham na byddai y rhai a haerant hyny yn myned at eu gilydd fel gwr a gwraig, ac addef hyny? Och! pa sawl gwyryf hawddgar a ddinystriwyd trwy gymmeryd ei denu i gredu fod yr addunedau dirgel yn ddigon o briodas! Er fod rhai tadau, er mwyn ennill eu hamcanion gynt, wedi dadleu yn wrol dros yr athrawiaeth hon; ond a oes tad neu fam yn eich mysg, Gymry, a wrandawai yn ddirgel ac yn siriol ar lencyn ieuanc yn ymdrechu dwyn eich merch i gredu hyn? A ymdrechai neb o honoch i gefnogi ei gynnygion? Mi a wn na wnaech, ond y ffieiddiech bob cynnyg o'r fath; yr hyn sydd brawf yn eich mynwes eich hun mai athrawiaeth felldigedig yw.—*Wr ieuanc!* nid tydi bia'r wyryf yna cyn dydd y briodas. Gwneler pob peth yn weddus ac mewn trefn. GOLYGYDD.

## GEIRIAU ANMHARCHUS.

### GOFYNIAD.

PA un ai gair o barch neu o anmharch ydyw *Drel?* Os yw yn arwyddo anmharch, ai gweddus yw i arddelwyr crefydd, yn neillduol gweinidog yr efengyl, i alw hen wr wrth yr enw hwnw?—I. M.. *M--r.*

### ATEB.

Y MAE'R gair yn agos a bod yn gyfystyr â *cerlyn, delff, ystelff, hurtyn,* &c., ac a arwydda yn fynych ddyn taeog, difoesau, a pharod i ymyraeth â'r hyn ni ŵyr yn iawn oddiwrtho.

Rhyfedd ———
Na wyl *ddrel* er a helio,
Fyred ei drwydded a'i dro!
D. AB DAFYDD LLWYD.

Ond gan mai beio yr arfer o'r gair *drel*, yn neillduol gan ddynion crefyddol, yw tuedd amlwg y gofyniad, priodol fyddai gofyn i I. M., pa un ai geiriau yn arwyddo parch neu anmharch yw *ffol*, *drygionus*, *terfysgwr*, *ynfyd*, *digywilydd*, *lleidr*, *llofrudd*, *satan*, *cythraul?* &c. Os anmharch, ai cymhwys yw i arddelwyr crefydd eu defnyddio? Gŵyr pawb mai gwarth yn hytrach nâ chlod ac urddas a drosglwyddir gan bob un o honynt; ac hysbys hefyd yw i bawb, ond y sawl a deilynga un neu arall o'r enwau dywededig, mai cymhwys yw eu defnyddio ar achlysuron priodol, a bod y duwiolaf a gerddodd wyneb daear erioed wedi eu defnyddio. Rhyw olwg hynod, yn ein bryd ni, sydd gan lawer ar ddyledswyddau crefyddwyr.

Od oes gymmaint a gair yn ein hiaith ni ag y byddai yn anweddus i grefyddwyr ei arfer, ar achlysuron ac amserau priodol, diamheu genym y dylai holl ddynion da y Dywysogaeth ymosod â'u holl egni i'w ddileu o bob llyfr Cymreig, a deisyfu ar y llywodraeth am gyfraith newydd dros ei gadw mewn cyflwr o ysgymundod tragywyddol, fel na feiddiai neb o argraffwyr Cymru ei adferu mwyach. Pwy erioed a feddyliodd fod eisiau dwy iaith Gymreig; neu ddau fath o eiriau Cymreig, y naill at wasanaeth pobl dduwiol, a'r llall er budd i ddynion digrefydd? Nis dichon yr arfer o eiriau a fyddo yn geryddadwy mewn arddelwyr crefydd fod yn ddifai mewn gwrthwynebwyr duwioldeb. Nid pechadurus mewn credadyn yw galw *satan* yn satan, *lleidr* yn lleidr, *ffoliaid* yn ffoliaid; ac od oes y fath beth â *drel* yn y byd, y mae ei alw felly yn beth mor ddiniwed â dywedyd mai llew, ac nid arth, yw mab llewes. Od oes rhai dynion yn ddrelod, sicr yw fod y fath beth ag *hen ddrel* a *drel ieuanc*, *drel bach* a *drel mawr;* megys y dywedwn y *ffol bach*, a'r *hen ffol*, y *lleidr bach* a'r *lleidr mawr*, &c.

Ond rhag i I. M. wylltio, a barnu ein bod yn dadleu dros ymadroddion anghrefyddol, ni a addefwn, er mai yr un yw dyledswydd dynion da a drwg ar y pen hwn, fod cryn wahaniaeth yn eu hymddygiadau; arferir geiriau diystyrllyd ac anmharchus gan y drygionus er mwyn porthi eu cenfigen, a drygliwio eu gwrthwynebwyr; ond arferir hwy gan y daionus o herwydd eu bod yn ddarluniadol o'r rhai a drinir ganddynt, ac am eu bod yn chwennych gosod y drwg a ddarluniant allan yn ei liwiau atgasaf; ac am eu bod wedi cael eu hargyhoeddi trwy brofiad na wna geiriau mwynion y tro i ennill y drygionus. Ateb arafaidd a ddetry lid; ond fe ellir camddefnyddio geiriau mwynion yn gystal â rhai geirwon. Gwell dywedyd wrth yr annuwiol yn bendant mai *gelyn* Duw ydyw, nâ gwenieithio iddo, trwy ddywedyd ei fod yn well nâ llawer, &c.

Nid pregethu damnedigaeth yw pregethu yr efengyl, etto buddiol ac anghenrheidiol yw dywedyd, "Yr hwn ni chredo a ddemnir." Gwir yw

y dichon y gwaethaf o ddynion haeru mai dybenion da sydd ganddynt wrth arfer geiriau diystyrllyd; ac yn yr un modd y gallant ddywedyd am eu geiriau tyneraf; ac oni bydd rhywbeth yn eu hymddygiadau, yn rhoddi yr anwiredd i'w haeriad, rhwymir ni i'w credu, am nad oes a fynom a chwilio'r galon, gorchwyl ein Creuwr yw hyny; ond, yn gyffredin, rhydd difriwyr gyfle teg i bawb wybod, cyn gorphen eu haraeth, pa egwyddorion sydd yn eu hysgogi, mai llid at bersonau yw gwreiddyn eu haraeth, ac ymddial mewn rhywfodd yw y gwrthddrych o'u blaen, ac nid amddiffyn eu hunain, llesâu eu cymmydogion, neu y wladwriaeth, na buddioli eu gwrthwynebwyr. Pan ddefnyddir geiriau a ddynodant anmharch gyda'r fath ddyben, er eu bod yn briodol ynddynt eu hunain, amlwg yw fod y sawl a'u harfero, gan nad pa un ai crefyddol ai anghrefyddol fyddo, yn pechu yn erbyn Duw, o dan lywodraeth duw y byd hwn, ac felly yn agored i ddialedd Dwyfol. Mewn rhai amgylchiadau byddai "ateb y ffol yn ol ei ffolineb" yn ein gwneuthur yn gyffelyb iddo; eithr mewn amgylchiadau ereill, byddai peidio "ateb y ffol yn ol ei ffolineb" yn tueddu i'w wneuthur yn ddoeth yn ei olwg ei hun.

Bellach, amlwg yw nad oes yr un gair, ag y dylid ei oddef mewn iaith, yn anaddas i'w ddefnyddio gan dduwiolion, tra byddo'r dyben yn gywir, a'r amgylchiadau yn galw am yr arferiad o honynt. Tra beius yw diystyru a gwawdio ein cyd-greaduriaid yn ngwyneb siomedigaeth a chyfyngdra mawr, yn y rhan amlaf o amgylchiadau, eithr rhinwedd oedd hyn yn Elias; nid oedd neb moddion ereill mor debyced i ddwyn proffwydi Baal i weled eu ffolineb; er bod denu trwy dynerwch yn gyffredin yn well nâ gyru trwy ddychrynfeydd bygythion, etto, gwelodd *Tywysog Heddwch* yn fuddiol i ddywedyd, "Gwae chwi ysgrifenyddion a Phariseaid, ragrithwyr," &c. &c.

GOLYGYDD.

---

## GWENYN.

Y MAE gwr boneddig mewn sir gymmydogol wedi dyfeisio ffordd newydd dra rhagorol i gadw ei wenyn, trwy yr hon y mae yn cael ei fêl bob amser yn ei ansawdd buraf, heb ddystrywio gymmaint â gwenynen. Yn lle y cwch, neu y llestr gwenyn cyffredin, efe a ddefnyddia flychau petryal, wedi eu gwneuthur o estyll teneuon, ynghylch 14 modfedd bob ffordd, ac 8 modfedd o ddyfnder; y mae twll petryal yn mhob blwch, yn y canol yn y gwaelod a'r pen, o gylch tair modfedd ar draws, neu yn groes, yn gymhwys ar gyfer eu gilydd, a darn o astell deneu, yn gymhwys iddynt i redeg mewn ac allan, fel byddo yr achos yn gofyn. Gosodir tri neu bedwar o'r blychau hyn ar eu gilydd, a thŷnir yr estyll bychain (sydd at dŷnu yn ol ac yn mlaen) yn ol, at led y twll, fel y byddo tramwyfa o'r naill i'r llall. Gosodir y gwenyn yn y blwch uchaf, a phan fyddo hwnw

yn llawn o gwybr a mêl, y gwenyn, yn lle heidio, megys y gwnant yn y llestri cyffredin, o ddiffyg lle, a weithiant i lawr i'r ail flwch, ac felly yn mlaen hyd y gwaelod, gan lenwi yr un uchaf yn gyntaf bob amser. Trwy osod ychydig wydr yn ochr pob un o'r blychau, gellir gweled pa bryd y byddant wedi gorphen llenwi un blwch, a dechreu ar y llall. Pan elont i'r trydydd blwch, rhaid gŷru yr astell redeg i mewn, a thòri ymaith y dramwyfa rhwng y cyntaf a'r ail; ac yna gellir codi y blwch uchaf ymaith yn llawn o fêl pûr, heb fod cymmaint âg un wenynen ynddo. Pan gyrhaeddont y blwch isaf, rhaid eu codi i fynu yn esmwyth, a gosod blwch gwag o dano, ac felly yn mlaen. Gosodir y blychau o fewn attegwydd o lêd cyfleus, ac o uwchder atebol i rifedi y blychau a fwriedir osod ynddo, ac hoelio estyll o'u hamgylch i gyd; eithr rhaid i'r ochor ogleddol agor, er mwyn cyfleusdra i roddi y blychau i mewn a'u tŷnu allan. GOMER.

---

## EMYN

A ganwyd yn Addoldŷ'r Heol-Gefn, Abertawe, ar ddydd angladd ei Fawrhydi SIOR III.

PRYSYRO'r y'm i'r farn i gyd;
Ië, bach a mawr raid gado'r byd;
I'r orsedd dringodd angeu du,
Ein brenin tirion marw fu!

Bendithied Duw'r pedwarydd SIOR
A llwydd diludd o fôr i fôr;
Ymgeledd nef a'i rhoddion mâd,
A gaffo'n llu fel ca's ei dad.

Dan nawdd y nef boed ymhob man,
A choron gras fo'i fythol ran;
Nid mawredd byd, ond mawredd gras,
A'n deil dan ddyrnod angeu glas.

### ARALL.

Rheoli wyt y dda'r, O Dduw,
  Breninoedd sy'n dy law;
Symudi'r naill,—ac yna'r llall
  I wisgo'i goron ddaw.

Holl oglud ein Penadur f'o
  Ar Ben breninoedd byd;
Trugaredd gadwo'i orsedd gref,
  Er budd i'w deyrnas gyd.

## DADLEUYDDIAETH, &c.

Er fod ychydig ddadleuyddiaeth mor hanfodol i gael allan wirionedd ag yw rhyddid yr argraff-wasg i ddiogelu meddiannau, rhyddid, a bywyd dynolryw; ac er bod pob dyn da mor awyddus i gael allan beth yw'r gwirionedd ag yw y cybydd am drysori golud bydol iddo ei hun; etto y mae rhyw reibiad yn llywodraethu dadleuwyr yn gyffredin, fel yr ewyllysiai dyn sydd â'i serch ar bethau sydd uchod i fod cyn belled o faes dadl ag y carai fod o faes y gwaed. Ni welais i nemawr o ddadl erioed na byddai llawer o ymgyndynu o'r ddau tu—llawer o ymdrech i iselhau y gwrthwynebwr yn ngolwg y darllenydd—pawb yn proffesu anmhleidgarwch—cydwybodolrwydd—eu bod yn ceisio y gwirionedd a dim ond hyny—a llawer o achwyn ar y gwrthwynebwr am ddefnyddio iaith gyffrous, yn neillduol gan y sawl a fyddo wedi cael y gwaethaf yn yr ymdrech, ond mor gyndyn fel na roddant y pwnc i fynu, er bod yn amlwg i bawb synwyrol na fedrant ei amddiffyn; eithr trwy achwyn ar y driniaeth dost a gawsant, ceisiant gyffroi tosturi y darllenydd, a dwyn ei feddwl oddiar y pwnc i ffieiddio yr ymdrechwr ag sydd wedi ennill brwydr deg—nid yn unig yr annysgedig, ond y mwyaf dysgedig a ddifriant eu gilydd agos bob amser mewn dadl, ond bod yr olaf yn medru ei wneuthur mewn ffordd foneddigaidd, heb gyffroi yn y mesur lleiaf, a'r blaenaf yn go debyg i werthwyr pysgod *Billingsgate*, Llundain. Dynion tra bucheddol a duwiol hefyd ydynt dra darostyngedig i'r gwendid hwn, hyd y nod wrth ymdrin â thestunau crefyddol. Ni ddylai y gwrthgredwr didduw gymmeryd hyn yn rheswm dros wadu crefydd; canys nid yw yn brawf o ddim ond o anwybodaeth ac anmherffeithrwydd y goreu o ddynion, yr hyn nid yw yn wrthwyneb i grefydd, gan fod y Beibl yn dywedyd nad oes neb yn berffaith. Ac nid oes nemawr o bethau perthynol i'r byd hwn na'r hwn a ddaw a'r nad yw y dynion doethaf ac ardderchocaf yn amrywio yn eu cylch.

Annichon agos yn fy mryd i yw i ddyn ddwyn yn mlaen unrhyw ddadl heb *ddifrio*, neu gael ei gyhuddo o fod yn ddifriwr gan ei wrthwynebwr; *difrio*, ar ryw olwg, fyddai dynoethi anwybodaeth ac haerllugrwydd y gŵr mwyaf diwybodaeth a digywilydd yn y byd, yn ngwydd y sawl a dybient mai doethion cydwybodol fyddent; eithr a raid i'r dysgedig ar y cyfrif hyny beidio dangos eu terfynau priodol i'r sawl a ruthrant i diriogaeth nad yw yn perthyn iddynt; prin y meddyliaf fod yr hynawsedd mwyaf yn gofyn hyn: "Gwialen a weddai i gefn yr anghall." "Ffrewyll i farch, ffrwyn i asyn, a gwialen i gefn yr ynfyd," Diar. x, 13; a xxvi, 3.

* * * * * * * *

Rhyfedd yw gofyniad Iota, "Pa unad â Christ y mae ffydd yn effeithio? onid oedd pawb a gyfiawnheir mewn undeb â Christ, trwy osodiad Duw,

yn ei holl waith cyfryngol?" Rhoddodd C. E.* atebiad cyflawn a digonol i'r gofyniad hwn, trwy ddangos ei fod yn fath unad â Christ nad oes faboliaeth na bywyd tragywyddol hebddo. Nid yw Iota yn cynnyg gwrthbrofi hyn yn ei ysgrif olaf; ond, fel pe byddai yn caru ymgyndynu hyd yr eithaf, yn awr eisieu sydd arno gael testun yn yr hwn y gelwir "ffydd yn offeryn—ac yn cael ei gosod allan wrth un o aelodau gweithgar dynion." Rhyfedd iawn! os nad yw hyn yn dadlu er mwyn dadlu, nis gwn pa beth a ddichon fod felly. Onid "trwy ffydd y cyfiawnheir dyn?" Onid yw ffydd mor anhebgorol i fywyd tragywyddol, fel y bydd pob un ni chredo yn sicr o gael ei ddamnio? a phawb diffydd yn ddynion anghyfiawn? Os felly, pa un ai cynhyrfiol, haeddiannol, neu *offerynol* achos o gyfiawnhad yw ffydd? nis gall fod yn gynhyrfiol nac yn haeddiannol achos, am hyny rhaid mai offerynol achos ydyw, trwy yr hwn y mae yr enaid yn derbyn yr addewidion, y rhai ydynt lawn o Grist a bendithion cyfiawnhad. Os nad oedd ef yn caru y gair *offerynol* yma, paham na roddasai arall sydd well yn ei le? Od oes rhaid cael pob gair a ddefnyddir i egluro unrhyw bwnc yn yr ysgrythyr, naturiol fyddai gofyn am yr ysgrythyr sydd yn cynnwys holl haeriadau a gofyniadau Iota. Trwy ffydd y mae'r saint yn *gweled*, yn *rhodio*, ac yn *gweithio*, ac er, efallai y byddai yn well gan Iota ei chymharu i unrhyw beth nag i un o "aelodau gweithgar dynion, rhag troi ffydd yn weithredoedd, a chymylu yr athrawiaeth o rad ras!!" Pa fodd bynag, nid oedd yr apostol yn gweled perygl yn y byd o droi ffydd yn weithredoedd, drwy haeru fod *ffydd* yn *gweithio* trwy gariad. Defnyddied ef y gymhariaeth a fyno i'w darlunio, rhaid iddo arfer un *fywiog* a *gweithgar*, canys *gweithio* a wna hi; ac onid oes ganddo ef a minnau ffydd weithgar yn dwyn ffrwythau, marw yw; cystal bod heb yr un. Os yw gweithredoedd dyn a fyddo yn tarddu oddiar ddyben cywir yn tueddu i *gymylu gras*, nid yn unig rhaid i ni beidio gwneuthur ffydd yn offeryn gweithgar, eithr am yr un rheswm rhaid i ni beidio gwneuthur dim oll—peidio caru—peidio edifarhau—a pheidio ufyddhau i Dduw, rhag bod yn euog o ryw deilyngdod ger ei fron ef! ac o ganlyniad rhaid llwyr-ymwrthod â hanner dda o'r Beibl, a phroffesu *Antinomiaeth* mor fuan ag y medrom. Rhag hyn gwareded Duw bob Cymro! Pell wyf o feddwl fod Iota yn *Antinomiad*, nid wyf ond sylwi ar duedd ei ymadroddion. Nid oes genyf y digofaint lleiaf ato, eithr mewn difrif nis gallaf feddwl y barna un o fil fod yr hyn a ysgrifenodd efe ar y testunau uchod yn addurno y SEREN yn y mesur lleiaf.

EMRYS FECHAN.

* Sef yr Hybarch Christmas Evans.

## IEUO ANGHYMHARUS.

Wrth yr hyn ag sydd wedi ymddangos eisioes yn Seren Gomer, a'r hyn a glywais mewn aml ymddyddanion, eglur yw fod llawer o'm gwladwyr yn cyfrif priodas rhwng proffeswyr âg y dibroffes yn bwnc o bwys mawr, ac yn dwyn cymmaint sêl dros ddiarddelu yr aelod eglwys a droseddo yn hyn a phe byddai yn euog o'r bai mwyaf ysgeler, ac yn barod i amheu duwioldeb y crefyddwr a'u gwrthwynebo.

Addefaf yn rhwydd, Syr, fod amryw ystyriaethau yn galw yn uchel ar ddyn duwiol i ddewis cymhar bywyd o yr un tueddiadau ag ef ei hun; cyd-dynu tua yr un wlad yn ddiau a dueddai yn gryf i wneuthur yr iau briodasol yn esmwyth a hyfryd, ac i alluogi y pâr clymedig i fod o fwy defnydd yn eglwys Dduw. Yr un mor barod ydwyf i addef fod Gair Duw mewn amrywiol fânau yn ein hanog i beidio cymdeithasu yn afreidiol ag anghredinwyr; ac oni byddai buddioldeb byrdra, a bod amryw o'r tu gwrthwynebol i mi i'r ddadl wedi helaethu cryn lawer ar hyn, buaswn yn ychwanegu ychydig ar yr anfanteision cydfynedol â phriodi dynion hollol wrthwynebol yn eu hegwyddorion a'u tueddiadau. Crybwyllaf hyn yn unig er dangos i'r blaid wrthwynebol pa gan belled yr ydym yn cytuno.

Eithr y mae llawer o bethau yn cael eu rhoddi i lawr hyd y nod yn Ngair Duw mewn ffordd o gyfarwyddyd a chynghor, gyda golwg ar les y rhai a gynghorir, heblaw gorchymynion y ddeddf foesol, a gosodiadau pendant; ond anweddus a thra beius fyddai diarddelu crefyddwr oni bydd yn euog o drosedd yn erbyn y ddeddf foesol, neu ryw osodiad pendant o'r Testament Newydd. Dywed Salomon, "Blinder mawr a gaiff y neb a fachnio dros ddyeithr ddyn; ond y neb a gasâo fachniaeth fydd diogel," a "Dyn heb bwyll a dery ei law ac a fachnia o flaen ei gyfaill," Diar. xi, 15, a xvii, 18. A dywed Paul, "Da i ddyn na chyffyrddai â gwraig." "Canys mi a fynwn fod pob dyn fel fi fy hun," h. y. heb briodi, 1 Cor. vii, 1, 7. Ond nid yw neb yn meddwl fod machnio na phriodi yn bechod yn erbyn Duw, ac yn galw am ddiaelodiad; etto gyda golwg ar fudd personol, a chyfleusdra i fod yn wasanaethgar dros Dduw, da i lawer fuasai peidio na machnio na phriodi. Ac yr ydwyf dra hyderus y bydd ychydig ystyriaeth yn ddigon i foddloni pob meddwl diragfarn fod diarddelu Cristion am briodi y dibroffes mor afresymol â phe diaelodid am fachnio, neu am briodi â neb pwy bynag. Gwn fod amryw Ysgrythyrau yn cael eu dyfynu dros y diarddeliad crybwylledig, eithr pan graffom yn ddyladwy arnynt, gwelwn yn eithaf amlwg eu bod oll yn anmherthynasol, ac nad oes cymmaint ag un adnod o fewn i holl gorff Datguddiad dwyfol dros y fath oruchwyliaeth afresymol dan yr efengyl.

Yr ymadrodd cyntaf a ddygir trwy drais i wasanaethu yr achos tlawd hwn yw Gen. vi, 2, lle y dywedir fod "Meibion Duw wedi cymmeryd

merched dynion yn wragedd iddynt." Cytuna Esbonwyr, a chyda hwy fy ngwrthwynebwyr ar y pen hwn, mai wrth "Feibion Duw" y meddylir hiliogaeth Seth, y rhai oeddynt yn proffesu enw Duw; ac mai merched Cain a feddylir wrth "Ferched dynion," y rhai nad oeddynt yn ei broffesu, a bod priodas rhyngddynt yn anghyfreithlon. Eithr pa beth a brofir gan hyn? Dim yn y byd, ond bod Duw yn ewyllysio i blant Seth i beidio ymgymysgu ag eiddo Cain; eithr nid yw yn cynnwys y gwarafuniad mwyaf pellenig i'r mwyaf duwiol i briodi y mwyaf anystyriol, tra y byddai y ddau wedi hanu o Seth; ac nid oes un dyn yn ei bwyll a daera fod holl eppil Seth yn wir dduwiolion, ond eu bod oll yn dwyn enw Duw arnynt, megys y mae lliaws ein gwlad ni heddyw yn myned wrth yr enw *Cristionogion*. Ac yn wir, llygriad cyffredin plant Seth mewn ychydig amser, a ddengys mai *enw* ac nid *grym* proffes oedd yn eu meddiant gan mwyaf. Od oes rhaid i ni gymmeryd rheol briodasol o dan yr efengyl oddiwrth yr ysgrythyr ddywededig, y defnydd priodol a naturiol a ddylem wneuthur o hòno fyddai attal pob Cymro i briodi neb ond merched Gomer; neu pe caniatâwn iddynt ysbrydoli ychydig ar yr amgylchiad, gallwn roddi hèr iddynt oll i brofi mwy oddiwrtho yn ei ansawdd ysbrydoledig, nag y dylai proffeswr Cristionogrwydd i briodi y sawl fyddo yn dwyn yr enw o Gristion, ac nid Iuddew, Mahometiad, neu ryw anghrediniwr proffesedig arall.

2. Mynych yr haerir fod rhwymedigaethau yr Israeliaid, crybwylledig mewn amryw fanau yn yr Hen Destament, i briodi merched Abraham yn unig, yn dangos y dylai duwiolion i briodi duwiolion yn unig. Ond erioed ni wnawd cyfeiriad mwy annedwydd at yr ysgrythyr. Gellir cymhwyso y rhan amlaf o'r ymresymiadau blaenorol at yr hanes hwn gyda y priodoldeb mwyaf. Oni ŵyr y sawl a wnant yr haeriad disylfaen "nad Israeliaid oedd pawb ag oedd o Israel?" Sylwch ar hanes y bobl hyn gan Moses—craffwch ar y darluniad a rydd y proffwydi o'u cymmeriad fel cenedl—a gwelwch fod holl drigolion Prydain heddyw mor deilwng i gael eu galw yn *wir Gristionogion* ag oedd hil Jacob i gael eu galw yn *wir Israeliaid.* Yr oedd meibion Belial lawer yn mysg Israel, ond pa le y mae y gyfraith am ddiarddelu unrhyw ferch i Abraham am briodi un o'r rhai hyn, ag oedd wedi hanu o Jacob? Onid oedd yn eithaf cyfreithlon i'r duwiol a'r annuwiol yn eu mysg i briodi eu gilydd? Gwnewch yr eithaf o'r amgylchiad hwn, nis cewch ychwaneg o hono na math o gasgliad y dylai y rhai sydd yn dwyn yr enw Cristionogion briodi y sawl sydd yn dwyn yr un enw; er nad yw, yn fy marn i, wrth ei gymharu â'r Testament Newydd, yn profi gymmaint â hyn.

Ond i osod hyn y tu allan i gyrhaedd dadl, ystyriwn fod rhwymau ar yr Iuddewon ag oeddynt wedi priodi yn anghyfreithlon â gwragedd dyeithr i roddi ymaith y cyfryw wragedd, a pheidio cyd-anneddu â hwy byth ond hyny. Gwel Ezra ix a x, a Nehemia xiii. Gwelir yma y cysondeb mwyaf: cyfrifid priodasau â dyeithriaid yn anghyfreithlon, ac nid yr un cerydd namyn ysgariaeth tragywyddol oddiwrth y cyfryw wragedd a

ystyrid yn amlygiad addas o anfoddlonrwydd i'r cyfryw briodasau, a hyny gyda y rhesymoldeb a'r cyssondeb mwyaf. O ddechreu y byd hyd heddyw ni bu yr un briodas yn anghyfreithlon rhwng personau, heb fod galwad mor uchel iddynt i ysgaru yn ddioed ag oedd iddynt i beidio ymuno ar y cyntaf. Ond pa beth a wna ein cyfeillion y rhai a wrthwynebaf? Och! ceryddant yn llymdost: gosodant y gosp dromaf ag a ddichon eglwys Dduw osod ar neb, sef eu diaelodi, ar y rhai a briodant yn groes i'w meddwl, a goddefant iddynt yn dawel i fyw yn eu pechod (os pechod yw) hyd derfyn marwol oes! A ddaeth i ben dyn yn ei bwyll i amddiffyn y fath wrthuni erioed? Oni byddai cofio yr hen ddiareb, "*Nid yw y callaf ond call weithiau,*" byddwn barod i haeru yn eofn, nad yw cyfeirio at briodasau yr Iuddewon, er cadarnhad i drefn fy ngwrthwnebwyr, yn profi dim ond dygn anwybodaeth neu ddirfawr anystyriaeth y rhai a wnant y cyfryw gyfeiriad.

Dichon ambell un i ddywedyd "fod hanes am rai gwŷr mawrion yn mysg yr Iuddewon wedi priodi ag estronesau, heb fod galwad arnynt fyth i'w rhoddi ymaith." Boddlon iawn ydwyf i addef pob tegwch; etto cofied y gwrthddadleuwr fod y gyfraith yn fynych yn cael ei hesgeuluso, yn neillduol pan fyddai ymddygiad y gweinyddwyr o honi yn groes i'w rheolau hi. Ond yr oedd *cyssondeb* â hwy eu hunain yn cael ei gynnal hyd y nod pan esgeulusid y gyfraith; os nad oeddynt yn ysgaru, nid oeddynt yn diaelodi ychwaith. Ni freuddwydiodd neb erioed cyn yr amser diweddaf hyn am ddiaelodi dynion am briodi, a gadael iddynt gydgynnal wedi hyny â phersonau anghyfreithlon i fod yn gymhariaid iddynt, Hefyd, buddiol fyddai ystyried fod ymddygiad Ezra a Nehemia, rhaggrybwylledig, yn berffaith groes i ddiarddelwyr yr oes hon; hwynt-hwy a arbedasant y gwyr rhag esgymundod, ac a barasant iddynt roddi ymaith y gwragedd dyeithr; tra y taera ein diaelodwyr, y dylai yr eglwys ddiaelodi y gwŷr, ac y dylai y gwŷr gadw eu gwragedd dyeithr!!! Ac etto, megys pe byddent o dan effeithiau rheibiaeth, hwy a appeliant at gyfraith priodasau yr Iuddewon am awdurdod dros eu hymddygiad!

Drachefn, dengys yr apostol (1 Cor. vii, 12, 13) yn amlwg ei bod yn gyfreithlon i *Gristion* i fyw gyda *chymhar digred;* ac ymddygiad ein diaelodwyr a ddengys nid yn unig ei bod yn gyfreithlon, ond yn ddyledswydd ar y credadyn a'r anghredadyn i fyw ynghyd wedi myned unwaith dan y rhwymyn priodasol; yr hyn sydd ddigon i brofi bod y gyfraith briodasol Iuddewig wedi ei dileu yn hollol; nid yn unig yn ol fy ymresymiadau i, ond yn ol egwyddorion proffesedig ein diaelodwyr eu hunain; a bod cyfeirio at y cyfryw reol er dangos dyledswydd crefyddwyr dan yr oruchwyliaeth hon yn brawf o anystyriaeth anesgusodol, os nid o berffeithrwydd ffolineb a gwrthuni.

3. Gosodir pwys mawr ar 2 Cor. vi, 14, "Na iauer chwi yn anghymharus gyda y rhai digred," &c. Ond paham yr ystyrir y testun hwn o du y diarddeliad mewn dadl nis deallais erioed. A anturia rhyw un i

haeru fod yr apostol yn cyfeirio yn y mesur lleiaf at undeb priodasol? A oes son yn y testun ei hun, neu yn y cyd-destun, am briodas? Nac oes yn sicr. Darllenwch o'i flaen ac o'i ol, a gwelwch nad oes y cyfeiriad lleiaf at yr undeb sydd rhwng gwr a gwraig. Gan hyny, yn enw synwyr cyffredin, beth a wnaeth i neb erioed feddwl mai priodi â'r digred a feddylir wrth *ieuo* yma? Naturiol iawn yw meddwl mai cyssylltu â'r digred mewn cymdeithas grefyddol a feddylir, o herwydd un o'r rhesymau a ddefnyddia yr apostol yn erbyn *ieuo* gyda y digred yw, "Pa gydfod sydd rhwng teml Dduw ac eilunod?" ad. 16. Ac y mae yn dra thebyg, os nid yn sicr, fod yr eglwys hon wedi goddef i'w haelodau i gyduno mewn eilunaddoliaeth â'r digred. (Gwel 1 Cor. x, 14, 20—22.) Eithr nid oes lle i feddwl eu bod yn chwanog i *briodi* y digred, ond yn hytrach eu bod yn dwyn sel dros y rheol briodasol Iuddewig, ac yn meddwl y dylasai y crediniol, y rhai a ddychwelwyd wedi eu priodas, roddi ymaith eu cymhariaid anghrediniol, ag oeddynt yn parhau mewn cyflwr o annychweliad, er eu bod oll yn yr un cyflwr pan briodasent. (Gwel 1 Cor. vii, 1, 11—14.) Hefyd, y mae yn alwad yn adn. 17, "Deuwch allan o'u canol hwy," &c. yr hon sydd yn cyfeirio yn amlwg at Esay lii, 11, "Ciliwch, ewch allan oddiyno," sef, o blith eilunaddolwyr, yn dangos yn eglur iawn i mi mai ymgyssylltu yn anweddus ag addolwyr eilunod a feddylir wrth yr *ieuo anghymharus* hwn; ac am hyny nis medraf ddirnad am ddim, ond rhagfarn ac anystyriaeth, a allai dueddu neb i feddwl fod priodi yn cael ei olygu yma, lle nad oes y cyfeiriad gwanaf at y fath undeb. Os dywed y gwrthddadleuwr, "fod pob math o ieuo â'r digred yn anghyfreithlon, ac o ganlyniad, rhaid bod priodi y digred yn dra beius," gofynaf pa le y mae y prawf o hyn? A phe caniatawn hyn er mwyn ymresymu, gofynwn, a ydych yn diarddelu am bob math o ieuo â'r digred? Wele grefyddwr a dyn digrefydd yn ymrwymo i fod yn rhanog mewn dygiad yn mlaen rhyw waith neu fasnach; a'r crefyddwr, wrth ofalu am y cyfryw fasnach, yn treulio 15 awr gyda y digred am bob dwy a dreulia yn effro gyda ei wraig. Dyma was, a dacw forwyn yn ymrwymo dros flwyddyn, mwy neu lai, i wasanaethu y digred, pan y gallasent, am lai cyflog, gael gwasanaeth mewn teulu o ffyddloniaid? Paham na ddiaelodant am hyn? Paham na ddiarddelir meistriaid crefyddol am gyflogi gwasanaethwyr dibroffes, pryd y gallent gael gweinyddwyr o'r un tueddiadau â hwy eu hunain? Mae yma *ieuo â'r digred;* ond ni chlywais fod ysgymundod erioed yn ei ganlyn! Beth yw y rheswm am y pleidgarwch hyn? Gwybydded y darllenydd, os yw yr *ieuo* gwaharddedig yn cyfeirio at ymddygiad neillduol, fel y barnwyf fi, *uno* a chydffurfio ag eilunaddolwyr a feddylir, ac nid priodi; ond os yw, fel y barna ereill, y gwaharddiad yn gyffredinol, y mae pob math ar ieuo â'r digred yn groes iddo, ac yn galw am gerydd cyfatebol mewn pob amgylchiad; ac os diarddeliad yw y cerydd gofynol, ni ddylid byth i dderbyn y troseddwr yn ol i'r eglwys hyd nes byddo yr *iau anghymharus* wedi ei dryllio.

4. Meddylir gan lawer fod 1 Cor. vii, 39, "Y mae hi yn rhydd i briodi y neb a fyno; *yn unig yn yr Arglwydd*," yn benderfynol ar y pwnc hwn. Eithr y mae yr adnod hon cyn belled o brofi y diarddeliad mewn dall ag y dichon fod unrhyw adnod yn y Bibl: nid oes air o son am grefydd y gwr ag y mae y wraig hon yn rhydd i'w briodi; neu ei bod yn llwyr anghenrheidiol iddo ef fod yn yr Arglwydd cyn y gallai hi ei briodi. Priodi yn yr Arglwydd yw priodi yn ofn yr Arglwydd; peidio ymwrthod â'i chrefydd er mwyn cael gŵr—a bod yn ofalus i briodi yn unol â'r rheolau priodasol a roddir gan yr Arglwydd. Ond er gadael digon o rydd-did i'r rhai a wrthwynebaf; ïe, gadael iddynt gael cymmaint o raff ag a fŷnent, addefaf, er mwyn ymresymu, ac er mwyn hyny yn unig, cofiwch, fod yr apostol yn meddwl y dylai y gŵr fod yn yr Arglwydd, h. y., yn ddyn duwiol; ond beth wedi'n? Dim yn y byd, ond bod yr apostol yn rhoddi *cynghor* i'r Corinthiaid, nid *cyfraith*, pa fodd i ymddwyn er eu cysur eu hunain fel crefyddwyr. Y sylw mwyaf arwynebol o'r adnod, mewn cyssylltiad ag ereill yn y bennod hon, a ddengys y peth yn amlwg. Priodi sydd yn dda; priodi yn yr Arglwydd sydd well nag mewn ffordd amgen; ond *peidio priodi oll sydd well nâ'r cwbl*. Os rhyfygir gwneuthur cyfraith o'r cynghor apostolaidd yma, wrth yr hon y rhaid rheoleiddio priodasau, rhaid diarddelu, nid am briodi â'r digred, ond am briodi â neb pwy bynag! Gwnewch a fŷnoch o'r geiriau, rhaid eu bod yn dangos fod peidio priodi oll yn well nâ phriodi hyd y nod yn yr Arglwydd, gan nad beth a feddylir wrth briodi yn yr Arglwydd.

Pa le, gan hyny, y mae sylfaen diarddelu, neu gau allan o gymundeb, am briodi â'r dibroffes dan yr efengyl? Nid yn ngair Duw a bod yn sicr. Rhyw ddynion da ar awr wan, debygwn i, a wnaeth y gyfraith; dygwyd ereill i fynu mewn ufydd-dod iddi; ac o'r diwedd cymmerwyd yn ganiataol ei bod yn ddeddf ragorol. Er, yn fy marn i, ni chlywyd son am reol mor afresymol mewn un oes o'r byd, hyd y nod yn y parthau tywyllaf o'r ddaear. Diaelodir dyn am y trosedd, a derbynir ef yn ol, er byw yn ei bechod! Mewn pob diarddeliad arall, rhaid i'r troseddwr adael ei fai cyn cael ei adferu; rhaid cael ffrwythau addas i edifeirwch, yn gystal â phroffes o hono; ond yma gwna proffes yn unig y tro, er bod y ffrwyth yn rhoddi yr anwiredd i'r broffes! Mewn pob amgylchiad arall rhinwedd yw dadwneyd yr hyn a wnawd o'i le; ond yma pechod ag sydd yn galw am y gosp neu y cerydd llymaf a fedr yr eglwys ei weini, yw myned dan y rhwymyn priodasol, ond pechod hagrach fyth fyddai tòri y rhwymyn atgas ac ysgymun. Canmolir y mab a dòrodd ei adduned *ddrwg* ac a aeth i'r winllan; ond yma cospir yn llym am wneuthur adduned ddrwg, a chedwid y gosp fyth mewn grym pe cynnygai y troseddwr annedwydd i dòri ei adduned felldithiol! Diarddelir yr ystruan am briodi, ond fe'i derbynir yn ol ar ei edifeirwch; eithr pe cynnygai efe uniawnu yr hyn a gamwyd ganddo, fe'i cedwid ef allan byth! Mewn amgylchiadau ereill, cyfaddef pechod a'i adael a ragflaena faddeuant; ond yma, cyfaddef

pechod a eilw am ysgymundod, a byw ynddo heb ei adael byth a ddwg faddeuant llawn!!! Y mae pob troseddwr deddf mewn rhyw ystyr yn *lleidr*, o herwydd wrth droseddu y gyfraith, er porthi ei flys, y mae yn cymmeryd yr hyn nad yw yn eiddo iddo ef, a chyfrifid y lleidr gynt a dalai yn ol ar y bedwerydd yn deilyngach o ryddhad nâ lladron o ymddygiad gwahanol; ond yn ol y rheol eurwych (peidiwch gwenu) a wrthwynebaf, pechod mawr, yn galw am ysgymundod, yw tòri i dŷ cymmydog ar y cyntaf: ond gan fod y dihiryn wedi meddiannu tŷ ei frawd trwy drais am unwaith, efe a'i pia yn awr, a'r anghyfiawnder erchyllaf fyddai ceisio ei droi allan! Am droseddu y ddeddf trwy dòri i'r tŷ ar y cyntaf, fe'i esgymunir, ond ar ei edifeirwch rhagrithiol fe'i derbynir yn ol yn lled fuan; ond pe cynnygai y troseddwr esgymunedig adael y tŷ, a'i roddi i'w berchenog cyfreithlon, byth, byth, ni dderbynid yr yspeilydd drygionus yn ol, oddieithr iddo adfeddiannu y tŷ! I'r llofrudd anfwriadol gynt yr oedd dinas noddfa i'w ddiogelu, ond rhedeg o hono iddi yn heddychol; ond yn ol y rheol ddigyffelyb hon nid oes mo'r noddfa i'r troseddwr am ei fai cyntaf, gwnaed a fyno; eithr os efe a barha i wneyd yr un peth, maddeuir iddo, ac efe a ddiogelir. Ei ddinas noddfa ef yw gwaed ei gymmydog. Gan iddo ladd unwaith, rhaid iddo ymroddi i ladd byth mwy, neu nis gall fod mewn diogelwch. Nid edifeirwch na diwygiad y meddwyn a sicrha ei adferiad; meddwi unwaith a'i esgymuna, ond parhau i feddwi a'i hadfera. Y meddwad cyntaf a'i cynnysgaedda ag ysgrif-oddef i feddwi tra medro anadlu mwy, ac felly yn y blaen yn ddiderfyn. Rhaid cau o gymmundeb neu ddiarddelu am *ieuo yn anghymharus*, ond gwae y gwr neu y wraig a gynnygo dòri yr iau ddychrynllyd; rhaid iddo ef neu hi i fyw a marw o dan effeithiau arswydus esgymundod. Mewn gwirionedd, rhyw bechod rhyfedd iawn yw hwn, pe chwilid yr holl fyd nis gellid cael ei gyffelyb: ni luniwyd ei gymhar erioed. O, meddai un, "Nid am briodi y dyn, neu y ddynes, yr ydym yn ceisio edifeirwch." Am beth ynte? "Am droseddu y gair." O ddifrif, beth oedd y trosedd ar y gair? "Priodi y dyn." Pe medrwn ddirnad y gwahaniaeth hyn, gallwn hollti blew a fyddent fil meinach nag a welodd llygad dyd erioed: gallwn, wrth fy mhleser, wahaniaethu pob peth anwahaniaethadwy. P'odd bynag, am bob pechod arall, gellir ei geryddu dan EI ENW, fel trosedd o'r gair sydd yn ei warafun. Ni raid dywedyd wrth y tyngwr, "Nid am dyngu, ond am droseddu y gair yr ydym yn ceryddu:" priodi yw yr unig bechod dan y nefoedd a'r nas gellir ei gospi wrth ei enw, ac sydd yn gofyn y fath iaith hynod, wrthun, ac afresymol! Pe byddai y ceryddwyr yn ymddwyn mor gysson â hwy eu hunain â diarddelu am bob math o ieuo anghymharus gyda y digred, megys ymrwymo i gyd-ddwyn masnach yn y blaen, a'r cyffelyb, a feddyliai yr un o honynt i dderbyn yr esgymunedig yn ol tra byddai efe yn para yn y gyfrinach fydol, yr hon a deilyngodd ei ddiarddeliad? Nid wyf yn tybied, pe cynnygid y fath beth iddynt, hwy a gyfrifent y cynnyg yn ddirmyg ar eu synwyr a'u hegwyddorion.

"Tewch, (medd arall,) nid am briodi, ond am y *dull* o briodi yr ydym yn ceryddu." Aiê'n wir! Attolwg, peidied y darllenydd a chwerthin: y mae hyn megys pe dywedech wrth feddwyn, "Nid am feddwi, ond am eich dull afiach o feddwi, Syr, yr ydym yn eich ceryddu: chwi a feddwasoch o'ch sefyll, Syr, pryd y dylasech eistedd i lawr yn drefnus, a meddwi fel gwr boneddig!" Medd ereill, "Nid ar edifeirwch yr ydym yn derbyn y cyfryw yn ol, ond fel dynion o'r byd!" Dywedwch chwithau hyny; ond, attolwg, a fedrwch chwi dderbyn dynion o'r byd a fyddont yn byw yn gyhoeddus mewn pechodau ag ydynt yn galw am ddiarddeliad yr aelodau a'u cyflawnaut? Hyderaf fod hyn yn ddigon dros dipyn i'r cyfeillion a wrthwynebir genyf, ac na bydd raid i neb eu cymmeryd mewn llaw yn fuan etto. IORWERTH.

---

Y fath yw anmherffeithrwydd gwybodaeth y goreu o ddynion yn y cyflwr presennol, fel nad oes nemawr athrawiaethau nac ymarferion, gan nad pa mor wrthun, a'r nas cair dynion tra doniol a rhinweddol i'w hamddiffyn; yr hyn a ystyrir yn berffeithrwydd ffolineb gan y naill a ymddengys yn dra rhesymol ac anghenrheidiol i'r llall. Wrth ddarllen ysgrif rymus *Iorwerth*, yn y rhifyn am Ionawr, dan y pen *Ieuo Anghymharus*, meddyliais bod y ddadl yn nghylch hyn wedi ei therfynu, bod ei resymau ef mor nerthol ac eglur fel na ryfygai neb ei wrthddywedyd; ond y mae dynion mwy calonog ac anturiol yn hanfodi nag a feddyliais i erioed o'r blaen. Wele lythyr gan hynoted am ei hyfdra ag am wendid ei ymresymiadau yn eich rhifyn diweddaf, yn cynnwys math o atebiad i *Iorwerth*, gan ŵr a eilw ei hun *Amddiffynwr y Gwir*. Er ei holl ymdrech, nid ymddengys i mi ei fod wedi dirymu, na chymmaint â gwanhau, yr un o resymiadau *Iorwerth*.

Mewn perthynas i drigolion yr hen fyd, a rheolau priodasol yr Iuddewon, oni fedr *Amddiffynwr** brofi fod holl hiliogaeth Seth ac eiddo Jacob yn dwyn nodau gwir dduwiolion, neu brofi fod yr Arglwydd yn gwahardd i'r merched duwiolaf i briodi unrhyw Sethiad neu Israeliad, pa un ai yn ddynion bucheddol neu yn feibion Belial, efe a ddichon ysgrifenu nes llychwino cymmaint o bapur ag a ddelo o hyd cyrhaedd iddo heb brofi dim ar ei bwnc. Meibion Belial, y rhai nid adwaenent Dduw, oedd meibion Eli, 1 Sam. ii, 12, etto cyfreithlon oedd i ferched duwiol Israel eu priodi. Trwy briodi Jesebel, yr hon oedd estrones, troseddodd Ahab y gyfraith, ond trwy droseddu y gyfraith efe a gafodd gymhares o'r un tueddiadau ag ef ei hun; pe priodasai efe ag un o foneddigesau duwiol Israel, buasai y gyfraith briodasol yn ddihalog, ond buasai ei Fawrhydi a'i wraig o dueddiadau lled wrthwynebol. Wedi hyny dylai ddangos yn eglur fod deddf briodasol yr Iuddewon heddyw yn ei chyflawn

* Esgusoded fi am beidio ei alw yn "Amddiffynwr y *Gwir*," nes caffael o honof reswm i newid fy meddwl am ei bwnc.

rym, ac ufydd-dod iddi oddiwrth bob Cristion yn ofynol. Eithr eglur yw fod y gyfraith hòno, o ran yr hyn sydd mewn dadl, wedi ei dirymu.

1. Yr oedd hòno yn cyfyngu priodas o fewn llinach un genedl: eithr addefir yn awr, o bob tu, nas gwaeth o ba genedl y cymmero gŵr da wraig iddo ei hun.

2. Gwaith Paul yn annog y rhai oeddynt yn proffesu y wir grefydd i fyw gydag anghredinwyr neu eilun-addolwyr, (1 Cor. vii, 12—15), a ddengys fod rhydd-did i'r sawl a fuasai yn cael eu hysgaru wrth hòno i gyd-gynnal â'u gilydd yn awr. Gallwn ychwanegu yma, fod y rheol Iuddewig mewn dadl wedi ei dileu, yn ol barn *Amddiffynwr* ei hun, os yw ei farn a'i ymddygiad yn gysson â'u gilydd; canys, megys y dangoswyd eisioes, gallasai y drwg a'r da yn Israel briodi eu gilydd, eithr yn ol barn *Amddiffynwr*, rhaid i ŵr duwiol ddewis cymhares a fyddo yn dwyn nodau gwir dduwioldeb.

Nid yw ei waith yn ceisio cyssoni ei ymddygiad ei hun â'r rheol ddywededig, trwy ddywedyd "fod eglwys Dduw yn mysg y bobl uchod, ac na ddewisodd Duw yr un genedl neillduol i fod yn bobl iddo ef yn lle y genedl Iuddewig," ond dangos noethder y wlad, neu wendid ei bwnc. Gwir yw fod crefydd yn ceisio mwy o redfa yn awr nac o Dan i Beersheba, lle y cyfyngid hi gynt; ac yr un mor wir yw fod *pob gwlad* o dan y nefoedd ag sydd heddyw yn rhoddi yr un groesaw i wir grefydd ag ydoedd yn gael gynt yn ngwlad Israel, yn berffaith yn yr un cyflwr ag ydoedd hòno, sef, rhai ynddynt yn dduwiol ac ereill yn ddinodau duwioldeb. Sonia ein gwrthwynebwr lawer am *broffes*, heb ystyried, debygwn i, y gwirionedd amlwg hwn; sef, bod Cymru heddyw, er ei beiau mawrion, mor deilwng o gael ei galw yn wlad o *broffeswyr* ag y bu Israel yn eu hamser goreu, ac yn deilyngach nâ'r olaf yn eu hamserau canolig a gwaethaf. Prin y gallesid dywedyd fod eglwys *weledig* i Dduw yn eu mysg ar brydiau; ni *wyddai* Elias fod yr un addolwr i Dduw wedi ei adael ond efe ei hun, Rhuf. 11, 2—4; er hyny cyfreithlon oedd priodas yn eu mysg bob amser.

Dangoswyd gan *Iorwerth* mai ysgaru oedd y gosp â'r hon yr ymwelid â phriodasau anghyfreithlon gan y duwiolion crybwylledig yn y Beibl, ac nid diarddelu; a fedr *Amddiffynwr* ddangos ei awdurdod am newid y gosp i ddiaelodi, o ddechreu y Beibl hyd ei ddiwedd? Rhesymau *Amddiffynwr* dros beidio ysgaru yn awr, er bod hyny yn anghenrheidiol pan oedd y gyfraith ddywededig mewn grym, a ddengys wendid mawr ei achos: megys, "bod ysgar ar *amryw achlysuron* gynt, yr hyn a waherddir yn awr gan Grist." Eithr nid yw Crist ond gosod priodas ar ei sylfaen gysefin, heb wahardd dim ond yr hyn a *oddefodd* Moses o herwydd *caledrwydd calonau* yr Iuddewon. Deut. xxiv, 1—4; Mat. xix, 3—9. Eithr yn mha le y gwaharddodd Crist ysgariaeth mewn achos priodas anghyfreithlon? Wedi hyny, efe a ddywed "fod Paul yn annog y credadyn i aros gyda yr anghredadyn," 1 Cor. vii, 12—15. Nid yw hyn ond profi

yr hyn a ddywedodd *Iorwerth*, fod deddf briodasol yr Iuddewon wedi ei dileu.

Ei drydydd rheswm sydd hynotach, am a wn i, nâ dim hyd yn oed yn ei waith ef: sef, "Am fod rhai o honynt wedi ymgymmysgu mewn priodas â chenedloedd a'r nad oeddynt hwy na'u had, hyd y ddegfed genedlaeth, i ddyfod i gynnulleidfa yr Arglwydd—felly nid oedd ymwared rhag y niwed hwnw ond trwy ysgar â'r gwragedd dyeithr!" Deut. xxiii, 3—8, Ezra ix, 1, 2. Attolwg tröed y darllenydd at yr adnodau hyn, a gweled pa mor awyddus y mae *Amddiffynwr* i ddianc o'r fagl, pe medrai. Gwir yw, nid oedd y ddegfed genedlaeth o'r Amoniaid a'r Moabiaid i ddyfod i gynnulleidfa yr Arglwydd; ond yr oedd rhydd-did i drydedd genedlaeth yr Edomiaid a'r Aifftiaid, ac, er dim a ymddengys i'r gwrthwyneb yn y manau y cyfeiria *Amddiffynwr* atynt, gallasai plant y gwragedd cenedlig ereill crybwylledig yn Ezra ix, 1, ddyfod iddi y genedlaeth gyntaf. Ymresymu teilwng iawn o achos *Amddiffynwr* yw dywedyd "Am na ellasai degfed cenedlaeth plant dwy genedl ddyfod i gynnulleidfa yr Arglwydd, dylasid ysgaru yr holl wragedd cenedlig ereill, plant y rhai a ellasent ddyfod iddi y genedlaeth gyntaf!!" Ond y mae yr ymresymiad godidocaf etto heb ei ddatguddio. Wrth ddarllen holl lythyr *Amddiffynwr*, gwelwn mai y *canlyniadau drwg* i'r gwr (neu y wraig,) i'r eglwys, ac i'r plant, sydd yn gwneuthur priodas rhwng y crefyddol a'r anghrefyddol yn niweidiol ac anghyfreithlon: ond ni ddylid ysgaru yn awr i ragflaenu y cyfryw ganlyniadau, er fod gochelyd y *canlyniadau* gynt yn galw am ysgariaeth! Pe tröid hyn i reswm teirhan, ymddangosai yn rymus iawn fel y cynlyn:—

*Canlyniadau* y briodas mewn dadl sydd yn ei gwneuthur yn niweidiol ac anghyfreithlon:

I ochelyd y cyfryw ganlyniadau yr oedd *ysgariaeth* yn cymmeryd lle yn amser ysgrifenwyr y Bibl:

Am hyny ni ddylai ysgariaeth fodd yn y byd gymmeryd lle yn awr i ochelyd canlyniadau!!!

Gwrthuni atebiad *Amddiffynwr* a ddengys fod y cwbl a ddywedodd Iorwerth ar y pen hwn yn ei gyflawn rym, ac nad oedd—nad oes—ac nas gall fod un llwybr i uniawni priodas anghyfreithlon, ond trwy ysgariaeth: na modd i amlygu edifeirwch am unrhyw bechod heb ei adael.

Sylwodd *Iorwerth* yn rhagorol o dda ar y ffrwythau addas i edifeirwch am bechodau yn gyffredin, sef eu gadael; ond bod y priodi mewn dadl yn bechod heb ei fath, (os pechod yw,) o herwydd mai byw ynddo yw yr arwydd penaf a geisir o edifeirwch o'i herwydd. Atebiad dirym *Amddiffynwr* i hyn a fydd yn sier i gyffroi y darllenydd deallus i ddirmygu ei ffug resymau, ac i dosturio wrth y sawl a'u defnyddiodd. Er bod pob pechod arall yn debyg i'w gilydd, o ran bod yn droseddau eglur ar reolau dwyfol, a bod yn rhaid eu gadael cyn y gellir credu fod y sawl a'u cyflawnodd yn edifeiriol; ond, yn ol Amddiffynwr, nid cyfreithlawn cym-

haru y briodas bechadurus mewn dadl â phechodau ereill, o herwydd, trwy'ch cenad, "fod lledrata, tyngu a meddwi, &c., yn bechodau, can nad yn mha *ddull* y cyflawnir hwy; ond y credadyn a'r anghredadyn wrth briodi ydynt yn cyflawni *ordinhad Duw i ddynion;* ond y proffeswr wrth briodi y dibroffes, sydd yn tòri *rheolau eglwys Crist*, ac am *hyny* y diarddelir!!!"—Os gwir hyn, rhaid bod ordinhad Duw i ddynion a rheolau eglwys Crist yn groes i'w gilydd—y mae y dyn wrth briodi yn ufyddhau ac anufyddhau ar yr un pryd—yr un weithred sydd rinweddol a phechadurus—yn galw am ganmoliaeth, ac yn teilyngu diaelodiad!—Eithr, a gadael y medrid cyssoni hyn, os yw priodas rhwng credadyn ac anghredadyn yn groes i air Duw, rhaid bod y cyfryw briodas yn anghyfreithlon, ac, o ganlyniad, yn bechadurus, gan nad yn mha *ddull* y cyflawner, pa un ai yn ol *dull* neu drefn Eglwysi Rhufain, Lloegr, yr Alban, y Cyfeillion, neu eiddo yr Iuddewon. Ac os *anghyfreithlon* y briodas, gallaf roddi hèr i bob galluoedd dynol i brofi na ddylid ei diddymu trwy *ysgariaeth;* eithr os cyfreithlon ydyw, yn ol deddf y Brenin anfarwol, edryched y sawl a ddiaelodant o'i herwydd pa fodd yr atebant iddo ef am eu dirmyg o'i gyfraith. Os nid boddlon gan Amddiffynwr gymharu y briodas sydd yn teilyngu diarddeliad â phechodau ereill, caniatäed i ni ei chymharu â phriodasau a addefir o bob tu sydd anghyfreithlon:—Pe priodai dyn wraig ei dad, neu briodi yr ail waith, a'i wraig gyntaf yn fyw, a fyddai diaelodiad yn gosp ddigonol i'r cyfryw? A dderbyniai Amddiffynwr ef yn ol i'r eglwys ar ei edifeirwch proffesedig, ac yntef yn parhau cyd-gynnal â'r cyfryw wraig? Os na wnelai, chwennychwn wybod paham? Os anghyfreithlondeb y briodas a ystyriai efe yn rhwystr, am yr un rheswm dylai pob priodas anghyfreithlon fod yn rhwystr, heb ysgariaeth, i adferiad. Wrth bob dyn ag sydd â'r briodas yn anghyfreithlawn rhyngddo â'i wraig rhaid dywedyd, fel Ioan, "Nid cyfreithlawn i ti ei chael hi:" gollwng hi ymaith yn ddioed!

Ni welaf fi fawr yn galw am atebiad yn sylwadau Amddiffynwr, ar 2 Cor. vi, 14—17. "Na iauer chwi yn anghymharus â'r rhai digred," &c. Dangosodd *Iorwerth* yn dra eglur, mai, os yw yr *ieuo* yma yn cyfeirio at unrhyw weithred neillduol, fel y mae yn dra thebyg ei fod, ymuno ag eilun-addolwyr yn ngwasanaeth eu temlau, ac nid mewn priodas, a feddylir; ond, os yw'r ymadrodd yn cyfeirio at ieuo â'r digred yn gyffredin, nad yw priodas yn cael ei olygu yn hytrach nâ rhyw gytundeb arall â'r digred; a chan nad beth a waherddir yma, dylid *tòri yr iau anghymharus* cyn gellir cael prawf o edifeirwch. Ni welaf fi ddim yn ei sylwadau ef tueddol i ddirymu hyn. Y mae yn crybwyll amryw ysgrythyrau o'r Hen Destament i ddangos fod priodi gwragedd dyeithr yn tueddu i droi calonau yr Israeliaid at dduwiau gau, ac yn ychwanegu, "Y mae mor beryglus i gymhar annuwiol droi calon y llall at ryw eilunod fyddo ganddo yn awr ag oedd iddynt eu troi at y gau dduwiau gynt." Purion, gyda yr un cymhwysder y gallai ddadleu yn erbyn y priodasau

Iuddewig ag oeddynt o drefniad Duw; nid oes mwy eilungarwch mewn ystyr gymharol, na chymmaint yn llythyrenol, yn Nghymru ag oedd yn ngwlad Israel, ac ni feiddia efe wadu cyfreithlondeb priodasau yn mysg yr Israeliaid.

Cymharu dynion ein gwlad ni ag ydynt heb nodau gwir ddychweliad â'r cenedloedd eilun-addolgar ag oeddynt oddiamgylch i Israel, a cheisio dangos fod priodas rhwng y grasol a'r sawl nad yw felly yn ein mysg ni yn groes i air Duw, o herwydd ei bod yn anghyfreithlon i Israeliaid briodi merched y cenedloedd o'u hamgylch, sydd brawf o anystyriaeth anesgusodol. Tröed y darllenydd at Deut. vii, 2—4, 16, 24, sef un o'r manau crybwylledig gan Amddiffynwr, a gweled, os yw yn ddyledswydd arnom ni i edrych ar ein cymmydogion dibroffes yn yr un modd ag y dylasai Israel olygu y cenedloedd eilungar o'u cylch, rhaid fydd i ni ymroddi *lladd* ein cymmydogion! Eglur yw ei bod yn gymmaint dyledswydd ar Israel *ladd a difrodi* y cenedloedd hyny ag oedd iddynt beidio priodi eu merched. O, nad ystyriai dynion ganlyniadau echryslon eu hegwyddorion cyn eu cyhoeddi i'r byd.

Nid oes gymmaint â rhith rheswm gan Amddiffynwr i brofi fod yr apostol yn golygu priodas wrth yr *ieuo* crybwylledig, dim ond haeriad noeth "fod yr apostol yn arfer y gair *ieuo* mewn ystyr *helaeth a chyffredin*." Dyma addefiad nad yw priodas yn cael ei golygu yn hytrach nâ rhyw ieuo arall â'r digred. Ac yn wir, nid dichonadwy gwthio priodas i'r heol, heb ei gwneuthur yn rheol gyffredin. Eithr wrth ei chymharu ag ymddygiad fy ngwrthwynebwyr, ni bu hyllach gwrthddywediad mewn geiriau erioed, nâ'i galw wrth y fath enw. Gŵyr pawb nad oes reol gyffredin heb eithriad; ond dyma y tro cyntaf erioed, ysgatfydd, y clywyd son am reol gyffredin yn eithriadau i gyd ond mewn un achos! gellir *ieuo* yn ddigerydd mewn pob achos cyfreithlon ond mewn priodas! Os rheol gyffredin yw hon, attolwg pa beth yw rheol neillduol? "Ond (medd Amddiffynwr), nid oes yr un ieuo yn cael ei wahardd mor eglur â'r ieuo mewn priodas." Dysgwyliwn weled y "gwaharddiad eglur" hwnw yn ei lythyr nesaf, sicr yw nad ydys wedi ei weled etto. Eithr, "Y mae yr ieuo priodasol (meddai ef) yn gofyn mwy o undeb a chydgordiad rhwng ysbrydoedd dynion nag un arall." Bid felly, ond gan fod lladd dyn yn fwy pechod nâ lladrata ceffyl, a ydyw hyny yn profi na ddylid cospi lleidr y ceffyl! Ac yn wir, Syr, od yw y rheswm hwn, yn profi dim, profi a wna na ddylai efe gospi yn yr achos hwn; anghytundeb ysbryd y pâr cylymedig a'u cospa yn ddigonol heb gyfryngdod ei swyddgarwch ef. Ond, "Gellir ymddattod o bob ieuo arall (meddai ef) yn fuan ar ol gweled ei niwed a'i anfuddioldeb." Syndod i mi fod dyn ag sydd yn cyfrif y geiriau, "Na iauer chwi gyda'r digred," yn rheol gyffredin, yn medru siarad yn y modd hyn. Beth! oni ellir gwybod yn mlaen llaw, os credir y gair, fod y cyfryw ieuo yn niweidiol? Pa fodd y gwypir fod ieuo priodasol â'r digred yn niweidiol

cyn ei brofi? Yn nesaf, dyfynir gwaith amryw esbonwyr ac awdwyr dros ei bwnc, gan *Amddiffynwr;* gan alw ar Eglwyswyr i ddarllen *gwaith yr Esgobion Andrews a Beveridge;* a'r Ymneillduwyr, *Gyffes Ffydd y Gymmanfa, &c.;* a'r Bedyddwyr, *waith Dr. Stennett.* Gwnaf ychydig sylwadau ar hyn:—

1. Er y mynwn barchu yn fawr waith awdwyr, ni chaiff neb o honynt fod yn feistriaid ffydd i mi.

2. Nid oes yr un o honynt yn dywedyd y dylid diarddelu am y briodas mewn dadl: a diau yw nad oedd, ac nad yw, yr eglwysi y perthynai rhai (os nid pawb) o honynt iddynt yn diarddelu yn yr achos hwn. I ba ddyben, os nid i ddallu y darllenydd, y crybwylla efe Esgobion Eglwys Loegr fel o'i du ef? A ydyw yr Eglwys hon yn diarddelu yn achos y briodas mewn dadl!

3. Ymddeugys i mi fod *Amddiffynwr* yn ddyn tra phleidgar a rhagfarnllyd, neu yn barnu fod ei frodyr yn gyffredin felly. Nis gallaf ystyried ei ddymuniad ar fod i eglwyswyr ddarllen gwaith yr Esgobion, y Bedyddwyr waith Stennett, &c., amgen cabldraith ar grefyddwyr Cymru, yn arwyddo yn ddystaw na wrandawant ar reswm oni chânt ef oddiwrth un o'u plaid eu hunain. Chwiliwr y galon a ŵyr nas gwaeth genyf fi i ba blaid y perthyna y gŵr a roddo i mi reswm têg. Oni byddai fod *Amddiffynwr* yn dywedyd (dal. 107,) "Yr wyf yn caru gwirionedd a *sobrwydd!*" h. y. yn wrthwyneb i eiriau gwawdus *Iorwerth,* buaswn yn meddwl ei fod yn dewis gwisgo ei resymau â thipyn o ddigrifwch, neu yr hyn a eilw y Saeson, *good humour:* ond SOBRWYDD drwyddo draw yw efe, am hyny rhaid darllen yn ol ei gyfarwyddyd, neu anufyddhau!

4. Gan ei fod wedi dangos i amryw pa waith a ddylent ddarllen, dylai amlygu pwy a olyga efe wrth *Ymneillduwyr,* gan ei fod yn gwahaniaethu rhwng Bedyddwyr ac Ymneillduwyr.

5. Rhodded genad i minnau i annog, nid y Bedyddwyr yn unig, ond pawb, i ddarllen eglurhad yr enwog Dr Gill, ar yr holl adnodau mewn dadl yma, a chânt weled mai yr un yw barn *Iorwerth* ar y pwnc hwn ag oedd eiddo Gill.

Ar 1 Cor. vii, 39, "Y mae hi yn rhydd i briodi y neb a fyno, yn unig yn yr Arglwydd,"—dangosodd *Iorwerth* yn dra amlwg nad yw y geiriau *yn yr Arglwydd* yn profi y dylai y gwr fod yn ddyn duwiol—mai *cyngor,* ac nid *cyfraith,* y mae yr apostol yn ei roddi yn y geiriau—ac mai eithaf eglur yw fod peidio priodi oll yn well nâ phriodi yn yr Arglwydd. Nid oes dim yn y cynnyg i ateb hyn ond dangosiad o wendid *Amddiffynwr,* gan gymmeryd yn ganiatäol yr hyn a ddylai brofi, megys pe byddai barod i syrthio ar ei liniau gerbron ei wrthwynebwr, a dywedyd, "Da, Iorwerth hawddgar, yn helaethrwydd dy hynawsedd caniatâ i mi fuddugoliaeth ar hyn o bryd! goddef, attolwg, i fy haeriadau i sefyll yn lle rhesymau, a phaid fy ngosod dan yr anghenrheidrwydd i'w profi, neu i gyfaddef eu bod yn ddisylfaen!" Sylwedd ei atebiad yw, "Fod y wraig a briodo ag un dibroffes yn ymwrthod â'i chrefydd, ac nad oes ofn Duw o

flaen ei llygaid!" Profed ef hyn! a bydd y ddadl ar ben o'm rhan i; ond cofied, mai wrth wneuthur hyny y bydd yn profi fod pob math o gytundeb a chyfrinach rhwng proffeswyr a dynion dibroffes yn brawf, o hyn allan, fod y blaenaf yn ymwrthod â'u crefydd! ac, o ganlyniad, nad oes nemawr, os neb crefyddwyr heddyw ag ofn Duw o flaen eu llygaid! Gwybydded hefyd, nas goddefaf iddo hòni eithriadau i'r rheol gyffredin, trwy ddywedyd "Fod *amgylchiadau* yn gofyn ymgymmysgu â'r byd mewn rhai pethau," heb i minnau hòni hawl i eithriadau hefyd, gan ei bod yn amlwg bod *amgylchiadau* yn rhwymo llawer o broffeswyr duwiol i briodi â rhai nad ydynt yn proffesu, yn yr ystyr fanylaf o'r gair. Galwaf arno ef o ddifrif i brofi, os dichon, fod "Priodi yn yr Arglwydd" yn arwyddo y dylai y gŵr fod yn ddyn duwiol. A phe medrai wneuthur hyn ni byddai ond dechreu ar ei waith, rhaid fyddai profi eilwaith mai *cyfraith* ac nid *cyngor* a gynnwysir yn y geiriau: yr hyn a fyddai yn orchest Ercwlffaidd iddo! canys dywed yr apostol, wrth roddi y cyngor, "Ac yr ydwyf finnau yn *tybied* fod Ysbryd Duw genyf," adn. 40; ac mewn mànau ereill yn yr un bennod y mae yn gwahaniaethu rhwng yr hyn a ddywed yr Arglwydd a'r hyn a ddywed ef ei hun. Gan nad pa esboniad a roddir ar y cyfryw ymadroddion, amlwg yw, nad oedd yr ysgrifenydd yn bwriadu defnyddio ei awdurdod apostolaidd i rwymo y Cristionogion i ufyddhau i'r hyn a ddywedai efe mewn ffordd o gyngor yn yr hyn a fyddai fuddiol iddynt; ac ni ddylai neb ryfygu gosod mwy o bwys ar eiriau yr apostol nag oedd efe ei hun yn osod arnynt.

Pan fyddo *Amddiffynwr* yn groes i ysgrythyr a rheswm, hawdd yw ei wrthwynebu, ond pan fyddo efe yn ymranu yn ei erbyn ei hun, anhawdd gwybod ar ba beth y mae efe yn rhoddi ei bwys, modd y gellir ei ddiseilio. Yn nhudal. 106., efe a ddywed, "Mai tòri rheolau eglwys Crist, *trwy briodi* un heb fod yn proffesu, am *hyny* y diarddelwyd y person;" ond ychydig nes yn mlaen, yn yr un tudal. efe a ddywed, "Y mae yn amlwg (er fod *Iorwerth* yn gwawdio) *nad am briodi* y mae y cyfryw yn cael eu diarddel, ond am gilio yn eu hysbrydoedd oddiwrth yr Arglwydd, a dewis cyfeillach y digrefydd." Am nad oes lle i helaethu ar y gwrthddywediad hwn, ac am mai y llythyr cymun diweddaf sydd safadwy, rhaid i mi ddeall mai nid am briodi y dibroffes, ond am ddirywiad ysbryd y mae *Amddiffynwr* yn diarddelu; yr hyn sydd yn dangos fod cywilydd arno ef i gyfaddef y gwir, ac nas beiddia ddywedyd, oddieithr trwy ddygwyddiad a diffyg gwyliadwriaeth, ei fod yn diaelodi dyn yn achos priodas ag sydd yn gyfreithlon yn ol cyfraith Duw a dynion. Ond y mae onestrwydd yn galw arno i ddywedyd y gwir heb geisio llechu yn gyndyn mewn noddfeydd twyllodrus: ond cyfaddef mai am briodi ei gwr y diarddelir y ddynes grefyddol, ac mai am garu a phriodi ei gŵr y ceisir ganddi amlygu edifeirwch ar ei hadferiad. Nid yw y son a wneir am "Ddirywio yn ei hysbryd" ond llen rhy denau i guddio y cynfil ag y cywilyddir ei arddel. Beth! onid yw pob gwrthgiliwr wedi *dirywio yn*

*ei ysbryd!* Etto ni feddyliodd dyn erioed i ddywedyd wrth eu ceryddu, neu eu diarddelu, "Nid am feddwi yn barhaus—nid am fyw mewn godineb—nid am fod yn gynhenllyd yn eich cymmydogaeth—neu, nid am ledrata yr ydym yn eich diarddel, ond am i chwi ddirywio yn eich ysbryd, druan!"—O ddifrif, Syr, oni byddai gwybod fod llawer o ddynion da, gyda y rhai y gobeithiaf gael treulio fy nhragywyddol oes, wedi cael eu dwyn i fynu yn yr athrawiaeth a wrthwynebaf, ni buaswn yn sylwi ar y rheswm gwael hwn: canys mewn gwirionedd, y mae islaw dirmyg. Yr oeddid yn cospi y priodasau anghyfreithlon crybwylledig yn yr ysgrythyr dan eu henwau, heb achos sôn am "Ddirywiad ysbryd."—Ond, medd *Amddiffynwr*, "Y mae y dysgyblwyr manylaf yn diaelodi cyn priodi, pan fyddo cyfle, gan hyny amlwg yw mai nid am briodi y diarddelir." Nid yw hyn ond dyfais arall i guddio y gwaradwydd cydfynedol â diarddelu yn achos priodas gyfreithlon. Priodi yw y pechod fyth, er pob ymdrech i guddio y bwystfil trwy newid ei enw. Pe treuliai aelod y tri chymmaint o amser gyda dyn o'r byd, i ddwyn yn mlaen ryw neges fydol, ag y mae dynion ieuainc yn dreulio ynghyd wrth garu, ni byddai gair o sôn am ddim allan o le; ond cyfrinachu gyda bwriad i *briodi* sydd yn galw am ysgymundod; gan hyny ni bu yr haul eglurach erioed, nâ mai nid cyfeillachu â deg neu gant o ddynion y byd, ond bwriadu priodi *un* o honynt yw y trosedd dirfawr; ac os yw y bwriad mor bechadurus, beth rhaid fod y cyflawniad! Pe byddai achos dinoethi y ddichell wirion hon yn mhellach, ni byddai raid ond gofyn, Os nid am *briodi* yr ydych yn diarddelu, adolwyn i ba ddyben yr ydych yn sôn am y testunau sydd yn darlunio *priodasau* anghyfreithlon yr Iuddewon? Am *briodi* y cospid hwy, eithr nid ydych chwi, os gellir eich credu, yn ceryddu neb am y fath beth! Os yw priodas â'r digred yn cael ei gynnwys yn yr *ieuo anghymharus* rhagddywededig, pa wasanaeth i'ch achos chwi a wna y testun hwnw? Canys nid ydych chwi, fodd yn y byd, yn *beio* neb am y cyfryw ieuo anghymharus, ond am "Ddirywio yn eu hysbryd!" Ac os priodi â dyn duwiol a feddylir wrth briodi yn yr Arglwydd, ni ddylech chwi o ddynion y byd grybwyll y geiriau hyny, oblegid nid ydych, meddych chwi, byth yn gofyn edifeirwch am briodi un heb fod yn yr Arglwydd! Os yn ddigellwair y dywedwch nad ydych yn diaelodi am briodi â'r digred, nid yw y testunau a grybwyllwch o fwy gwasanaeth i'ch achos nâ phe dyfynech y geiriau, "Yr asyn a lefarodd, neu, y ceiliog a ganodd."

Ond nid dirywiad ysbryd yw yr unig reswm a roddir dros y diarddeliad mewn dadl, ond hefyd, "peidio ufyddhau i'r eglwys." Fy unig atebiad i hyn yw, nad oes hawl gan yr un eglwys dan y nefoedd i sefydlu cyfreithiau crefyddol gwrthwynebol i gyfreithiau Pen yr Eglwys: ac, o ganlyniad, fod diarddelu yn achos priodas ag sydd gyfreithlon yn ol gair Duw yn bechod yn erbyn yr Arglwydd.

Y mae amryw bethau ereill amgylchiadol yn llythyr *Amddiffynwr* ag y carwn, pe byddai lle, i sylwi arnynt. Tybia efe "fod ysgrifau *J. R.* a *Ior-*

*werth* yn anfuddiol oni phrofant ei bod yn well i gredadyn briodi anghredadyn nag un yn credu—ond efallai y cânt ddiolch gan ambell broffeswr gwrthgiliedig," &c. Gyda mwy o gymhwysder y gallai ddywedyd, "Os pechod yw crogi dyn am ladrata ceiliawg-gwydd, fod lleidr gwyddau yn well nâ dyn gonest." A chyda'r un gweddeidd-dra y gallai Pabydd ddywedyd, pe ysgrifenasid yn erbyn y purdan, neu y ddefod o ddysgyblиaeth fanwl o gyffesu pechodau i'r offeiriad, "Efallai y cânt ddiolch gan yr hereticiaid sydd yn pallu talu am faddeuant, ac am weddio eneidiau eu perthynasau o'r purdan." Pa fodd bynag, teilwng yw y gwir o dderbyniad gan yr hwn sydd yn sefyll a'r hwn sydd wedi syrthio. Efe a ddywed "Fod *Iorwerth* wedi ceisio bwrw llwch i lygaid y darllenwyr; eithr odid na fydd rhai, fel finnau, yn barnu mai dim ond llygaid ag ydynt wedi eu dallu yn anfeddyginiaethol gan ryw lwch arall sydd heb eu gwellhau gan *eli llygaid* rhagorol *Iorwerth.* Am yr hyn a ddywed efe yn nghylch fod *Iorwerth* yn anghysson, yn afresymol, "A chasineb at reolau eglwys Crist wedi dallu y dyn hwn, a'i fod yn gwawdio," &c., nid yw y rhai hyn ond ymadroddion cyffredin gan ddadleuwyr, yn neillduol pan na fedront ateb eu gwrthwynebwyr, ac am hyny nid oes neb ond dynion gweinion iawn, wrth ddarllen dadleuyddiaeth, yn gosod y pwys lleiaf arnynt. Geill *Amddiffynwr* alw y *dyn hwn*, mewn ffordd o ddirmyg, ar *Iorwerth*, gallwn innau ei alw yntef *y dynan hwn*, neu *yr hanner dynan hwn*, eithr ni thybiai neb ond ffyliaid fod hyny yn cynnwys un math o reswm; ond y mae *haeriad* bob amser yn atebiad digonol i *haeriad*, am hyny *haeraf* nad oes yr anghyssondeb lleiaf yn llythyr *Iorwerth:* darllenais ef fwy nâg unwaith cyn gweled yr atebiad iddo, a rhai gweithiau wedi hyny, ac nid wyf yn cofio i mi weled un peth o waith dyn yn dala ati yn well mewn tân gwrthwynebiad erioed; nid oes achos, a'r a wn i, galw cymmaint â dryll-ymadrodd o'i ysgrif yn ol. Ac o ran *gwawd*, oddieithr cyfrif ychydig ffraethineb, rhesymiadau difyrgar, a dynoethiad rhesymau y blaid wrthwynebol hyd adref, yn wawd, nis medraf weled dim o'r fath ynddi.

Rhaid sylwi gair ar gymhariaeth annedwydd *Efan Ceredig* gwirion.—"Pa un ai am feddwi neu am dòri ei goes, yr hyn a achlysurwyd gan ei feddwdod, y dylid ceryddu y dyn a feddwodd?" Dyma gynnyg arall i guddio y gwarth perthynol i ddiaelodi am briodas gyfreithlon, ond hawdd gweled mai yr un dynged a berthyn i hwn ag i'r cynnygion ereill deilliedig o'r un gwreiddyn. Nid hyddysg mewn cymhariaethau yw *E. Ceredig.* Drwg *moesol* yw meddwdod, ond drwg *naturiol* yw tòri coes yn anfwriadol; eithr ni ddeallais erioed fod neb i'w ceryddu am yr olaf, sef, am beth nas gellir oddiwrtho. Buasai rhyw addasrwydd yn y gymhariaeth, pe buasai fel hyn, "Pa un ai am fwriadu meddwi, neu am feddwi y dylid ceryddu? Pa un ai am *fwriadu* lledrata, neu am *gyflawni* y weithred y dylid diarddelu?" Yna mi a ddywedaswn, bid sicr, am yr olaf, oblegid yn y cyflawniad y cair *prawf* fod y dyn o dan arglwyddiaeth y pechod.

Terfynaf mewn ychydig gynghorion—*Broffeswyr crefydd o bob*

*graddau!*—er eich cysur eich hunain a'r eglwys, ymdrechwch gymdeithasu â rhai o'r un tueddiadau crefyddol â chwi eich hunain.—*Feistriaid a Meistresau crefyddol!*—ceisiwch wasanaeth-ddynion, od oes modd i'w cael, a fyddo yn ceisio yr un wlad nefol â chwithau; dichon rhai anghrefyddol fod o niwed mawr i'ch plant ac i chwithau.—*Gwasanaethwyr crefyddol!*—hyd mae ynoch ceisiwch feistriaid crefyddol, ac od oes modd, ewch i deuluoedd lle y byddo eich cyd-wasanaethwyr yn grefyddol; os penaethiaid y teulu fyddant elynion i grefydd, gallant fod o fawr niwed i chwi, am nad oes cydraddoldeb rhyngoch i'r un graddau ag sydd rhwng gwr a gwraig, a chwithau yn rhwym i ufyddhau iddynt; a'ch cyd-wasanaethwyr a allant eich blino yn fawr, am eich bod i dreulio eich tymhor yn eu mysg.—*Grefyddwyr masnachol!*—llafuriwch am rai o'r un egwyddorion â chwi i fod yn rhanog â chwi yn eich gofalon bydol; cofiwch fod tuedd mewn ymddyddanion drwg i lygru moesau da.—*Ieuenctyd crefyddol!*—ymgedwch, os medrwch, rhag y cyflwr priodasol nes byddo lle i farnu y gellwch yn y cyflwr hwnw fod, o leiaf, agos mor ddedwydd, a gwasanaethgar i achos Duw ag ydych yn awr; pan ymroddoch i briodi, dewiswch, os bydd modd, gymhariaid o'r un anian â chwi eich hunain.—*Eglwysi y saint!*—gwyliwch dros eich cyd-aelodau; byddwch fanwl, ond etto yn ysgrythyrol, yn eich dysgyblaeth. Byddwch anmhleidgar; ymwelwch â phob trosedd yn ol maint ei deilyngdod. Cynghorwch bawb o'ch brodyr i ddyfod o fysg y byd; eithr na cheryddwch feistr am beidio derbyn gwas cloff, neu fyddar, pan fyddo ei waith yn gofyn gwas dianaf; ac na feiwch ddynes am briodi ag un oddiallan, os na chafodd gynnyg ar neb oddifewn i'r eglwys a fedrai hi ei garu, neu feddwl y gallai fod yn ddedwydd gydag ef, ac o wasanaeth i'r eglwys. Gwyliwch rhag diarddelu am briodas ag sydd gyfreithlon yn ol deddf Duw, rhag eich cael yn euog o chwennych y deyrnwialen o law Brenin Sïon. Os gwnewch, ger bron Duw fy marnwr yr wyf yn dywedyd, credaf y rhaid i chwi ateb am hyny yn y farn. Na feddyliwch fy mod yn ddig wrthych. Nis gall fod genyf ddim personol yn erbyn *Amddiffynwr*, canys nis gwn pwy ydyw. Nis gall fod genyf ddim yn erbyn un enw neillduol o grefyddwyr, gan fod rhai eglwysi o bob enw, ond Eglwys Loegr, yn groes i mi ar y pen hwn. Gwirionedd yw fy ngwrthddrych, ac i bob gwirionedd rhodded Duw lwydd, y weddia, yn ddilid ac yn ddiragrith,

GWRTHDDIFFYNWR.

---

Wedi gweled y dadleuwr a eilw ei hun "Amddiffynwr y Gwir," yn y SEREN am Ebrill, yn cychwyn i faes y frwydr, a'r rhybudd a roddasoch ar glawr SEREN Gorphenaf i'r brwydrwyr barotoi eu harfau erbyn rhifyn Medi y màn pellaf, meddyliais y byddai i *Amddiffynwr* ymddangos yn amlder ei rym i wrthwynebu fy ysgrif i yn rhifyn Mai; ond, wele, Mehefin, Gorphenaf, Awst, a Medi, wedi myned heibio oddiar yr atebwyd ef, heb yr argoel lleiaf am dano ef. Rhyfeddais paham y daeth

i'r maes mor hyderus, a chilio o hono mor warthus. Rhaid nad oedd testun y ddadl yn annheilwng o'i sylw, canys efe a ysgrifenodd arno unwaith yn dra selog. Nis gallai annhueddrwydd i ddadleu ei gadw draw, canys ysgrifenodd lythyr dadleugar o'r meithaf dros ei bwnc. Nid diffyg amser a'i lluddiodd i ddyfod i'r maes, oblegid rhoddwyd iddo ef bedwar mis, er na cheisiais i ond un mis i'w ateb ef. Clywais fod rhai o'i bleidwyr yn ei esgusodi trwy ddywedyd, "nad oedd efe ar y cyntaf yn meddwl ysgrifenu ond un llythyr, er cael cyfle i *amlygu ei farn!*" Yn wir! Pe hyny fuasai y dyben, gallasai ei wneuthur yn llawn mewn cylch un, heb achos defnyddio agos i saith tu-dalen. Hefyd, wedi amlygu o hono ei farn, onid oedd yr un anghenrheidrwydd i'w hamddiffyn ag oedd i'w datguddio ar y cyntaf, oddigerth ei fod yn dysgwyl i'r byd gredu fod ei *dyb* ef yn ddigon i wrth-brofi holl *resymau* ei wrthwynebwyr? Ond, er na anturiodd *Amddiffynwr* i'r maes wedi cael o hono ei faeddu unwaith, wele dri (nid o gedyrn Dafydd, ond) o weiniaid rhagfarn, sef *Delta*, *Aliquis*, a *Thegydon*, wedi cynnyg codi achos syrthiedig eu cawr; ac am nad oes genyf ragorach gwrthwynebwyr, rhaid brwydro ychydig â'r gwŷr teilwng hyn.

Ond cyn myned yn mhellach, buddiol fyddai dywedyd ychydig yn nghylch yr hyn y dadleuir o'i herwydd, gan yr ymddengys fod y blaid wrthwynebol, naill ai yn methu neu yn anmharod i ddeall hyn. Gwybydded pawb, gan hyny, fy mod yn credu y dylai dynion crefyddol, hyd ag y mae ynddynt, er eu *cysur* a'u *dyddanwch* eu hunain fel y cyfryw, ymdrechu cael cymdeithion a fyddont o'r un egwyddorion a thueddiadau â hwythau; fod *priodi*, *gwasanaethu*, neu *gyd-fyw* mewn unrhyw amgylchiad, dros flwyddyn, saith mlynedd, neu dros fywyd, gyda y *digred*, yn beth ag a deimla crefyddwyr yn gyffredin yn anfanteisiol i'w daioni ysbrydol, ac, yn aml, i'w buddioldeb yn yr eglwys. Pan byddo amgylchiadau yn galw crefyddwyr i gyfeillachu â'r digrefydd, dylai yr eglwys sylwi ar ymddygiadau ei haelodau: os cânt eu bod yn *dirywio yn eu hysbrydoedd*, fel nas dichona cynghorion na cheryddon eu diwygio, dylid eu diaelodi, gan nad pa un ai *cyd-wasanaethwyr*, *cyd-weithwyr*, *cyd-fasnachwyr*, *meistriaid*, neu *gariadau digrefydd* a'u tŷnodd o'r llwybr. O'r tu arall, barnwyf, nad oes nac ysgrythyr na rheswm yn dangos ei bod yn *anghyfreithlon* i was duwiol wasanaethu meistr digrefydd, nac i broffeswr briodi y dibroffes: nid oes air o fewn y Beibl yn dangos bod priodas rhwng y cyfryw yn *groes i ewyllys Duw*, er y gallai fod yn anghysson â'u *dedwyddwch eu hunain*. Yn ol y Testament Newydd, pob priodas rhwng gwrryw a benyw, unol â'r rheolau perthynol i gyfathrach, &c., sydd gyfreithlon; pechod yn erbyn Duw yw diaelodi yn achos priodas gyfreithlon; nid *diaelodi*, ond *ysgaru*, yw yr unig feddyginiaeth yn achos *priodas anghyfreithlon*.

Dangosodd *Dywedwr y Gwir* yn dda iawn, yn y rhifyn am Hydref, y gwahaniaeth rhwng *J. R.* ac *Amddiffynwr* a'i blaid, ond am na soniodd

yn bennodol am y gwahaniaeth rhwng *J. R.* a *Iorwerth* a'i *Ddiffynwr*, anghenrhaid yw amlygu hyny. Barna *Iorwerth* na ddylid diarddelu ar gyfrif yr un briodas a fyddo cyfreithlon, a bod pob priodas yn gyfreithlon ag y byddo yn gymhwys i'r priodedig i dreulio eu hoes ynghyd; eithr dadleu dros ddiarddelu *rhai*, nid *pawb*, proffeswyr a briodant ddynion dibroffes a wna *J. R.* Felly gwelwn, er fod *Amddiffynwr* a'i gefnogwyr yn ystyried *Iorwerth* a *J. R.* fel o'r un tu i'r ddadl, fod cymmaint gwahaniaeth yn gymhwys rhwng *J. R.* a *Iorwerth*, ag sydd rhwng *J. R.* ac *Amddiffynwr;* hyny yw, os amlygodd *J. R.* ei feddwl yn *llawn*, yr hyn sydd amheüus genyf.

Bellach, brysiaf i sylwi ar waith *Delta*, *Aliquis* a *Thegydon*. Tebyg ddigon y medrwn gael rhes o *drioedd* newyddion yn ngwaith y tri hyn:—

Tri pheth a ymddangosent o bwys o'r blaen, nid yw yr un o'r tri yn eu defnyddio fel rhesymau:—1. Rhwymedigaethau Sethiaid ac Israeliaid i briodi yn eu mysg eu hunain, fel prawf y dylai credadyn beidio priodi anghredadyn. Y mae *Aliquis* yn myned dros y pwnc hwn fel gŵr tra diniwed: "Mewn perthynas i briodasau yr Iuddewon, &c. ni chaf fi sylwi dim at yr hyn a ddywedodd *Amddiffynwr y Gwir*, oddieithr i mi weled rhywbeth amgen nag atebiad *Gwrthddiffynwr* i'm cymhell." Ffordd fèr a hawdd iawn, *Aliquis*, i fyned i ben eich gyrfa: blin na buasech mor ddoeth wrth ysgrifaw rhanau ereill eich llythyr, sef, ffugio diystyru yr hyn nas gallasech ateb: eithr rhoddwyd hèr i chwi a'ch holl bleidwyr, ger bron miloedd y Dywysogaeth, gan *Iorwerth*, i brofi ei bod yn anghyfreithlon i Israeliad anfucheddol briodi y ddynes dduwiolaf yn Israel. Wele un amddiffynfa wedi ei rhoddi i fynu, ac wele ni ran fawr o'r daith nes yn mlaen. Gwir yw fod *Delta*, yn y modd mwyaf dichellgar a fedrai enaid bach, yn cyferbynu geiriau *Iorwerth* â'r cyfarwyddyd a rydd yr apostol yn nghylch gwragedd diaconiaid, sef, bod yn rhaid iddynt fod yn *sobr*, *&c.* Yna, eb *Delta*, "y mwyaf *anystyriol*, medd *Iorwerth; sobr*, medd y Bibl." Pa un a bod ofn Duw o flaen llygaid *Delta* ai peidio, credaf y rhaid iddo gywilyddio am drin y ddadl mor dwyllodrus, a dwyn cam-dystiolaeth yn erbyn ei gymmydog. Ni ddywedodd *Iorwerth* fod gwragedd anystyriol yn addas i *ddiaconiaid*, ond bod priodasau yn gyfreithlon rhwng y mwyaf duwiol a'r mwyaf anystyriol o'r *Sethiaid* a'r *Israeliaid*. Gwrthbrofed ef hyn os beiddia, ac yna dyweded bod *Iorwerth* yn groes i'r Beibl. Yn ol dull pechadurus *Delta* o drin gair yr Arglwydd, gallai gymmeryd enw Belsebwb o un adnod, a rhinweddau ein Iachawdwr o adnod arall, ac wedi eu clutio ynghyd, wneuthur Bôd rhagorol o bennaeth y cythreuliaid. Cyn gadael y pen hwn, dangosaf na wnaeth *Iorwerth* na minnau y defnydd mwyaf a allasid o'r priodasau Iuddewig yn erbyn y gwrthwynebwyr; canys mewn rhai amgylchiadau gallasai Israeliaid briodi merched y cenedloedd eilun-addolgar; gwel Deut. xxi, 10—14.

2. Gosodid cryn bwys gan y dadleuwyr blaenorol ar y gwahaniaeth

rhwng *priodi* a'r *dull* o briodi, &c., gan haeru mai nid am briodi y dyn neu y ddynes yr oeddid yn diaelodi. Dangosais wrthuni erchyll y fath ddywediad, argyhoeddwyd y gwrthwynebwyr (os oeddynt o'r un farn â'u brodyr o'r blaen;) ac wele y tri dadleuwr yn magu calon, ac yn addef yr hyn ag oeddid yn gyfrif yn rhy gywilyddus i'w adrodd o'r blaen, sef, mai *priodi* yw y trosedd mewn dadl! Ni soniant am ddim arall. Wele ni etto ran-daith arall yn mlaen.—Bellach, dysger y gwragedd i ragrithio, a dywedyd bod yn edifar gan eu calonau iddynt briodi y gwyr ag y maent yn garu. Cyflawni pechod, edifarhau yn rhagrithiol, a byw yn y pechod, a gyfrifir bellach yn brif nodau duwioldeb!

3. Dangosodd *Iorwerth* yr anghyssondeb o gospi crefyddwyr am drosedd tybiedig o reol gyffredinol mewn un achos yn unig, a'u gadael yn ddigerydd er troseddu yr un reol mewn achosion ereill. Diarddelu am ieuo mewn *priodas*, ond *pob ieuo arall* gyda y digred yn cael ei oddef! Ymdrechodd *Amddiffynwr* i ddangos cyssondeb y fath ymddygiad, ond dirymwyd ei resymau golygus yn fy ysgrif flaenorol; ac yn awr wele dri o wŷr dewrion, heb yr un o honynt yn ceisio profi y cyssondeb gofynol. Cyfaddefiad dystaw yw hyn nas medrant ei brofi; yr hyn a'n dyg dipyn etto nes at derfyn y ddadl.

Tri pheth newydd a hynod yn y tri dadleuwr hyn; diaconiaid *Delta*, rhesymeg *Aliquis*, a geirdarddiaeth *Tegydon*.—1. Diaconiaid *Delta*. Yn 1 Tim. iii, 10, 11, sonir am gymhwysderau diaconiaid, a dywedir, "Y mae yn rhaid i'w gwragedd yr un modd *fod* yn onest," &c. Myn *Delta* fod yma waharddiad i broffeswyr briodi'r dibroffes: er addef mai rheol i swyddwyr yw hon, etto, medd efe, "Onid yw swyddwyr yn anghreifftiau i'r eglwysi?" O *Delta* penwan! ni chaf ond gosod un peth i'w ystyriaeth ef at yr hyn a fynegodd *Dywedwr y Gwir*. Os meddwl yr adnod hon yw, na ddylai yr un dyn wasanaethu swydd diacon oni bydd ei wraig yn aelod o'r eglwys, tlawd yw tynged haeriad *Delta*, canys yr oeddid yn derbyn dynion *yn aelodau o'r eglwys*, er bod eu *gwragedd yn ddigrefydd*, er na dderbynid y cyfryw i fod yn *ddiaconiaid*. Wele ymresymiad *Delta* wedi myned i ddinystr, dim ond cyffwrdd ag ef! Gofynaf iddo ef yma, a ddichon anghreifftiau diaconiaid fod o fudd i'r eglwysi hyny ag sydd mor annhebyg i eglwysi y Testament Newydd, fel nad oes gymmaint â dyn dan yr enw diacon yn eu mysg?

2. Rhesymeg odiaeth *Aliquis*. Hynod mor *gywrain* yr ymresyma efe. "Y mae (eb efe) i gredadyn briodi anghredadyn naill ai yn unol â gair Duw, neu yn hollol groes iddo." Diolch yn fawr am y newydd rhagorol! "Os yw yn unol â gair Duw i gredadyn briodi anghredadyn, pa fodd y *beiddiant* hwy annog dynion i wneuthur yn groes i hyny? O'r tu arall, os yw priodas credadyn ac anghredadyn yn wrthwyneb i air Duw, y mae *Iorwerth* a'i frodyr yn euog o geisio amddiffyn yr hyn sydd yn groes i air Duw!!" Ardderchocaf *Aliquis!* Pwy ond efe allasai amlygu y fath ddirgelwch! Os *Aliquis* yw *Aliquis*, y mae *Aliquis* yn euog o fod yn

*Aliquis!* Eithr rhaid i mi osod ychydig bethau at ystyriaeth yr *Aliquis* ag sydd yn *Aliquis*, os *Aliquis* yw *Aliquis!* A oes dim gwahaniaeth rhwng *cyngor* a *chyfraith?* A oes dall yn mysg holl ddeillion meddyliadol byd, heblaw *Aliquis* a *Delta*, heb ganfod y gwahaniaeth? Pwy ben teulu, pwy weinidog, pwy gymmydog da, a'r nad ydynt yn fynych yn rhoddi cynghorion, *er budd y rhai a garant*, pryd nas gwyddant am yr un reol bendant yn ngair Duw dros nac yn erbyn yr hyn a wnant? Heblaw cadw rheolau pendant, gorchymynir i ni feddwl am "ba bethau bynag sydd wir, onest, cyfiawn, hawddgar, canmoladwy, a rhinweddol." Phil. iv, 3. Llawer o bethau ydynt *gyfreithlon* a'r nad ydynt *fuddiol*, "Pob peth (a'r nad yw yn groes i'r ysgrythyr) sydd *gyfreithlon* i mi, ond nid pob peth sydd yn *llesâu*." 1 Cor. vi, 12. Y mae y bibl ei hun yn rhoddi *cyngor* mewn achosion ag na byddai peidio cydffurfio â'r cyngor yn cael ei gyfrif yn bechadurus; "Da i ŵr na *chyffyrddai â gwraig;* mi a fynwn fod pob dyn fel fi fy hun," (heb briodi.) 1 Cor. vii, 2, 7. "Nac ŷf *ddwfr yn hwy*, eithr arfer ychydig *win*." 1 Tim. v, 23. "Dyn *heb bwyll* a dery ei law ac a *facknia*." Diar. vii, 18. Er addased y cyfarwyddiadau ysgrythyrol hyn yn ngwyneb amgylchiadau neillduol, barnaf mai dynion *heb bwyll* a fynai ddiaelodi crefyddwyr am *briodi*, yfed *dwfr*, neu *facknio;* eithr pe defnyddiem resymeg yr enwog *Aliquis*, rhaid fyddai dywedyd, y mae i gredadyn *briodi, yfed dwfr*, a *machnio*, naill ai yn unol â gair Duw, neu ynte yn hollol groes iddo; os yn unol â'r gair, pa fodd y beiddia Solomon a Phaul annog dynion i wneuthur yn groes i hyny? &c. Gobeithiaf y medr *Aliquis* wridio, ac na byddai perygl i mi gael fy nwyn gerbron ei frawdle ef, pe cynghorwn was duwiol i geisio â'i holl egni feistr duwiol—pe annogwn ddyn call, dysgedig, i ddewis cymhares bywyd ag a fyddai wedi cael a derbyn addysg cyfatebol—pe cymhellwn Fedyddiwr, Anymddibynwr, Eglwyswr, neu Drefnyddiwr, i geisio priod o'r un egwyddorion ag ef ei hun—pe annogwn ddyn *ieuanc* i beidio priodi hen fenyw besychlyd, 60ain oed—a phe cynghorwn wyryf grefyddol, yr hon y byddai dau o lanciau yn ei cheisio yn wraig, y naill mewn ymddangosiad mor dduwiol a'r llall, i gymmeryd un o honynt yn hytrach nâ'r llall. Er hyny, nid wyf yn meddwl mai pechod teilwng o ddiarddeliad fyddai ymddygiad gwrthwynebol. Eithr gwn fod pob anghyfartalwch, mewn oedran, golud, egwyddorion, a moesgarwch, yn tueddu at *annedwyddwch y pleidiau cylymedig*, ac am *hyny, Aliquis*, y cynghoraf ddynion i ddewis cymhariaid cyffelyb iddynt eu hunain. Am yr un rheswm y cynghorwn ddyn 28ain oed i beidio priodi hen ddynes a fyddai yn 60ain, ag yr annogwn ddyn crefyddol i ddewis cymhares yr un mor grefyddol ag ef ei hun. Gellai fod graddau yn yr ymresymiad, ond yr un yw yr *egwyddor*, sef, *buddioldeb* y pleidiau cyssylltiedig, ac nid troseddiad yr un o reolau pendant gair Duw. Pe ymostyngasai *Aliquis* i geisio cyngor genyf fi, buaswn sicr o'i annog i beidio ysgrifenu ar bwnc dadleugar hyd oni fedrai ymresymu; a lled debyg y *cynghoraswn* ef i

beidio galw ei hun yn *Aliquis*, *(Somebody,)* ond *Nemo*, *(Nobody,)* eithr ni feddyliai fy nghalon am ei *ddiaelodi* pe pallai ddilyn fy *nghyngor*, er addased fyddai.

Ymbalfala *Delta* yn yr un tywyllwch ag *Aliquis*, gan daeru fod *Gwrth-ddiffynwr*, trwy gynghori ieuenctyd i ddewis cymhariaid o'r un tuedd-iadau â hwy eu hunain, wedi taro ei *gaib* o dan sail y castell cryf a adeiladasai, a'i dŷnu yn chwilfriw am ei ben. Eithr hyderaf y barna pob darllenydd diragfarn oddiwrth y sylwadau blaenorol, onid yw *Delta* yn fwy medrus i ddefnyddio *caib* nag *ysgrifell*, neu yn well *ceibwr* nag *ysgrifenwr*, na fydd nemawr galw am ei gynnorthwy ef gan dyddynwyr.

Yn yr un modd cywrain yr ymresyma *Aliquis*, "Haeriad anwireddus o eiddo *Iorwerth* yw dweyd fod y dyn yn cael ei dderbyn yn ol er byw yn ei bechod." Pa fodd hyny, *Aliquis?* "Nid yw y dyn yn byw yn ei bechod, oddieithr y *meddylia Iorwerth* ei bod yn bechod i ŵr a gwraig gydfyw." *Meddyliau Iorwerth* am y pwnc, yn ol yr ymresymiad cywrain hyn, sydd i wneuthur yr ymddygiad yn bechadurus, neu yn rhinweddol! Efe a ddichon fod yn sicr y *meddylia Iorwerth* ei bod yn bechadurus i bawb a elwir yn wŷr a gwragedd i gyd-gynnal â'u gilydd, os anghyfreithlon y briodas rhyngddynt; ac y mae efe wedi rhoddi hèr i'w holl wrthwynebwyr i brofi i'r gwrthwyneb. "Nid am gydfyw â'i gymhar dibroffes, (medd *Aliquis*,) ond ei waith yn *cymmeryd y cyfryw un yn gymhar*, y diarddelir y dyn!" Newydd i bwy ydyw hyny, *Aliquis?* Eisieu gwybod sydd arnom pa fodd y dichona gadw meddiant a gymmer-wyd yn anghyfreithlon, fod yn rhinweddol? "Tebygol (medd efe) nad yw *Iorwerth* yn gweled y gwahaniaeth rhwng *achos* ac *effaith*, pe amgen, ni ddefnyddiai y fath resymau gau a gwrthun â'r rhai canlynol, 'Gan iddo ladd, lledrata, &c., rhaid iddo ymroddi gwneuthur yr un peth byth mwy!' Dull cywir yr ymresymiad hwn yw, *gan iddo briodi unwaith, rhaid iddo ymroddi i briodi byth mwy!!!* Ni all efe ladd yr un dyn ond unwaith. Pe priodai dyn lawer o wragedd, a'r wraig gyntaf yn fyw, fe allai y buasai rhyw gymhwysder yn y gymhariaeth. Felly am y lleidr, y meddwyn, &c." Rhagorol, *Aliquis!* Etto, gwybydded ef y gellir cyf-iawnhau dyn a ymroddo i ladd dynion yn barhaus, gan iddo ddechreu lladd, ar yr un *egwyddor* ag y cyfiawnheir arall ag a fyddo byw yn barhaus yn y mwynhad o feddiant a gymmerodd efe ar y cyntaf yn anghyfreithlon. Os cyfiawnheir un pechadur ar broffes o'i edifeirwch, a goddef iddo fyw yn ei bechod, llais y fath ymddygiad at bob math o bechaduriaid yw, nid *Ewch, ac na phechwch mwyach*, ond *Ewch, a phechwch a fynoch!* Lleidr *parhaus*, *Aliquis*, yw y sawl a gadwo ac a fwynhao eiddo i'w gymmydog, hyd oni ddychwelo hwynt. Pob gweithred ddyddiol a gyfiawnhao weithred bechadurus a wnaethpwyd amser yn ol, a ystyrir yr un â phe cyflawnid y gyntaf bob dydd. O herwydd bod ymddygiad dirmygwyr Crist yn cyfiawnhau ymddygiad ei lofruddion, dywedir eu bod "yn *ail-groeshoelio* iddynt eu hunain Fab Duw." Heb. vi, 6. Priodi unwaith

yn *anghyfreithlon*, a chyfiawnhau y briodas bechadurus trwy ymddygiad parhaus, sydd yr un mor feius â phriodi yn anghyfreithlon bob dydd. Os *anghyfreithlon* y briodas yn ol rheolau gair Duw, rhaid bod *y wraig yn butain*, y plant yn *fastarddiaid*, ac mewn *gwely godineb* y mae y dyn a'r ddynes yn cysgu bob nos! Agored *Aliquis* ei lygaid bellach, a gweled ganlyniadau erchyll ei gyfeiliornad dirmygus. Rhaid iddo addef cyfreithlondeb y briodas, neu fod y priodedig yn odinebwyr parhaus; pa fodd, gan hyny, nad ydynt yn byw yn eu pechod! Ow! Ow! gynnifer o wragedd diwair ein gwlad a gyhoeddir yn buteiniaid gan drefniant y dynion gwallgofus hyn.

"Yn ol ymresymiad *Iorwerth* (medd *Aliquis*,) nid oes y fath beth ag edifeirwch yn bod heb ddadwneyd yr hyn a wnawd o'i le." *Aliquis*, na ddwg gam-dystiolaeth! nid oes y fath ymresymiad yn ysgrif *Iorwerth*.— "Eithr nid yw yn alluadwy (eb efe) yn yr achos mewn dadl." Pa fodd hyny, *Aliquis*? "Canys y mae priodas felly wedi ei hordeinio gan Dduw (medd efe) fel nad oes dim ond godineb neu angeu yn tòri y rhwymyn!" Beth! *Aliquis!* priodas *anghyfreithlon* wedi ei *hordeinio gan Dduw!* Beth! dim ond godineb neu angeu yn tòri priodas anghyfreithlon? cystal fyddai taeru fod Duw yn gefnogwr lledrad a llofruddiaeth! Cofied mai am briodas a daera efe sydd *anghyfreithlon* yn ol rheolau gair Duw yr ydym yn dadlu. Beth! a raid dweyd wrtho ef etto, fod yr ysgrythyr a chyfraith ein gwlad yn dywedyd *fod dadwneyd* a wnawd o'i le ar y pen hwn yn ddichonadwy, ac y dylid ei wneuthur, trwy roddi ymaith y gwragedd a briodwyd yn groes i'r gair. Blin na fuasai rhywun yn tosturio wrth y dyn penwan hwn, a'i gynghori i beidio dynoethi gwendid ei gynheddfau gerbron y byd.—Cymmaint â hyn am resymaeg *Aliquis* ar hyn o bryd.

3. *Geirdarddiaeth Tegydon.* Efe a ddadgymmala y gair *anghymharus* yn dipiau bychain; *an-cy-ym-par-us;* i'r dyben i brofi mai *pâr* neu *ddau*, ac nid ychwaneg, oedd yn cael eu hieuo yn nghyd; ac yna yn taeru mai *ieuo priodasol* a feddylir yn 2 Cor. vi, 14. Pell oddiwrthyf fi, fyddo beio dim o waith y Creawdwr bendigedig, ond y mae yn amlwg ei fod ef, gyda dybenion nas gwyddom ni am danynt, wedi cynnysgaeddu rhai dynion â graddau bychain iawn o synwyr. Pe buasai yr apostol wedi ysgrifenu yn y *Gymraeg*, parod fyddwn i restru *Tegydon* yn mysg y drelod *ffraethion*, ond nis gallaswn ei godi yn *uwch*, am y gellid *pâr* o feistr a gwas, neu unrhyw *ddau* neu *ddwy*. Eithr pan gofiwyf mai yn y *Roeg* yr ysgrifenai Paul, nis gallaf roddi yr anrhydedd grybwylledig i *Degydon*. Perffeithio ffolineb yw ceisio penderfynu ystyr gair amheus trwy ddatgymmalu *cyfieithiad* o hono. Os hyddysg *Tegydon* yn yr iaith wreiddiol, edrychod ar y gair *eterozugountes*, a gweled ei ffolineb. Gwn nas dichon weled ei *bâr* yno, yn hytrach nag yn y Saesneg *unequally yoked.*

Tost yw llywodraeth orthrymus rhagfarn ar ei deiliaid gweinion, pe amgen, ni byddai mo'r dyn a fendithiwyd â synwyr cyffredin a feddyliai

mai at briodas y cyfeiria yr apostol yn yr *ieuo* mewn dadl; nid oes sôn am *garwriaeth*, *gwr*, *gwraig*, na *phriodas*, yn y testun a'r cyd-destunau; ni chwrddais ag adnod, o ddechreu y Beibl hyd ei ddiwedd, lle yr arwyddir *priodas* wrth y gair *ieuo*, er i mi chwilio yn o fanwl am dano; a dystawrwydd fy ngwrthwynebwyr a'm cadarnha nad yw *ieuo* fyth yn dynodi *priodi* yn yr ysgrythyr. Pan ddefnyddir y gair *iau*, neu *ieuo*, (yr hwn sydd dra aml yn y Beibl,) yn llythyrenol, gyda golwg ar gyssylltu anifeiliaid, y mae yn arwyddo *pâr*, *dau*, neu *ddwy;* eithr pan arferir y gair yn gymhariaethol i olygu amgylchiadau, neu ymrwymiadau dynion, y mae yn mhob man a welais, wrth chwilio y Beibl Cymreig, yn arwyddo mwy nâ *dau;* ac ni chwrddais ond ag un eithriad i'r rheol gyffredin hon yn y Saesneg a'r Groeg, (Phil. iv, 3,) herwydd paham nid yw *iau* yn arwyddo *dau ddyn* yn hytrach nâ *dau cant*, neu *ddeucanmil*, nac un amser yn dynodi undeb rhwng *ystleni gwahanol* fel y cyfryw. Os nid digon hyn i gywilyddio cyndyn ddadleuwyr, bydded iddynt ddarllen yr adnod ganlynol, (2 Cor. vi, 17,) yr hon sydd mewn cyssylltiad amlwg â'r ieuo anghymharus, ac yn canlyn y darluniad a roddir o afresymoldeb y cyfryw ieuo: "O herwydd paham (o herwydd yr afresymoldeb dywededig) *deuwch allan o'u canol hwy*, ac *ymddidolwch*, medd yr Arglwydd, ac na *chyffyrddwch â dim aflan*," &c. Yn awr, os cyfreithlon byw gyda gwragedd digred, ni bu yr haul eglurach erioed nâ'r gwirionedd hwn, sef, nad oedd yr apostol yn golygu priodi wrth yr ieuo dywededig; canys pe felly, byddai Paul yn groes iddo ei hun yn 1 Cor. vii, 13, lle y cynghora efe *gredinwyr i aros gyda eu cymhariaid anghrediniol*, ac nid *ymddidoli* a *dyfod oddiwrthynt*. Hefyd, pe byddai priodi gymmaint â chael ei gynnwys yn yr ieuo dywededig, rhaid bod ymddygiad *Tegydon* a'i dylwyth yn eithaf gwrthwynebol i orchymyn pendant Duw trwy Paul,—"Deuwch allan o'u canol hwy, ac ymddidolwch, medd yr Arglwydd." Ond, medd *Tegydon*, "gan i chwi fyned atynt, (yr anghredinwyr, gelynion Duw, &c.) peidiwch dyfod oddiwrthynt am dalo y byd; nac ymddidolwch oddiwrthynt ar eich perygl; am i chwi ddechreu, rhaid i chwi barhau cyffwrdd â'r pethau aflan!" Mewn gair, os parheir i daeru fod priodas yn cael ei golygu yn yr ystyr fwyaf pellenig, wrth ieuo yn adn. 14, beiddiaf haeru nas dichon holl alluoedd cyfrwysgall rhagfarn brofi nad yw ysgaru, yn yr ystyr gaethaf, yn cael ei olygu wrth "*deuwch allan* o'u canol hwynt, ac *ymddidolwch*," yn adn. 17.

Sylw Aliquis ar yr adnod hon sydd deilwng o'i awdwr: "Hyd nes dangosir i mi (medd efe) *nad* yw priodi â'r digred yn ieuo anghymharus, rhaid i mi gredu ei *fod*." Wele, dangoswyd iddo nad yw yn bosibl fod priodas yn cael ei golygu yn yr unig adnod o fewn y Beibl sydd yn gwahardd ieuo gyda y digred; eithr os ymgyndyna efe, gan daeru fod y briodas mewn dadl yn anghymharus, herwydd y gwahaniaeth yn y pleidiau cylymedig, rhaid cwrdd ag ef ar ei dir ei hun, a dywedyd, "hyd nes dangosir i mi nad yw cytundeb rhwng meistr crediniol a gwas digred, neu

briodas rhwng dyn ieuanc a hen wraig, neu rhwng dyn byr a dynes dàl, &c. yn ieuo anghymharus, rhaid i mi gredu ei *bod.*" Sicr yw fod pob un o'r rhai uchod, mewn ystyr gaeth, yn ieuo anghymharus, ond yn fath o ieuo anghymharus nad oes dim yn y testun hwn yn ei gondemnio.

Nid yw *Aliquis* mor ofalus i ddywedyd y gwir yma ag y dylai Cristion fod: "*Iorwerth*, &c. (medd efe,) a driniant y rhan yma o air Duw megys geiriau diystyr; braidd na feddyliant eu bod yn cyfeirio at bob ieuo anghymharus ond priodas." Beth oedd cydwybod *Aliquis* o'i gylch pan ysgrifenodd hyn? Dywedodd *Iorwerth* yn amlwg ddigon, a rhoddodd ei resymau dros ei farn, mai gwahardd ieuo neillduol, nid cyffredinol, sef cyssylltiad ag eilun-garwyr yn eu haddoliad, y mae y geiriau yn arwyddo, yr hyn sydd eithaf cysson â'r gorchymyn, "Deuwch allan o'u canol hwynt," &c.

Tri pheth cydfynedol â'u gilydd yn fynych yn y tri hyn: anwybodaeth, haerllugrwydd, a digywilydd-dra. Anwybodaeth, ni fedrant weled canlyniadau eu daliadau; haerllugrwydd, siaradant mor hyderus â phe byddent yn ddynion mawrion, yn medru ymresymu; digywilydd-dra, dirmygant, yn y modd mwyaf hunanol, y rhesymau na fedrai eu galluocach eu hateb. Darllen eu gwaith a rydd brawf o hyn. Eithr rhaid gadael y dull yma o ymresymu.

Ar 1 Cor. vii, 12—15, lle y dangosir cyfreithlondeb arosiad credadyn gyda gwraig anghrediniol, &c. gofyna Aliquis, "Os cyfreithlon yw i gredadyn briodi anghredadyn, pa achos oedd dywedyd wrth gredadyn, yr hwn cyn credu a briododd anghredadyn, y dylent gydfyw mewn undeb priodasol?" Hawdd iawn ateb hyn: ni wyddai y Corinthiaid dychweledig beth oedd eu dyledswydd at eu cymhariaid annychweledig. Tebyg ddigon eu bod wedi clywed bod yr Iuddewon gynt yn gorfod rhoddi ymaith eu gwragedd dyeithr; ysgrifenasant (adn. 1) i geisio barn Paul; y mae yntau yn ei rhoddi, ac yn dangos y dylent fyw gyda eu cymhariaid. Dyna yr achos. Nis gwn i pwy, heblaw Aliquis ei hun, a ddychymmygai ei fod yn gweled dim dros ei bwnc yn 1 Pedr iii, 7.

Am i *Iorwerth* a minnau ddywedyd nad yw "Yn unig yn yr Arglwydd," 1 Cor. vii, 39, yn arwyddo y dylai y gwr fod yn ddyn duwiol, ac i mi geisio gan *Amddiffynwr* brofi ei fod, os medrai, y mae *Aliquis* yn chwyrn iawn yn gofyn, "Attolwg, a all efe brofi y gwrthwyneb? os na all, pa fodd y *beiddia* efe wneuthur y fath haeriad?" Iaith rhy chwyddedig i ddyn o gynneddfau gweinion yw hon. Digon i mi yw, fod priodas rhwng gwrryw a benyw, o fewn terfynau ysgrythyrol, o osodiad Dwyfol; ac am y taera efe fod yr adnod hon yn cynnwys un o'r terfynau, ni ddylai ffromi am i mi geisio gan ei blaid ef brofi hyny: baich y prawf bob amser a orphwys ar y sawl a wnaeth yr haeriad. Dylai pawb fagu ac amddiffyn eu plant eu hunain. Y *weithred* o briodi, ac nid y *dyn*, a ddylai fod yn yr Arglwydd. "Y mae hi yn rhydd i *briodi* y neb a fyno, *yn unig yn yr Agrlwydd;*" gan hyny *beiddiaf daeru* etto fod pob un sydd

yn priodi yn unol â rheolau yr ysgrythyrau, yn priodi *yn yr Arglwydd*, ac nad oes cymmaint â sill yn y Bibl yn dangos fod priodas rhwng aelod eglwysig ag un nad yw felly, yn anghyfreithlon. "Ai priodi yn yr Arglwydd (medd *Aliquis)* yw i'r mwyaf duwiol briodi y mwyaf anystyriol?" Felly yr oedd, yn wir, *Aliquis*, yn mysg y Sethiaid a'r Israeliaid, am y rhai y soniai *Iorwerth*, pan ddefnyddiodd y geiriau a grybwyllwch chwi.

Wedi hyn â *Aliquis* rhagddo, i ddangos yr anghyssondeb o fod "Yr hwn sydd yn proffesu caru Duw, yn caru gelyn Duw yn fwy; a dewis y rhai y mae digofaint Duw arnynt, ein cyfeillion mwyaf mynwesol, &c." Pwy a'i dysgodd ef i ddywedyd fod proffeswyr duwiol yn caru eu cymhariaid dibroffes yn *fwy* nâg y maent yn caru Duw? A "feiddia" efe ddywedyd fod merched duwiol Israel yn caru y rhai a briodent yn unol â gair y gwirionedd yn *fwy* nâ charu Duw? A oedd Abigail yn caru Nabal, mab Belial, yn fwy nâg oedd yn caru Duw, herwydd ei fod yn ŵr iddi? A raid fod pawb sydd yn treulio y rhan fwyaf o'u hamser mewn gwasanaeth gyda y digred, yn caru y byd yn fwy nâ Duw? Od oes y grym lleiaf yn y fath resymiad dirmygus â hyn, efe a ddengys na ddylai gwragedd duwiol garu eu gwyr os byddant anghrefyddol. "Beth! caru gelyn Duw yn fwy na charu Duw! gwneuthur yr hwn y mae digofaint Duw yn gorphwys arno yn gyfaill mynwesol hyd angeu!" Oddieithr tybied fod caru dyn digrefydd dros *amser byr carwriaeth* yn bechod erchyll, ond bod caru yr un "Gelyn Duw" dros *oes wedi priodi* yn rhinwedd! os felly, mawr yw rhinwedd y briodas bechadurus! troir y felldith yn fendith dan ddwylaw gwyrthiol yr offeiriad yn y fan! Tost yw diaelodi yn ngwyneb y fath amgylchiad hyfryd. Tuedd union-gyrch yr athrawiaeth hon yw gyru gwyr a gwragedd i gasâu a ffieiddio eu gilydd, ac nid caru a pharchu eu gilydd.

Yn mhellach, profa yr ystyriaeth mai *cyngor* ac nid *cyfraith* a gynnwysir yn yr adnod mewn llaw, na ddylid diaelodi yn achos y briodas mewn dadl, hyd y nod, pe medrid profi (yr hyn, mae yn debyg, na phrofir byth) nad oes modd priodi *yn yr Arglwydd*, oni bydd y gŵr yn *dduwiol*. Y sylw hwn a gynhyrfa Aliquis yn fawr; efe a'i geilw yn "gynnyg dichellgar a rhyfygus i ddirmygu Dwyfol ysbrydoliaeth y geiriau,"—"am fod yr holl ysgrythyr wedi ei rhoddi trwy ysbrydoliaeth Duw, nis gellir meddwl mai *cyngor*, ond *gorchymym pendant* a gynnwysant."—"Dywed Dr. A. Clarke (medd efe) y gellir cyfieithu y gair *tybied*, yn adn. 40, yn *sicr;* fel hyn, 'Yr ydwyf yn *sicr* fod Ysbryd Duw genyf;' yr hyn yn ddiameu yw meddwl yr apostol." Mae *Delta* yn ffyrnicach fyth, od oes modd; "*Cyngor*, nid *cyfraith*: dyma lwybr ofnadwy i drin gair Duw! Os bydd min y gwirionedd yn erbyn rhyw chwant, dim yn y byd ond *cyngor*, dim canlyniad os tòrir ef," &c. Gwasanaethed y sylwadau a ganlynant:—ni ddarfu i mi gymmaint ag *ameu* Dwyfol ysbrydoliaeth y geiriau hyn; eithr dywedais, megys *Doddrige* a *Gill* o fy mlaen, o ran sylwedd; "Gan nad pa esponiad a roddir ar y cyfryw ymadroddion,

amlwg yw nad oedd yr ysgrifenydd yn bwriadu defnyddio ei awdurdod apostolaidd i rwymo y Cristionogion i ufyddhau i'r hyn a ddywedai mewn ffordd o gyngor."

Ni feiddia fy ngwrthwynebwyr daeru nad yw y bibl yn cynnwys *cyngorion*, yn wahanol i *gyfreithiau*. Pwy a ddywed "mai cynnyg dichellgar i wadu ysbrydoliaeth y geiriau," ac "mai llwybr ofnadwy i drin gair Duw," fyddai galw *cyngorion* ar yr ymadroddion a grybwyllwyd eisioes, yn erbyn *machnio, priodi*, ac *yfed dwfr?* ac y dylid diaelodi y sawl na chadwo y cyngorion bob amser? Os rhaid addef mai *cyngorion* yn unig, er lles y cyngoredig, a gynnwysir yn y geiriau uchod, rhaid mai *cyngorion* yw amryw ymadroddion yn y bennod hon, o herwydd proffesir hyny amryw weithiau gan yr ysgrifenydd. "Hyn wyf yn ei ddywedyd o *ganiatâd* nid o *orchymyn*." "Dywedyd wyf fi, nid *yr Arglwydd*." "Am wyryfon, *nid oes genyf orchymyn yr Arglwydd*." "Hyn wyf yn ei ddywedyd *er llesâd i chwi*." gwel adn. 1, 6, 7, 8, 12, 35. Addefaf fod y gair Groeg *doko*, a gyfieithir *tybied* yn adn. 40, yn cael ei ddefnyddio weithiau, (fel llawer gair arall, yn gymhariaethol,) pryd na byddo ameuaeth yn meddwl y llefarwr; etto dilys genyf ei fod yn briodol yn gyfystyr â *tybied, barnu, golygu, &c.*, yn y Gymraeg yn eu hystur naturiol. Y ferf *doko* a ddefnyddir yn y manau canlynol:—Mat vi, 7; 1 Cor. xi, 16; Phil. iii, 4; Mat. xxii, 42; Act. xxv, 27; Mat. xxi, 28; Mat. xxiv, 44; Luc xiii, 2, 4; Gal. vi, 3; ac amryw fanau cyffelyb; yn y lleoedd hyn, heblaw *tybied*, fe'i cyfieithir *fyn*, (tueddu, neu ymroi,) *gwelaf*, (neu ymddengys i mi.) Nid yw y Drd. Hammond, Gill, Doddridge, na Fawcett, yn beio y cyfieithad cyffredin, ac ymddengys *tybied* yn eithaf cysson â'r ymadroddion ereill yn y bennod hon a grybwyllwyd eisioes, oddieithr profi mai o *orchymyn*, ac nid o *ganiatâd* a feddylir, er bod yr apostol yn dywedyd i'r gwrthwyneb. Nid wyf yn barnu na wyddai Paul pa un ai ei fod dan ysbrydoliaeth ai peidio, ond am mai *cyngorwr* ac nid *deddfroddwr* y mynai gael ei ystyried, efe a ddefnyddiodd iaith addas i gyflawni ei swydd.

Etto, pe addefwn fod Dr. A. Clarke (yr hwn a fedrai droi *sarff* Eden yn *epa*) yn ei le, a bod *sicr* yn well cyfieithad o *doko* nâ *tybied*, ni byddai Aliquis fymryn gwell. Sicr o beth oedd yr apostol? ond sicr fod Ysbryd Duw ganddo pan ddywedai, "*dedwyddach* yw hi, os erys hi felly, (heb briodi) *yn fy marn i*." Dylai Clarke ac Aliquis ddyfeisio rhyw eiriau yn lle "yn fy marn i" yma, er eu dwyn i gynghaneddu yn well â'r gair *sicr*. Od oes *deddf* yn y geiriau hyn, rhaid mai deddf ydyw a wna briodas, yn lle bod yn "anrhydeddus," yn bechadurus "yn mhawb." Os dywedir fod y gair *sicr* (neu *tybied*) yn cyfeirio at yr adnod flaenorol, gan gynnwys "yn unig yn yr Arglwydd," addefaf hyny er peidio ymrysoni; ond wedi y cwbl, ni cheir yma ond *sicrwydd* fod Ysbryd yr Arglwydd yn peri i Paul *farnu* fod *peidio priodi neb* yn well nâ *phriodi yn yr Arglwydd*. Yr un Ysbryd a'i hannogodd i gynghori y rhai a briodent, i wneuthur

hyny yn yr Arglwydd, ac a'i cyffrôdd i'w hannog oll i beidio priodi neb; gan hyny, rhaid i bawb sydd yn addef bod priodi yn gyfreithlon, addef hefyd mai cyngor sydd yma. Hefyd, dengys y geiriau *dedwyddach yw hi*, mai *llesâd* y weddw, ac nid ei *dyledswydd*, a olygir.

Gan mai *canlyniadau niweidiol* y briodas mewn dadl yw y rhesymau cadarnaf a welaf fi dros ei *phechadurusrwydd* gan fy holl wrthwynebwyr; od oes neb mor wan â phwyso ar y fath resymau, buddiol fyddai cofio fod Paul yn dangos yn y bennod dan sylw, fod canlyniadau echryslonach i'r priodasau mwyaf cyfreithlon yn y byd, adn. 32—34. "Yr hwn sydd heb briodi sydd yn gofalu am bethau yr Arglwydd; pa wedd y boddlona yr Arglwydd; ond y neb a wreicaodd, sydd yn gofalu am bethau y byd, pa wedd y boddlona ei wraig," &c., &c. Os yw y canlyniadau drwg a sonia dynion gwael am danynt, o werth sylw, pa faint mwy y rhai a grybwylla yr ysgrythyr? Dilys genyf fod y Pabyddion yn ymresymu yn gywreiniach o lawer, oddiwrth y bennod hon, dros bechadurusrwydd priodas gweinidogion y gair.

Os proffeswr crefydd yw *Delta*, dengys yr hyn a ddywed efe am eglurhad Gill ar yr ymadrodd hwn, "Yn unig yn yr Arglwydd," ei fod yn annheilwng iawn o'r enw sydd arno; ac hyderaf y sylwa ei frodyr yn ddyladwy ar ei ymddygiad. "Y mae Gwrthddiffynwr (eb efe,) wedi ein hannog i ddarllen eglurhad yr enwog Gill ar 1 Cor. vii, 39, yr hyn a wnaethum: ac y mae rhan o hono fel y canlyn; yn unig yn yr Arglwydd. Nid ei bod yn annhebyg bod ei gwr yn yr Arglwydd, yn ddyn dychweledig, yn grediniwr yn Nghrist; neu bod iddi fyned i'r cyflwr hwn yn ofn yr Arglwydd, ac ymgynghori ag ef mewn achos mor bwysig, a gofalu nad yw y sawl a briodo o fewn y cylch a waherddir gan yr Arglwydd." Rhaid bod y dyn hwn yn ddigydwybod, neu yn berffaith anwybodus o'r hyn y mae yn ei gylch: tra pharod ydwyf i feddwl mai ei anwybodaeth a barodd iddo wneuthur y fath gam â'r Dr. Gill; ond er gosod y lliw goreu a fedraf ar ei waith, methaf ddeall pa fodd y beiddia anwybodaeth esgyn i gadair y dysgawdwr. Fel na byddo i neb gael cyfle i ddywedyd mai myfi, ac nid efe, sydd yn gwneuthur cam â geiriau Gill, wele hwynt:—"*Only in the Lord. Not* that it is absolutely necessary that her husband should be in the Lord, a converted person, a believer in Christ; though such an one would be *most desirable* and eligible: but either that she should continue in the possession of her faith in Christ, and not relinquish it for the sake of an husband; or that she enter into that state in *the fear of the Lord*, calling upon him, and consulting him in such an important affair; and take care that whom she marries is not *within the line prohibited by the Lord*." Dyma y cwbl a ddywed Gill ar y geiriau. Cymharu cyfieithiad *Delta* â gwaith yr athraw a duedda bawb duwiol i ddywedyd, "Oni ddywed *Delta* fod yn edifar ganddo bydded ef i ti fel yr Ethnig neu y Publican."

Ni raid i mi chwyddo fy llythyr ag atebiad helaeth i *Delta*, pan y

gofyna, "pa beth sydd wedi estyn grym rheolau carenydd yn nghylch priodas hyd yma, gan fod ein gwrthwynebwyr yn dywedyd fod rheolau priodasol yr Iuddewon wedi peidio?" Nid ydym ni, syr, yn dywedyd fod yr un o honynt yn ddirym, namyn yr hyn a ddilëir yn y Testament Newydd, ac a addefir gan *Delta* a'i frodyr yn gyfryw. Nid yw rwymedig ar neb yn awr i gymmeryd cymhar bywyd o'r un genedl ag ef ei hun; nac i gredadyn roddi ymaith gymhar anghrediniol; gan ein bod yn cytuno ar hyn, dadleu er mwyn dadleu fyddai ychwanegu arno.

Er na feiddiodd *Aliquis* gynnyg dirymu fy sylwadau ar anghyssondeb *Amddiffynwr* yn ei waith yn difynu awdwyr, etto, er dangos ei fod wedi darllen gwaith awdwyr, y mae yn gosod barn amryw o honynt ger bron; ac, yn mysg ereill, Whitby, Scott, ac A. Clarke; eithr pe medrasai ei gynneddfau ddirnad yr hyn a ysgrifenai, efe a adawai waith y rhai hyn yn ddisôn am dano, gan fod eu hymddygiad a'u gwaith yn tueddu i ddinystrio ei drefniant ef ei hun, ac nid eiddo ei wrthwynebwyr. Buasai agos mor rhesymol iddo daeru fod *J. R.* ac *Iorwerth* o'i du ef â dywedyd fod yr awdwyr uchod felly. Offeiriaid yn yr Eglwys Sefydledig oedd Whitby a Scott, a gŵyr pawb na feiddia neb o'r eglwys hòno ddiarddelu am y briodas mewn dadl: ac am i mi ddywedyd felly yn fy ysgrif flaenorol am yr offeiriaid, nis gallaf gyfrif ei waith ef yn crybwyll y gwŷr da hyn, fel o'i du ef, amgen cyndyn ddadleu, ac ymhaerllygu yn ngwyneb rheswm a chyssondeb. Hefyd, pe buasai yn *ewyllysio* dynoethi gwendid ei gynneddfau i'r eithaf, ni allasai ei wneuthur yn fwy effeithiol nag a wnaeth, trwy ddyfynu geiriau Whitby a Clarke i'r dyben i gadarnhau ei bwnc. "Dywed Whitby (eb efe) mai priodi un ag sydd o'r *un ffydd*, neu o'r *un grefydd*, ydyw priodi yn yr Arglwydd." A dywed Clarke (medd efe) "y dylai nid yn unig *briodi gwir Gristion*, ond hefyd y cyfryw a fyddo *o'r un daliadau crefyddol â hithau*." Yn ol yr haeriadau hyn, nid yw bod dyn *yn yr Arglwydd*, neu yn *wir Gristion*, yn ddigon i gyfreithloni y briodas mewn dadl; gwrthodir cyfaill Duw, yn gystal â "gelyn Duw," oni bydd yn cyd-weled â'i anwylyd *yn mhob pwnc*, canys nis gellir cwrdd â dau *wir Gristion* heb fod o'r un daliadau am y pethau mwyaf eu pwys. Os yw *Aliquis* yn credu haeriadau ei awdwyr, nid priodi *proffeswr cywir*, yw priodi yn yr Arglwydd! am hyny, wele haeriadau *Aliquis* ac eiddo ei holl blaid, ar y geiriau hyn, wedi eu *llwyr ddirymu* gan ei awdwyr ei hun. Ond os mewn ffordd o *gynghor* y traethodd yr ysgrifenwyr hyn y geiriau crybwylledig, nid ydynt un math o warth i'w hegwyddorion nac i'w cynneddfau. Dilys yw, fod bod o'r un daliadau yn tueddu at ddedwyddwch pawb a fyddo yn treulio llawer o amser ynghyd; eithr nid dichonadwy gwarthruddo eu synwyr yn fwy nâ thaeru mai *priodi yn yr Arglwydd* yw *priodi dyn duwiol*, yn ol yr ysgrythyr; ond yn ol y gwŷr hyn, nid yw bod y dyn yn *wir Gristion* yn ddigon i wneuthur y *priodi* i fod *yn yr Arglwydd!*

Pe caniatäwn, er mwyn ymresymu, (yr hyn nad oes yr achos lleiaf i mi

i'w wneuthur), mai priodi *dyn duwiol* yw priodi *yn yr Arglwydd*, ac mai nid rhoddi *cynghor*, ond *rheol bendant* ag sydd raid ei chadw yn ngwyneb pob amgylchiad, a wna yr apostol wrth ddywedyd *yn unig yn yr Arglwydd*, ac o ganlyniad fod priodas rhwng *proffeswr* ac *un dibroffes* yn *anghyfreithlon* a *phechadurus*; pa les a wnelai y cyfaddefiad i *Aliquis* a'i frodyr? ni byddai ond cydnabod mai *gorwedd gyda phuteiniaid* y mae yr holl wyr ag sydd â'r briodas rhyngddynt a'u cymhariaid yn anghyfreithlon; a bod *Aliquis* yn foddlon cyd-gymuno yn barhaus â'r sawl sydd yn byw yn ddigywilydd mewn *godineb!* canys, megys y dangoswyd eisioes, nid oes ddyn ar y ddaear a ddichon brofi nad putain yw pob dynes ag sydd â'r briodas rhyngddi a'r gŵr (gŵr mewn enw) yn anghyfreithlon! Cystal fyddai cynnyg dangos fod y sawl a fyddo yn byw yn barhaus ar lôg yr arian a ledratodd yn ddyn onest, â dywedyd fod y cyfryw ddynes yn ddiwair. Llwyr annichonadwy yw pob un o'r ddau.

I derfynu. Er mor ddeallus a chlodfawr amryw o'r awdwyr crybwylledig, ni ddysgwyliaf i *Aliquis* fyned yn offeiriad oblegid fod Scott a Whitby yn barnu hyny yn dda; nac yn Arminiad, am fod Whitby ac A. Clarke wedi ysgrifenu dros Arminiaeth: am yr un rheswm ni ddylai ddysgwyl i mi ddiarddelu yn achos priodas gyfreithlon, pe medrai ddangos fod mil o enwogion yn ei wneuthur, oni chaf *resymau ysgrythyrol*, yn lle *tybiau dynion*, dros yr arferiad.

Am i *Iorwerth* ddywedyd ar ddiwedd ei lythyr, "ei fod yn hyderu fod yr hyn a ysgrifenodd yn ddigon dros dipyn i'w wrthwynebwyr," ffroma *Aliquis* a *Thegydon* yn fawr; gan arwyddo ei fod yn bloeddio buddugoliaeth cyn ei hennill, &c. Eithr ni fedr eu digofaint diniwed hwy newid ansawdd y ddadl; y mae ysgrif *Iorwerth* wedi parhau *yn ddigon*, ïe, mwy nâ digon, oddiar Ionawr hyd yn awr. Dilys genyf y barna pawb diragfarn, nad yw ei holl wrthwynebwyr wedi medru cymmaint â *gwanhau* yr un o'i resymáu, ac nas medrant wneuthur hyny byth. Clywais am amryw ag ydynt wedi eu llwyr argyhoeddi gan rym ei resymau anatebadwy ef.

Maddeued y darllenydd feithdra fy ysgrif, gan gofio ei bod yn cynnwys atebiad i *dri llythyr*. Gan ddymuno llwydd i'r "gwir yn erbyn y byd," y terfyna, ar hyn o bryd, eich ewyllysiwr da, GWRTHDDIFFYNWR.

## DARLLEN CYMRAEG.

1. WRTH ddarllen Cymraeg rhodder i bob llythyren ei chyflawn sain yn mhob amgylchiad, megys yn yr egwyddor. Llygriad gwarthus, a darddodd naill ai o anwybodaeth o'r ieithoedd gwreiddiol, neu o ddiystyrwch anesgusodol o'r Gymraeg, neu y duedd feius o ddilyn y lluaws, heb gymmeryd y boen o chwilio i'r achos, sydd wedi peri i neb seinio yn

groes i'r rheol hon. Nid oes ond un sain i *c*, nac ond un i *t*, nac i un llythyren arall yn ein hiaith ni; ac y mae cyfieithwyr y Beibl i'r Gymraeg wedi gofalu gosod y llythyrenau sydd o'r un sain, neu yn dyfod nesaf at sain llythyrenau yr ieithoedd gwreiddiol, yn y fath eiriau a grybwyllir, megys *Macedonia, &c.* Nis gallwn ni oddiwrth ymddygiad y Saeson, y rhai ydynt wedi ymado â'r rheol hon: rhyngddynt hwy a'u mater. Seiniwch fel hyn,—Ma*c*edonia, nid Ma*s*edonia; Sadu*c*eaid, nid Sadu*s*eaid; Cappado*c*ia, nid Cappado*s*ia; Laodi*c*ea, nid Laodi*s*ea; *C*esar, nid *S*esar; ac felly am bob gair arall o'r fath; *Kappa* yw y llythyren a ddefnyddir yn y fath eiriau yn y Groeg—sef llythyren o'r un sain â *k* yn Saesnaeg, neu *c* yn Gymraeg; ac nid oes ond un sain (a hwnw yn sain caled) i *kappa* yn y Groeg, megys *c* yn y Gymraeg. Gellir sylwi yr un modd am *Galatia*, yr hwn yn ddios a ddylid seinio fel y mae, ac nid Gala*s*ia; Gala*t*iaid, ac nid Gala*s*iaid. Yn *Genesis*, rhoddwch ei sain Gymreig i'r *G*, megys yn *Goliath*. Am *Ioshua* a *Ierusalem*, *Iericho*, *Iob*, a'r cyffelyb, blin genym fod argraffiadau gwahanol o'r Beibl Cymreig yn amrywio, rhai yn gosod *I* ac ereill *J* yn y cyfryw enwau; ond er mwyn peidio creu dyryswch mewn amgylchiad o'r fath hyn, nyni a gynghorem i bawb gadw at y rheol grybwylledig, sef, rhoddi i bob llythyren ei sain gyflawn; nid oes yr un rheol arall i ddarllen Cymraeg. Os meddylir mai chwythig fyddai fod un yn dweyd *I*ehofa a'r llall *J*ehofa, o herwydd y gwahaniaeth yn eu Beiblau, dysged pawb i roddi sain *I* i'r *J*, oblegid *Iod* sydd yn yr Hebraeg, a *Iota* yn y Groeg, a'u sain yr un ag *I* yn y Gymraeg. Nid oes *J*, nac un llythyren o'r fath sain, mewn un o'r ieithoedd hyn. Am yr enw *Melchisedec*, ac ereill sydd ag *ch* ynddynt, cedwch yn fanwl at y rheol ddywededig. Clywsom rai Cymry yn seinio yr *ch* yma, megys y gwna ein cymmydogion Saesonig â'r *ch* yn y gair *cheese* (caws) a'r cyffelyb; ereill mwy dysgedig a ddywedent mai Mel*k*isedec yw y seiniad cywir, am fod hyn yn dyfod yn nes at y sain gwreiddiol, ond y gwirionedd yw, fod y naill can belled â'r llall oddiwrth y sain gwreiddiol, ond yn unig bod yr olaf yn unol ag arfer Saeson dysgedig, y rhai ni fedrant seinio *ch;* y gwir sain yw, nid Mel*tch*isedec, na Mel*k*isedec, ond Mel*ch*isedec: gan roddi yr un sain i *ch* yma ag yn y gair *Tachwedd, &c.* Os na fedr gwŷr Ephraim ddywedyd *Shibboleth*, (Barn. xii,) nid yw hyny un rheswm na ddylai gwŷr Gilead ei ddywedyd.

GOLYGYDD.

---

## GORDDERCH-WRAGEDD ABRAHAM.

YN Gen. xxv, 6, darllenwn fod gordderch-wragedd i Abraham. Pan sylwais ar y geiriau gyntaf rhyfeddais gryn lawer: am nad oeddwn wedi meddwl erioed fod gwragedd o'r fath gan dad y ffyddloniaid; ac nis

gwyddwn, ac nis gwn etto, pwy oeddynt. Dygwyddodd fod genyf dri esboniad proffesedig ar Genesis yn y tŷ—dau yn Gymraeg, ac un yn Saesonaeg; agorais fy llyfrgell yn awyddus, a darllenais y tri ar yr adnod uchod—ond yn mhell y byddo y fath egluriadau! Dywedai pob un o honynt gryn lawer am yr hyn ag y buasai gystal iddynt dewi o'i herwydd am fod pawb yn gwybod yr hyn a ddywedant gystal â hwythau; ond am yr unig beth dyrus yn yr adnod ni soniant air am dano. Gan hyny, erfyniaf arnoch chwi, neu un o'ch gohebwyr deallus, fynegu pwy oedd gordderch-wragedd Abraham? Atebiad buan a rydd foddlonrwydd mawr i LAI NA'R LLEIAF.

ATEBIAD.

CAN belled ag y gellir casglu o'r Ysgrythyrau, *Hagar* a *Cetura* oeddynt ordderch-wragedd Abraham. Gwir yw fod Hagar yn cael ei galw yn *wraig* iddo ef, Gen. xvi, 3, ac yn yr adnod gyntaf o'r bennod grybwylledig gan *Lai nâ'r Lleiaf*, dywedir ei fod ef wedi cymmeryd Cetura yn *wraig* iddo; ond er eu bod yn wragedd mewn un ystyr, etto, gordderch-wragedd oeddynt mewn ystyr arall. Hawdd gwybod, wrth ddarllen hanes sefyllfa Hagar yn nheulu Abraham, a'r driniaeth a gafodd gan Sara, mai gordderch oedd hi, er ei bod yn cael ei galw am unwaith yn wraig, pen. xvi. Ac yn 1 Cor. i, 32, dywedir mai gordderch-wraig Abraham oedd Cetura; a rhag i neb dybied mai rhyw Getura arall oedd hon, gwelir fod enwau y plant a ennillodd Abraham o honi hi, yr un yma ag ydynt yn Gen. xxv. Yr oedd yr ordderchadon a gedwid gynt yn fath o îs-wragedd, ac yn cael eu trin mewn rhai pethau fel gwragedd; am hyny gelwir hwy weithiau wrth yr enw gwragedd. Yr oeddynt bob amser i fod yn ddarostyngedig i'r gwragedd priodol, pan fyddai y cyfryw yn bod, megys Hagar i Sara; ac er bod Sara wedi marw pan gymmerodd Abraham Cetura yn wraig iddo, amlwg yw nad oedd hi yn wraig iddo yn yr un ystyr ag ydoedd Sara; canys, heblaw ei bod yn cael ei galw yn ordderch, gallwn sylwi yn y bennod grybwylledig, Gen. xxv, nad oedd hi yn rhanog ag ef yn ei feddiannau; gwahaniaethir yn fawr rhwng ei phlant hi a mab Hagar, ac Isaac mab Sara. Os yr amgylchiad uchod a barodd i'r gofynwr ystyried ei hun yn *Llai nâ'r Lleiaf*, gobeithiwn y cynnydda efe dipyn trwy y sylwadau byrion uchod. GOLYGYDD.

---

## PRIODAS.

A DDARFU yr holl ysgrythyrau ddylifo allan o'r un genau? Pa mor groes yw yr ysgrythyrau canlynol; sef, Gen. ii, 18, a 1 Cor. vii, 1? Naill ai Moses a gam-gymmerodd Dduw, ai Paul a gam-gymmerodd Moses yn nghylch y pwnc priodas. JERVIS.

ATEBIAD.

HOLL ysgrifenwyr santaidd y Beibl a lefarasant megys y cynhyrfwyd hwy gan Ysbryd Duw. Nid oes yr anghyssondeb lleiaf rhwng y ddwy adnod a ddyfynir gan y gofynwr. Y mae y cwymp wedi troi llawer bendith yn felldith. Y mae gwahanol amgylchiadau yn gwneuthur poen yn bleser; neu, o'r tu arall, pleser yn boen. Yn nghanol Paradwys lon, nid da bod Adda heb Efa lân; ond, o garchar i garchar, o gyffion i gyffion, o frawdle i frawdle, ac o berygl bywyd i berygl bywyd dibaid, da i ŵr na chyffyrddo â gwraig, os medr fyw heb bechu hebddi. Yn y cyfryw amgylchiad ni wna efe ond gofid tost i'w wraig, a'i wraig a'i rhai bach ond tòri ei galon ynteu. Yn Eden lòn oedd Adda, Gen. ii, 18; yn nghanol pair erlidigaeth oedd Paul, 1 Cor. vii, 1. Dichon dyn a'r na byddo ganddo ond ei hun ofalu am gynnaliaeth ac ymgeledd iddo, wneuthur llawer mwy dros achos Duw, nâ'r hwn sydd â theulu yn ymddibynu arno am gynnaliaeth; ac am hyny, er nad da bod dyn yn unig heb ymgeledd gymhwys iddo mewn un ystyr, etto, mewn ystyr arall, os efe a fedda'r dawn, "Da i ŵr na chyffyrddo â gwraig;" gan fod yr ymgeledd gymhwys mewn un amgylchiad yn faich trallodus mewn amgylchiad arall. "Anrhydeddus yw priodas yn mhawb," medd yr un gŵr ag a ddywedodd, "Da i ddyn na chyffyrddai â gwraig:" gan hyny amlwg yw, mai amgylchiadau cyfyng yr eglwys ar yr amser yr ysgrifenodd yr apostol yr ymadrodd olaf, oedd yn ei olwg ar y pryd. Gellid ychwanegu, "Er mai nid da, ond anhyfryd, bod dyn yn unig;" hyny yw, heb wraig, etto, da i bob dyn a fedda'r dawn, na chyffyrddo â gwraig, os bydd ei briodas yn ei wneyd yn llawer mwy annedwydd nag oedd yn ei gyflwr unig. GOLYGYDD.

---

## TOBACCO.

DERBYNIASOM atebion i *Hywel ap Gwilym*, ac atebiad o'i eiddo ynteu i'w atebwyr, ar y pwnc hwn; ond gan ein bod yn blino ar y ddadl, ac heb weled nemawr heblaw a ddywedwyd, o ran sylwedd, o'r blaen, peidiasom a'u cyhoeddi; ond am fod rhywbeth o'r newydd yn y llythyr uchod, rhoddasom le iddo—ac ar hyn rhaid terfynu y ddadl ynghylch myglys: ond wrth ganu yn iach iddi, nyni a gymmerwn y rhyddid i wneuthur ychydig sylwadau arni. Y rhesymau cadarnaf dros yr arferiad cyffredin o fyglys ydynt y rhai a ganlyn:—sef, "Ei fod yn llesiol er meithriniad iechyd, a bod miloedd yn ennill eu bywioliaeth wrth ei barotoi, ei werthu," &c. Pa fodd bynag, taera ereill ei fod yn elynol i iechyd. Dichona bod y ddwy blaid mewn ystyr yn eu lle, ac mewn ystyr arall yn anghywir. Nid oes yr amheuaeth lleiaf genym ei fod yn dra niweidiol *i rai*, ac yn dra buddiol *i ereill*—wedi cyflymu rhai i byrth y bedd, a chadw ereill, yn offerynol, rhag myned yno:—hyny yw,

dros amser. Ac yn ngwyneb y ddau beth hyn, nyni a gynghorwn bawb i beidio dechreu yr arferiad heb annogaeth gŵr meddygol. Gyda golwg ar y *cyffredinolrwydd*, amlwg yw, nad yw yn gwneuthur na drwg na da canfyddadwy i'w iechyd; y maent yn byw cyhyd (nid yn hwy,) mor iach (nid yn iachach) â dynion ereill. O ran bod llawer yn cael eu cynnal wrth ei godi, &c., nid yw hyn ond rheswm gwan iawn dros yr arferiad; o herwydd prin y credwn bod un o gan-mil o gydwybodolion ein gwlad yn ei gymmeryd o gydwybod er rhoddi bywioliaeth i ereill. Hefyd, os afreidiol yw y peth ynddo ei hun, fel y mae yn sicr gyda golwg ar y lluoedd sydd yn ei arfer, ni ddichon neb feddwl bod cydwybod yn eu rhwymo i gynnal dynion mewn galwad afreidiol. Yr un mor rhesymol, os nid mwy rhesymol, fyddai dadlu dros yr anghenrheidrwydd i gynnal dynion wrth chwareu. Ychwanegir, bod "Pob llysieuyn a greodd Duw o ryw wasanaeth; ac ni wyddys am yr un gwasanaeth i'r llysieuyn mewn dadl ond ei gnoi a'i fygu; am hyny rhaid ei gnoi neu ei fygu." Dirym iawn yw y rheswm hwn etto; canys os yw yn profi dim efe a brofa y dylem gnoi neu fygu pob llysieuyn yn y byd ag na byddom yn gwybod ei fod at ryw wasanaeth neillduol arall.

Yr hyn a hònir yn gyffredin yn erbyn yr arferiad, yw, "Ei fod yn dreulfawr, yn wenwynllyd, yn bechadurus, yn aflan, ac yn groes i natur." Nis gellir gwadu ei fod yn dreulfawr, yn neillduol i ddynion mewn amgylchiadau isel. Anhawdd i ddyn cydwybodol fwynhau ei fochaid neu ei bibellaid ddwy neu dair gwaith yn y dydd, ac ynteu yn gwybod bod ei fwyniant afreidiol yn cadw ei wraig a'i blant rhag cael cymmaint o fara ag a allasent gael oni buasai ei flŷs annaturiol ef. Etto, rhaid addef, er mwyn tegwch trwyadl, nad oes mwy o niwed yn yr arferiad o fyglys, gyda golwg ar y rheswm hwn, nag sydd yn y mwynhad o unrhyw beth arall, er dyddanu a sirioli natur, ag na byddo yn hanfodol i gynnal natur, megys ychydig gwrw, gwirawd, ymborth brâs, neu ddillad tecach nâ byddo raid. Am hyny na ddefnyddied neb y rheswm hwn yn erbyn myglysieuwyr, ond y sawl a fedrant brofi nad ydynt yn cymmeryd dim ond sydd anhebgorol i gynnal natur; ond pa le y ceir y rhai hyny? Amlygasom ein meddyliau ynghylch ei fod yn wenwynig neu yn gweithio afiechyd. O ran ei bechadurusrwydd, ar gyfrif caledi y caethion a'i parotöant, barnwn fod *Gelyn y Tobacco* uchod wedi myned yn o bell. Nid oes yr un peth a fwynheir gan y mwyaf cyfrifol yn ein gwlad, pa un ai yn hanfodol i *gynnal* neu i *sirioli* natur, ag nad yw yn costio yn ddrud, o ran llafur, chwys, a chaledi, i ryw rai. Y mae amryw bethau heblaw myglys, megys *siwgr*, *rum*, *triagl*, *&c.*, yn costio cymmaint (os nid mwy) o drafferth i'r caethion ag yw myglys; a (moliant calonog i Dduw, a diolch diragrith i *Mr. Wilberforce)* nid yw y darluniad yn y llythyr blaenorol o gyflwr y caethion, can belled ag y mae a fyno Prydain â hwy, yn gywir ar hyn o bryd. Darluniad cywir yw o'r hyn a fu, ond nid o'r hyn sydd yn awr. Ni feiddia yr un o ddeiliaid Sior IV, brynu na gwerthu dyn. Gyda golwg

ar *aflendid* yr arferiad o gnoi neu losgi myglys yn y ffordd gyffredin, yn neillduol *cnoi* neu *focheidio*, rhaid addef ei fod yn dra ffiaidd. Yr oedd glendid personol yn hanfodol i grefydd yr Hen Destament; ac nis gwyddom am yr un rheswm dros aflendid personol yn nghrefyddwyr y Testa-Newydd. Annichonadwy, yn ein bryd ni, yw i un dyn, yn y meddiant o'i synwyrau, dybied ei fod yn ddyn syber, na dysgwyl i neb edrych arno fel dyn syber, neu greadur glân, oni fedr efe adael masnachdŷ, neu gadair mewn addoldŷ, neu ystafell ymddyddan, mor lân ag y cafodd efe y naill neu y llall. Bydded y cyfryw ddyn yr hyn a fyddo, dyn *glân*, *syber*, nis dichon fod, ac, o ganlyniad, yn mysg dynion syber nis dichon fod mewn parch. Beth a ddichon gynhyrfu cylla dyn syber yn fwy nâ gweled bochaid o boeri melyn ffiaidd yn cael ei ollwng i'r llawr o'i flaen bob mynyd, neu bob hâner mynyd.

Wedi sylwi yn y modd mwyaf diduedd a chydwybodol ag a fedrem ar y rhesymau dros ac yn erbyn yr arferiad o fyglys a threwlwch, yr ydym wedi cyrhaeddyd y penderfyniad hwn; sef, nad oes ond un amgylchiad a fedr wneuthur yr arferiad yn *anghenrheidiol*, a hyny yw, annogaeth meddyg herwydd ansawdd yr iechyd. Ac nad oes ond un rheswm a brawf fod yr arferiad yn *oddefadwy*, sef, bod ysgrythyr ac arferion pawb dynion yn dangos bod arferyd â phethau er dywenydd ac hyfrydwch, ac na byddont anhebgorol er cynnal natur, yn gyfreithlon. Eithr nid yw hyn reswm i neb, namyn y rhai sydd wedi hir arfer â'r hudlys. Am ereill sydd yn dechreu, rhaid iddynt wneuthur trais ar natur, ac ymroddi dros amser i'w threisio yn drwyadl, cyn gallo yr arferiad fod yn ddywenydd iddynt; a phawb gwybodus a chydwybodol a addefant nad yw y fath goncwest ar natur o werth ei hennill. Llawer llai dichona un o'r ystyriaethau hyn fod yn reswm dros fryntu cadair mewn addoldŷ, neu ystafell lân mewn annedd-dŷ. Pe byddai afiechyd corfforol yn gofyn i ddyn gadw clwyf yn agored bob amser yn ei goes, neu ryw fan arall o'r corff, pwy fedrai ei feio am ei wneuthur? eithr os na fedrai fyned i fysg dynion i'r addoliad, nac i un lle arall, heb ddynoethi y clwyf a'i berthynasau tramgwyddus, dylai y dyn hwnw, yn ol rheolau moesgarwch a phob rhesymoldeb, gael lle wrtho ei hun, oddigerth cael o hono gymdeithion a fedrent hyfrydu yn yr olygfa.

Gwedi egluro ein meddwl yn y modd hyn, brysiwn i ddangos y ffordd i ddynion ag ydynt yn awr yn caru syberwyd, (er cael o honynt eu llygru yn eu hieuenctyd gyda'r aflanion) i ymddwyn yn weddus yn mysg dynion glân.

Adwaenom ddyn ag sydd yn awr o fewn blwyddyn a hanner i 50 oed, yr hwn a ddenwyd gan hogiaid disynwyr i ddechreu cnoi myglys pan oedd yn 11 oed, heb yn wybod i'w rieni: mawr yw y drafferth a gafodd i orchfygu natur, yr hon oedd dra gwrthwynebol i'r myglys chwerw; mynych, mynych y gorfyddai arno redeg â'r fochaid angharedig i'r dwfr, a'i gwasgu yn galed i gael y sudd oll o honi, modd y gallai ei goddef yn

ei foch geintachlyd, er mwyn cael y gair (fel y dywedai ei hudwyr) o fod yn *ddyn!* O radd i radd ymostyngodd natur, trwy gymhorth dwfr ac ymroddiad, cymmerwyd ei chastell olaf, ac er mawr syndod hyd heddyw i'r gwr uchod, ni bu *Dic Sion Dafydd*, na neb o'i hiliogaeth, yn fwy pleidgar i iaith ac ymddygiadau eu gorchfygwyr creulon nag yw *natur* ei hun dros y myglys buddugoliaethus. Wedi cyrhaedd oedran a maintioli gwr, galwyd *Llewelyn** gan Ragluniaeth i drigo yn mysg pobl a gyfrifent aflendid myglysaidd yn anfoesgarwch annyoddefol, ac nid yn beth rhinweddol, fel y dysgid ef gynt. Mewn tref boblogaidd galwyd arno i ddysgu yr Iaith Gymreig i feibion boneddig tra chyfrifol: yn y gauaf yr oedd yn weddol o gysurus, gallasai boeri i'r lludw. Yr oedd bryd hyn yn cnoi pedwaran, ac yn hytrach ychwaneg, o fyglys â'r argraff coch bob wythnos.

Eithr meddyliwch am gyflwr gresynol *Llewelyn* yn yr hâf, a pheidiwch tosturio os beiddiwch. Wele, y boneddigion bychain yn dyfod ato i adrodd eu gwersau Cymreig: prin y gallai lefaru wrthynt ond ar brydiau gan y sudd cyffrous oedd yn llenwi ei enau! Wele ef yn gwylltio am le i boeri, troi ei olwg tua lle'r tân, ond methu gweled yr un man yno i guddio ei ffieidd-dra, y cwbl yno yn dyscleirio megys arian newyddion; gwell fuasai gollwng y poerlif poenus chwerw ar hyd y llawrlen, etto nis beiddiai wneuthur hyny gan gywilydd. Yn awr, dacw ef yn tŷnu ei liain llogell allan, a chan rithio sychu ei enau ag ef, yn poeri ynddo, nes oedd can lawned o wlybwr tramgwyddus, fel nas gallasai oddef i'w ysgolheigion ei weled. Beth a wna yr ystruan yn awr? Wele ef yn troi ei gefn ar y gwŷr bychain, yn tynu ei fochaid orthrymus o'i enau trallodus, ac yn ei gosod yn ei logell annhymherus; ond, cyn pen deng mynyd, tybiai fod ei lygaid yn dallu, ei gynheddfau yn gwylltio, ei gliniau a'i freichiau yn diffrwytho, fel na wyddai pa beth i'w wneuthur. Weithiau gosodai y fochaid derfysglyd yn ol yn lledradaidd; ymdrechai ei goddef yno dros fynyd heb boeri, y fynyd nesaf yn ol â hi i'w logell, ac yn mhen mynyd neu ddwy drachefn i'r foch â hi eilwaith! "Pwy garai (meddai efe) fod yn wr boneddig, na bod yn agos at foneddigion? Och o fi! dim lle i ddyn *syber* fel myfi i boeri! Gwyn fyd trigolion poerfelynion Dyffryn Corscnelys, lle dichona gwr boeri llyn melynwych y parth a fyno o'r tŷ heb neb i'w feio. Pwy a feia ddyn syber am hyny?"

Fel hyn bu *Llewelyn* dros amryw ddyddiau yn ymboeni yn galed, ac yn addunedu rhoddi heibio, os medrai, yr arferiad ag oedd yn ei anghymhwyso i fod yn ddedwydd mewn ystafell burlan. Weithiau gosodai ychydig boethwraidd yn ei foch, ond cystal fuasai peidio. Yn y màn symudai y poethwraidd, a gosodai bêrwraidd yn ei le. Ond dallu oedd ei lygaid gwirion, a dyrysu oedd ei synwyrau gweinion. Ni wasanaethai na melys, poeth, na chwerw, yn lle y myglys buddugol. Deallodd trwy

* Enw benthycol y gwr, sef, Mr. HARRIS ei hun.

brofiad gofidus mai anhawddach gorchfygu natur gyndyn yn ol i'w lle, nâ'i dwyn o'i lle cynhenid yn y dechreu. O'r diwedd daeth i'w ben i osod ychydig bêrwraidd ac ychydig iawn o gnolys main efo eu gilydd yn ei foch, a llyncu y sudd. Atebodd y cynnyg hwn y dyben yn rhagorol; gallai eistedd trwy y dydd heb boeri unwaith, etto yr oedd effaith yr ychydig gnolys yn cadw ei lygaid mor fywiog ag erioed. O radd i radd rhoddodd heibio y pêrwraidd yn hollol, gan ddefnyddio y cnolys main yn unig, yr hwn a arfera efe hyd heddyw; eithr mewn modd mor syber, fel nad oes mo'r dyn yn gwybod fod ganddo ddim yn ei enau, oddigerth iddo ei roddi i mewn lle gwelont. Nid yw fyth yn poeri, ond gadael ei dipyn cnolys i orwedd yn esmwyth yn ei foch, fel nad yw gymmaint â throi lliw y dwfr (iaith cnowyr), ac etto yn ateb y dyben, gyda golwg ar ei lygaid a'i gynneddfau, mor effeithiol â phan oedd yn cnoi fwyaf, ac yn poeri. Yn lle pedwaran yr wythnos, y mae pedwaran pedwaran, neu *wns*, yn ddigon dros bythefnos yn awr. Hoffa *Llewelyn* fygu pibellaid neu ddwy ar brydiau hyd heddyw; eithr efe a ddichon, medd efe, fod yn ddiflinder heb y bibell pan byddo yn mysg boneddigesau ac ereill gwrthwynebol i fyglys. Nid yw y cyfnewidiad wedi gwneuthur y drwg lleiaf i'w iechyd, ond yn hytrach daioni i'w gylla, yr hwn oedd arferol o fod yn hawdd i'w dramgwyddo bob boreu, ond yn awr yn ddidramgwydd.

Geill y darllenydd ymddibynu ar gywirdeb yr hanes uchod; ac er y gallai rhai ei ddirmygu, hyderwn y bydd o wasanaeth i ereill.

---

## DADLEU, &c.

Gelwir yn uchel arnom i derfynu y ddadl hon, neu yn hytrach yr edliwiadau personol ag ydynt wedi eu cymmysgu â hi. Ond, er tawelu meddyliau gweinion, y rhai ydynt barod i gyfrif pob ymresymiad awchlym, cyfeiriedig at eu golygiadau eu hunain, yn dafod drwg, atolygwn arnynt i ystyried mai peth anhawdd iawn yw dadleu heb ddefnyddio rhai ymadroddion a gyfrifir yn bigog a chynhenllyd gan y blaid wrthwynebol: ïe, mor anhawdd, fel y mae llawer o'r dadleuwyr mwyaf dysgedig, boneddigaidd, a Christionogol, wedi cael eu cyhuddo gan eu hatebwyr o ymresymu yn gyffrous. Yn mhellach, anaml y cwrddir â llyfrau dadleuol mewn unrhyw iaith, er mor ddysgedig a boneddigaidd fyddo yr ysgrifenwyr, a'r na welir ynddynt lawer iawn dros ben yr hyn a berthyn i'r pwnc mewn dadl, ac amryw gynnygion i iselu a diraddio y sawl a'u gwrthwynebant; er bod rhai yn gwneuthur hyny yn fwy boneddigaidd nag ereill, etto, dyma y pechod ag sydd yn "barod i amgylchu" dadleuwyr bob amser; herwydd paham, ni ddylai y darllenwyr gyffroi yn anghymhedrol, wrth ganfod yr haint yn ymaflyd yn y dadleuwyr yn y Seren.

Sylwer etto, nad oes un pechod ag y mae darllenwyr, er proffesu

nid oes bechod. Can nad beth yw ei ddyledswydd, am beidio ei gwneuthur y condemnir ef; ac os nad yw ei allu yn atebol i'r gofynion Dwyfol, fe'i condemnir am beidio gwneuthur yr hyn ag sydd anmhosibl iddo ei gyflawni. Cyhuddiad pwysig fyddai dwyn hyn yn erbyn yr Hollalluog. Am fod y pwnc hwn o bwys anfeidrol, ymdrechaf ei ystyried gyda phob gofal ac anmhleidgarwch ag y medraf. Y gofyniad pwysig yw:—

"A ydyw dyledswydd bresennol dyn yn fwy nâ'i allu presennol," fel creadur syrthiedig?

1. Mewn atebiad, ymdrechaf chwilio allan helaethrwydd dyledswydd dyn. Amrywia ei ddyledswydd gyda ei amgylchiadau. Rhaid ystyried rhwymedigaethau Adda yn Mharadwys, eiddo y rhai sydd heb ddatguddiad Dwyfol, ac eiddo Brytaniaid, sydd â'r efengyl ganddynt, yn wahanol iawn. Ni ofynir yr un dyledswyddau ar y tlawd a'r goludog, y dysgedig a'r anllythyrenog, y rhieni a'r plant, meistriaid a gweision, yr iach a'r afiach, mewn pob peth: eithr ymofynwn yn awr pa beth yw dyledswyddau cyffredin, gofynol oddiwrth holl hil Adda syrthiedig, yn ddiwahaniaeth, ag ydynt yn meddu synwyr cyffredin, ac a gynnysgaeddwyd â datguddiad Dwyfol.

Addefir gan bawb sydd yn proffesu crefydd Iesu, y dylent garu Duw, a chadw ei orchymynion—mai eu dyledswydd yw gwasanaethu eu Lluniwr yn gywir, (nid yn rhagrithiol,) ac yn barhaus, yn ol gofynion ei air—y dylent ymbil arno am fendithion a diolch iddo am drugareddau—cyffesu eu pechodau, edifarhau o'u herwydd, ac ymwrthod â hwy; bod yn ostyngedig, ymwrthod ag annuwioldeb a chwantau bydol, a byw yn sobr, yn gyfiawn, ac yn dduwiol, yn y byd sydd yr awr hon. Mewn geiriau ereill, dylent geisio yr Arglwydd tra gellir ei gael—ffoi rhag y llid a fydd—gadael eu ffyrdd drygionus, a'u meddyliau anghyfiawn, a dychwelyd at yr Arglwydd â'u holl galon, a derbyn yr Arglwydd Iesu fel yr unig noddfa i bechaduriaid euog, &c. Ond am na ellir cyflawni un ddyledswydd wrth fodd Duw, heb ffydd, gallwn benodi ar gredu yn yr Arglwydd Iesu Grist fel yr hyn a gynnwysa, yn wreiddiol ac yn hanfodol, holl ddyledswydd dyn. Gallwn enwi cariad at Dduw a dyn, a gwir edifeirwch, fel yn cael eu gofyn ganddo ef; eithr cynnwysir hyn yn rhinweddol mewn credu y dystiolaeth a dystiolaethodd Duw am ei Fab. Gellid profi bod credu yr efengyl yn ddiragrith yn ddyledswydd ar bawb a glywant yr efengyl. Gofynir hyn yn rhinweddol (er nid mewn geiriau pennodol) gan y ddeddf foesol, ac fe'i gorchymynir yn bendant gan amryw destunau eglur yn yr ysgrythyr.

Darlunir diffyg ffydd fel yr achos amlygol o ddamnedigaeth pechadur; a'r ymarferiad o honi yn hanfodol anghenrheidiol er cyflawni pob peth derbynadwy gan Dduw; ac os nid dyledswydd y pechadur yw credu, efe a ryddheir yn rhinweddol oddiwrth bob rhwymedigaeth, ac o ganlyniad y mae yn llwyr anmhosibl iddo bechu, na chael ei gospi yn *gyfiawn* am bechod. Rhaid bod yr hyn a ofynir gan ddyn dan y benyd o dragywyddol

ddamnedigaeth yn bwnc o ddyledswydd. Ac onid fel hyn yn gymhwys y mae yn bod mewn perthynas i ffydd? "Y neb ni chredo a gondemnir, (Marc xvi, 16.) Oni chredwch mai myfi yw EFE, chwi a fyddwch feirw yn eich pechodau. Y neb nid yw yn credu a gondemniwyd (damniwyd) eisioes, am na chredodd yn enw unig-anedig Fab Duw. Y neb sydd yn credu yn y Mab sydd ganddo fywyd tragywyddol, a'r neb nid yw yn credu ni wel fywyd, eithr y mae digofaint Duw yn aros arno ef." Gwelwn yma mai ffydd ac anghrediniaeth yw y gorsingau ar y rhai y try ein hiechydwriaeth neu ein damnedigaeth; gan hyny penderfynaf bod ffydd yn ein Harglwydd Iesu Grist yn ddyledswydd bresennol ar y pechadur, ac, er mwyn byrdra, dygais ei ddyledswydd o fewn cylch un pwnc.

Llawer a ddywedwyd ynghylch FFYDD. Gosodwyd hi dan y gwahanol benau o "Ffydd hanesiol, ffydd amserol, ffydd wyrthiol, a ffydd ddyledswyddol." Sonia yr ysgolhaig ardderchog, y duwinydd godidog, a'r dadleuwr athrylith, Dr. Gill, am ddyledswyddau naturiol crefydd, ac am ffydd naturiol i gredu tystiolaeth allanol yr efengyl!!! Gresynus hefyd yw y modd yr ydys wedi dyrysu meddyliau dynion trwy wahaniaethu ffydd ei hun i "Ffydd hanesiol, ffydd ymddiriedawl, ffydd obeithiol, ffydd gymhwysiadol, a ffydd at achos neillduol, credu am Grist a chredu yn Nghrist," &c. Ond, pa beth sydd a fyno hyn â'r hanes eglur a roddir i ni am ffydd yn yr efengyl? Y ffydd a hònaf fi sydd yn ddyledswydd ar bawb mewn synwyr a glywant yr efengyl, yw crediniaeth ddidwyll o'r gwirionedd; a phwy bynag a feddianno y ffydd hòno a fydd cadwedig, Marc xvi, 16; Act. xvi, 30, 31; Ioan iii, 18, 36. I'r dyben i ochelyd cynnifer o wrthddadleuon ag y gallwyf, ychwanegaf, nad wyf yn meddwl bod y ffydd hon yn cynnwys y dylai pob un a glywo'r efengyl gredu ei fod ef wedi ei ethol, bod Crist wedi tywallt ei waed drosto ef yn neillduol, neu y bydd efe yn sicr o fyned i'r nefoedd; oblegid nid gwir y pethau hyn am bawb a glywant yr efengyl; felly pe eu dyledswydd fyddai credu y pethau hyn, eu dyledswydd fyddai credu celwydd! Eithr dyledswydd pob gwrandawr yr efengyl yw credu tystiolaeth Duw am ei Fab; ei fod yn FODDLON YNDDO, a bod Duw yn rhoddi bywyd tragywyddol i bawb a gredant ynddo. Pob un ni chredo hyn sydd yn gwneuthur Duw yn gelwyddog! Ac os nid yw hyn yn bechod, nid oes dim a ddylid ei alw wrth y fath enw gwarthus.

Yn ail, ymdrechaf gael allan helaethrwydd gallu presennol dyn, a pha un ai fod yn gyfartal i'w ddyledswydd ai peidio. Os nad yw, paham y cynghorir ac y rhybyddir ef? Os ydyw, paham na wnelai ei ddyledswydd? Os na *ddichon* efe gredu, er ewyllysio hyny, y mae ei anghrediniaeth yn anorchfygol, ac o ganlyniad yn ddifeïus; eithr os *gall* efe gredu, ond etto nis *mŷn*, cyfiawn yw ei ddamnedigaeth. Y ddadl yn awr a dry ar yr hyn y *dichon* a'r hyn *nis dichon* dyn ei wneuthur. Taera rhai dynion yn ddibetrus, ei bod mor hawdd i ddyn greu byd, neu i'r meirwon godi o'u beddau, ag yw i anghredadyn gredu. Am fod y geiriau *dichon* a *nis*

*dichon*, neu *gall* ac *nis gall*, yn arwyddo nerth, gallu, a medrusrwydd, neu y diffyg o honynt, y mae o werth i'w chwilio yn fanwl gyda golwg ar y pwnc mewn llaw.

Arferir y geiriau *nis gall*, neu *nis dichon*, weithiau i ddynodi yr hyn sydd ynddo ei hun yn *anmhosibl*. "*Nis gallaf* amgyffred pethau mawrion Duw. *Nis gallaf* daranu â llais fel Duw. *Nis gallaf* ddwyn Mazzaroth allan yn ei dymhor; ac *nis gallaf* dywys Arcturus a'i feibion. *Nis gallaf* rifo y cymylau mewn doethineb; ac *nis gallaf* attal costrelau y nefoedd," Iob xxxvii, xxxviii. *Nis gall* dynion ddymchwelyd gwaith Duw, Act. v, 39. *Nis gallaf* droi dwfr yn win, gwneuthur byd, na chreu gwybedyn. *Nis gallaf*, wrth ofalu, ychwanegu un cufydd at fy maintioli. *Nis gallai* y gwŷr ddwyn y llong i dir, am fod y môr yn drech nâ hwy, Ioan i, 13. *Nis gall* y dall weled, y byddar glywed, y mudan lefaru, na'r meirw gyflawni swyddi y rhai byw. Diderfyn fyddai crybwyll pob amgylchiad ag yr arferir i arwyddo yr hyn sydd mewn ystyr gaeth yn llwyr *annichonadwy*. Ond a yw pechaduriaid yn analluog i gredu, yn yr ystyr hwn? A ydynt hwy mor ddifai am beidio credu yn Nghrist, ag yw y meirw am beidio gweithio, neu y byw i greu bydoedd? Nid ydym yn beio dyn am iddo gael ei eni yn ddall, neu yn fyddar, ac yn parhau felly. Ei annedwyddwch, ac nid ei bechod, yw ei fod felly, a'r olwg arno a eilw am ein tosturi ac nid ein cerydd. Ac os gellir priodoli anghrediniaeth y pechadur i *anallu* o'r un natur â hwn, ag sydd yn ei gwneuthur yn anmhosibl iddo gredu, ei annedwyddwch, ac nid ei bechod yw yr achos o'i fod yn y fath gyflwr.

Eithr arferir y geiriau *nis gall* yn fynych i ddynodi diffyg *ewyllys* a *thuedd*, ac nid diffyg gallu yn briodol; y mae gan rai dynion "lygaid yn llawn godineb, ac *heb fedru* (allu) peidio a phechod," 2 Pedr ii, 14. *Nis gall* y meddwyn ymgadw oddiwrth ddiod gref; *ni fedrai* brodyr Ioseph ymddyddan yn heddychol ag ef, (Gen. xxxvii, 4;) *nis gallasai* Ioseph wneuthur y drwg mawr, y temptiwyd ef iddo, (Gen. xxxix, 9.); *ni allai* Dafydd fyned o flaen y tabernacl, i ymofyn â Duw, (Cron. xxi, 30); *ni allai* y proffwyd dewi, (Ier. iv, 19); *ni allai* y Salmydd lefaru, (Sal. lxxviii, 4); *ni allasai* y gŵr oedd gynnes yn ei wely godi ar gais ei gyfaill; eithr dengys y canlyniad pa fath anallu ydoedd, (Luc ix, 5—8); *nis gall* dyn perffaith onest fod yn lleidr; *nis gall* mam (deilwng o'r enw) beidio tosturio wrth ei phlentyn sugno; ac *nis gall* cybydd o galon fod yn haelionus. Nid diffyg *nerth* neu *allu*, ond diffyg ewyllys neu duedd, a osodir allan wrth y gair *anallu*, yn yr holl amgylchiadau hyn, a chantoedd ereill ag y byddai hawdd eu henwi; a thyma yr unig *anallu* sydd mewn dyn i gredu yr efengyl—nid diffyg *modd* ond diffyg *meddwl*; cynnysgaeddwyd yr anghredadyn â chystal cynneddfau, breintiau, a manteision â'r sawl sydd yn credu; ac efe a fedr gredu pethau ereill gystal â neb pwy bynag. Am hyny, yn ol ystyr briodol y gair gallu, haeraf bod nerth, neu allu presennol pechadur yn gyfartal i'w ddyledswydd

bresennol; oddigerth bod cymmysgu a dyrysu ystyr geiriau yn ganmoladwy, ac mai addas yw dywedyd am ddyn iach, cadarn, heinyf, nad oes gallu ganddo i weithio; ac nad oes allu gan y cybydd sydd yn derbyn 10,000 punt yn y flwyddyn, i roddi swllt byth i'w gymmydog anghenus, ag sydd ar drengu o eisieu.

Trachefn, pan ddefnyddir *anallu* i ddynodi diffyg nerth neu rym, ni a ddywedwn bod pob peth yn bosibl, neu yn alladwy, gyda Duw, (Mat. xix, 26.) Ond pan ddefnyddir y gair *anallu*, yn yr ail ystyr, i ddynodi diffyg tuedd ac ewyllys, gosodir terfynau i'r Hollalluog ei hun—*nis gall* efe wneuthur drwg—*nis gall* fod yn gelwyddog—*nis gall* wadu ei hun. Anallu Duw i wneyd drwg yw perffeithrwydd ei santeiddrwydd—ei anallu i fod yn gelwyddog yw gogoniant ei eirwirdeb; a'i anallu i wadu ei hun yw addurn ei hanfodoldeb, a choron ei anghyfnewidioldeb. Yr un anallu, o ran ei natur, sydd mewn dyn santaidd i fyw mewn pechod, ag sydd mewn dyn diras i ymwrthod â phechod, sef, diffyg tuedd; ond pa fwyaf fyddo anallu y blaenaf, tebycaf oll ydyw i Dduw, a mwyaf oll ei rinweddau; a pha fwyaf *anallu* yr olaf, tebycaf oll i ddiafol yw, a mwyaf oll ei bechodau, canys ei anallu yw ei brif bechod. O herwydd, cariad y cyntaf at Dduw a santeiddrwyddd sydd yn ei analluogi i fyw mewn pechod; a chariad yr olaf at ddrwg, a'i gasineb at dda, at Grist a'r efengyl, sydd yn ei wneuthur yn analluog i gredu; gan hyny, y mae mawredd y pechod a mawredd yr anallu yn ateb i'w gilydd yn gywir. Os yw cythreuliaid yn fwy drygionus nâ dynion, y rheswm yw eu bod yn ddyfnach, yn eu hanalluogrwydd i wneuthur da, h. y., yn fwy gwrthwynebol a gelynol i dda. Pe byddai yr ystyr hwn o'r gair anallu yn cau allan ddewisiad, a bod dynion yn hollol analluog i wneuthur daioni, er ewyllysio hyny yn gywir, y canlyniad fyddai dinystrio rhinwedd a bai, clod ac anghlod am byth, a gosodid angylion nef a chythreuliaid uffern yn gydradd, o ran ufydd-dod ac anufydd-dod; canys os nad yw gweithred bôd deallgar yn effaith o'i ddewisiad, nid oes ynddi ufydd-dod nac anufydd-dod; yr un peth yn gymhwys yw cadw a throseddu y gyfraith—nid oes wahaniaeth rhwng credu tystiolaeth yr ysgrythyr a gwneuthur Duw yn gelwyddog!

Gwarth tragywyddol gan hyny i ryw ddynion yw, *nas gallant* wneuthur da. Nid yw y meddwl anianol "yn ddarostyngedig i ddeddf Duw, ac nis *gall* chwaith; y sawl sydd yn y cnawd nis *gallant* ryngu bodd Duw." Paham nas gallant? Am yr un rheswm ag *nas dichon* y rhai sydd â'u llygaid yn llawn godineb beidio gwneuthur drwg; y maent yn caru y drwg, ac yn groes o anian i'r da; *nis gall* y dyn anianol dderbyn pethau Ysbryd Duw; *nis dichon* pren drwg (dyn drwg) ddwyn ffrwythau da; *ni allant* wrando, medd y proffwyd, (Ier. vi, 10); *ni allwch* wrando fy ymadrodd i, medd Crist, (Ioan viii, 43): eithr pa resymau a rydd y proffwyd a'r Gwaredwr am eu hanallu i wrando? Pa un ai diffyg gallu neu ewyllys? Os y blaenaf, gwrthddrychau o dosturi, ac nid o gerydd oedd-

ynt; ond, medd y proffwyd, fel rheswm am eu hanallu, "Wele, dirmygus ganddynt air yr Arglwydd, nid oes ganddynt *ewyllys* iddo;" ac, medd proffwyd arall, "*gwrthodasant* wrando—a *thrymhasant* eu clustiau rhag clywed—*gwnaethant* eu calonau yn adamant *rhag clywed* y gyfraith," (Sech. vii, 11, 12). A'r rheswm paham na allasai yr Iuddewon wrando ar Grist, oedd, "O'ch tad diafol yr ydych chwi, a thrachwantau eich tad a *fynwch* chwi eu gwneuthur." Dywed y Salmydd bod y cyfryw ddynion "fel y neidr fyddar, yr hon a *gau ei chlustiau;* yr hon ni wrendy ar lais y rhinwyr, er cyfarwydded fyddo y swynwr," (Sal. lviii, 4, 5.) A dywed Crist am ei wrandawyr, bod proffwydoliaeth Esay wed cael ei chyflawni ynddynt, "Brasâwyd calon y bobl hyn, a hwy a glywsant â'u clustiau yn drwm, ac a *gauasant eu llygaid;* rhag canfod â'u llygaid, a chlywed â'u clustiau, a deall â'r galon, a throi, ac i mi eu hiachâu hwynt," (Mat. xiii, 15,) Nid diffyg clustiau, na diffyg athrawon i anerch eu clustiau; ac nid diffyg llygaid, na gwrthrddychau addas i edrych arnynt, na diffyg goleuni, oedd arnynt; pe felly, anhawdd fyddai peidio tosturio wrthynt; ond diffyg tuedd i wrando, gweled, a deall oedd arnynt, a hyny oddiar wrthwynebiad a gelyniaeth tufewnol at y gwir, ac felly cauasant eu clustiau a'u llygaid; yr hyn a ddengys yn eglur nad yw eu "*nis gallant*" ddim amgen nâ "*nis mynant*," am hyny cyfiawn yw eu barnedigaeth. Gwasanaethed y dyfyniadau a'r sylwadau blaenorol i ddangos bod eu hanallu i dderbyn yr efengyl yn gynnwysedig yn eu hanewyllysgarwch i hyny, a'u gwrthwynebrwydd tufewnol at yr hyn sydd dda mewn ystyr grefyddol; ond cyn terfynu, gosodaf y sylwadau canlynol gerbron:—

Pan ddywedwyf *nas dichon* pechadur gredu, nid wyf yn meddwl mynegu wrth hyny ond yn unig yr amgyffrediad cynnwysedig yn ngeiriau yr Iesu, "*Ni fynwch* ddyfod ataf fi, fel y caffoch fywyd;" ond pan ddywedwyf *y dichon* pechadur gredu, fy meddwl yw, nad oes dim mewn nefoedd, uffern, na daear, a ddichon ei rwystro ond ei duedd ddrygionus ei hun; nid oes arno eisieu mwy o allu a nerth nag sydd ganddo, ond tuedd ac ewyllys yn unig; y mae "gwerth yn ei law i berchenogi doethineb, ond nid oes gan y ffol galon at y gwaith," (Diar. xvii, 16). Pob ystyriaeth a gyfyd oddiwrth orchymynion, annogaethau, addewidion, ceryddon, a bygythion Duw yn ei air, ymddibyniaeth dyn ar ei Luniwr, a'r darluniad o'r farn ddiweddaf, lle y condemnir, fel gelynion, yn unig y rhai *na fynant* i Grist deyrnasu arnynt, a ddengys bod Duw yn gofyn gan bob dyn a glywo yr efengyl ei chredu; am nad yw efe yn chwennych "medi lle ni's hauodd," rhaid bod gallu priodol dyn yn atebol i'w ddyledswydd.

Gallaswn ddefnyddio y geiriau gwahaniaethol *anallu naturiol*, ac *anallu moesol*, ond o herwydd bod y rhai hyn yn cael eu gwawdio gan rai, yn faen tramgwydd i rai, ac yn anamgyffredadwy i ereill, ymwrthodais â hwy yn hollol: er nas gŵn am well ymadroddion i ddynodi y gwahaniaeth golygiedig, etto, gellir gwneuthur hebddynt.

Yn fy llythyr nesaf, cynnygaf resymau ychwanegol dros y golygiadau

a welir yn hwn; ac wedi hyny, ymdrechaf ateb y gwrthddadleuon a godir yn eu herbyn.

---

Goddefwch i mi yn awr i gynnyg rhai rhesymau dros y gosodiad, mai *gallu* dyn i wneuthur ewyllys Duw yw mesur ei *bechod* am beidio ei wneuthur; neu, mewn geiriau ereill, *nad yw dyledswydd bresennol dyn yn fwy ná'i allu presennol.*

1. Byddai dywedyd nad yw dyn yn credu o ddiffyg *gallu*, yn ei ryddhau oddiwrth bob pechod am beidio credu; bryd na byddo yn bosibl i ddyn weithredu yn wahanol i'r modd y gwna, nis gellir priodoli bai na chlod i'w ymddygiad, mwy nag y gellir i agerdd-beiriant, yr hwn sydd mor berffaith ddiniwed pan fyddo yn gorphwys â phan fyddo yn gweithio hwylusaf; nid oes ganddo mo'r dewisiad i wneuthur; yr un peth ganddo weithio â pheidio, ond cael digon o agerdd i'w gynhyrfu; ac nid oes neb a ddysgwyl iddo gyffro heb yr agerdd gofynol; felly nis gellir ei ganmol na'i feio, wrth weithio nag wrth beidio. Nid oes mo'r un *dewisiad* gan yr hwn sydd yn hollol ddall, pa un a *fỳn* efe weled ai peidio, am hyny nis gellir ei feio am beidio edrych ar brydferthwch y greadigaeth; ac nid gyda chyssondeb y gallem ei annog i edrych arnynt. Nis dichon y *byddar* wahaniaethu rhwng un sain a'r llall; iddo ef y mae rhuad taran ac hyfrydsain peroriaeth yn ddiwahaniaeth. Nid yw udganiad udgorn, twrf magnelau, "mil o leisiau melysion" telyn, neu dinciau symbal, yn medru gwneuthur argraffiad gwahanol ar ei feddwl ef; nid oes neb a'i beia am hyny. Ei achos ef a gynhyrfa ein tosturi; eithr teimlad llwyr wahanol a gynhyrfir gan ymddygiad yr hwn ag sydd fel y neidr, yn fyddar, o herwydd ei fod yn cau ei glustiau, ac *ni fỳn* wrando ar lais y rhinwyr. Os yw y pechadur mor analluog i gredu yn Nghrist ag yw y dall i weled, a'r byddar i glywed, yr un mor gymhwys fyddai galw ar y dall i weled, ac ar y byddar i glywed, ag a fyddai annog y pechadur i gredu yn Nghrist, a chondemniwn hwy yn gyfartal am beidio ufyddhau. Ni allasai Mephibosheth ganlyn Dafydd, can nad faint a ewyllysiai efe wneuthur hyny, am ei fod yn gloff. A oes dyn byw a fedr farnu ei fod ef mor feius ag Ahitophel, yr hwn a wrthwynebodd y brenin, neu Shimei, yr hwn a'i melldithiodd? Gwan oedd presennoldeb corfforol Paul, eithr nid bai perthynol iddo ef oedd hyny. Profed y pechadur *na ddichon* efe luddias ei anghrediniaeth yn fwy nag y gallasai Mephibosheth beidio bod yn gloff, neu Paul fod yn wan, ac nad yw yn fwy o ddyledswydd arno ef gredu nag iddynt hwy fod yn ddianaf ac yn gryf, ac yna caniatêir ei fod yn ddifai, gyda golwg ar hyn; ac os cyfrgollir ef yn y diwedd am anghrediniaeth, caniatëwn iddo y rhaid iddo ddyoddef am beidio gwneuthur yr hyn nad oedd bosibl iddo ei gyflawni. Eithr, oni fyddai hyn yn tebygu y Bôd dwyfol i feistriaid gwaith Pharao, y rhai a ofynent briddfeini heb roddi dim gwellt? Oni byddai i hyn gyfiawnhau achwyniad y gwas anfuddiol, yr hwn a ddywedai, "Gwyddwn dy fod yn

feistr caled, yn medi lle nis hauaist, ac yn casglu lle nis gwasgeraist?" Ond darluniad y Beibl o Dduw yw, nad yw yn gofyn mwy gan neb nag sydd ganddynt, bid lawer neu ychydig. "Fy mab, moes i mi dy galon;" sef, yr hyn sydd genyt. "Câr yr Arglwydd dy Dduw â'th holl galon, â'th holl nerth," &c., nid wyf yn ceisio dim ond yr hyn sydd genyt. Os nad oes mwy gallu gan ddyn i gredu nag sydd ganddo i greu byd, nis gellir ei feio am beidio gwneuthur y blaenaf yn hytrach nâg am beidio gwneuthur yr olaf. Yr un mor gyfiawn fyddai condemnio dyn am beidio bod mor brydweddol ag Absalom, mor dàl â Goliah, mor gryf â Samson, mor ddoeth â Salomon, ac mor oludog â Difes, ag am beidio gwneuthur unrhyw beth ag sydd yn anmhosibl. Gallu dynol a bai dynol ydynt yn ogyfled. Os yw credu yn annichonadwy, y mae anghrediniaeth yn anorchfygol, a'r anghredadyn yn llwyr esgusodol. Pryd na byddo, mewn ystyr briodol, allu i gredu, nis dichon diffyg ffydd fod yn bechod. Ni chondemniwyd y gwas drwg a diog am beidio gwneuthur dyledswydd tu hwnt i'w allu, ond am esgeuluso yr hyn oedd o fewn cylch ei allu. Fe'i barnwyd o'i enau ei hun. Yr oedd wedi derbyn arian ei Arglwydd; ni ddysgwylid iddo ddefnyddio ond y dalent a dderbyniodd; ni feiwyd arno am beidio defnyddio dwy neu bump talent, a'r *na* dderbyniasid ganddo: "*Dylesid* roddi *fy arian* at y cyfnewidwyr," medd y Meistr mawr. Ni cheisiwyd dim annichonadwy ganddo, ond yr hyn a allasai gyflawni, pe buasai yn ewyllysio ei wneuthur.

2. Os yw dynion yn hollol analluog i gredu, a llefaru yn briodol; h. y. os ydynt, nid yn unig yn *anewyllysgar*, ond yn *analluog* i gredu, yna, pan gredont, rhaid bod rhyw *allu newydd*, heblaw yr hyn a'u gwna yn *ewyllysgar*, yn cael ei roddi iddynt. Ond, pwy all ddarlunio y gallu hwn? A oes rhyw gynneddf newydd yn cael ei rhoddi i'r enaid, a'r na feddiannodd o'r blaen? Y mae gan y pechadur, yn gystal â'r sant, ddeall, ewyllys, serchiadau, cydwybod, &c., a oes rhyw gynneddf newydd yn cael ei ychwanegu mewn adenedigaeth? Od oes, pa enw a gawn ni roddi arni? Cynnwysir ufydd-dod yn yr hyn ag y mae gan ddyn gynneddf neu allu i'w gyflawni; ac y mae credu tystiolaeth Duw yn berffaith unol â natur y cynneddfau y gwelodd Duw yn dda ein cynnysgaeddu ni â hwy. Eithaf cysson â galluoedd enaid yw derbyn y gwir ar sail tystiolaeth ddigonol. Eglur yw, bod y cyfnewidiad mewn adenedigaeth yn gynnwysedig mewn cynhyrfu a chyfarwyddo y galluoedd yn meddiant yr enaid o'r blaen, ac nid mewn rhoddi iddo gynneddfau newyddion. Goleuir y deall, argyhoeddir y farn, plygir yr ewyllys, a gosodir y serch ar bethau nefol; eithr nid oes yma gynneddfau newyddion, ond hen alluoedd yn cael eu tueddu at waith newydd.

Pe amgen, byddai adenedigaeth yn dystrywio unoliaeth y dynsawd, gan wneuthur y pechadur a'r sant yn *ddau ddyn gwahanol;* y dyn *hwn* cyn credu, ond *dyn arall*, mewn ystyr briodol, wedi credu! Yna, nis gallai edifeirwch, ffydd, na chariad y sant, fod o un budd i'r pechadur;

oblegid edifeirwch, ffydd, a chariad, dyn arall fyddent; ac ni allai beiusrwydd y pechadur niweidio dim ar y sant, am mai beiusrwydd person arall a fyddai! Ni buasai Saul o Darsis, yn ol y dyb yma, fymryn gwell oblegid ffydd Paul yr apostol; ac oferedd hollol oedd i Paul yr apostol alaru a gofidio ar gyfrif anwybodaeth, anghrediniaeth, a chabledd Saul o Darsis!

3. Os na ddichon dyn, er ewyllysio, ag sydd â'r Bibl yn ei law, gredu, onid yw efe o dan yr angheurheidrwydd farwol o wneuthur Duw yn gelwyddog? (1 Ioan v, 10,) ac o ganlyniad onid yw ei ddamnedigaeth yn anocheladwy? Paham, gan hyny, y pregethir iddo? Paham y gelwir arno i edifarhau a chredu yr efengyl? Onid gwell fyddai dywedyd wrtho yn eglur, bod Duw wedi llwyr fwriadu ei droi ef i uffern am byth, heb ei olygu yn euog o un bai o'i eiddo ei hun? Canys, cofier etto, nad oes y bai lleiaf ar ddyn am beidio gwneuthur yr hyn sydd ynddo ei hun yn anmhosibl. Dywedir bod pregethiad yr efengyl yn arogl bywyd i fywyd i rai, ac yn arogl marwolaeth i farwolaeth i ereill; ond pa fodd y mae yn ddichonadwy iddi fod yn fwyhad o feiusrwydd y dyn a'i gwrthodo, os yw efe, mewn ystyr briodol, yn llwyr analluog i'w derbyn! Ar yr egwyddor yma, gellir dywedyd yn gywir, bod Crist gwedi ei osod "Er codiad i lawer yn Israel," ond nid "Er cwymp" i neb; canys, nis gellir dywedyd bod neb yn *gwrthod* Iachawdwr ag ydynt yn *analluog* i'w dderbyn. Hefyd, yn ol yr egwyddor hon ni bydd yn esmwythach ar Sodomiaid yn y farn nag ar wrandawyr efengyl!

Gorchymynir gweinidogion yr efengyl i rybuddio pechaduriaid o'u perygl, ac i ddeisyfu arnynt gymmodi â Duw. Ac onid yw y pechaduriaid a esgeuluso y rhybyddion hyn, ac a barhant mewn anghrediniaeth, yn anesgusodol, a'u pechod a'u gresynoldeb yn cael eu mwyhau trwy yr esgeulusiad hyn? Mat. xi, 20—24; Heb. ii, 1—5; 2 Cor. 2, 14—16; Diar. i, 20—35. Eithr, os nad oes gan ddyn allu i gydsynio â'r cynghorion, pa le y mae cyssondeb i'w cymhell o'u ystyriaeth! Pe buasai yr Iuddewon yn ymddifaid o allu naturiol i dderbyn y Gwaredwr pan ddaeth "at yr eiddo ei hun," pa fodd y gallesid eu beio am ei wrthod? yn hytrach dylid tosturio wrthynt, ac ystyried y farn lemdost ag y maent dani er ys 17 cant o flynyddau, am ei wrthod, yn dra gerwin, anhaeddiannol, ac anghyfiawn.

Barnaf bod cydwybod pob dyn yn dywedyd wrtho y dylai efe wasanaethu Duw, ac nad oes dim yn ei rwystro i wneuthur felly ond ei anewyllysgarwch pechadurus. Onid ar yr egwyddor hon y mae meddyliau, neu galonau, dynion yn eu cyhuddo a'u condemnio? Onid argyhoeddiad o hyn a'u tery yn fud yn y farn, ac a fydd yn ffynnonell eu gresynoldeb i dragywyddoldeb? Eithr pa fodd y medrent edrych ar eu damnedigaeth yn gyfiawn, pe cospid hwy am esgeuluso yr hyn nad oedd bosibl iddynt ei gyflawni? Dywedir yn fynych mai cydwybod euog yw y "pryf nad yw byth yn marw;" ac mai prif gospedigaeth y damniaid fydd teimlad

erchyll a diddarfod o euogrwydd damniol yn eu cydwybodau; eithr, os yw dyn yn hollol analluog i gredu, y mae uffern yn anocheladwy iddo ef, oni roddir iddo allu newydd. Os nad yw y "tân yn diffodd," fe fydd y "pryf farw" yn fuan. Ni ddichon efe byth feio ei hun, am beidio gwneuthur yr hyn oedd anwneuthuradwy. Ni raid iddo fyth boeni ei hun, a dywedyd, "O na wrandawswn ar lais fy athrawon!" &c., canys ni fu erioed yn meddu ar y gallu i wrando arnynt. Ffolineb fyddai iddo ofyn, "Paham y casäodd fy nghalon addysg?" oblegid nad oedd gallu gan ei galon i wneuthur dim arall! Gwadu gallu naturiol dyn i ufyddhau i Dduw yw cynnyg lladd y pryf nad yw yn marw, alltudio Beibl, croeshoelio rheswm, mogi neu ddystewi cydwybod, pryd y dylai gael llefaru, gwneuthur y pechodau erchyllaf yn anocheladwy, ac, o ganlyniad, yn berffaith ddiniwed, diffodd yr hanner fwyaf angherddol o uffern ei hun, a gwneuthur y Duw sydd yn "hoffi trugarhau" i ddamnio er mwyn damnio!

4. Bod gwrthwynebrwydd rhydd a gwirfoddol dyn yn erbyn Crist, deddf, ac efengyl, yr unig reswm paham *nas dichon* (h. y. nas *myn*,) gredu yn Nghrist, sydd wirionedd nas gellir byth ei wrthwynebu yn llwyddiannus; o herwydd mai ei anallu i gredu yw unig sylfaen ei gondemniad. Paham y beiïr pechaduriaid? Onid am fod ganddynt galon ddrwg o anghrediniaeth? Y meddwl anianol sydd elyniaeth yn erbyn Duw, ac ni fŷn ymgymmodi ag ef, Heb, iii, 12—19; 2 Cor. v, 19, 20; Ioan iii, 18--21. Pe amgen, byddai gan y gwas diog esgus golygus a grymus, ac ni allasid byth amddiffyn ymddygiad y Barnwr am ei gondemnio. Eithr dywed yr Arglwydd, "Yn gymmaint ag i mi eich gwahodd, ac i chwithau wrthod—diystyrasoch fy holl gynghor i, ac ni *fynech* ddim o'm cerydd—dirmygasant fy holl gerydd," &c. Diar. i. Y mae pechadur yn *galonog* yn ei wrthwynebrwydd i Dduw; "Calon plant dynion sydd yn llawn ynddynt i wneuthur drwg," Preg. viii, 11. Efe a gais gan yr Hollalluog gilio oddiwrtho, gan ddywedyd, "Cerais ddyeithriaid, ac ar eu hol hwynt yr af fi," Ier. ii, 25; y mae yn *cau* ei lygaid a'i glustiau fel *nas dichon* weled na chlywed; yn ceisio dryllio rhwymau y Gwaredwr, a thaflu ei reffynau oddiwrtho, gan ddywedyd, "Ni fynaf i'r dyn hwn deyrnasu arnaf." Phil. ii, 3; Ioan v, 40; Luc xix, 14. Am hyny achwyna Duw, "Yn gymmaint ag i mi eich gwahodd, ac i chwithau wrthod, &c. minnau hefyd a chwarddaf yn eich dialedd chwi," &c. Ar y tir hwn y ceuir genau y pechadur, a chyfiawnheir llymdostedd Duw yn ei gospedigaeth gerbron yr holl fyd. Yma gwelir nad yw Duw yn chwennych medi lle nis hauodd, nac yn dysgwyl i'w greaduriaid gyflawni yr hyn sydd yn anwneuthuradwy. Nid yw yn condemnio dynion ond am gamarfer neu esgeuluso y gallu sydd ganddynt. *Ewyllys* ac nid *gallu* dyn a wneir yn rheol ei gymmeradwyaeth neu ei anghymmeradwyaeth gan ei Luniwr.

Gwedi egluro o honof yr ymadroddion *gallu dyn* ac *anallu dyn*, a chynnyg ychydig resymau i brofi fod gallu presennol dyn yn atebol i'w

ddyledswydd bresennol, âf rhagof i sylwi ar y prif wrthddadleuon a godir yn erbyn y gosodiad hwn. Ond cyn gwneuthur hyny, ewyllysiaf fynegu i'r darllenydd (rhag iddo dybied fy mod yr hyn nad ydwyf) fy mod yn llwyr gredu etholedigaeth bersonol a thragywyddol, prynedigaeth neillduol, cyfiawnhad rhad trwy ras, galwedigaeth effeithiol, a pharhad yr adgenedledig mewn gras hyd y diwedd; neu mewn geiriau ereill, bod gras pen-arglwyddiaethol yn teyrnasu mewn iechydwriaeth dyn o'r dechreu i'r diwedd, Eph. i, *3*—*5*; 1 Pedr i, 6; Titus iii, *5*—7; &c.

Os profir bod y gosodiad yn nghyleh *gallu dyn* yn wrthwynebol i'r athrawiaethau ysgrythyrol hyn, i brofiad credinwyr, neu i berffeithderau y Iehofah, myfi a'i gwrthodaf heb betruso; eithr credu yr ydwyf bod y pethau hyn yn eithaf cysson â'u gilydd, ac mai eu huno â'u gilydd yw yr unig ffordd i dderbyn Beibl cyfan, gwarthruddo pechadur euog, a derchafu Gwaredwr graslawn. Yma dysclaeria gras maddeuol yn achubiaeth yr annheilyngaf o dan y nef; ac yma y canfyddir tanbeidrwydd cyfiawnder yn cospi y sawl *ni fynant* i Grist deyrnasu arnynt, a neb ereill o wlad efengyl. Sylwed y darllenydd bod *achosion* cadwedigaeth a damnedigaeth yn llwyr wahanol; a golygiadau cymmysglyd ac aneglur o honynt yw yr achos bod gwrthddadleuon yn codi yn erbyn y gosodiad. Fy ngwaith yn awr a fydd gosod y prif wrthddadleuon ger bron, yn eu cyflawn rym, ac yna dangos eu gwendid, a'u llwyr ddirymu a'u dinystrio·

GWRTHDDADL I.—Tystia yr ysgrythyr yn bendant bod ffydd o weithrediad Duw—ei bod wedi ei *rhoddi* i'r saint gredu mai *rhodd Duw* yw ffydd, Col. ii, 12; Phil. i, 28; Eph. ii, 8.) Pa fodd y cydsaif y tystiolaethau hyn â rhwymedigaeth ac â gallu dyn i gredu heb allu goruchnaturiol? A ddichon yr hyn sydd yn *rhodd o eiddo Duw* fod yn *ddyledswydd ar ddyn?* A anturia neb ddywedyd wrthyf ei bod yn ddyledswydd arnaf i wneuthur, HEB gynnorthwy Dwyfol, yr hyn nis gallaf, ac nis gallodd neb erioed, wedi y cwymp, ei wneuthur, ond trwy gynnorthwy Dwyfol!

ATEB.—Addefaf yn rhwydd mai rhodd Duw yw ffydd, ac na chredodd neb erioed, ac na chred neb byth, i gadwedigaeth yr enaid, heb weithrediad grasol yr Ysbryd Glân. Ond pa beth sydd a fyno hyn â'r ddadl? Oni ellir gofyn gan ddyn fel dyledswydd, yr hyn, o herwydd llygredigaeth ei natur, na wna efe byth heb gynnorthwy Dwyfol? Oni ddarlunir edifeirwch ffydd, cariad, ofn, &c., fel dyledswyddau dynion, ac hefyd fel ffrwythau yr Ysbryd? Fel bendithion, rhoddion Duw ydynt, ond fel dyledswyddau, gwaith dynion ydynt; dynion sydd yn edifarhau, credu, a charu, ac nid Duw yn gwneuthur hyny drostynt, er mai grâs yr Iehofa sydd yn galluogi dynion i wneuthur eu dyledswydd. Os nad oes dim ag sydd yn rhodd Duw yn ddyledswydd ar ddyn, nid oes mwyach mo'r ddyledswydd ar ddyn, a goreu pa gyntaf y dilëir y gair *dyledswydd* o'r geirlechres crefyddol. Os nad yw un tueddfryd meddwl, na gweithred mewn bywyd, a gynhyrfir mewn amser gan Dduw, yn ddyledswydd ar ddyn cyn y gweithio Duw

ar y meddwl, nis gall fod yn ddyledswydd ar y pechadur fod yn ddiolchgar am y trugareddau a dderbyniodd, cyfaddef ei bechodau, gweddio am faddeuant, caru Duw a'i bobl, edifarhau, na bod yn ostyngedig. Diamheu genyf, lle byddo y pethau hyn yn wirioneddol, mai effeithiau gweithrediad Dwyfol ydynt; eithr, ar yr un pryd, dylai pob dyn fod yn ddiolchgar am drugaredd, os yw anniolchgarwch yn bechod; ac felly am edifeirwch, ffydd, a chariad. Nis medraf fi weled dim ond y cyssondeb perffeithiaf mewn dywedyd bod ffydd yn rhodd Duw, ac mai dyledswydd pechadur yw credu.

Mai rhodd Duw yw ffydd sydd eglur oddiwrth yr adnodau rhag-grybwylledig, ac oddiwrth yr ystyriaeth bod y pechadur o hono ei hun yn caru pechod, ac yn casâu y Gwaredwr. Nis myn ddyfod at Grist; rhagorach yn ei olwg ef yw pob gwrthddrych arall. Gwell ganddo bob llywodraeth nâ bod i Grist deyrnasu arno. Ac yn y cyflwr hwn yr erys efe oni weithreda gallu goruchnaturiol ar ei feddwl. Canys nis gellir meddwl bod mewn calon lawn o elyniaeth at Dduw egwyddor dueddol i adnewyddu ei hun. Nis gall gelyniaeth fod yn achos i gariad, neu y pechadur i garu yr hyn a gasëir ganddo ar yr un pryd, neu ddewis yr hyn sydd gâs ganddo. Bob amser efe a ddewisa yr hyn fyddo hyfrydaf ganddo; a'r peth hyfrydaf gan feddwl anianol yw pechod, ac nid Crist a santeiddrwydd; am hyny, os byth y dygir ef i gredu, efe a gyfaddefa mai rhodd Duw yw ffydd: "Trwy ras yr ydwyf yr hyn ydwyf."

Bod credu yn ddyledswydd ar ddyn sydd yr un mor eglur; canys rhaid i'r hwn ni chredo gael ei ddamnio byth. Gwadu hyn fyddai rhyddhau pechadur oddiwrth rwymedigaeth i bob dyledswydd grefyddol; canys nid oes mo'r un ymarferiad, megys gweddi, edifeirwch, cariad, &c. yn dderbyniol gan Dduw, oni chyflawnir mewn ffydd." Pan dröir ffydd allan o lechres dyledswyddau, y mae yr holl daflen yn cael ei dileu ar unwaith, am fod ffydd yn rhinweddol yn eu cynnwys oll. Ni fedr dyn roddi ufydd-dod derbyniol i Dduw hyd oni chredo, ac ni chreda efe heb weithrediad Dwyfol ar ei gyflwr. Nid oes yma yr anghyssondeb lleiaf; nid yw ond dangos bod dyn mor llygredig fel na chyflawna ei ddyledswydd tuag at Dduw o hono ei hun. Eithr ni byddai dywedyd *nas dichon* neb gyflawni eu dyledswydd, oblegid nad oes neb yn ei wneuthur, yn ymresiad cywir; ni foddlonid iddo mewn achosion gwladol, ni chymmeradwyid y gwas a haerai nas gallai wasanaethu ei feistr, heb un rheswm dros ei anallu, ond nad oedd yn ewyllysio ei wneuthur. Tueddai y fath ymresiad i brofi nad oes rwymau ar, na gallu gan, ddyn i wneuthur dim a'r nad yw yn ewyllysio ei gyflawni; ac felly, mai rheol ei ddyledswydd yw ei *ewyllys*, ac, o ganlyniad, nas dichon efe bechu cyhyd ag y dilyno ei dueddfryd ei hun; neu, mewn geiriau ereill, na phechodd neb erioed, ac nad yw yn bosibl i neb bcehu byth!!!

Er hyn oll, gofynir byth, "Pa fodd y gall yr hyn sydd yn *rhodd Duw* fod yn *ddyledswydd ar ddyn?* Pa fodd y gallaf wneuthur, heb gynnor-

thwy Dwyfol, yr hyn nad yw yn bosibl i'w wneuthur ond trwy y cynnorthwy hwnw?"—Bod ffydd yn rhodd Duw, ac etto yn ddyledswydd ar ddyn, a brofwyd yn helaeth yn y sylwadau blaenorol; gan hyny, gofynaf innau yn awr, Paham na ddichon dyn gredu? Ai nid gwir y Beibl? Onid oes a fŷno y pechadur â'r hyn a ddatguddir ynddo? Onid yn ol hwn y bernir ef yn y dydd diweddaf? Oni ddatguddir yr hyn a berthyn i'w heddwch yn ddigon eglur ynddo? Onid yw efe feddiannol ar alluoedd meddyliadol tra mawrion? Efe a fedr ddyfeisio peiriannau, a threiddio yn rhyfedd i ddirgelion natur; oni byddai yr un galluoedd, pe defnyddid hwy yn onest a dyladwy, yn ddigonol i chwilio, deall, a chredu tystiolaeth yr efengyl? Nid oes neb a anturia ddywedyd ei bod yn fwy anhawdd credu tystiolaeth yr hwn nas dichon fod yn gelwyddog, nâ chredu tystiolaeth dyn methedig ac anmherffaith. Etto, fe gredir dynion mewn achosion ag y byddo llawer o feddiannau, cymmeriad, a bywyd, yn ymddibynu ar eu tystiolaeth. Credir tystiolaeth yr hanesydd, y masnachwr, y cyfreithiwr, a'r meddyg, ac ymddygir yn gyfatebol. Mewn llysoedd barn a chymdeithasau crefyddol, tystiolaethau dynol a derfynant achosion tra phwysig. Os ydym, gan hyny, yn derbyn tystiolaeth dynion, y rhai ydynt ddarostyngedig i dwyllo a chael eu twyllo, paham na dderbynid tystiolaeth y Duw mawr, yr hwn nis gall fod yn gelwyddog! Os dywedir ei bod yn naturiol i natur syrthiedig gredu dyn mewn pethau perthynol i'r fuchedd hon, ond nad yw felly i gredu gair Duw; addefaf hyny yn rhwydd; ond gwelir bod yr haeriad a'r addefiad yn profi yr hyn oedd mewn golwg genyf, sef, mai annhueddgarwch ac anewyllysgarwch dyn i dderbyn pethau ysbrydol yw yr unig reswm na chreda efe yr efengyl: "Caru y mae efe y tywyllwch yn fwy nâ'r goleuni." Parotöed pawb, gan hyny, i ateb gofyniad pwysig ein Gwaredwr: "Od wyf fi yn dywedyd y gwir, paham nad ydych yn credu i mi?" Ioan viii, 46. A fedr neb yn y farn ateb, "Arglwydd, *ni allaswn* i ddim credu; nid oedd genyf fwy o allu i hyny nag sydd gan y marw i godi o'i fedd." Na, tarawir pob anghredadyn â mudanwch y dydd hwnw. Rhaid addef mai drygioni y galon, ac nid diffyg cynneddfau neu allu, yw y rhwystr i gredu.

GWRTHDDADL II.—Dywedyd bod nerth presennol dyn yn atebol i'w 'ddyledswydd bresennol sydd berffaith wrthwynebol i haeriad ein Harglwydd; "Ni ddichon neb ddyfod ataf fi, oddieithr i'r Tad, yr hwn a'm hanfonodd i, ei dŷnu ef," Ioan vi, 44; ac i brofiad yr apostol wedi ei ddychweliad; "Canys yr hyn yr wyf yn ei wneuthur, nid yw foddlon genyf—y peth sydd gas genyf, hyn yr ydwyf yn ei wneuthnr," &c. Rhuf. vii, 14—25.

Caniatêir yn rhwydd nad oes duedd mewn pechaduriaid i ddyfod at Grist, ac am hyny, nas deuant hyd oni thueddir hwy i ddyfod; a phrofwyd yn helaeth eisioes bod eu hanalluawgrwydd yn gynnwysedig yn eu hanewyllysgarwch. Dywed Dr. Gill, ar y testun hwn, "Tra byddo dynion mewn cyflwr diailanedig a thywyllwch, nid ydynt yn gweled

angen dyfod at Grist—y maent wedi eu rhagfarnu yn ei erbyn, a'u calonau wedi eu gosod ar bethau ereill." Y mae holl dueddfryd eu calonau yn groes i Grist; ac am na ddichon casineb newid ei hun i gariad, na thywyllwch achosi goleuni; felly nis dichon neb, ar gyfrif eu tuedd ddrygionus, (yr hon yw pechod eu pechodau), ddyfod at y Gwaredwr heb dyniadau Dwyfol, i'w gwneuthur yn ewyllysgar yn nydd nerth Duw.

Mewn perthynas i brofiad Paul, gellir gofyn, Pa un ai gweithredu yn groes i'w dueddfryd neu i'w farn yr oedd efe? Amlwg yw mai nid y cyntaf, o herwydd nad oes un gallu mewn nefoedd, daear, nac uffern, a ddichon beri i ddyn bechu yn erbyn ei ewyllys, pe byddai hòno yn berffaith wrthwynebol i'r drwg; nis dichon ei wneuthur, am yr un rheswm ag nas dichon hoffi pechod; nis dichon diafol ei wneuthur —temtio, ac nid treisio yr ewyllys yw y cwbl a fedr efe wneuthur; ac, yn wir, pe medrai rhyw allu beri i ddyn bechu o'i anfodd, y gallu hwnw, ac nid y dyn, fyddai yn troseddu, ac yn atebol am y trosedd. Pe gosodid ffagl yn fy llaw, a'i rhwymo yno o anfodd fy nghalon, fel na allwn ei thaflu ymaith, a chael o honof fy nwyn trwy drais at dŷ neu ydlan fy nghymmydog, a gosod y cwbl ar dân, nid oes gyfraith mewn nef na daear a'm beiai i, eithr coll-farnid y dyhirod a'm gwnaent yn offerynol mewn cymmaint drwg. Llefara yr apostol am dano ei hun, fel o dan gynhyrfiad dwy egwyddor wahanol, a'i fod ef weithiau i ryw raddau o dan lywodraeth llygredd tufewnol, neu ddeddf ei aelodau, yr hon a'i cynhyrfai i feddwl, dywedyd, a gweithredu, ar brydiau, yn groes i benderfyniadau ei gydwybod dyner, yr hyn a berai iddo gymmaint gofid nes peri iddo waeddu allan, "Ystruan o ddyn," &c. Eithr pe esbonid ei eiriau yn y fath fodd ag i arwyddo ei fod yn pechu heb gydsyniad ei ewyllys, ni buasai raid iddo ofidio, na dywedyd, "Ystruan o ddyn;" o herwydd mai yr hwn, neu y rhai a wnaethant drais ar ei ewyllys, ac nid efe, fuasent atebol am ei droseddau.

> GWRTHDDADL III.—Os dyledswydd dynion yw credu, a gadael y gallant gredu os mŷnant, a bod yn gadwedig, yna dichon dynion fod yn gadwedig, heb fod yn ddyledus i Ddwyfol ras; yn ol y gosodiad hwn gwrthodir yr anghenrheidrwydd o weithrediad yr Ysbryd mewn dychweliad, a gosodir anrhydedd Dwyfol ras yn y llwch; gwrthwynebir yr apostol; canys wedi y cwbl, ymddengys mai "o'r hwn sydd yn ewyllysio ac yn rhedeg *y mae*," a bod dyn yn iachawdwr iddo ei hun.

Profwyd eisioes yn ddiymwad mai dyledswydd dyn yw credu, ac addefir o'r ddau tu y bydd pawb gadwedig a gredant. Yr unig beth, gan hyny, yn y gwrthddadl hwn yw, "Pa fodd y dichon bod gallu gan ddyn i wneuthur ei ddyledswydd fod yn gysson ag iechydwriaeth trwy ras?" Sylwer yma nad oes modd canfod cyfiawnder Duw yn nghospedigaeth anghredinwyr, os nad oedd ganddynt allu i gredu, ac mai anaddas iawn yw i ni lychwino purdeb cyfiawnder dan rith o sêl dros anrhydedd

gras pen-arglwyddiaethol. Ond ychydig ystyriaeth a ddengys mai ar yr egwyddor hon yn unig y gellir rhoddi anrhydedd dyladwy i rad ras. Ymddysclaeria gras yn dra rhagorol yn achubiaeth y rhai, o herwydd uchder eu ffroen, ni cheisient Dduw, ac ni fŷnent i Grist deyrnasu arnynt. Ni byddai angen ond wrth ras bychan i achub y digymhorth *na allai* gredu, mewn cymhariaeth i'r *gras mawr* gofynol i achub y rhai *a allant* ond *ni fŷnant* dderbyn tystiolaeth Duw. Yn achubiaeth y blaenaf gwelir tosturi at weiniaid *diddrwg;* canys diddrwg, fel y sylwyd, yw pawb na wnelont yr hyn sydd ynddo ei hun yn anwneuthuradwy; ond yn achubiaeth yr olaf, gwelir anfeidrol oludoedd gras, yn plygu y cyndyn ystyfnig, yn dysgu yn effeithiol yr hwn yn wirfoddol a wrthodai addysg, yn maddeu yn rhad i'r gwrthryfelwr ffyrnig, yr hwn a wnaeth a fedrai i ddwyn y llywodraeth Ddwyfol i warth, ac yn llwyr iachâu y sawl a anafwyd wrth ryfela yn erbyn awdurdod y Nef, a hyny yn llwyr ddiachos. Dyma ras anfeidrol!

Os nad oes gan ddyn allu i gredu pe ewyllysiai, nid oes nemawr, os dim, rhwymau ar y dychweledigion i edifarhau am a wnaethant yn erbyn Duw; canys pa fodd y gellir edifarhau am yr hyn nad oedd bosibl ei ochelyd, er ymdrechu? Ac os nad oes galwad am edifeirwch dwys, nid yw y rhwymedigaethau i ddiolchgarwch yn gedyrn iawn; nid oes hanner cymmaint amlygiad o gariad, gras, a thrugaredd, yn ymddangos yn nerbyniad y dyn a wnelai dda pe *gallai,* ag sydd yn achubiaeth yr hwn na *fŷnai* ddefnyddio ei alluoedd i wneuthur arch ei Arglwydd.—Yr oedd gan ŵr ddau was, *gallu* a *dyledswydd* y ddau oeddynt yn ddiwahaniaeth; ar un diwrnod nid aeth mo'r un o honynt at ei waith; cafodd y meistr y ddau yn y gwely—aeth atynt, a gofynodd yr achos; dywedodd y cyntaf, gan ymestyn ar ei wely, nad oedd efe yn hoffi cyfodi; nad oedd dim calon gydag ef i weithio, nad oedd efe yn caru gweithio, ac nad oedd efe yn ewyllysio i'w feistr reoli arno, ond y byddai iddo wneuthur fel y mŷnai efe ei hun. Dywedodd y llall, "Blin genyf meistr, bod eich gwaith heb ei wneuthur; gwaith da ydyw; myfi a'i gwnawn, pe medrwn; myfi a wnaf bob peth yn fy *ngallu* i'ch boddhau; ond y mae mor anmhosibl i mi weithio heddyw, ag yw i mi hedeg i'r cymylau, cefais yr anffawd o *dòri fy nghoes!*" Cenfydd pawb diragfarn, mai gwas drwg a diog, yn haeddu gŵg ei feistr, oedd y cyntaf, ond bod yr olaf yn wrthddrych addas i'w dosturi; ac felly byddai derbyn y cyntaf i'w gyfrinach a'i wobrwyo yn amlygiad o lawer mwy o hynawsedd nâ derbyniad yr olaf. Eithr pe meddyliem am drydydd gwas, yr hwn a brofai bod ganddo *allu* i fyfyrio, llefaru, a gweithio, trwy ffurfio cynlluniau i ddrygu ei feistr, defnyddio pob cyfle i roddi anair iddo, a threulio ei holl amser i ddystrywio ei feddiant, byddai trugaredd lawer helaethach yn ofynol i faddeu a gwneuthur cyfaill mynwesol o hwn nag a fyddai eisieu i wneuthur yr un peth i'r lleill.

Mewn gair, gwadu bod gan ddyn allu, pe ewyllysiai, i gredu, yw gosod

esgus digonol dros y pechodau erchyllaf yn erbyn Duw; golchi a chànu y troseddwr yn ei bydew ei hun; cyfiawnhau yr annuwiol heb gyfiawnder Crist; gwneuthur cyfiawnder ei hun yn anghyfiawn, trwy gospi dynion am beidio cyflawni anmhosiblderau; a throi gras anfeidrol a digyffelyb Duw y cariad i dosturi cyffredin! Attolwg, sylwed Antinomiaid ar ganlyniadau dinystriol eu hegwyddorion angeuol.

GWRTHDDADL IV.—Genir dyn yn ansantaidd. Cyfraith Duw, yr hon yw rheol ei ddyledswydd, a ofyn berffeithrwydd. Ai cymhwys gan hyny yw dywedyd mai *dyledswydd bresennol* pechadur yw bod yn berffaith, a bod ganddo allu digonol i gyflawni ei ddyledswydd, ac y dichon efe wneuthur hyny os ewyllysia?

Milwria grym y gwrthddadl hwn yn erbyn pob trefniant crefyddol ag sydd yn cynnwys yr athrawiaethau o bechod gwreiddiol, perffeithrwydd a pharhad y ddeddf Ddwyfol, a galwad gyffredinol yr efengyl; am hyny nid oes arnaf fi fwy o rwymau i'w ateb, nag sydd ar ereill. Pa fodd bynag, ymdrechaf ei symud oddiar y ffordd.

Addefaf bod dyn yn llygredig, bod y ddeddf yn gofyn perffeithrwydd, i garu Duw â'r holl galon, â'r holl nerth, &c. Ond os yw gofyniadau deddf yn parhau mewn grym, rhaid bod yr hyn a geisia hi yn gyfiawn; ac os felly, rhaid mai tuedd anghyfiawn a drygionus y galon yw yr achos o herwydd yr hwn nas dichon y pechadur wneuthur yr hyn y mae yn geisio. Ac nid oes mo'r llys barn, nefol na daearol, a esgusoda weithred ddrwg oblegid bod y troseddwr yn gweithredu oddiar egwyddor ddrwg, ond i'r gwrthwyneb, hyny sydd yn ei wneuthur yn ddrwg trwyadl. Yn mhellach, nid yw yr efengyl yn dywedyd wrth neb, "Cadw yr holl ddeddf, a chadwedig a fyddi;" eithr y cyfarwyddyd a rydd hi i bawb i fyned i Sïon yw, "Cred yn yr Arglwydd Iesu a chadwedig fyddi," er cymmaint a droseddaist ar y ddeddf; derbyniwyd ufydd-dod perffaith y Gwaredwr, yr hwn a roddir yn nghyfrif pawb a gredant, megys pe byddent wedi ei wneuthur eu hunain. Wyneba efengyl arno, nid fel gŵr perffaith, ond fel troseddwr euog; felly y pechod lleiaf, heb ffydd yn Nghrist a'i damnia, eithr gyda'r ffydd hon, nis medr y rhifedi mwyaf o'r pechodau echryllaf ei ddinystrio.

GWRTHDDADL V.—A gadael bod gan ddyn *allu* digonol i gredu, os nad oes ganddo *duedd* neu *ewyllys* i ddefnyddio y gallu hwnw, yn y fath fodd ag y *credo* o hono ei hun, onid yw hyn yn gymhwys yr un peth? Nis dichon gredu heb ewyllys i hyny, ac nis dichon roddi yr ewyllys hyny iddo ei hun; felly, wedi'r cwbl, y mae efe wedi ei gau dan anghrediniaeth, heb bosiblrwydd i ddianc, oni chyfnewidia Duw ei galon.

Mewn atebiad i'r gwrthddadl hwn, addefir na chreda yr un pechadur hyd oni chyfnewidir ei galon gan Dduw y gras; eithr nid yw y ddadl yn nghylch pa un a *ewyllysia* dyn ddychwelyd, ond pa un a *ellai* pe *chwen-*

*nychai;* gan hyny, nid yw dywedyd nad oes ganddo ewyllys, ac nas dichon roddi ewyllys iddo ei hun, yn perthyn dim i'r pwnc, oddieithr bod y gwrthddadleuwr yn meddwl bod dyn yn *chwennychu* cael ewyllys, ond nas *dichon* ei chael. Eithr y mae tybied bod dyn *anewyllysgar* i ddyfod at Grist, yn *ewyllysio cael ewyllys* i ddyfod ato, ond yn *analluog* i'w chael, yn fath wrthuni a gwrthddywediad, fel na raid cynnyg un math o atebiad i'r drychfeddwl hunan-ddinystriol. Os gofynir, "Pa fodd y dichon y pechadur anewyllysgar gael ewyllys?" Atebaf, "Nid yw efe am ei chael, gwell ganddo fod hebddi." Hefyd, y mae dywedyd bod dyn anewyllysgar yn analluog i gredu, yn ymresymiad hollol dwyllodrus. Ac y mae dywedyd bod dyn dan anghenrheidrwydd anocheladwy i barhau mewn anghrediniaeth, oni wel Duw yn dda gyfnewid ei galon, yn fath o gyhuddiad ar yr Hollalluog o fod yn achos o'i anghrediniaeth, ac yn esgus i'r troseddwr dros ei bechod, am na roddes Duw fesur digonol o ras iddo i gyfnewid ei galon! Y mae yr egwyddor hon yn tywys yn uniongyrchol naill ai at uchelderau dinystriol Antinomiaeth, trwy wadu pob rhwymedigaeth i gredu lle na byddo ewyllys i hyny, neu i ddyfnderoedd anobeithiol Arminiaeth, trwy dybied bod gwaith yr Ysbryd ar yr enaid yn anghenrheidiol i'w wneyd yn atebol am ei anghrediniaeth. Ac nid oes lwybr yn bod i ochelyd y pellafoedd hyn, ond yn unol â'r egwyddorion a amddiffynir genyf yma.

A anturia rhyw un ddywedyd, bod yr hwn sydd yn sefyll mewn angen i gael gallu Dwyfol i newid ei galon, yn hollol ddifai yn ei wrthwynebiad i Dduw? Nad yw ei gariad at bechod yn feius, o herwydd bod y cyfryw gariad yn rhy gryf i ddim ond gallu Dwyfol ei ddarostwng? Os felly, pa fwyaf annhueddol ac anewyllysgar fyddo dyn i wneuthur yn gyfiawn, mwyaf difeius a fydd; ac yn y modd hyn sylfaenir ei gyfiawnhad, nid ar ei gyfiawnder ei hun, nac ar eiddo Crist, ond ar gyfiawnder ei ddrygioni! Yn ol yr egwyddor hon, ni raid i'r pechadur ond ymgaledu fwyfwy yn erbyn Duw, i leihau ei rwymedigaethau i'w wasanaethu; neu, os ystyrir ef yn ddigon caled eisioes, nid yw yn atebol i Dduw am ddim a wnelo! Yn y modd hyn, y cythreuliaid, y rhai nad oes ganddynt duedd nac ewyllys i garu Duw, ond yn elynion anghymmodlon iddo, yw y creaduriaid mwyaf diniwed a difai o neb! Beth pe cynnygai llofrudd i amddiffyn ei hun mewn llys barn ar yr egwyddor hon, gan ddywedyd, "Addefaf i mi ladd fy nghymmydog diniwed, ond ystyried y barnwyr a'r rheithwyr fy mod yn ddiniwed er hyny; nid oedd genyf duedd nac ewyllys i weithredu i'r gwrthwyneb; fy ewyllys oedd gwneuthur yn gymhwys megys ag y gwnaethum, a gwyddoch na allaswn roddi ewyllys arall i mi fy hun, ac o ganlyniad nid oedd yn bosibl i mi ei arbed, a gobeithiaf nad ydych yn meddwl condemnio dyn am beidio gwneuthur anmhosiblderau. Oni wnelai y fath amddiffyniad i waed pawb gonest wylltio yn eu gwythienau, a'u tueddu i waeddu allan, Ymaith â'r fath ddyhiryn ysgeler! ag sydd yn haeru ei fod yn llofruddio o egwyddor.

Eithr dywed y gwrthddadl mai yr un peth yw bod heb *ewyllys* â bod heb *allu*, am nad yw dynion yn medru newid eu hewyllys eu hunain. Os felly, yr un peth yn gymhwys yw bod yn ddall, heb lygaid i weled, ag yw cau llygaid da rhag gweled; yr un peth yn gymhwys yw peidio gweithio o ddiffyg nerth corfforol, ag yw peidio o ddiffyg tuedd, er bod digon o allu yn y corff. Fel hyn, gallai y gwas diog daeru, "Yr un peth mewn sylwedd yw diffyg ewyllys ag yw diffyg gallu i weithio. Gwir yw bod genyf gorff galluog, ond beth dâl hyny! gallaf brofi nad oes genyf ewyllys i weithio, a bod yn gas genyf fi weithio erioed, a pha beth yw y gwahaniaeth pa un ai o ddiffyg gallu neu o ddiffyg tuedd? y mae y gwaith heb ei wneuthur, a gŵyr pawb nas gallaf newid fy ewyllys, am hyny, yr un peth yw ystyr *nis gallaf* ag yw *nis mynaf*." Ond pa feistr a oddefai y fath ymresymiad? Neb. Yn ol y dull yma o ymresymu, gallai y lleidr anfad a'r llofrudd gwaedlyd gyfiawnhau eu hunain, oddieithr profi mai yn groes i'w hewyllys y cyflawnant eu holl erchylldod.

Mewn gair, camddefnyddio ein galluoedd a'n breintiau, ac nid am nad yw y cyfryw genym, yn ol rheswm ac ysgrythyr, sydd yn gwneuthur gweithred yn bechadurus.

---

## GWRTHDDADLEUON YN ERBYN BUDDIOLDEB GWEDDI YN CAEL EU SYMUD.

### (PIGION O DR. DWIGHT.)

"Llawer ddichon taer weddi y cyfiawn," sydd haeriad a gadarnheir gan brofiadau gwir weddiwyr yn mhob oes; y patriarchiaid, y proffwydi, yr apostolion, a'r merthyron dewrion, a chan yr annogaethau, a'r addewidion a roddir i weddiwyr, ynghyd â'r hanesion ysgrythyrol sydd genym am lwyddiant gweddi daer mewn gwahanol oesoedd; er hyny treulia llawer eu hamser heb weddio byth mewn modd dyladwy; ac weithiau cyfyd amheuon yn meddyliau dynion da, o barthed buddioldeb gweddio. Amcanir y sylwadau canlynol er symud pob gwrthddadl a allo ymgynnyg i feddwl y cyfryw ar y pen hwn, fel na byddo raid i neb, o'r cymmeriad hyny, ddywedyd rhagllaw, "Pa fudd fydd i ni os gweddiwn arno?" sef, ar yr Arglwydd.

Yr anhawsdra mewn perthynas i *lwyddiant* gweddi a osodir allan yn y gwrthddadleuon canlynol:—

"Oni raid bod gweddi yn anfuddiol, am fod pob peth wedi eu *penderfynu* yn nhragywyddoldeb gan Dduw? A'r hwn sydd wedi penderfynu pob peth yn nhragywyddoldeb, sydd Fôd *anghyfnewidiol;* am hyny, nis dichon gweddi newid ei feddwl ef, na'i dueddu i roddi bendith i'r hwn y penderfynodd efe roddi melldith. Pe buasai efe heb *benderfynu* dim cyn yr amser; neu, pe buasai yn *gyfnewidiol*, byddai rhyw obaith i lwyddo wrth

ymbil taer am ei nawdd. Pe buasai heb benderfynu na ffurfio unrhyw drefniant i'w gadw, er bod yn *anghyfnewidiol*, gallasai ysgatfydd, o bryd i bryd weithredu yn unol ag erfyniadau ei addolwyr; neu, pe buasai yn *gyfnewidiol*, er penderfynu ynghylch pob peth cyn amser, gallasai taerineb yr anghenog ei dueddu i roddi heibio ei gynlluniau cyntaf, a gweithredu yn wrthwyneb iddynt; ond am fod y cwbl wedi ei ragderfynu gan Fôd nas dichon gyfnewid mewn dim, onid *oferedd* yw gweddio arno? Ië, onid yw gweddio yn *bechadurus*, yn neillduol pan geisiom yr hyn nad yw Duw yn ewyllysio ei roddi? Yr hyn ag y mae Duw wedi fwriadu a fydd sicr o gael ei roddi, pa un a weddiom ni ai peidio; a'r hyn nad yw efe wedi penderfynu ei roddi, ni's gellir ei gael, gan nad pa mor daer y byddir yn ei geisio; ac, yn wir, wrth weddio am yr hyn nad yw efe yn ewyllysio ei roddi, y mae ein gweddiau yn hollol groes i'w ewyllys ef."

Wele yr wrthddadl yn ei chyflawn rym, gerbron y darllenydd; ond cyn rhoddi yr atebiad gofynol iddi, buddiol fyddai profi dau beth a gymmerir yn ganiatäol ynddi; sef, bod Duw wedi penderfynu pob peth cyn amser, ac hefyd ei fod yn anghyfnewidiol, ac am hyny na newidier neb o'i benderfyniadau.

1. Nis dichon dim fod yn fwy sicr nâ hyn; sef, os bu, neu os yw, neu os bydd Duw yn ddeiliad unrhyw benderfyniad, ar unrhyw bryd, rhaid fod ei holl benderfyniadau wedi cael eu ffurfio er tragywyddoldeb, canys ynddo ef "Nid oes gyfnewidiad, na chysgod tröedigaeth." O ganlyniad nis dichon efe fod yn ddeiliad unrhyw benderfyniad newydd. Nis dichon fod ganddo amgyffredion, meddyliau, na golygiadau newyddion. "Hysbys iddo ef ei holl weithredoedd o'r dechreuad." Ei holl weithredoedd a ddyfeiswyd ganddo ef ei hun, am hyny rhaid ei fod yn hysbys o honynt; felly nis dichon na hanfod na dygwyddiad fod, ond yr hyn a ddyfeisiodd efe, a'r hyn y mae yn hysbys o hono. Ac am ei fod ef yn Dduw Hollwybodol, yn canfod y diwedd o'r dechreuad; ïe, yn gwybod am bob amcan, gweithred, a chyfnewidiad perthynol i greaduriaid, yn eu holl amgylchiadau, a'i allu yn o gyfled â'i ewyllys, y mae mor annichonadwy iddo ef fod yn gyfnewidiol ag yw iddo fod yn gelwyddog. O herwydd paham, yr hyn a ddewisodd, a ewyllysiodd, neu a benderfynodd unwaith, a raid fod ei ddewisiad, ei ewyllys, a'i benderfyniad bob amser; ac, os na ddarfu iddo ef ddewis, ewyllysio, neu benderfynu yn y dechreuad, neu cyn amser, eglur yw i reswm na wna efe hyny byth.

2. Y mae hanfodiad Duw yn un hanfodiad *presennol* a *digyfnewid*; ac nid yw ei barhad ef ond tragywyddol *Nawr*, heb ddim wedi myned heibio nac i ddyfod, megys mynydyn anrhanedig o'n hanfodiad ni, yn ol y golygiadau sydd genym ar bethau. *Efe*, yn llythyrenol, a *breswylia dragywyddoldeb*, (Esay lvii, 15,) neu, efe a'i lleinw ar unwaith, megys y mae yn llenwi pob ëangder ar unwaith, ac nid yn olynol rhan yn awr a rhan bryd arall. Mewn gwirionedd, nid oes gymhariaeth briodol rhwng ein hanfodiad olynol ni ag hanfodiad anghyfnewidiol y Iehofa; un peth,

neu ychydig bethau ydynt bresennol i ni ar y pryd; ond gydag ef y mae pob peth, o'r dechreu i'r diwedd, yn bresennol bob amser.

3. Holl *ragderfyniadau* Duw a sylfaenwyd ar yr un rhesymau yn gymhwys ag y sylfaenid ei benderfyniadau, pe byddai yr holl fodau a'r dygwyddiadau, a gymmerant le olynol, yn hanfodi cyn penderfynu o hono. Mewn geiriau ereill, yr un meddyliau a golygiadau yn gymhwys sydd gan Dduw am bethau wedi iddynt gymmeryd lle, ag oedd ganddo cyn iddynt hanfodi neu ddygwyddo. Gyda dynion nid oes nemawr o oruchwylion a'r nad oes rhyw beth newydd yn dyfod i'w golwg o berthynas iddynt. Mynych y dywed y cywreiniaf yn eu mysg, "Pe gwybuaswn cyn dechreu y gorchwyl gymmaint ag a wn i yn awr, buaswn yn gwneuthur hyn a hyn yn wahanol i'r modd ag y mae; ond y mae rhyw beth i ddysgu tra byddom byw; dyma ddysg i mi erbyn y tro nesaf." Eithr nid oes gan Dduw ddim i'w ddysgu, yr oedd mor ddoethed ac mor wybodus cyn creu y byd ag yw yn awr, ac mor ddoethed yn awr ag y bydd i dragywyddoldeb diddarfod. *Cyn* gwneuthur pob rhan o'r greadigaeth yr oedd wedi penderfynu gwneuthur gwaith da; ac, *wedi* gwneuthur y cwbl, dywedai am y cwbl, "Wele *da iawn* ydoedd;" yr un olwg yn berffaith oedd ganddo ar y cwbl *wedi* ag oedd *cyn* iddo ei wneuthur: o ganlyniad, pob peth a benderfynwyd gan Dduw i'w wneuthur, i'w oddef, neu i'w ganiatâu, a benderfynwyd ganddo yn nhragywyddoldeb. Nid dichonadwy i Fôd perffaith mewn gwybodaeth, gallu, a doethineb i ffurfio penderfyniadau newyddion; am hyny holl benderfyniadau Duw, ydynt o anghenrheidrwydd, o dragywyddoldeb. Chwennychwn lefaru gyda pharch, wrth ddywedyd, "Nis gall Duw, am ei fod yn berffaith, wneuthur yr hyn a ddichon dyn, yr hwn sydd anmherffaith, ei gyflawni."

4. Ni ddylid gwrthddadlu ychwaith yn erbyn *anghyfnewidioldeb* Duw; yr unrhyw rhesymau a brofant na ddichon efe gyfnewid ag ydynt yn dangos na ddichon ffurfio penderfyniadau newyddion. Hefyd, y mae Duw o dragywyddoldeb yn gymhwys yr hyn ag y dylai pob bôd rhesymol ddymuno iddo fod; yn meddiannu pob rhagoroldeb yn y perffeithrwydd o hono, yn gwybod am bob peth a hanfododd, ac sydd yn hanfodi, ac a hanfoda; yn gallu gwneuthur pob peth, ac yn dueddgar i wneuthur pob peth ag sydd yn gywir, cyfiawn a da. O dragywyddoldeb i dragywyddoldeb, ni wnawd, ac ni wneir, ni oddefwyd ac ni oddefir, i ddim gymmeryd lle; ond yr hyn a fedr perffaith ddoethineb, a pherffaith ddaioni ei gymmeradwyo. Pwy ddichon ddymuno cyfnewidiad yn y fath Fôd gogoneddus? Pa gyfnewidiad a ellai gymmeryd lle? Nis gellir cyfnewid perffeithrwydd i ddim ond i anmherffeithrwydd; na daioni i ddim ond drygioni. Anghyfnewidioldeb Duw a'i allu yw y gongl-faen sydd yn dàl creadigaeth ynghyd; pe byddai modd symud yr ateg yma, syrthiai yr holl adeilad harddwych bendramwnwgl; ïe, ni byddai sicrwydd am ddim, eithr llenwid y bydoedd a thragywyddoldeb ag amheuaeth, gofid a dychryn.

Gwedi gosod o honof yr wrthddadl gerbron yn ei chyflawn rym, a

phrofi yr hyn a gymmerwyd yn ganiatäol ynddi, brysiaf i ddangos ei bod ynddi ei hun yn hollol ddirym.

1. Nid dichonadwy i weddi fod yn *feïus* neu *bechadurus*, er y gallem geisio rhai pethau a benderfynwyd, gan Fôd anghyfnewidiol, na fydd i ni eu cael, canys y mae pob gwir weddiwr yn deisyfu bob amser am bethau fyddo yn unol â meddwl Duw, a dim yn mhellach. Y mae rhai pethau wedi eu haddaw yn bendant i bob gweddiwr diragrith; gellir ceisio y pethau hyny yn hyderus, gan gredu na anfoddlona Duw wrthym, ond yr ymhyfryda efe yn yr hyn a wnawn. Ac am bethau nad ydynt wedi cael eu haddaw yn bennodol, ag y gallem ni feddwl fod arnom lawer o'u heisieu, gallwn eu gofyn gan Dduw gyda gostyngeiddrwydd, heb ryfygu eu ceisio ond yn ol ei ewyllys ef, na dysgwyl eu cael oni fydd eu rhoddi yn dda yn ei olwg ef. "Nid fy ewyllys i ond dy ewyllys di a wneler." Tra byddir yn gweddio yn y modd hyn, nis dichon ein gweddiau fod yn feïus; ond i'r gwrthwyneb, y mae yn nod o dduwioldeb; canys ni bu dyn duwiol erioed a'r na byddai yn ymddwyn yn y modd hwn. Y rhan a erys yn awr o'r wrthddadl yw hyn, "a gadael bod gweddi ynddi ei hun yn ddifeïus, pa fudd sydd oddiwrthi gan fod Duw anghyfnewidiol wedi rhag-derfynu pob peth a gymmer le hyd y diwedd?" Sylwaf yn

2. Bod y gwrthddadleuwr wedi colli ei olwg ar un peth o'r pwys mwyaf perthynol i'r pwnc hwn, sef bod Duw wedi rhagderfynu y moddion yn gystal â'r dybenion. Dywedodd yr angel wrth Paul, ychydig cyn y llong-ddrylliad, fod Duw wedi rhoddi iddo ef y rhai oedd yn morio gydag ef; etto, dywedai Paul nas gallent fod yn gadwedig, oni arosent yn y llong, Act. xxvii, 22—31. Y dyben penderfynol yma oedd *achub bywydau* y rhai oedd yn y llong, a'r moddion a benderfynwyd i ateb y dyben oedd *aros yn y llong*. Yn awr, gan fod y moddion wedi eu rhag-derfynu gan yr un Bôd anghyfnewidiol, ag a rag-derfynodd y dybenion, y mae y cyntaf yn anhebgorol angheurheidiol i ddwyn oddiamgylch yr olaf. Penderfynodd Duw i achub pechaduriaid mwy nâ rhif: eithr rhag-derfynodd hefyd mai trwy ffydd yn Nghrist yr achubid hwynt; gan hyny, y mae ffydd yn anhebgorol i fywyd tragywyddol. Yn yr un modd efe a benderfynodd roddi bendithion angheurheidiol i'w bobl, eithr penderfynodd yr un mor gadarn i'w rhoddi mewn atebiad i'w gweddiau, "Mi fŷnaf fy ngheisio gan dŷ Israel." "Ceisiwch a chwi a gewch." Ffolineb yw dysgwyl cael heb geisio. Gwelwn fod y fendith wedi ei chyssylltu mor gadarn wrth weddi, â phe byddai teilyngdod yn y weddi ei hun i'w hennill.

3. Y mae yr wrthddadl hon yr un mor gadarn yn erbyn pob math o ymdrechiad dynol mewn unrhyw achos, ag yw yn erbyn gweddi. Os yw penderfyniad anghyfnewidiol Duw yn ei gwneuthur yn beth anfuddiol i weddio, o herwydd na ddichon gweddi newid ei fwriadau ef; am yr un rheswm y mae aredig, hau, a medi, yn bethau anfuddiol. Gyda yr un cymhwysder gallai llafuriwr y ddaear ddywedyd, "Os penderfynodd Duw i mi gael cnwd da, mi a'i caf heb y drafferth o aredig ac hau; ae o'r

tu arall, os ei benderfyniad yw na byddo i mi gael, nid oes modd i mi ei gael er llafurio fy ngoreu, am hyny llwyr anfuddiol yw fy ngorchestion wrth drin y ddaear; nid yw fy holl waith ond oferedd." A gellai y myfyriwr diog ddywedyd, "Os penderfynwyd mewn modd anghyfnewidiol i mi fod yn wr dysgedig, ysgolhaig mawr a fyddaf heb y drafferth ddibaid o fyfyrio," &c. Ond "y mae plant y byd hwn yn gallach yn eu cenedlaeth," nâ defnyddio y fath resymau gwaelion; rhesymau, pe gweithredid arnynt, a wnelai y rhanau mwyaf paradwysaidd o'n byd yn ddiffeithwch gwag erchyll, a lenwai wyneb y ddaear â newyn, haint, a phob gresynoldeb. Beth yw ymarfer â gweddi, a moddion gras ereill, ond hau ysbrydol erbyn cynhauaf nefol?

4. Yn lle bod penderfyniadau anghyfnewidiol Duw yn rhwystrau i weddio, dylid eu hystyried yn annogaethau i hyny. Pe na byddai y penderfyniadau Dwyfol yn anghyfnewidiol, pwy fedr ddychymmygu pa benderfyniadau newyddion a gymmerai le? A pha gyfreithiau newyddion a ffurfid? Y weddi a orchymynir heddyw a ellai fod yn waharddedig y fory; y pethau a geisir heddyw gyda sicrwydd o'u cael, a allent gael eu gwrthod y fory. Yr un weithred a allai fod yn rhinweddol, ac yn gyflawniad o ddyledswydd, mewn un tymhor, a allai fod yn drosedd cospadwy ar dymhor arall. Annichonadwy fyddai i greaduriaid wybod pa ffordd i ryngu bodd eu Harglwydd yn barhaus; na pwy a fyddai sicr o ddedwyddfyd y nef. Ond am fod y cwbl wedi ei sefydlu, ac na chymmer cyfnewidiad byth le, yr ydym yn sicr y gwobrwyir canlynwyr Crist â bywyd tragywyddol. Yr ydym yn hyderus y bydd i bob un a weddio yn ol y cyfarwyddyd Dwyfol gael ei wrando; i'r "hwn sydd yn curo yr agorir; yr hwn sydd yn ceisio sydd yn cael," yw y penderfyniad anghyfnewidiol; o'r tu arall, ni a wyddom mai annuwiol yw pawb diweddi; ac, yn sicr mai rhan y sawl a barhäo yn ddiweddi hyd y diwedd, fydd uffern dân; gan hyny gwelwn mor annogaethus i ddyfal lyniad wrth weddio yw yr ystyriaethau a feddylid oeddynt rwystrau iddi.

Gwrthddadleuir yn mhellach, "Mai oferedd yw dywedyd wrth Dduw am ein diffygiadau; o herwydd ei fod Ef yn hysbys o honynt cyn llefaru o honom wrtho."

I hyn yr atebaf, nad oes neb Cristionogion yn meddwl gwneuthur Chwiliwr y calonau yn hysbys o ddim newydd, yn eu gwaith yn cyfaddef eu pechodau, ac yn achwyn ar eu llygredd; ond trwy hyn cyffesant eu teimladrwydd o'u gwendid, a'u pechadurusrwydd; a'u hymddibyniaeth trwyadl ar ddaioni Duw. Dangosant nad oes arnynt gywilydd i ddatgan eu bod yn ymddibynu ar Dduw; a thystiolaethant eu bod o'r un golygiadau â Duw am eu gresynoldeb eu hunain, ac am ei drugaredd ef." "Chwi yw fy nhystion?" medd y Iehofah. Llawer a wrthwynebant Dduw, ond pob gwir weddiwr a ddwg ei dystiolaeth gerbron nefoedd, daear, ac uffern, o du ei Greawdwr graslawn. Trwy hyn hefyd yn aml y dygir yr enaid yn ostyngedig, yn hunan-ymwadol, ac i werthfawrogi gras ei Arglwydd,

ac felly dygir ef i gyflwr addas i fod yn dderbyniwr o fendithion yr efengyl. Pwy, heblaw y sawl na charai dderbyn y cyfryw fendithion, a esgeulusai y moddion tueddol i'w haddasu i'w derbyn yn ddyladwy?

*Gwrthddadleuir etto.*—"Gan fod Duw yn anfeidrol ddoeth a da, gallwn fod yn hyderus y cynhyrfir ef gan ei ddaioni i roddi i ni yr hyn sydd eisieu arnom, heb i ni eu ceisio, o ganlyniad nis dichon ein gweddiau fod o un lles."

Addefir yn rhwydd fod y Creawdwr yn anfeidrol ddoeth a da, etto dichon fod yn ddigon addas i ddoethineb anfeidrol gyfranu rhoddion i weddiwr gostyngedig, a'u cadw rhag yr hwn na weddia; a bendithio yr hwn a geisio y fendith, tra y gadawo y sawl na ewyllysia ei cheisio fod hebddi. Cymhwys iawn, ac unol â'r darluniad ysgrythyrol, yw i'r Brenin tragywyddol fendithio y sawl a ddysgwyliant wrtho yn ei lwybrau ei hun, gan gyfaddef eu hymddibyniaeth arno am bob trugaredd, a dangos parodrwydd i ogoneddu ei enw; tra yr attalier y fendith oddiwrth yr anufydd, yr hwn, "o herwydd uwchder ei ffroen ni chais Dduw."

Am hyny glyned pawb wrth orsedd gras, gan hyderu na fydd i'r hwn a weddio yn ddidwyll gael gweddio yn ofer. Cofiwn mai gosodiad Dwyfol yw gweddi, ac y bydd Duw yn sicr o anrhydeddu ei osodiadau ei hun. Wrth weddio yr ydym yn ufyddhau i Dduw, a phob ufydd-dod cywir iddo ef a rynga ei fodd. Anrhydeddir Duw wrth weddio, a gallwn fod yn sicr yr "anrhydedda efe ei holl anrhydeddwyr, ac y dirmyga efe ei holl ddirmygwyr." Rhoddir i ni bob annogaeth, tarddedig oddiwrth orchymynion, siamplau, (yn neillduol siampl Crist ei hun), addewidion, hanesion am lwyddiant gweddi, a'r tystiolaethau amlycaf o gymmeradwyaeth y Iehofa, o'r gwaith o weddio.

Heblaw boddloni Duw, y mae eich budd eich hunain yn galw arnoch arferyd â'r ddyledswydd hon. Gweddi gywir a'ch gwna bob dydd yn well ac yn ddoethach; fel gosodiad o eiddo Duw, hi a dawela gythrwfl eich mynwesau—a alltudia eich ofnau—a fywiocâ eich gobaith—a ail-ennyna eich cariad—a adfywia eich ffydd—a feithrin, ac a faga dduwioldeb, ac a newyna eich llygredd. A hyn oll am ei bod wedi ei threfnu gan Dduw i hôl cynnorthwyon Dwyfol o'r nefoedd i'r ddaear.

## CYFARWYDDYD I WEDDIO.

Dyledswydd pawb yw gweddio, gan hyny ymdrechwch i dreulio rhyw gymmaint o amser bob dydd ar eich gliniau, yn y dirgel gerbron Duw; os byr yw eich dawn, a chyfyng eich amgyffredion, neu yn anhwylus yn eich ysbryd, gosodwch air Duw o'ch blaen, darllenwch ychydig arno, a throwch yr hyn a ddarllenoch i weddi. Pan ddeloch at *orchymyn*, ceisiwch nerth gan Dduw i'w gyflawni er ei glod ef. Os *addewid* a

ddarllenwch, ceisiwch ras i ymaflyd ynddi yn ddiysgog, modd y galloch ei gwneuthur yn eiddo i chwi eich hun. Os darluniad o *gymmeriad a chariad Crist*, a'r hyn yw efe i bechadur, a fydd o'ch blaen, ymbiliwch am ran ynddo ef. Pan edrychoch ar y darluniad o *druenusrwydd dyn pechadurus*, gwelwch eich cyflwr eich hun, a llefwch am lânhad. Os *nodau gwir dduwiolion* a ddarllenwch, chwiliwch eich hunain, a phrofwch eich hunain wrthynt, gan weddio yn daer am ras fel y dyscleiriont yn fwy ynoch chwi eich hun. Os *syrthiadau dynion da* a fydd o'ch blaen, gwelwch pa beth yw y goreu o ddynion, pan adawir hwy iddynt eu hunain, ac erfyniwch nawdd trugaredd i'ch cadw chwi rhag syrthio i'r cyfryw byllau peryglus. Yn y modd hyn gellir sylfaenu deisyfiadau, unol â meddwl yr Hollalluog, ar wahanol ranau yr ysgrythyr lân. Felly darllen y Beibl yn fyfyriol a'n cynnorthwya i weddio, a gweddio a wna ddarllen yr ysgrythyrau yn waith hyfrydlawn. Dylem bob amser geisio tywysiad yr Ysbryd fel y gweddiom yn deimladwy; yn deimladwy o lygredd ein natur a'n meddyliau, o farweidd-dra ein cyflawniadau, o fawredd ein hanniolchgarwch, a'n prinder mewn gwyliadwriaeth ar feddyliau, geiriau a gweithredoedd. Dylem ddwyn pob gelyn, mewn gweddi, at Gadben ein hiechydwriaeth; nid neb ond efe a fedr eu llwyr ddinystrio. Dylem hefyd weddio dan yr ystyriaeth o'n rhwymedigaeth i Dduw am ei drugaredd a'i gariad annhraethol datguddiedig yn ei air, a llefain am brawf o'i gariad yn dywalltedig yn ein calon, gan gofio ein hatebolrwydd iddo am bob ymddygiad o'r eiddym; a phob amser, i gyfaddef ein hannheilyngdod i dderbyn dim oddiar ei law.

---

## EGLURHAD AR 2 SAM. XXIV, A 1 CHRON. XXI.

Os barnwch yn gymhwys roddi lle i'r gofyniad canlynol yn y SEREN, efallai y bydd o fudd i rai, os gwneir sylw arno.

Y bennod olaf o ail lyfr Samuel: Dafydd, wrth rifo y bobl, a anfoddlonodd yr Arglwydd; o ganlyniad, cafodd ddewis un o dri pheth; yntau a ddewisodd yr haint; a darllenwn i'r haint beidio wrth lawr-dyrnu Arafna y Jebusiad; yno y gorchymynwyd i Ddafydd godi allor i'r Arglwydd; yn ganlynol, prynodd Dafydd y llawr-dyrnu a'r ychain, er deg a deugain o siclau arian. Yn yr 21 bennod o 1 Chronicl, ail-adroddir yr hanes; darllenwn, "Felly y rhoddes Dafydd i Ornan am y lle, chwe chan sicl o aur wrth bwys," yr hyn sydd yn ymddangos yn llawer mwy na'r llall. Cael eglurhad byr o'r anghyssondeb uchod yn y SEREN, genych chwi, neu arall o'ch cyfrinachwyr dysgedig, a phaham y gelwir Arafna yn Ornan, a fyddai yn llesiol i rai heblaw eich ewyllysiwr da,

TOMOS GLAN TEIFI.

ATEBIAD.

**Mewn** atebiad i'r gofyniadau blaenorol, sylwer nad yw yr ysgrifenwyr santaidd yn sylwi bob amser, ar holl amgylchiadau yr hanesion a adroddir ganddynt; a mynych y gwelir, pan fyddo yr un hanes yn cael ei ail-adrodd, bod yr ail-adroddiad, naill ai yn fyrach neu yn hirach nâ'r cyntaf, trwy fod rhai amgylchiadau yn cael eu hesgeuluso gan y naill hanesydd a'r a adroddir gan y llall; eithr nid yw hyn yn tueddu yn y mesur lleiaf i ddirymu cymmaint â sill o'r hanes. Gwelwn fod yr efengylwyr, yn eu hadroddiad o fywyd, gwyrthiau, ac amgylchiadau genedigaeth, marwolaeth, adgyfodiad, ac esgyniad Crist, yn amrywio yn amgylchiadau eu hanesion, gan fod un yn fanylach nâ'r llall yn ei ddarluniad o rai amgylchiadau, ond yn fŷrach mewn ereill, nâ'i gyd-haneswyr; etto, y mae pob iota fach yn gysson â'r gwirionedd. Hefyd, esgeulusir rhai amgylchiadau ganddynt oll, o'r fath a dueddai i roddi mwy o eglurdeb i'r hanes yn ein golwg ni, y rhai ydym yn byw mor belled oddiwrth yr amser ag yr adroddir yr hyn a wnaed ynddo; ac yn anhysbys o rai arferion a defodau ffynadwy y pryd hyny. Am hyny, dichon fod rhai pethau yn eithaf eglur i rai hyddysg yn y defodau a'r arferion cyffredin y pryd hyny, a'r a allent ymddangos yn dywyll i ni.

Brysiwn bellach i roddi atebion uniongyrchol i'r gofyniadau blaenorol. Y ffordd a gymmer duwinyddion yn gyffredin i ddangos cyssondeb yr hanes yn 2 Sam. xxiv, 24, a 1 Chron. xxi, 25, yw hon; bernir fod cyfeiriad at *ddau bryniad gwahanol* yn yr hanes; yn gyntaf prynwyd y llawr-dyrnu, yr ychen, a'r offer, am 50 sicl o arian, yr hyn, yn ol 2s. 4½c. y sicl a wna 5p. 17s. 8½c., o'n harian ni. Y pryniad arall oedd y LLE, fel ei gelwir yn y Chronicl, sef, y tir helaeth hwnw, ar yr hwn yr adeiladwyd y deml a'r holl gynteddfeydd perthynol iddi wedi hyny, ond yr hwn yn awr oedd ran helaeth o dyddyn y daear-lafurwr Arafna, am yr hwn y rhoddodd Dafydd 600 sicl o aur, o gylch 450 punt o'n harian ni. Amlwg yw bod Dafydd wedi prynu mwy nâ'r llawr-dyrnu, a mwy nag oedd anghenrheidiol i adeiladu allor, ar yr achos galarus hwn, er na sonir yn bennodol am hyny mewn un o'r ddau le uchod; a'r un mor eglur yw bod llawr-dyrnu Arafna, neu Ornan, ar fynydd Moria, lle yr adeiladwyd y deml wedi hyny; canys yn 2 Chron. iii, 1, dywedir fel hyn, "A Salomon a ddechreuodd adeiladu tŷ yr Arglwydd, yn mynydd Moria, lle yr ymddangosodd yr Arglwydd i Ddafydd ei dad ef, yn y lle a *ddaparasai Dafydd* yn *llawr-dyrnu Ornan y Jebusiad.*" Gallasai y swm o 5p. 17s. 8½c. fod yn ddigon i brynu pâr o ychen, eu hoffer, a'r llawr-dyrnu, yn ol prisoedd pethau y pryd hyny; eithr amlwg yw ei fod yn rhy fychan o dâl am yr hyn oll ag oedd anghenrheidiol i'r fath adeilad digyffelyb ag oedd y deml a'i holl berthynasau. Ac am fod sicrwydd i Ddafydd ddarparu lle i adeiladu y deml, ac mai llawr-dyrnu Ornan oedd y lle hwnw, neu *ganolbwynt* y lle, yr hwn oll a gymmerodd ei enw oddiwrth y llawr-dyrnu, fel y man hynotaf perthynol iddo, naturiol yw barnu bod yr hanesydd yn

Samuel yn cyfeirio at y pryniad lleiaf, a'r hanesydd yn y Chronicl yn cymmeryd i mewn y pryniad mwyaf, heb fod yr anghyssondeb lleiaf rhyngddynt: esgeulusir un amgylchiad gan y naill, ac arall gan y llall.

Am y gofyniad arall, "Paham y gelwir yr un dyn yn *Arafna* yn Samuel, ac yn *Ornan* yn y Chronicl?" Ni wnawn ond sylwi bod cyfnewidiad, neu ychwanegiad o lythyrenau mewn enwau priodol, yn beth cyffredin yn yr ysgrifenadau ysbrydoledig yn yr ieithoedd gwreiddiol; weithiau, i ateb dybenion ac amgylchiadau anhysbys i ni y pryd hyn o'r dydd, a'r cyfnewidiadau hyny yn hollol ddibwys gyda golwg atom ni, er y gallasai eu bod o wasanaeth yn yr amseroedd gynt. Hefyd, cyfnewidir ychydig ar enwau priodol gan wahanol gyfieithwyr, er mwyn ateb tröellau, neu rediad eu gwahanol ieithoedd. Nid yw yr enw dan sylw wedi ei briodol gyfieithu i'r Gymraeg na'r Saesnaeg; Hebraeg yw yr enw yn y ddwy iaith hyn; etto, yn Samuel, enw *Arafna* yn Saesneg yw *Auraunah*, ac yn y Chronicl, yn y ddwy iaith, ei enw yw *Ornan*. Yn olaf, er bod yr holl enwau ysgrythyrol yn arwyddocäol o rywbeth, etto, gellir newid llythyrenau mewn amryw enwau heb ddrygu yr ystyr; a dywed y Dr. Gill, duwinydd dysgedig iawn yn yr Hebraeg, fod *Auraunah* ac *Ornan* yn arwyddo yr un peth, sef *pren ònen*. Gobeithiwn y tuedda y sylwadau uchod i foddloni meddyliau y rhai a garant y Beibl. GOLYGYDD

## FFYDD, GOBAITH, A CHARIAD.

DA yw Duw i bawb, ei drugareddau tirion ydynt ar ei holl weithredoedd. Tra gwerthfawr a lliosog yw ei fendithion cyffredin i ddynion, fel y cyfryw; ond y bendithion a berthynant i gredinwyr, i dduwioldeb, a byd a ddaw, a ragorant yn mhell; ac, o'r grasau anghenrheidiol i ddedwyddfyd nefol, pennodir tri o'r godidocaf, gan yr apostol, yn 1 Cor. xiii, 13, "Ffydd, Gobaith, a Chariad;" am y tri gras hyn sylwn, yn

1. *Ar eu natur.*—Ffydd, yw crediniaeth galonog o dystiolaeth Duw yn yr ysgrythyr, yn neillduol am yr iechydwriaeth fawr yn Nghrist, yr hon a gynhyrfa y dyn i hyderu yn y Messia fel Iachawdwr digonol i'r penaf o bechaduriaid, a phwyso arno am ddedwyddwch diddarfod. Gobaith, yw dysgwyliad duwiol ac amyneddus am fwynhad o'r pethau daionus, trysoredig yn y dystiolaeth a'r addewidion a gredir; sylfaenir y gobaith da hwn ar ras a ffyddlondeb Duw yn Nghrist, ac nid ar un teilyngdod yn y dyn. Cariad yn ei natur a'n gwna yn dosturiol wrth y gresynol; a'n rhwyma i ymhyfrydu yn Nuw, ac yn ei wasanaeth! i hoffi ei achos, ymegnio drosto, cadw ei orchymynion, ac i fod o un galon â'i bobl ef.

2. *Eu tebygoliaeth i'w gilydd.*—Ymdebygant yn yr achos offerynol o'u hanfodiad yn yr enaid, sef, gair Duw; canys "y mae ffydd yn dyfod trwy glywed, a chlywed trwy air Duw." "Adgenedlwyd ni i *obaith*

bywiol, trwy adgyfodiad Iesu Grist;" h. y. gweithiwyd ynom obaith am adgyfodiad ein cyrff, a'r gogoniant a ganlyna, trwy *glywed*, ar sylfeini sicr, fod Iesu y blaenor, wedi adgyfodi. Ac am *gariad* dywedir, "yr ydym ni yn ei *garu* ef, am iddo ef yn gyntaf ein caru ni;" h. y. yr ydym yn ei *garu* ef am i ni *glywed* am y cariad mawr â'r hwn y carodd efe ni; canys pe buasem heb glywed am ei gariad ef, nis gallasai y cariad hwnw, er ei fawredd, feithrin egwyddor gyfatebol ynom ni. Ymdebygant yn eu gwrthddrych, at yr hwn y tywysir hwy gan air y gwirionedd; y mae ffydd yn byw ar Grist; nid yw gobaith yn dysgwyl dim gan neb ond ganddo ef; ac nid oes gan gariad, mewn nef na daear, ddim i ymhyfrydu ynddo cyffelyb iddo ef. Tra thebyg ydynt hefyd yn eu gwasanaeth a'u defnyddioldeb i'r Cristion, yr hwn sydd yn byw trwy ffydd, yn byw mewn gobaith, ac yn byw mewn cariad; mewn gair, ei fywyd sydd un olygfa gysson o ffydd, gobaith, a chariad; nis dichon efe fyw, fel y cyfryw, heb ffydd, nac heb obaith, nac heb gariad.

3. *Y gwahaniaeth rhyngddynt.*—Er tebyced mewn rhai pethau, amrywiant gryn lawer mewn ereill. Yn eu *trefn*. Ffydd o anghenrheidrwydd a ragflaena obaith a chariad: nis gallwn obeithio ar sylfaen safadwy, cyn credu bod y dystiolaeth, neu yr addewid, am bethau da i ddyfod yn gywir; ac nis gallwn garu yn ddyladwy cyn credu yn nheilyngdod y gwrthddrych. Gwahaniaethant yn eu *gwaith* neu eu *swydd;* gwaith ffydd yw derbyn y dystiolaeth a phwyso arni; gwaith gobaith yw dysgwyl rhywbeth daionus oddiwrthi,a chariad a ymhyfryda yn y dystiolaeth a'i thrysorau. Ffydd a ddengys i ni y ffordd uniawn, prif ffordd y brenin; a gobaith a'n cymhella i redeg ar hyd-ddi, ar gyfrif yr hyfrydwch a fwynheir ar ddiwedd yr yrfa; a chariad a'n hannoga i fyned yn mlaen, o herwydd bod y ffordd ei hun yn "Hyfrydwch, a'r llwybrau" oll, a ddangosir gan ffydd, "Yn heddwch." Er ymdebygu fel y sylwyd, yn eu prif wrthddrych, etto, amrywiant yn eu gwrthddrychau cyfryngol, gwrthddrych ffydd yw gwirionedd yr addewid, gwrthddrych gobaith yw daioni yr addewid, a chariad a edrych ar y ddau gyda hyfrydwch. Gellir cymharu yr addewid i genadwr anfonedig oddiwrth frenin at ŵr a berchir ganddo, i hysbysu bod ei Fawrhydi yn bwriadu ymweled ag ef. Y mae y dyn yn gyntaf yn derbyn y gènad, ac yna yn myned allan i gyfarfod â'r brenin, ac wedi hyny yn rhoddi iddo bob groesaw a fedro yn ei dŷ. Iesu yw y Brenin—yr addewid yw y gènad—y pechadur yw y gwr a berchir—ffydd sydd yn derbyn y genad—gobaith a â allan i gyfarfod â'r Brenin—a chariad a wna bob groesaw dichonadwy iddo ef a'i deulu, gan wasanaethu arnynt. Neu, gellir cymharu yr addewid i bren rhagorol; tra byddo ffydd yn ymaflyd yn gadarn yn nghorff y pren, fel na fedro y gyrwynt cadarnaf ei ysgogi, gwelir gobaith yn dringo i'w frigau i dynu o'i ffrwyth cysurlawn; tra y mae cariad yn tremio yn hyfrydlawn ar y pren a'i ffrwyth, gan bêr seinio, "Eisteddais dan ei gysgod *ef*, a'i ffrwyth oedd felus i'm genau." Yn fyr, holl wrthddrychau gobaith ydynt yn yr

amser i ddyfod; heb fod a fyno hi â'r hyn sydd, neu a fu; eithr ffydd a leinw yr holl amserau, a fu, sydd, neu a ddaw; a thrwyddi y mae y credadyn mewn amser gymharol, yn byw o dragywyddoldeb i dragywyddoldeb, am ei bod yn ei dywys yn ol cyn caniad sêr y boreu, ac yn ei arwain yn mlaen tu draw i derfyn oesoedd haul a ser; ac am gariad, yr amser presennol, yn fwyaf priodol, a lenwir ganddi hi. Holl wrthddrychau ffydd a gobaith ydynt anweledig; ond cariad a gofleidia bethau gweledig ac anweledig; a ymhyfryda yn y Duw nis gwelodd, ac yn y brawd a welodd.

4. *Ystyr grefyddol y geiriau.*—Nid oes ystyr wahanol i'r geiriau, ffydd, gobaith, a chariad, pan gymhwyser hwy at bynciau crefyddol, amgen yr hyn a ddeallir wrthynt pan gymhwysir hwy at amryw o helyntion y bywyd hwn, o ran arwyddocâd y geiriau ynddynt eu hunain; ond pan ystyrir y gwahaniaeth dirfawr rhwng eu gwrthddrychau yn y naill olygiad a'r llall, mawr raid fod y gwahaniaeth yn eu heffeithiau ar y meddwl. Er anghraifft, yr wyf yn credu yn ddios i Louis XVI, o Ffrainc, gael tòri ymaith ei ben, eithr nid yw y grediniaeth o hyny yn gadael fawr argraff ar fy meddwl i, gyda golwg ar fudd personol; ni bum i well erioed ar gyfrif ei fywyd na'i farwolaeth ef. Ond wrth gredu yn ddios i Grist farw ar Galfaria, er agor llwybr i fyrdd o'm bath i gael dianc i wynfa oesawl y nef, teimlaf fod fy nhragywyddol oll yn ymddibynu ar wrthddrych fy ffydd; am hyny rhaid fod yr effaith ar fy meddwl yn gyfatebol. Gallaf deimlo ychydig hyfrydwch wrth *obeithio*, ar sylfeini canolig, y caf fwynhau, yn mhen mis, gymdeithas cyfaill anwyl, a fu yn hir yn absennol; ond gobeithio, ar sylfeini digrŷn, y caf weled Cyfaill publicanod a phechaduriaid, yn dyfod yr ail waith, ac y caf byth fwynhau ei gymdeithas hyfrydlon ef, a leinw y meddwl ag hyfrydwch o'r fath nas dichon dim arall greu ei gyffelyb. Gallaf *garu* cymmydog, a chael fy ngharu ganddo ef, a chael cryn hyfrydwch yn hyn; ond os medraf ddywedyd am Grist, "Yr ydwyf fi yn ei garu ef, am iddo ef yn gyntaf fy ngharu i," tueddir fi i lawenhau "A llawenydd annrhaethadwy a gogoneddus iawn."

5. *Eu cyd-weithrediad.*—Nis dichon un o'r rhadau, neu y grasau hyn hanfodi heb y lleill; er bod ffydd yn blaenori o ran trefn amser; megys y rhaid i ŵr agor ei lygaid cyn canfod y goleuni, etto fel yr agorir y llygaid canfyddir y goleuni, fel mai *prin* y gellir dywedyd fod y naill yn rhagflaenu y llall. Felly, can gynted ag y gellir dywedyd bod ffydd yn yr enaid, gellir edrych yn ddiaros am obaith, ac am gariad yno hefyd. Nid yw y dyn newydd yn ddiffygiol mewn neb aelodau, er bod y dyn anianol felly yn fynych. Nid oes neb o'r morwyr yn ysbrydol yn llynges nefol Shiloh yn fyr o glin neu fraich. Nid yn unig y maent yn cydhanfodi, ond hefyd yn cyd-gynnyddu, a chyd-wanychu; nid, fel rhai cyrff anianol, ag un aelod yn cynnyddu, ac arall yn gwywo, neu yn aros yn yr un maintioli; os cryf fydd ffydd, bydd gobaith yn nerthol, a chariad yn meddu grym cawraidd; o'r tu arall os bydd y naill yn wan ac yn nychu, bydd y lleill yn dihoeni heb fedru cyflawni nemawr gorchestion. Dra-

chefn, y maent yn cyd-weithio; nid yw un yn segura tra y byddo y lleill yn gweithio. Cyflawnwyd rhyfeddodau gan ffydd; hi gauodd safnau llewod, a ddiffoddodd angherdd tân, &c. Heb. xi. Ac y mae gobaith wedi gwneuthur ei rhan hithau yn odiaethol; hi alluogodd Abraham i aberthu ei fab, &c., a'r holl ferthyron a roddasant eu bywydau i lawr mewn *gobaith* am adgyfodiad gwell. Ac yn mysg y tri y mae gan gariad enw, megys yr oedd gan Abishai yn mysg cedyrn Dafydd, ac enw mwy rhagorol nag sydd i'r lleill, canys "y mwyaf o'r rhai hyn yw cariad." Mynych y gorchfygodd ei fflamiau hi lifeiriant mawrion. Y mae hi yn gryf fel angeu, ïe, "dyfroedd lawer nis gallant ddiffodd cariad."

Y sawl a feddianna y tri gras gwerthfawr a gweithgar hyn yn awr, ar fyr a feddianna deyrnas nefoedd. LLEWELYN.

---

## MAM Y FFORDD.

"SAFODD brenin Babylon ar y groes-ffordd;" neu, megys y mae y geiriau yn yr iaith wreiddiol, ac ar yml y ddalen mewn rhai argraffiadau o'r Beibl, "safodd brenin Babylon ar Fam y ffordd," neu "ar y fam-ffordd." Esec. xxi, 21. Anhawdd ar yr olwg gyntaf yw penderfynu, paham y gelwir ffordd neillduol, neu fàn nodedig ar y ffordd, *yn fam y ffordd;* eithr wrth gyfeirio at arferion ac ymadroddion Dwyreiniol, symudir yr anhawsdra.

Peth cyffredin, oddiar yr hen amseroedd hyd heddyw, mewn gwledydd Dwyreiniol, yw galw dyn, dynes, a phethau difywyd, yn dad neu fam yr hyn ag y byddant yn *hynod* o'i herwydd. Gelwid un o *Beys* yr Aifft, yr hwn oedd hynod am ei ariangarwch, yn Abudahap, yr hyn a arwydda "tad yr aur."--*History of the Revolt of Ali Bey, p.* 18.

Gelwid Pasha o Bagdad, yr hwn a ymosodai yn llwyddiannus yn y nos, ar yr Arabiaid gwylltion, Abu el Leyl, yr hyn, o'i gyfieithu yn llythyrenol yw "tad y nos."—*Niebuhr's Travels, Vol. 2. p.* 258.

Dywed yr awdwr a enwyd ddiweddaf fod un o Beys yr Aifft, yn ei amser ef, yr hwn oedd dra medrus yn yr ymarferiad o'r cleddyf, yn cael ei alw Abu Seif, sef, "tad y cleddyf." A thrachefn, tu-dal. 110, dywed yr un awdwr, fod yr Arabiaid yn galw y pren ag sydd yn dwyn y Mecca balsam, yr hwn sydd dra pheraroglus, yn Abu Scham, sef yn llythyrenol, "tad perarogledd." Geilw yr Arabiaid hefyd, wraig a fyddo yn gwerthu ymenyn yn Omm es siibbet, sef, "mam ymenyn." Gelwir man neillduol rhwng Basra a Sobeir, yn "fam y gwenith," oblegid bod asyn wedi cwympo yno ryw amser yn ol, pryd y syrthiodd y pwn gwenith oedd ar ei gefn i'r dwfr. Llyfr yr arfaeth Ddwyfol a elwir Omm Alketab, "mam y llyfrau." A pheth hynotach fyth, gelwid *gwrryw* enwog, neu sant Mahometanaidd, yr hwn a ddysgai ddynion i ddarllen yr Alcoran, yn Omm

Mocri, "mam y darllenydd." Felly, mewn cyd-ffurfiad â'r arfer hyn, gelwir man hynod yn y ffordd, yn "fam y ffordd." Nis gwyddys yn iawn pa beth oedd yn gwneuthur y man hyny yn hynod, heblaw mai dyna y man yr oedd Nebuchadnessar i benderfynu pa un a elai efe ar hyd y ffordd oedd yn arwain i Jerusalem, neu fyned ar hyd braich arall i'r ffordd ag oedd yn tywys i le arall; yma yr ymgynghorodd â'i dduwiau, gan "ddewino dewiniaeth," trwy "loywi ei saethau," y rhai a wnaethid o ddur neu haiarn, ac wrth ddyscleirdeb y cyfryw y penderfynai y dewiniaid pa beth oedd i wneuthur. "Efe hefyd a ymofynodd â delwau," yn y man hwn; oraclau cenedlig, ysgatfydd, o'r rhai, trwy ddyfais twyllwyr, clywid lleisiau cyfarwyddawl yn mynegu pa beth i wneuthur ar yr achos. Yn mhellach, efe "a edrychodd mewn afu;" afu anifail fel y mae yn dra thebyg, yr hwn a laddesid i'w aberthu i'r duwiau; pan fyddai yr afu mewn ansawdd ddrwg, neu wedi cael ei dòri gan yr aberthwr, bernid fod hyny yn arwydd ddrwg; eithr os ymddangosai yn iachus, neu, os byddai dau afu mewn un anifail, daroganai hyny lwyddiant a gorfoledd.

Er mor goel-grefyddol oedd y cenedloedd difanteision hyny, blin yw gorfod dywedyd fod lluoedd yn Nghymru uchel-freiniog mor ofergoelus ag y bu y paganiaid tywyllaf erioed. Dichon piogen neu winci, yn marn llawer, ddarogan aflwydd; aderyn y corff a'r pryf gopyn ragddywedyd marwolaeth! Mewn gair, yn mysg pwy y rhesir holl dylwyth y canwyllau cyrff, gwrach y rhibyn, a'u holl berthynasau, ond yn mysg yr ofergoelus a'r hudoledig yn oesoedd tywyllaf y byd! IORWERTH.

---

## TOM COLOMENOD.

GWARCHAEWYD ar ddinas freninol Samaria, gan Benhadad, brenin Syria, mor gaeth, fel yr aeth yr ymborth yn ddychrynllyd o brin yn y ddinas, canys dywedir wrthym "bod pen asyn er pedwar ugain sicl o arian, a phedwarydd ran cab o *dom colomenod* er pum sicl o arian." 2 Bren. vi, 25. Mawr raid fod prinder lluniaeth cyn bod pen mor gul ag eiddo asyn yn costio cymmaint â 80 sicl, sef, rhwng 9 a 10 punt o'n harian ni; creadur aflan hefyd oedd asyn, ac felly, yn waharddedig gan y gyfraith i'w fwyta; eithr gwyddom fod anghenrheidrwydd wedi peri i ddynion fwyta pethau mwy gwrthwyneblyd i natur nag asynod, o herwydd paham, nid oes anhawsder i ddeall y rhan hyn o'r testun.

Eithr dywedir yn mhellach, "bod pedwarydd ran o dom colomenod er pum sicl o arian." Mesur oedd y cab a atebai i'n pedwaran ni, ac felly, hanner peint oedd pedwarydd ran cab, pris dirfawr! Pa fodd bynag, nid mawredd y pris sydd yn peri i'r hanes ymddangos yn ddyryslyd, ond y gwasanaeth a wnaed o'r hyn a brynwyd mor ddruted. Pa beth oeddynt yn wneuthur ag ef? Amlwg yw, oddiwrth y cyssylltiad sydd rhyngddo

â'r newyn oedd yn y ddinas, ac â'r pen asyn, ei fod at ymborth mewn rhyw ffordd neu arall; eithr pa fodd y gallasai peth mor ddirinwedd yn y cylla, ac mor atgas i'r archwaeth, gael ei fwyta? Yr ydwyf wedi darllen pedwar esboniwr gwahanol ar y testun, y rhai oll a gytunant, ac â hwy cytunaf finnau, nad oeddid yn bwyta y dom, ac, yn wir ni ddywedir yn yr hanes eu bod yn ei fwyta; eithr nis gallaf gytuno â'r esbonwyr dywededig yn nghylch yr hyn ag oeddynt yn fwyta; canys dywedant hwy mai nid dom colomenod, mewn ystyr briodol, ond math o bys, neu ffacbys, ag oeddynt yn adnabyddus wrth yr enw hwnw, a feddylir yn y testun; heb un rheswm dros eu haeriad, namyn bod dom colomenod yn ffiaidd gan yr archwaeth, ac yn ddirinwedd hollol, pe medrid ei fwyta; gwir iawn yw hyn; eithr nid yw yn fath wirionedd ag a brawf mai pys yw dom colomenod, er ei fod yn ddigon i ddangos nad oeddynt yn bwyta y dom.

Anhawdd genyf yw gwrthwynebu gwŷr mor ddysgedig ac enwog ag oedd Pool, Henry, Gill, a Fawcet, yr esbonwyr ag y cyfeiriais atynt eisioes; eithr barnaf, gyda phob dyledus barch i'r enwogion hyn, na ddylid un amser ymwrthod ag ystyr briodol geiriau, oni bydd hyny yn angheurheidiol, ac nid wyf yn canfod fod hyny yn angheurheidiol yma. Sylwer ar y pethau canlynol:—

1. Ni ddywedir fod y bobl yn bwyta y dom, a chytuna pawb nad oeddent yn ei fwyta.

2. Er hyny yr oedd y dom, fel y sylwyd eisioes, yn dda rhag y newyn.

3. Gan hyny, rhaid fod y dom yn fuddiol rhag newyn mewn rhyw ffordd heblaw trwy ei fwyta.

4. Naturiol yw casglu eu bod yn defnyddio dom fel tail er codi amryw fath o lysiau, a ffrwythydd yn gynt ac yn helaethach nag y gallasid wneuthur heb gymhorth y tail hwn; yr hyn oedd o bwys mawr i drigolion Samaria yn eu cyfyngder dywededig.

5. Addefir gan bawb fod pompiynau a melonau yn ymborth adfywiol iawn yn y gwledydd poethion hyn. Num. xi, 5. Dywed Chardin, (*Voyages*, *Tome* ii, *p*. 19.) "Bod melonau yn cael eu bwyta gan y goludog agos trwy yr holl flwyddyn; ond y tymhor priodol i'w bwyta a barha bedwar mis, pryd y bwytair hwy gan y bobl gyffredin. Prin y bwytânt ddim ond melonau a chucumerau y tymhor hwnw. Dygir y fath lawnder o honynt i Ispahan, fel y barnai efe fod ychwaneg o honynt yn cael eu bwyta yn y ddinas hòno mewn un diwrnod nag yn holl Ffrainc mewn mis."

6. Gellir profi fod tom colomenod yn dra rhagorol i feithrin pompiynau, &c. Dywed yr awdwr rhag-grybwylledig, (*Tome* iii, *p*. 91.) "Eu bod yn y wlad ddywededig, sef, Persia, yn cadw lliaws o golomendai, y rhai a gadwent er mwyn eu tom yn hytrach nag er mwyn dim arall; gan mai â hwn y gwnant y gwelyau yn y rhai y codant eu pompiynau, yr hwn sydd yn eu gwneuthur mor dda, ac mor fawr ag ydynt."

7. Gellir codi pompiynau, &c., yn ein gwlad ni mewn pedwar mis oddiar yr amser yr hauer hwy; ie, chwydda llawer o honynt i'w cyflawn faintiolaeth, mewn sefyllfa addas iddynt, mewn ysbaid mis o amser wedi syrthio y blodeuyn; eithr naturiol yw meddwl eu bod yn dyfod i berffeithrwydd lawer cynt yn ngwledydd gwresog y dwyrain, gan fod gwres mor gydweddol â'u hansawdd; am hyny, nid rhyfedd bod pawb, yn ngwyneb y newyn, am godi cymmaint â fedrent o honynt; ac o ganlyniad, nid rhyfedd bod y tail ag oedd oreu i'w codi mor ddruted; gan fod pawb yn foddlon ymadael â'r geiniog olaf, yn hytrach nâ bod hebddo. Nid oedd un math o ymborth arall a fedrent godi mewn mor lleied o amser.

8. Gan mai gwlad ddwyreiniol wresog oedd Canaan, a bod yr Israeliaid yn cintach mor aml yn yr anialwch, o herwydd eu hymddifadu o'r pompiynau, cucumerau, &c., a gawsent yn yr Aifft, nid oes dim yn fwy amlwg nâ bod y pethau hyn mewn cymmaint bri yn Iudea gynt ag y maent yn awr yn Persia, a gwledydd dwyreiniol ereill.

9. Nid oes un ystyriaeth a duedda i egluro meddwl yr hanesydd, a dangos cyfyngder eithaf y gwarchaëedig, nâ bod yr hyn oedd fuddiol i godi cyfran o anghenrheidiau bywyd mor ucheled ei bris, fel na chaid cymmaint â hanner peint o dom colomenod heb bum sicl o arian!

Hyderaf y cenfydd y darllenydd, wedi cymmeryd o hono yr holl sylwadau blaenorol i'w ystyriaeth, nad oes yr anghenrheidrwydd lleiaf i ymadael ag ystyr lythyrenol ac ieithadurol y geiriau dan sylw; ac onid oes anghenrheidrwydd, ni ddylid mewn modd yn y byd ei wneuthur.

Nis gwn, ond am ddwy wrthddadl a ellid godi yn erbyn yr eglurhad blaenorol:—sef,

Gwrthddadl 1.—"Cyssylltir penau asynod, y rhai a fwytaid, â thom colomenod, am hyny, naturiol yw meddwl fod yr olaf yn cael ei fwyta yn gystal â'r blaenaf, er na sonir am fwyta y naill na'r llall." Ateb. Gwelir mai bŷr iawn yw hanes y gwarchae yma, am hyny, ni rydd yr ysgrifenydd hanes pob amgylchiad perthynol iddo. Hefyd, nid yw yn canlyn fod yr olaf yn cael ei fwyta, heb un rheswm dros hyny, ond bod y cyntaf yn fwytadwy. Etto, yn ol yr eglurhad uchod, yr oedd y cyssylltiad mor agos rhwng y tom a'r ymborth a godid trwyddo, fel mai yr un peth mewn sylwedd oedd crybwyll prinder y naill a son am brinder y llall.

Ac yn olaf, mynych iawn y sonir am lawer o bethau ynghyd yn yr ysgrythyr, er eu bod at wasanaeth gwahanol; felly, ymddengys nad oes y grym lleiaf yn yr wrthddadl hon.

Gwrth. 2.—"Pa fodd y gallasid cael lle i godi pompiynau a melonau mewn dinas freninol warchaëedig?" Ateb. Y mae cryn lawer o dir heb adeiladu arno o fewn dinasoedd breninol, *yn awr* yn y dwyrain; a gwyddys yn dda ddigon bod gwinllan gan Naboth, yn Jesreel, yr hon oedd ddinas freninol, 1 Bren xxi, 1. Hefyd, y mae llawer o bedrorau, a rhai o honynt yn lled helaeth yn holl ddinasoedd breninol y byd; a phan ychwanegir mai dinas newydd ei hadeiladu oedd Samaria, (1 Bren. xvi,

24.) rhaid penderfynu bod llawer o dir rhydd yn y ddinas hòno, a naturiol yw meddwl fod y trigolion yn gwneuthur y defnydd goreu o hono, ar achos mor druenus. Felly gwelir fod yr wrthddadl hon hefyd yn hollol ddirym. Och! y fath ddifrod a wna rhyfel ar y ddaear, a'r fath fflangell ddychrynllyd yw newyn! Diolchwn lawer i Dduw am anneddau heddychol.

---

Nid oes un peth yn sylwadau Meurig ar fy llythyr i, yr hwn a ymddangosodd yn SEREN Rhagfyr diweddaf, er dangos y defnydd a wnaed o dom colomenod gynt, mor dramgwyddus â'r geiriau a ganlynant:—"Prin y coeliaf y cara Iorwerth weled ei wrthwynebu." Os ydwyf yn cyfeiliorni, y gymhwynas oreu a ddichon fy nghymmydog wneuthur yw fy nhywys i'r iawn allan o'm dyryswch. Nid oes neb ond y sawl sydd yn "Caru y tywyllwch yn fwy nâ'r goleuni," neu yn meddwl, nid yn unig ei fod ef yn llwyr anfethedig fel Pab, ond y dylai pawb blygu i'w farn ef yn mhob dim, a feddylia am ddigio wrth y sawl a geisio ei argyhoeddi o'i gamsynied, tra gwneir hyny yn efengylaidd.

Cyd-welaf â Meurig, nad yw o nemawr pwys i ni heddyw pa ddefnydd a wnaed o'r tom colomenod yn amser gwarchae Samaria; er hyny nis gallaf lai nâ chymmeradwyo y duedd sydd mewn Cristionogion yn gyffredin i gael allan ystyr pob ymadrodd yn llyfr Duw, hyd ag y gallont. Y duedd hon a'm cynhyrfodd i ysgrifenu fy llythyr cyntaf ar y testun hwn. Pa un ai ysgrifenydd ieuanc, neu hen awdwr a ysgrifenodd mewn gormod ffrwst, yw Meurig, nis gwn i, eithr nid oes dim yn yr hyn a fedraf ddeall o'i lythyr a duedda i newid fy meddwl am destun ein dadl. Y rheol gyffredin i ddeall pob llyfr, yw cymmeryd pob gair yn ei ystyr briodol oni fydd rhyw amgylchiadau yn galw am ystyr anmhriodol ac allegol. Ymdrechais ddangos nad oes neb amgylchiadau yn gofyn ystyr anmhriodol i "Tom colomenod," yn 2 Bren. vi, 25.

Dangosais yn 1. Fod pawb yn cytuno nad oeddid yn bwyta y dom. 2. Er hyny fod y dom yn fuddiol rhag y newyn. 3. Yn ganlynol, da rhag newyn ydoedd mewn rhyw ffordd heb ei fwyta. 4. Y gallesid ei ddefnyddio rhag newyn, fel tail i godi ffrwythydd, &c. 5. Bod pompiynau a melonau yn rhan helaeth o ymborth mewn gwledydd dwyreiniol. 6. Bod tom colomenod yn dra rhagorol i feithrin y ffrwythydd hyn; a bod lliaws o golomendai yn cael eu cadw i'r dyben hyny. 7. Mai amser byr mewn gwledydd gwresog sydd ddigon i ddwyn y ffrwythydd hyn i aeddfedrwydd. 8. Bod y ffrwythydd hyn mewn cymmaint bri yn ngwlad Israel ag mewn gwledydd dwyreiniol ereill. 9. Ac nad oes un ystyriaeth arall a duedda i egluro meddwl yr hanesydd mor berffaith.

Nid yw Meurig yn cynnyg gwrthbrofi mo'r un o'm gosodiadau; eithr efe a ymdrecha brofi mai nid "Tom colomenod" sydd i'w ddeall yn yr adnod, er mai hyny a fynegir gan yr ysgrifenydd santaidd. Meddylia efe mai "Perfedd colomenod" a feddylir, o herwydd iddo "Weled y gair

*perfedd* ar ymyl y ddalen mewn rhai Beiblau." Nid ammheuaf iddo ef weled hyny, er nas gwelais i, ar ymyl un Beibl; eithr pe byddai yn mhob Beibl cyfieithiedig, ni byddai o fwy grym nâ dangos fod y cyfieithwyr yn barnu mai perfedd, efallai, a feddylir; eithr *tom* sydd yn y testun, ac ni ddylid, heb anghenrheidrwydd, roddi ystyr wahanol i'r gair. Pe amgen, gallai pob un, yn ol ei fympwy, roddi pen yn lle troed, nos yn lle dydd, neu "Dywyllwch yn lle goleuni," yn y man y mynai o'i Feibl.

Dywed Meurig, "Mai prinder tail yn hytrach nâ newyn, oedd yn y ddinas," os cywir fy ymresymiad i. Ysgafnach nâ gwegi yw yr ymresymiad hwn; canys os oedd prinder tail yn achosi prinder ymborth, newyn a ganlynai. Ambell dyddynwr, os neb, sydd heb wybod fod prinder cnwd yn canlyn prinder tail, hyd y nod mewn amgylchiadau cyffredin.

Tybia Meurig y "Buasai raid rhwymo yr ehediaid cyn y gallasid cael eu tail." Tebyg ddigon nas gwyr efe fod colomenod yn fwy gofalus am "Warchod eu tai gartref," nâ llawer o ddynion, a'u bod yn treulio agos eu holl amser yn, neu wrth eu tai, ond pan fyddant yn hel eu hymborth. "Yn ehedeg fel colomenod i'w ffenestri;" ni raid eu rhwymo gartref. Barna Meurig "Na allesid codi digon o ymborth dros ddiwrnod o warchae yn ol y ffordd y darluniais i." Digon o ateb i hyn yw, y gallasid codi lawer mwy yn y ffordd hyn, nag a allasid gael trwy fwyta *perfedd* y colomenod. Dealled Meurig nad ydwyf yn haeru yn bendant fod fy esponiad yn ddifeth; casgliadau lled naturiol, feddyliaf, yw sylwedd fy ymresymiadau, a lle na byddo tystiolaeth eglur rhaid boddloni wrth y casgliadau goreu. Casgliad annaturiol yn fy mryd i, yw eiddo Meurig; canys nid tom yw perfedd, ac nid oes un rheswm wedi ei roddi dros ddywedyd tom, pan mai perfedd a feddylir, yn ol barn IORWERTH.

---

## HOLWYDDORU Y GOLYGYDD.

RHYFEDDA rhai o'n darllenwyr am ein bod yn ateb y fath ohebwr pigog ag yw Efan o'r Bryn Draw; yn neillduol am fod ei holiadau mor afresymol. Addefwn mai dirmyg dystaw fyddai yr atebiad teilyngaf i'r fath ofyniadau; eithr deallwn wrth amryw lythyrau o gymmydogaeth Efan, bod rhai dynion *crefyddol iawn*, er ateb rhyw ddybenion, yn ymdrechu i rwystro pawb i dderbyn y SEREN; am hyny barnasom y gallai fod rhai o'n cyfeillion yn cael eu harwain ganddynt i'r unrhyw afresymoldeb; er mwyn y cyfryw, dangoswn yn onest pa fodd y mae pethau yn sefyll rhyngom â'r rhai a ymhyfrydant mewn gwneuthur drwg i ni. Rhoddwn ein hatebion yn ddigyfrwng ar ol gofyniadau Efan.

"Mr. Gomer,—Y mae arnaf eisieu cael atebiad i'r gofyniadau canlynol:— Ydwyf, &c. EVAN O'R BRYN DRAW.

Holiad 1. A ydych chwi mor rhyfygus â thybied bod eich ysgrifeniadau

chwi eich hun yn berffaith ddifai? Neu, fod eich SEREN yn gyhoeddiad mor rhagorol fel nas gellir canfod gwendidau ynddo?"

Ateb. Nac ydym, yn wir, Efan. Yr ydym yn gorfod ysgrifenu llawer mewn brys mawr, a da genym, wrth adolygu amryw o'n ysgrifeniadau, yn mhen amser wedi eu cyhoeddi, pe buasai rhai ymadroddion wedi eu geirio mewn modd arall, &c. Pell iawn ydym o hòni anfethedigrwydd; eithr yr ydym "mor rhyfygus" â meddwl mai ein dyledswydd yw ymestyn at berffeithrwydd; a bod nodi allan wendidau dyn anmherffaith yn un o'r moddion godidog a dueddant i'w gynnyddu. Ac, mewn perthynas i SEREN GOMER, gŵyr pawb sydd yn ei darllen ein bod yn cenadu i'n gohebwyr bob amser i ddywedyd fod *brychau yma* a *brychau acw* ynddi. Gwir yw, fod llawer o rai gweinion yn cyfrif y paladr dyscleiriaf yn frycheuyn o'r duaf; a'r un mor wired ydyw, nad oes ddyn yn ei bwyll a feddylia y dylai Golygydd cyhoeddiad yr ymddengys gwaith cynnifer o bleidwyr gwahanol ynddo, gymmeradwyo pob peth sydd ynddo; cyn y byddo modd i hyny, rhaid fyddai gwrthod pob peth na fyddo yn unol â'i olygiadau ei hun; ac, o ganlyniad, ymwrthod yn llwyr ag anmhleidgarwch.

Hol. 2. "Os nad ydych berffaith eich hunan, beth all fod eich rheswm am gyhoeddi gwaith y rhai a feiant ar gyhoeddiadau, a phregethau gweision ffyddlon Iesu Grist?"

At. Beirniadir ar waith amryw yn y SEREN, y rhai nis gwyddom pa un ai "gweision Iesu Grist" ydynt ai peidio. Y mae ambell un ag y gobeithiwn ei fod yn "was i Iesu Grist" yn go ragfarnllyd, ac anwybodus; ac yn gyffredin y mae anfethedigrwydd y pryf o ddyn yn gyfatebol i helaethrwydd ei anwybodaeth. Y mae y godidocaf o "weision ffyddlon Iesu Grist" yn ddarostyngedig i gyhoeddi cyfeiliornadau. Pob cyfeiliornad mewn crefydd a gynnwys radd o wenwyn ysbrydol; ac nid oes dad (teilwng o'r enw,) dan y nefoedd a oddefai i feddyg camsyniol, (er barnu fod y dyben yn dda,) roddi gwenwyn i'w blant yn lle meddyginiaeth. Os "gwas *ffyddlon* i Grist" a argyhoeddir o fai neillduol, efe a fydd *ddiolchgar:* ni thramgwyddodd yr hyawdl Apolos am i Acwila a Phriscila, agor ffordd Duw yn fanylach iddo, Act. xviii, 26. Y mae agos holl gyhoeddiadau cylchynol Lloegr, yn cynnwys beirniadaeth collfarnol, nid yn unig ar ranau, ond yn aml ar holl waith rhai o "weision Iesu Grist," ac anaml y caniateir i'r awdwyr amddiffyn eu hunain. Cynnwysai SEREN GOMER feirniadaeth ar waith rhyw rai neu gilydd oddiar ei hymddangosiad cyntaf; eithr ni chlywid son am ffurfio cyngrair i attal ei chylchrediad hyd yn awr. Yn mhellach, nid oes modd gwrthweithredu cyfeiliornad a fyddo yn gyhoeddus, ond trwy ei ddynoethi yn gyhoeddus; ac nid yw cerydd cyhoeddus am gyfeiliornad cyhoeddus yn anfrawdol, nac yn anysgrythyrol. Ceryddwyd Pedr gan Paul, a thrwy roddi hanes y cerydd yn y Beibl, gwnaethpwyd ef mor gyhoeddus â Christionogrwydd ei hun, Gal. ii, 11—14. Y mae ychydig feirniadaeth

yn sicr o wneuthur lles; efe a wna ddynion cyhoeddus yn fwy gwyliadwrus, a hyffordda ieuenctyd yr oes, a gellwch fod yn sicr, Efan, er nad yw anghlod yn eistedd arnom mor esmwyth â chlod, y gwna beirniadaeth i awdwyr cydwybodol wneuthur cryn wahaniaeth yn yr ail-argraffiad o'u gwaith, pan fyddo galwad am argraffiad newydd. Yn olaf, rhoddir lle bob amser yn y SEREN i'r sawl a dybir yn gamsyniol, i amddiffyn ei hun os dichon wneuthur hyny; ac ni a obeithiwn nad oes neb o'n darllenwyr yn caru bod yr hyn nas gellir ei amddiffyn yn ffynadwy. Gochelwch, Efan, rhag priodoli neb o'r sylwadau blaenorol i bersonau neillduol, canys nodiadau cyffredinol ydynt.

Er mwyn cyssondeb, Efan, dylech wneuthur cyfraith i rwystro pawb i dderbyn neb llyfrau beirniadol; ffwrdd â'r *Eclectic Quarterly Review*, y *New Evangelical Magazine*, a lluoedd o'r fath, y rhai a gynnwysant feirniadaeth lemdost yn barhaus ar waith y dynion enwocaf yn y deyrnas. Yn yr olaf, am Tachwedd, diraddir y pregethwr mwyaf poblogaidd yn Llundain, yn ddiweddar; Mr. Irving, beirniadwyd gyda llawer o ddigrifwch, neu yn hytrach geirllonder, ar ei bregethau, ei agwedd, a'i lais, &c. Pe medrech chwi attal pob cyhoeddiad o'r fath hyn, byddai o gylch yr un faint o ryddid wedi ei adael yn ein gwlad ni ag y mae yr *Anwylyd* Fferdinand a boneddigion y Chwil-lys, yn foddlon i'r Yspaeniaid gael.

Hol. 3. "Oni raid mai oddiar ddigofaint personol yr ydych yn cyhoeddi llythyrau fyddo yn beio pregethau a chyhoeddiadau gweision Mab Duw?"—At. Na raid, mewn gwirionedd, Efan; canys nid oes ddyn o dan y nefoedd yn wrthddrych o'n digofaint ni; nid oes mo'r dyn byw ag y chwennychem fwy o ddrwg iddo nag i ni ein hunain; yr un peth yn hollol genym ni fyddai i chwi ddywedyd ein bod yn llwyr-ymwrthod â Christionogrwydd ac â nefoedd Duw, â dywedyd ein bod yn byw o dan lywodraeth llid; yr ydym yn meddwl bod rhai golygiadau crefyddol o dueddiad niweidiol iawn; eithr nis gallwn ymgeleddu dros fynyd y gwrthuni erchyll o gasâu undyn oblegid ei ddaliadau crefyddol. Beth! llidio wrth ddyn er mwyn cariad Duw! Drachefn, os yw beio yr hyn a fernir sydd feius, yn profi bod digofaint yn mynwes y sawl fyddo yn beio, y canlyniad yw fod holl ysgrifenwyr y Beibl, ïe, holl ddifrifolion byd, o'r dechreuad hyd heddyw, yn ddynion llidiog! Am lawer o'r rhai y beirniadwyd ar eu gwaith nis gwyddem pwy oeddent, am hyny anmhosibl oedd i ni weithredu oddiar ddigofaint.

Unwaith etto, Efan, yr ydym yn lled-dybio mai eich hyfrydwch chwi fyddai cael esgus golygus i'n drwg-liwio; maddeuwch i ni, os ydym yn gwneuthur cam â chwi; dywedir am gariad, "nad ydyw yn meddwl drwg;" ymddengys i ni, pe buasech chwi o dan lywodraeth yr egwyddor hòno y gallasech feddwl am lawer o bethau fel cynhyrfiol achosion i'n hymddygiad, yn hytrach nâ digofaint. Naturiol iawn, fuasai casglu fel hyn; "Er bod y Golygydd wedi cyhoeddi amryw ysgrifau ag ydynt yn

tueddu i iselu rhai dynion, tebyg ddigon yw na wyddai efe at bwy yn neillduol yr annelid y saethau; pe amgen buasai yn arbed fy nghyfeillion:—neu, os gwyddai, efallai fod rhwymau arno i roddi cyhoeddusrwydd iddynt; cyhuddir ef o bleidgarwch; haera yntef, ei fod yn anmhleidgar: oddiar hyn, gallasai rhyw walch ddywedyd, 'Mynaf weled yn fuan, pa un ai y Golygydd neu ei gyhuddwyr sydd yn dywedyd y gwir.' Neu, gallasech yn go naturiol feddwl fod rhai o'r egwyddorion a gondemnir o duedd mor niweidiol yn marn y Golygydd, (gan nad beth ydynt yn eich barn chwi), fel na allasai o gydwybod wrthod cyhoeddi yr ysgrifau a ddangosent ddrygedd y cyfryw egwyddorion."

Hol. 4. "Onid ydych yn meddwl eich bod yn gwneuthur drwg i ddynion yn eu hamgylchiadau bydol a'u henwau da wrth feio eu gwaith?"—At. Ni ddaeth y fath beth i'n meddwl erioed, Evan; nid oes neb ond dynion ffol iawn a edrychant yn waeth ar ddyn o herwydd cael prawf ei fod yn anmherffaith. Sylwasom mewn rhifyn blaenorol, fod rhai pethau tra gwrthun yn nghyhoeddiadau yr awdwyr enwocaf; bod y dysgedig Dr. Gill, yn barnu mai Crist ei hun a feddylir wrth y Lazarus tlawd yn Luc xvi, 19—31. Dim llai dyn nâ'r enwog Dr. Owen a gafodd afael mewn bedydd babanod yn ei esboniad ar yr Hebreaid, pen. xi, 24, gan sylwi oddiwrth y testun, "mai braint Ddwyfol dra rhagorol yw bedyddio plant *credinwyr* yn eu babandod." Onid ydym yn camsynied, Efan, chwi a gondemniwch farn y ddau Ddoctor, yn y pethau uchod, ac, ysgatfydd, amryw bethau ereill, etto, pe unai y byd â chwi yn hyny, dynion mawrion ardderchog y cyfrifid y ddau; ac ni pheidid a darllen eu gwaith. Na feddyliwch, Efan, ein bod yn chwennych cystadlu eich awdwyr chwi â'r enwogion uchod, pechod yn erbyn ein cydwybod fyddai hyny, eithr ein meddwl yw, na ddylid, ac na wneir gwrthod gwaith gwerthfawr ar gyfrif ei wendidau.

Craffwch etto, Efan, nid ydym yn cofio i ni gyhoeddi un ysgrif feirniadol a fyddai yn condemnio yn *gyffredin* waith unrhyw awdwr, ond yn unig rhyw ranau a ymddangosent yn wrthun i'r beirniaid. Derbyniasom amryw lythyrau beirniadol yn condemnio holl ysgrifeniadau rhai, gan eu darlunio fel cyfansoddiadau hollol ddiwerth, ac mai dyfnder anwybodaeth rhai Cymry, y rhai na welsant well erioed, oedd yr achos eu bod yn cefnogi y fath gyhoeddiadau; eithr gwrthodasom gyhoeddi gymmaint ag un o honynt, rhag ofn drygu yr awdwyr; ïe, er bod y cyfryw a'u pleidwyr, wedi ymroddi ein drygu ni. Ac, yn wir, tystia rhai o'r awdwyr mewn dadl, mai lles, ac nid drwg iddynt a wnaeth y feirniadaeth, yr hyn sydd ddigon o brawf o'r hyn a haerwn.

Unwaith etto, Efan, gan fod cyfeiliornadau crefyddol yn niweidiol i eneidiau, nid yw dymuniad dros lwyddiant bydol unrhyw awdwr ond rheswm tlawd, ac anghrefyddol iawn, dros beidio dinoethi cyfeiliornadau.

Hol. 5. "Wrth gyhoeddi ysgrifau a fyddo yn beio gwaith dynion cyhoeddus, a ydych chwi, y gwr mwynaidd, yn gwneuthur i arall, megys yr

ewyllysiech i arall wneuthur i chwithau?"—At. Yn hollol, y gwr serchus. Os barna neb o'n darllenwyr bod un rhan o'n cyhoeddiadau ni yn cynnwys cyfeiliornad niweidiol i eneidiau dynion, neu gam-esboniad ar ran o air Duw, y mae iddynt berffaith roesaw i ddynoethi y cyfeiliornad; ac oni fedrwn amddiffyn ein gwaith, rhoddwn ddiolch i'n argyhoeddwr. Ond rhag ein bod yn tòri gormod o waith i ni ein hunain, a chymmaint mewn llaw eisioes, cofiwch, mai oddiwrth y rhai sydd â'u golygiadau yn gyffelyb o ran ffydd ac ymarferiad i'r eiddym ein hunain, o ran *pethau yn gyffredin*, y derbyniwn ni y cyfryw feirniadaeth; diderfyn fyddai brwydro â phawb o wahanol farnau.

Yr ydym ni wedi rhoddi enghreifftiau o hyny, trwy ganiatâu i'n gohebwyr ein gwrthwynebu lawer o weithiau, ac nid unwaith y gadawsom iddynt gael y gair diweddaf. Yn ddiweddar, gwyddoch, bod ymosodiad ar ran o ragymadrodd ein llyfr Hymnau, dywedwyd ein bod wedi dysgu dynion i ddywedyd 500 o anwiredd wrth rifo 45, &c., pe gallasid profi hyn, ni buasem ni yn tramgwyddo, ac nid ydym yn meddwl y buasai neb yn gwrthod yr Hymnau oblegid hyny.

Gofynwn un peth i chwithau, Efan. Gan eich bod mor selog yn erbyn drygu dynion yn eu hamgylchiadau bydol, pa fodd y deallasoch mai rhinwedd tra godidog ydyw ein drygu ni? Ni ddarfu i ni erioed geisio darbwyllo mo'r eglwys na chymdeithas, i beidio derbyn y cyhoeddiadau sydd yn eich golwg chwi, Efan, er bod rhai o honynt yn lled ddiwerth yn ein golwg ni. Cawsant y ffordd yn rhydd o'n rhan ni i fyned trwy y byd. GOLYGYDD.

---

## OEDRAN SARA.

UN rheswm a ddygir gan Ddeistiaid yn erbyn cywirdeb, neu ysbrydoliaeth llyfrau Moses, yw yr hyn a ddywedir ynghylch bod Pharao, brenin yr Aifft, ac Abimelech, brenin Gerar, wedi cwympo mewn cariad â hi, o herwydd glendid mawr ei gwedd, a hithau yn hen wreigan grychlyd ar y pryd, Gen. xii, 11—16; a pen. xx, 1, 2. Deallir bod Sara ddeng mlwydd yn ieuengach nag Abraham; canys pan oedd Abraham, y gwr tra serchus a ffyddlawn, yn gan mlwydd, yr oedd Sara yn nawdeg o oed, (Gen. xvii, 17.) Ac am fod Abraham yn 75 mlwydd oed pan y cychwynodd o Haran i dir Canaan, rhaid bod Sara bryd hyny yn 65 mlwydd oed; ac am iddynt ill dau dreulio rhyw yspaid o amser yn Nghanaan cyn eu symudiad i'r Aifft, rhaid ei bod hi dros 65 pan gwympodd brenin y wlad hòno mewn cariad â hi; a chryn lawer yn henach etto pan orchfygwyd calon brenin Gerar gan ei thegwch dychymmygol hi. Yn awr, pan ystyrir mai breninoedd anymddibynol oedd y rhai hyn, yn gwneuthur pob peth yn ol eu hewyllys a'u mympwy eu hunain; ac o ganlyniad, nid

oedd na gwraig na gwyryf brydweddol o fewn terfynau eu gwahanol lywodraethau a'r na fedrent ei chael, os mynent, pa fodd gan hyny y mae yn bosibl rhoddi derbyniad i hanes tra anghysson Moses, sef, bod y fath freninoedd awdurdodol yn cael eu maeddu yn hollol gan degwch hen wrachan yn llawn o grychni; canys yn ol Moses ei hun, yr oedd o 65 i 70 oed ar yr amserau hynodion hyn.

Dyna yr wrthddadl yn ei chyflawn rym; ychydig ystyriaethau yn fy marn i, ydynt ddigon i'w dirymu, neu i ddangos nad oes ynddi ddim grym.

1. Er bod hanes Moses yn dangos bod Sara yn 65 mlwydd oed, ac ychydig yn ychwaneg, pan chwennychodd Pharao hi, nid yw hyn yn arwyddo ei bod yn grychawg; ond i'r gwrthwyneb, dywed ei bod yn brydweddol; a phan ystyriom y pethau rhyfedd a ddywedir i Dduw wneuthur dros Abraham a Sara, tu hwnt i ddim a wnaethai dros neb ereill yn eu hamser hwynt, megys eu galw mewn ffordd anarferol o Haran, eu cynnal mewn gwledydd estronol, lle na theyrnasai ofn Duw, cyfryngu yn eu hachos pan gymmerwyd Sara oddiwrth ei gŵr gan y breninoedd dywededig, a rhoddi mab iddynt yn groes i drefn gyffredin natur, &c. Nid oes, o leiaf, dim *anghyssondeb* yn yr hanes a ddywed fod Sara yn ddynes dra phrydweddol yn 65 oed, a gadael bod gwragedd ereill pryd hyny megys y maent yn awr, yn colli eu prydferthwch ennillgar yn yr oedran hwnw. Yr un gallu ag a gynnorthwyodd Sara i ymddwyn ar Isaac, pan ydoedd hi dros oedran planta, a allasai gynnal ei thegwch yn berffaith hyd 65 mlwydd oed, &c.

Eithr gellir amddiffyn cywirdeb yr hanes heb yr ystyriaeth o gyfryngiad gallu gwyrthiol er cynnal prydweddolrwydd Sara hyd 65 oed. Sylwer yn

1. Bod amgylchiadau dynolryw yn oesoedd boreuol y byd yn llwyr wahanol i'r hyn ag ydynt yn awr; yr oedd hŷd oes dyn lawer yn fwy bryd hyny nag yw y pryd hwn. Bu Sara fyw 127 mlynedd, (Genesis xxiii, 1,) a phan ystyrir i Abraham fyw 175 mlynedd, ac Isaac 180 mlynedd, (Gen. xxv, 7, a pen. xxxv, 28,) gwelir mai nid o henaint yn hollol y bu Sara farw, gallasai o ran hyny fyw 170 mlynedd ac uchod; gan hyny, yr oeddid bryd hyny yn byw mor agos i 200 ag y mae hen bobl yn awr i un can mlynedd; o ganlyniad, nid oedd gwendidau oedran yn cael eu teimlo mor gynnar bryd hyny ag yn awr, y canlyniad naturiol yw, y gallasai Sara fod mor brydweddol yn 80 mlwydd oed ag y mae gwragedd glân ein hoes ni yn 40. Cadarnheir hyn yn fawr, pe byddai raid, gan yr ystyriaeth nad oedd Sara wedi rhoddi heibio dysgwyl cael plant nes oedd yn 75 mlwydd, pryd hyny y deallodd ei bod yn rhy hen i blanta, yn ol trefn natur, ac y dywedodd wrth Abraham, "Yr Arglwydd a luddiodd i mi blanta, dos, atolwg, at fy llawforwyn, efallai y cair i mi blant o honi." Gen. xvi, 2. Bod Sara yn 75 y pryd hwn sydd amlwg oddiwrth oedran Abraham pan anwyd Ishmael, sef 86, Gen. xvi, 16. Dangoswyd eisioes mai deng mlwydd oedd Abraham yn henach nâ Sara. Bellach, gwelir yn amlwg y gallasai hi fod mor brydweddol yn 66 oed ag

yw gwragedd ein hamser ni yn 33 mlwydd oed; gan hyny, nid oes y sylfaen leiaf i'r wrthddadl Ddeistiaidd a achlysurodd y nodiadau hyn.

3. Gellir ychwanegu, bod tywysogion Dwyreiniol amseroedd diweddar, yn dewis ar brydiau, wragedd nad ydynt ieuanc iawn, pa un ai o serch, ai er amrywiaeth, neu i ateb rhyw ddybenion ereill, nid yw o bwys i ni yma, profi fod hyny yn cael ei wneuthur sydd ddigon i ateb fy nyben presennol; ac os ydynt yn ei wneuthur yn awr, naturiol yw casglu eu bod yn ei wneuthur gynt. Rhoddir hanes hynod am hyn gan Syr John Chardin, (*Voy. Tomme i, p.* 12.) Pan oedd Abas Fawr, tywysog Persiaidd tra galluog, yn ymroddi darostwng holl Georgia, anfonodd Taimuras, (yr hwn oedd yn llywodraethu ar ran o'r wlad,) ei fam ato, i'r dyben i derfynu pethau yn heddychol; yr oedd y dywysoges hon yn wraig weddw er yr ys cryn amser, yr ydoedd yn awr mewn cryn oedran, eithr ni ddywedir pa can hened ydoedd; pa fodd bynag yr oedd yn famgu ar y pryd hyny. Hi a gychwynodd gyda llawer o rwysgfawredd ac anrhegion i gyfarfod ag Abas, syrthiodd wrth ei draed, ac erfyniodd faddeuant i'w mab; yr oedd yn dra phrydweddol ac ystyried ei hoedran, cwympodd Abas mewn cariad â hi, ceisiodd ganddi broffesu ei grefydd ef, gan ddywedyd y byddai iddo ei phriodi; eithr nid oedd modd i'w denu i wadu ei chrefydd ei hun, sef, Cristionogrwydd; ei gwrthodiad i gydsynio â chais tywysog mor alluog a barodd iddo lidio, a gyrodd hi i garchar mewn lle pellenig, a pharodd i'w dau wŷr, y rhai a ddanfonasai Taimuras i fod yn wystlon, i gael eu dispaddu; ac wedi iddo ennill holl Georgia, ac wedi bod o'r dywysoges lawer o flynyddau yn y carchar, efe a ddanfonodd at raglaw Shiras i geisio ganddo beri i'r dywysoges dderbyn Mahometaniaeth trwy drais; pa fodd bynag, nid oedd modd i syflyd yr wrones Gristionogol hon; hi a oddefodd ei phoenydio mewn llawer ffordd gan yr erlidwyr diras, ac yn y diwedd, cafodd ei merthyru trwy gael ei llosgi ar dân glô.

Dengys yr hanes hwn nad ydyw yn beth anghredadwy fod i dywysog Dwyreiniol, mawr ei allu, er bod ganddo lawer eisioes o wragedd ieuainc, chwennychu ychwanegu un o ganol oedran atynt; ac am hyny, nid oes dim yn oedran Sara i'n tueddu i anghredu yr hanes santaidd yn ei chylch hi.

Tybia rhai nad oedd yn bosibl bod Abas yn caru y dywysoges, pe amgen, ni buasai mor greulon tuag ati yn y diwedd. Eithr gallasai ei gariad droi yn gasineb, megys eiddo Amnon tuag at Tamar, 2 Sam. xiii, 15. A phan ystyriom falchder y tywysogion ag oeddynt yn gwneuthur pob peth yn ol eu mympwy eu hunain, gan ystyried eu hunain yn dduwiau dros y rhai ag oeddynt danynt, yr oedd anufyddhau i'w gorchymynion yn tueddu mwy i gynhyrfu eu llidiawgrwydd a'u cynddaredd, nag oedd prydweddolrwydd wynebau teca'r byd yn tueddu i gynnal cariad yn eu mynwesau ffyrnig. IORWERTH.

## AMNON A THAMAR.

MR. GOMER.—Rhoddwch genad i mi Holwyddoru ychydig arnoch, mewn ysbryd cariadus. Nid y chwi, ond Tamar, sydd yn fy mlino.

GRYFFYDD O'R BRYN HWN.

Gof. 1.—Yn 2 Sam. xiii, 13, dywedir i Tamar ddiwair ddywedyd wrth y rhagrithiwr trythyll a melldithiol, sef, Amnon ei brawd, yr hwn a'i treisiodd, ac a'i gwaradwyddodd, "Yn awr, gan hyny, ymddyddan, atolwg, â'r brenin, canys ni omedd efe fi i ti." Adolwyn, beth a allasai Tamar feddwl wrth hyn? Ai tybied ei bod hi yn foddlon bod yn butain i'r diffeithwr, ei brawd, ond cael caniatâd gan ei thad? Neu, ei bod yn foddlon ymbriodi â'i brawd, os boddlon fyddai y brenin?

Ateb.—Ystyriwch yn gyntaf, Gryffydd, nad oes dim yn eich gofyniad, a gadael fod yr hyn a ddywedodd Tamar yn dra beius, yn milwrio yn erbyn ysbrydoliaeth yr hanes, o herwydd nid yw yr hanesydd ysbrydoledig yn gwneuthur neb nodiadau ar y geiriau, ond yn unig mynegu bod Tamar wedi eu llefaru; yn yr un modd ag yr adrodda Moses eiriau y sarff, "Ni byddwch feirw ddim." Y mae hanes Moses yn gywir, er bod haeriad y sarff yn gelwyddog.

A gadael bod rhyw beth anweddus yn ngeiriau y foneddiges rinweddol hon, Tamar, nid yw gymmaint i'w ryfeddu, pan ystyriom mor danllyd oedd y brofedigaeth, ac mor ddisymwth yr ymosododd yr anghenfil brwnt ar ei diweirdeb, ac heb fod ganddi neb, na dim, ond ei rhesymau ei hun, i'w hamddiffyn; rhyfedd oedd iddi ymresymu cystal yn ngwyneb y fath amgylchiad. Er nrwyn dofi y bwystfil, hi a'i geilw yn *frawd*—dengys iddo fod ei gais yn wrthwyneb i anrhydedd *Israel*, ac mai *ynfydrwydd* yr oedd efe am wneuthur—y mae yn dwyn yn mlaen ei chymmeriad ei hun, a'r eiddo yntef, fel rhesymau i'w droi oddiwrth ei fwriad gwaradwyddus, "I ba le y bwriaf ymaith *fy* ngwarth? a *thi* a fyddi fel un o'r ynfydion yn Israel."

3. Gan iddi ymresymu cystal hyd yma, naturiol yw meddwl fod ei deall yn oleu a'i dyben yn dda, pan ddywedodd, "ymddyddan â'r brenin, canys ni omedd efe fi i ti." Nid yw neb yn meddwl ei bod yn tybied y buasai yn gyfreithlon iddi fod yn butain i'w brawd trwy ganiatâd ei thad, eithr meddylia rhai ei bod yn meddwl ei briodi ond cael cydsyniad y brenin, a hyny o herwydd ei hanwybodaeth o'r gyfraith sydd yn gwahardd y cyfryw briodasau; neu bod ganddi y fath olwg fawr ar awdurdod breninol ei thad ag i feddwl y gallasai ef ddileu neu newid y ddeddf briodasol yn ol ei ewyllys; eithr mwy naturiol o lawer yw meddwl iddi lefaru y geiriau crybwylledig i'r dyben i'w gadw ef ar hyny o bryd rhag cyflawni ei fwriad drygionus, gan benderfynu cadw rhagddo fyth, os medrai trwy ryw ddyfais ddianc rhagddo y tro hwnw. Megys pe dywed-

asai, "Hoff iawn gan y brenin dydi, ei fab henaf ac etifedd ei goron; pob peth a fedro efe roddi it' a ganiatâ efe, yn hytrach nag i dy feddwl di fod mewn poen, ac wedi cael caniatâd penaeth y teulu, a llywydd y deyrnas, pwy a fedr dy waradwyddo?" Ar yr un pryd, credwn ei bod yn benderfynol yn ei meddwl, pe cawsai gyfle i appelio at y brenin, y cawsai ddiangfa hollol oddiwrth yr aughenfil annaturiol.

Gof. 2.—Yn yr un bennod, a rhan o'r un hanes, adn. 22, dywedir, "Ac ni ddywedodd Absalom wrth Amnon na drwg na da: canys Absalom a gasäodd Amnon, o herwydd iddo dreisio Tamar ei chwaer ef." Ai yr ystyr yw na ddywedodd Absalom ddim wrth ei frawd Amnon yn nghylch unrhyw beth, yn yspaid y ddwy flynedd rhwng treisiad Tamar a llofruddiad Amnon, ond ei fod yn edrych yn ddigllon arno, a chadw yn ofalus rhag cyfeillachu ag ef yr holl amser hyny? Os felly, pa fodd y cydsaif hyny ag ymddygiad Amnon, pan yr aeth i wledd Absalom yn mhen y ddwy flynedd? Oni fuasai digllonedd parhaus yr olaf yn ddigon i beri i'r blaenaf feddwl fod bradwriaeth iddo, pan wahoddwyd ef i'r wledd?

Ateb.—Yr ystyr yw, naill ai i Absalom ar y pryd y clywodd am yr anmharch a gafodd ei chwaer, ymddangos yn ddigllon, a pheidio ymddyddan â'i frawd, ond can gynted ag y penderfynodd i ymddial, yr hyn a wnaeth yn go fuan, efe a ymddangosodd mor garedigol ag arferol tuag ato, hyd oni chafodd y cyfle llofruddiawg; neu, yn hytrach, y meddwl yw, na ddywedodd Absalom na drwg na da wrth Amnon, yn nghylch *yr hyn a wnaethai i'w chwaer*, ni chymmerodd arno ei fod wedi clywed am yr hyn a ddygwyddodd; ni ddangosodd ei fod wedi tramgwyddo yn y mesur lleiaf; ymddygodd yn hollol yn yr un modd â phe buasai yn meddwl nad oedd dim allan o le wedi dygwyddo; a thrwy yr ymddygiad dichellgar hwn, a'i waith yn gwahodd holl feibion y brenin, a'r hen ŵr ei hun, yn gystal ag Amnon, yr oedd pob drwgdybiaeth yn absennol o feddwl yr olaf, ac ymddialodd Absalom yn ol ei fwriad er ys dwy flynedd yn ol. Yn hyn yr oedd pechod Absalom yn fawr; efe a feithrinodd ysbryd ymddialgar dros ddwy flynedd—efe a gymmerodd weinyddiad y gyfraith i'w law ei hun, yn groes i ewyllys Duw—efe a gyflawnodd y weithred erchyllaf, dan rith caredigrwydd a serch at ei frawd—efe a wnaeth ei weision yn llofruddion, megys pe credasai bod ei orchymyn ef yn ddigon o awdurdod dros droseddu gair Duw!—Ac efe a laddodd Amnon pan oedd yn feddw, megys pe buasai am ladd ei gorff a'i enaid yr un pryd?

Gof. 3.—Dywedir yn adn. 21, "i Ddafydd ddigio yn aruthr" wrth Amnon am halogi o hono ei chwaer, ond paham na chospodd efe ef am ei weithred ysgeler?

Ateb.—Dywed Dr. Gill fod Abarbinel, Iuddew dysgedig, yn meddwl "nad oedd y weithred yn holadwy mewr llys barn, nac yn gospadwy ag unrhyw farwolaeth a fedrai y Sanhedrim ddedfrydu iddi, megys llabyddio, llosgi, &c., nac ychwaith i'w gospi trwy fflangelliad; o herwydd nad oedd tystion; ond mai y gosp am y cyfryw drosedd oedd tòri ymaith, h. y.,

trwy law Duw." Eithr mwy tebygol yw mai serch mawr Dafydd at ei fab a'i etifedd oedd yr achos; ac, efallai bod euogrwydd du wedi gorchuddio ei feddwl, fel na feiddiai gospi ei fab am efelychu ymddygiad ei dad. Y mae cwympiadau gwaradwyddus mewn blaenoriaid gwladol, eglwysig, a theuluaidd, er bod yn ddynion da, yn gwanychu eu hawdurdod lywodraethol i raddau anamgyffredol. Bu Amnon euog o odineb o'r natur erchyllaf, eithr bu ei dad euog o odineb a llofruddiaeth. Dysged yr hanes galarus hwn i benau teuluoedd a phob math o flaenoriaid i rodio yn ddifrycheulyd, rhag caledu y rhai sydd dan eu gofal, a cholli eu grym i geryddu y beius. Er na chospwyd Amnon gan Dafydd, goddefodd Rhagluniaeth Ddwyfol i ddialedd syrthio arno hyd yr eithaf, yr hyn a ychwanegodd at drallod Dafydd i raddau helaeth iawn. GOL.

## MADDEU A DANNOD HEN FEIAU.

LLAWER a ddywedir ac a ysgrifenir yn nghylch yr anghenrheidrwydd i faddeu beiau i'n gilydd, maddeu'n llwyr, maddeu'n rhad megys y gwna Duw i ni; ïe, maddeu ac anghofio, *llwyr* anghofio y trosedd a wnaethpwyd i'n herbyn, ac o ganlyniad i edrych ar y troseddwr, ac ymddwyn tuag ato, yn mhob ystyriaeth, megys pe buasai heb gynnyg ein drygu erioed; ac am hyny na ddylid fodd yn y byd edliw fyth i'r troseddwr y pechod ag y maddeuwyd iddo unwaith o'i herwydd, yn neillduol, os bu y troseddwr a'r hwn y troseddwyd yn ei erbyn mewn cymundeb gyda'u gilydd wedi cyflawni y bai. Efallai y byddai ychydig sylwadau ar y pwnc pwysfawr hwn yn ddymunol gan rai o'ch darllenwyr, yn neillduol y trallodus *R—d L—s*, yr hwn a ofynai tu-dal. 374 o'r SEREN am 1823, fel hyn:—

> "A ydyw yn rheolaidd i un aelod ddannod i arall ei droseddau, y rhai y bu yn euog o honynt er ys amser yn ol, ac y dyoddefodd gerydd dysgyblaethol o'i herwydd, a hyny i'r dyben i goleddu pechod mewn ereill? Os yw hyny yn drosedd, pa gosp sydd ofynol i'r edliwiwr?"

1. Nodaf, fod maddeu troseddau a chamweddau i'n gilydd yn hanfodol i'n cymmeriad fel Cristionogion—yn ofynol gan orchymyn ac enghraifft Crist a'i apostolion—yn fuddiol er gwir ddyddanwch personol—yn anghenrheidiol i'n haddasu i fod o ddefnydd yn ein dydd a'n cenedlaeth yn y byd a'r eglwys;—ac yn anhebgorol i'n cymhwyso i wynfyd bythol y nef; canys y Gwaredwr, yr unig Waredwr ei hun, a ddywed, "Oni faddeuwch i ddynion eu camweddau, eich Tad nefol ni faddeu i chwithau."

2. Maddeu yn ddiragrith o'r galon, ac nid yn arwynebol a ffugiol a ofynir; pe amgen, ni byddai y maddeuant yn sylweddol, ond mewn gair yn unig; ni byddai amgen enw peth ac nid y peth ei hun—y cysgod heb y sylwedd—y llun, ac nid y corff ei hun; ac o ganlyniad, nid maddeuant

yw, ond ei rith! Yr un cymhwysder fyddai galw pren yn Dduw, â galw maddeuant ar hyn; ac am mai maddeuant trwyadl diffuant a ofyn Duw, nid oes dim a wna y tro yn lle y cyfryw faddeuant; am hyny cystal, ïe, gwell, bod heb yr enw, y cysgod, a'r llun, oni fydd y peth ei hun yn hanfodi.

3. Dygir ffrwythau addas i'r enw gan duedd, neu ysbryd maddeugar, megys gan bob pren da; a thyma hwy;—parodrwydd i faddeu—hiraethu am gyfle i faddeu, neu i arwyddo y parodrwydd mynwesol sydd i faddeu, pan gaffer cyfle i amlygu maddeugarwch i wneuthur hyny yn llawn ac yn ddigymhelliad; edrych ar y camweddus mor siriol, ac ymddwyn tuag ato mor garedigol â phe buasai heb droseddu erioed; ac o ganlyniad peidio edliw iddo ei gamweddau. Yn y modd hyn y maddeu Duw, yr hwn nid yw yn "cofio pechodau a chamweddau" ei bobl. Wrth faddeu yr ydym yn rhyddhau ein brodyr oddiwrth effeithiau y cyhuddiad a osodasem o'r blaen yn eu herbyn; ac, mewn ystyr, yn eu cyhoeddi yn wŷnion ac yn lân; eithr os awn i edliw iddynt eu beiau drachefn, taflu yr hen laid ar y màn a gyhoeddasom yn wŷn, agor y clwyf a ddywedasom oedd wedi ei iachâu, a gosod yn ol y baich trwm a ffugiasom ei dŷnu oddiar ysgwyddau ein brawd; dengys hyn mai maddeuant rhagrithiol, ac mewn enw yn unig, oedd yr eiddym ni, ac am hyny, megys y profwyd eisioes, nid oedd werth dim, a gwaeth nâ bod yn ddiwerth, yr oedd yn bechadurus yn ngolwg Duw, yr hwn a ffieiddia bob ymddygiad rhagrithiol.

4. Cyn amlygu maddeuant llawn yn y modd rhag-ddywededig, dylid cael arwyddion digonol fod y troseddwr yn wrthddrych addas o faddeuant. Wrth *addas* nid wyf yn meddwl *teilwng*, canys nid yw neb yn haeddu *maddeuant;* eithr nid yw troseddwr mewn ansawdd meddwl, neu gyflwr addas, neu wedi ei gymhwyso i dderbyn maddeuant oddiwrth Dduw na dyn, oni bydd yn deimladwy o, ac yn edifeiriol am, ei ddrygioni; am hyny ystyrir edifeirwch gan yr ysgrifenwyr ysbrydoledig fel peth rhaghanfodol i faddeuant; "Onid edifarhewch, chwi a ddyfethir yn yr un modd," "Os dywed fod yn edifar ganddo, maddeu iddo." Os yw edifeirwch yn anghenrheidiol er derbyn maddeuant, y mae "ffrwythau addas i edifeirwch" yn anhebgorol. Pob pren da a ddwg ffrwythau da; ac megys y mae ysbryd maddeugar yn dwyn ffrwyth rhinweddol, fel y nodwyd, felly y mae edifeirwch yn dwyn ffrwythau atebol i'w natur; o ganlyniad, lle byddo yr egwyddor yma yn hanfodi, bydd cryn barodrwydd i gyfaddef y trosedd; ei gyfaddef yn lled lawn, a'i gyfaddef heb ei gyfiawnhau. Er mor chwithig y swnia y geiriau "cyfaddef edifeirwch am bechod, a'i gyfiawnhau ar yr un pryd," cynnygir gwneuthur hyn yn aml iawn, yn y modd hyn;—"gwir iawn, mi gollais ychydig ar fy lle, *ond* pwy sydd heb lithro weithiau?" "Yr oedd y brofedigaeth yn danllyd iawn, a'r cnawd yn wan, ac felly *methais* sefyll yn ddiysgog." "Rhaid i mi addef gyda galar i mi syrthio yn go ddwfn, *ond* yr hwn sydd

yn sefyll edrychod na syrthio." "Os collais i y llwybr uniawn, y mae llawer o ddynion da wedi crwydro mor belled, ac yn mhellach nâ mi." "Blin iawn genyf i mi dramgwyddo fy mrawd, *ond* efe a'm gyrodd i hyny," &c. &c. Nid yw cyfaddefiad o'r fath hyn fawr, os dim gwell nâ ffug, twyll, neu enw peth, tra nad yw y sylwedd genym.

Eithr am fod rhai wedi cael tramgwydd yn gofyn swm mawr o gyfaddefiad, fel mai anhawdd iawn eu diwallu, rhaid cyfaddef *pob amgylchiad* a ymddangoso yn feius i'r tramgwyddedig cyn cael maddeuant. O'r tu arall, y mae ereill mor anewyllysgar i ddywedyd "pechasom," heb ymdrechu cyfiawnhau, neu o leiaf, i leihau y pechod a gyfaddefir, fel mai prin y gellir ei alw yn gyfaddefiad; yn ngwyneb y cyfryw amgylchiadau, pwy sydd i farnu pa un a bod y cyfaddefiad yn ddigonol ai peidio? Nid y ddau ddyn ymrafaelgar, canys y mae un o honynt hwy yn ceisio gormod a'r llall yn cynnyg rhy fach. Pan byddo ysbryd maddeugar, ac ysbryd edifeiriol yn cyfarfod a'u gilydd, ni bydd eisieu nemawr cyfryngdod oddiwrth neb dynion ereill, ond pan ddelo ysbrydoedd anfaddeugar ac anedifeiriol ynghyd, barned yr eglwys rhyngddynt; ac os barna yr eglwys fod y cyfaddefiad yn llawn ddigon, yn ol yr efengyl, dylai y tramgwyddedig ymfoddloni a maddeu yn rhwydd; o'r tu arall, os y brodyr a farnant y cyfaddefiad yn rhy fychan, dylai y troseddwr roddi ychwaneg; a dylai y sawl a fernir yn anghymhedrol gan yr eglwys benderfynu mai pleidgarwch dyn iddo ei hun a'i hanghymwysodd ef ar y cyntaf, i farnu yn gywir yn ei achos ei hun, "Os efe, (y troseddwr, neu y tramgwyddedig,) ni wrendy ar yr eglwys, bydded ef i ti megys yr ethnig a'r publican."

Mynych iawn y dywed y rhai a fernir yn feius gan yr eglwys mai pleidgarwch y brodyr yn gyffredin i'w gwrthwynebwyr a achosodd y cyfryw farn; ac y mae achos ofni fod rhai yn penderfynu pethau dadleugar yn ol eu rhagfarn a'u pleidgarwch, ac nid yn ol y Beibl a'r tystiolaethau ger eu bronau; mewn amgylchiad o'r fath, fel na byddai lle i edliw pleidgarwch i'r eglwys, myfi a gynghorwn y brodyr i annog y ddau ddyn ymrafaelgar, i enwi pob o ddau neu dri o'r frawdoliaeth, a bydded i'r rhai hyny ddewis un arall, ac yna penderfyned y 5 neu y 7 hyn yr achos, a'r sawl a wrthodo sefyll wrth eu penderfyniad hwy, a ddengys ei hun yn annheilwng i fod yn aelod o unrhyw gymdeithas fydol neu eglwysig.

Un o ganlyniedyddion naturiol, ac anwahanol oddiwrth edifeirwch gwirioneddol, yw adferiad, neu ddad-wneuthuriad o'r hyn a wnaethpwyd yn gamweddus, can belled ag y byddo hyny yn ddichonadwy. Os drygu ei frawd yn ei feddiannau bydol a wnaeth y troseddwr, cystal fyddai sôn am edifeirwch Belsebwb, ac am yr eiddo ynteu, os na wna efe, os bydd modd, y golled i fynu. Os drygu cymmeriad ei gymmydog a wnaeth, cystal bob tipyn iddo barhau i wneuthur felly hyd ag y medro, os nad ymdrecha efe hyd eithaf ei allu i uniawni yr hyn a gamwyd ganddo. Mewn awr o wylltineb, dywedodd Iolyn yn nghlyw llawer o ddynion, mai twyllwr, hocedwr, a lleidr oedd ei frawd eglwysig Onesimus. Dyg-

wyd yr achos ger bron yr eglwys; cyfaddefodd Iolyn ei fai, a cheisiwyd gan Onesimus i faddeu, "Gwnaf, (eb yr olaf), yn ewyllysgar iawn, os gwna fy nghyd-aelod Iolyn gyfaddef, yn nghlyw y rhai a'i clywsant yn fy ngwaradwyddo yn ddiachos, bod y cwbl a ddywedodd efe y pryd hyny am fy nhwyll a'm hanonestrwydd yn hollol ddisail." "O, na, na, (eb Iolyn,) iaith y Beibl yw, 'os dywed efe bod yn edifar ganddo, maddeu iddo,' ac yr ydwyf fi wedi gwneuthur hyny, ac nis gwnaf ond hyny." Safodd Iolyn at ei bwnc yn gyndyn, ac o'r diwedd diarddelwyd ef gan yr eglwys, a hyny yn y modd mwyaf cyfiawn, oblegid mai edifeirwch diffrwyth oedd yr eiddo ef; efe a ysbeiliodd ei frawd o'i gymmeriad, ac a ballodd roddi y cymmeriad hwnw yn ol, er y gallasai ei wneuthur, ac felly lleidr o'r fath erchyllaf ydoedd. Gwell ganddo adael ei frawd onest dan y llwyth o warth a osodasai efe arno, na diraddio ei hun trwy ei symud yn gyhoeddus. Nid yw edifeirwch na ffydd heb weithredoedd atebol o werth dim.

5. Er na ddylid fodd yn y byd ddannod hen droseddau a fyddont wedi eu maddeu unwaith; etto, cofier mai rheol gyffredinol yw hon, megys rheolau cyffredin ereill, ag sydd ag eithriad yn perthyn iddi. Mynychrwydd cyflawniad unrhyw bechod sydd yn sefydlu cymmeriad dyn, ac nid un weithred neillduol. Nid oes bechadur dan y nef a'r nad yw wedi gwneuthur un weithred dda, mewn ymdangosiad o leiaf, ryw bryd yn ei oes; ac nid oes ddyn mor ddifrycheulyd a'r na wnaeth ryw weithred ag y gofidia efe o'i herwydd; yn hyn, gellid ystyried dyn drwg a dyn da yn gyffelyb; etto, mawr yw y gwahaniaeth rhyngddynt; peth dygwyddol neu achlysurol i ddyn drwg wneuthur da, cyflawni drygioni sydd yn ol ei elfen; felly, peth dygwyddol ac achlysurol i ddyn da yw gwneuthur drwg; ond ei fywioliaeth, mewn ystyr, yw gwneuthur yn dda. Tyngodd a rhegodd Pedr unwaith, etto nid tyngwr a rhegwr oedd Pedr; meddwodd Noa unwaith, etto nid meddwyn oedd Noa: pe buasai y naill yn rhegu, a'r llall yn meddwi bob dydd, neu yn aml, buasai hyny yn sefydlu eu cymmeriad; buasai y naill yn rhegwr a'r llall yn feddwyn. Pan fyddo dyn wedi cael maddeuant am yr un drwg amryw weithiau, ac yntau yn ei gyflawni amryw weithiau drachefn, cyfreithlon yn yr achos hwn, yw crybwyll yr hyn ag y maddeuwyd iddo o'i herwydd o'r blaen, pe amgen ni byddai rhyddid i ni grybwyll yr hyn sydd yn dangos yn benderfynol beth yw gwir gymmeriad y troseddwr. Nid wyf yn deall fod un amgylchiad arall a gyfreithlona grybwylliad o feiau a faddeuwyd.

Am y gŵr a grybwylla *R—d L—s*, ag sydd yn edliw hen feiau i un brawd er mwyn coleddu pechod mewn arall, ei ymddygiad sydd afresymol, annuwiol, ac annyoddefol; ac oni chyfaddefa efe ei fai, a'i adael er boddlonrwydd i'w frawd a dramgwyddodd, ac i'r frawdoliaeth yn gyffredin, gosoder arno y gosp lemaf a fedro yr eglwys ei gweini, hyny yw, diaeloder ef; canys y mae dan lywodraeth pechod, ac os goddefir ef yn hir, efe a lygra yr holl gorff.

IORWERTH.

## RHIFEDI MEIBION JESSE.

Mewn cyfrinach yn ddiweddar, gofynodd cyfaill i mi, "A wyddoch chwi pa sawl mab oedd i Jesse, tad Dafydd, Brenin Israel?"—Atebais, "Nid wyf yn cofio ar hyn o bryd, eithr gwn fy mod wedi darllen am danynt ryw amser yn ol." "Do, do, (eb fy nghyfaill,) ac, odid, na ddarllenasoch hanesion ysgrythyrol tra dyryslyd, os nid anghysson, yn eu cylch; canys yn 1 Sam. xvi, 10, 11; a xvii, 12; dywedir fod i Jesse wyth o feibion; eithr yn 1 Cron. ii, 13, 14, 15, lle enwir ei holl feibion, nid oes son ond am saith; a dywedir yn bendant yn y lle olaf mai Dafydd oedd y 7fed, ond yn y lle a grybwyllais gyntaf, dywedir yn eglur mai efe oedd yr 8fed. Onid oes yma ddyryswch i ryfeddu?" Oes yn ddiau, ar yr olwg gyntaf. Eithr un sylw bychan a symud yr anhawsdra. Yr ydym oll yn byw mewn byd ag y mae ychydig amser yn gwneuthur cyfnewidiad mawr mewn teuluoedd. Aeth cryn yspaid o amser heibio oddiar yr eneinniwyd Dafydd gan Samuel, 1 Sam. xvi, 10, 11, hyd oni esgynodd efe i orsedd Israel. Naturiol gan hyny yw meddwl fod i Jesse wyth o feibion pan eneinniwyd Dafydd yn frenin, eithr bod un o honynt wedi marw, ac felly nad oedd ganddo ond saith pan ysgrifenwyd yr hanes sydd yn 1 Cron. ii, 13—15, ac nad yw yr hanesydd yn son ond am y rhai ag oeddynt fyw bryd hyny; y rheswm, fel y casglaf, na sonir am dano yw, iddo farw yn ddiblant, ac felly na buasai crybwyll am dano ef yn ateb un rhan o ddyben yr hanesydd santaidd pan ysgrifenai yr achyddiaeth yn y Cronicl. Felly gwelwn mai hawdd y gallasai Dafydd fod yn 8fed mab i Jesse yn amser ei eneinniad, ond y 7fed mab pan ysgrifenwyd y Cronicl. Llawer gwaith wedi hyn y trodd angeu yr 8fed plentyn yn 7fed, a'r 7fed yn 6fed, &c. Iorwerth.

---

## DAMMEG Y BRENIN A'I WEISION.

Yn eich rhif. am Ionawr diweddaf, amlyga "Llai nâ'r Lleiaf" ei ddymuniad dros gael eglurhad ar y ddammeg yn Mat. xviii, 23—35, gyda'ch trwydded chwi, ymdrechaf ei foddhau.

Wrth ddarllen dammegion, os mynwn eu deall, rhaid cadw ein golwg yn neillduol at y prif bwnc a fynai y dammegwr ei sefydlu, ac nid ar bob amgylchiad yn y gymhariaeth. Dylem gofio hefyd mai amcan y nifer amlaf o ddammegion yn y Beibl yw cadarnhau rhyw bynciau ysbrydol neu foesol oddiwrth ryw hanes am bethau daearol, can nad pa un ai dychymmygol neu wirioneddol fyddo yr hanes; am hyny nid ateb y

gymhariaeth rhyngddynt yn mhob peth, o herwydd nas gellir cystadlu amgylchiadau daearol â gwirioneddau ysbrydol.

Amcan y ddammeg hon, fel y gwelir oddiwrth y cyd-destun blaenorol, yw dangos yr angheurheidrwydd o faddeu, a maddeu llawer, i'n cyd-greaduriaid, cyn y byddo'n gymhwys i deyrnas nefoedd. Barnai Pedr fod seithwaith yn myned â'r gorchwyl o faddeu i'w eithafoedd, (er mai rhy fach i Pedr gael gan Dduw oedd hyny,) eithr dywedai Crist, "Hyd ddengwaith a thrugain seithwaith," rhifedi pennodol am un anmhennodol; megys pe dywedasai, "Nid wyf am osod terfyn i'r gorchwyl hwn, dylech fod mewn hwyl i faddeu nes myned i wlad yn yr hon na bydd achos rhoddi na derbyn maddeuant am dragywyddoldeb. Dengys y ddammeg hon y dylem fod yn barod i faddeu i'n cyd-ddynion, o herwydd yn—

1. Ein bod yn sefyll mewn diffyg o gael maddeuant ein hunain; gŵr ag oedd yn ddwfn yn nyled ei arglwydd oedd yr hwn ag y beiwyd arno am beidio maddeu i'w gydwas. Pa beth a ddichon fod yn fwy rhesymol nâ bod yr hwn sydd yn dysgwyl byw ar drugaredd i fod yn drugarog ei hun, yn ol ei allu? Onid trugaredd ddylai fod ei elfen? Pa mor wrthun, atgas, ac afresymol, gan hyny, raid fod ysbryd anfaddeugar?

2. Ni elwir arnom ni i faddeu ond ychydig i'n cyd-ddynion, mewn cymhariaeth i'r hyn a raid i ni dderbyn gan y Brenin mawr, os cadwedig a fyddwn. Yr oedd y gwas anfaddeugar ddeng mil o dalentau yn nyled ei arglwydd, tra nad oedd ei gydwas ond can ceiniog yn ei ddyled ef. Dyled y blaenaf, yn ol cyfrif y Dr. *Peideaux*, oedd, a gadael mai aur oedd y talentau, yn 70 miliwn punt o'n harian ni; eithr os talentau arian oeddynt, y swm oedd atebol i 4,500,000 p., tra nad oedd dyled ei gydwas, a chyfrif y *Denarius* (ceiniog) Rufeinig yn saith ceiniog a dimai, ond tair punt ac hanner coron o'n harian ni. Dirfawr wahaniaeth! Nid oes le gan y dyn mwyaf maddeugar i faddeu ond ychydig i'r dyn gwaethaf, mewn cymhariaeth i'r maddeuant annhraethawl fawr a roddir gan Dduw i'r dyn goreu a gaiff nefoedd. Pa beth a all ragori mewn gwrthuni ar waith y gwas drwg yn llindagu ei gydwas, a'i daflu i garchar, am ychydig geiniogau o ddyled, ac yntef newydd cael maddeuant am y can cymmaint o rifedi o dalentau!

3. Dichon dyn edifeiriol a droseddodd yn ein herbyn ni wneuthur rhyw fath o iawn i ni am ei bechod, a chyfarfod â ni, megys yn y canol, a thrwy hyny leihau ein gwaith o faddeu; ond pwy a fedr gyfarfod â'i Dduw y ffordd ganol! Pwy a fedr roddi'r iawn lleiaf iddo ef am ei bechod? Nid oedd dyled ei gydwas mor fawr â'r na allasai dalu y cwbl i'r taeog, pe cawsai ychydig amser; ac yn y modd mwyaf gostyngedig efe a addawodd wneuthur hyny; eithr yr oedd y gwas anfaddeugar wedi dystrywio cymmaint o arian ei arglwydd, fel yr oedd ei ddyled yn gyfryw fel na fedrai boneddigion arianawg, chwaethach dyn mewn sefyllfa gwas, ei thalu byth; er ei fod ef, naill ai yn anystyriol neu yn rhagrithiol, yn addaw gwneuthur. Gwyddai ei arglwydd nas medrai dalu dim, am hyny

maddeuodd iddo y *cwbl*. Os yw Duw, gan hyny, yn maddeu yn ewyllysgar i'r sawl na allent dalu dim, pa mor anefengylaidd a chythreulig raid fod ysbryd y dyn na faddeu i'r sawl a wna ychydig o iawn am ei fai?

4. Nid oes fynedfa i neb i'r nef ond dynion maddeugar. Rhoddwyd y gwas anfaddeugar i'r poenwyr hyd oni thalai y cwbl, "Felly (medd Crist) y gwna fy Nhad nefol i chwithau, oni faddeuwch o'ch calonau, bob un i'w frawd ei gamweddau." Nid yw ein gwaith ni yn maddeu yn teilyngu nefoedd, etto, heb hyn, nis gellir myned yno; y mae Duw wedi cysylltu uffern ac anfaddeugarwch wrth eu gilydd, "Y trugarogion a gânt drugaredd." Peidio maddeu i ereill a ddengys na chawsom faddeuant gwirioneddol ein hunain erioed, can nad beth fyddo ein proffes, "Oni faddeuwch i ddynion eu camweddau, eich Tad nefol ni faddeu i chwithau." Pan ystyriom yn ddyladwy y drwg mawr a wnaethom ni yn erbyn Duw, nid mor chwannog fyddwn i fwyhau troseddau ereill yn ein herbyn ni, eithr hyfryd genym fydd cael cyfle i amlygu ein maddeuant iddynt. Yr hyn a ymddengys i "Lai nâ'r Lleiaf" yn anghyssondeb yn y ddammeg yw, fod y brenin wedi maddeu, ac yn cospi wedi hyny am y bai a faddeuwyd, yr hyn ni wna yr Arglwydd. Dywedais eisioes y gallwn yn hawdd fyned i ddyryswch, os rhoddwn bwys ar bob peth amgylchiadol mewn dammegion; dyn, na fedrai chwilio y galon, oedd arglwydd y gwas taeog, gallasai dyn feddwl wrth ei ostyngeiddrwydd a'i ymbiliad, ei fod yn wir edifeiriol; eithr ei sarugrwydd at ei gydwas a brofodd i'w feistr nad oedd efe felly, am hyny naturiol oedd i ddyn gospi am yr hyn yr amlygodd faddeuant am dano o'r blaen. Parodrwydd y brenin i faddeu swm mor fawr ar edifeirwch ymddangosiadol a esyd allan barodrwydd Duw i faddeu y pechodau mwyaf ar edifeirwch gwirioneddol. Gwaith y brenin yn cospi, pan ddeallodd pa fath ydoedd ei was, a ddynoda y bydd Duw yn sicr o gospi yr anfaddeugar yn nydd y prawf; er bod ei broffes, ymweliadau rhagluniaethol, a'i sefyllfa yn yr eglwys yn arwyddo ei fod wedi cael maddeuant, (er nas cafodd hyny mewn gwirionedd erioed.) Meddyliaf na ddylid myned â'r gymhariaeth yn mhellach nâ hyn, rhag ei dystrywio. Diedifarus yw doniau a galwedigaethau Duw. Mewn gair, annichonadwy yw i Dduw gospi yn llythyrenol am yr hyn a faddeuwyd unwaith; canys nid oes neb amgylchiadau a allant ei dueddu i newid ei feddwl.

LLEWELYN.

---

## PERES—UPHARSIN.

GOFYNA J. J—s, Cwmeilltin, yn SEREN Ionawr, tudal. 28, "Beth yw yr achos fod *Upharsin* yn Dan. v, 25, yn cael ei gyfnewid i *Peres* yn adn. 28?" Nid yw y dysgedigion yn llwyr gytuno ar y pen hwn; pa fodd bynag llwyr gytunant mai yr un o ran sylwedd yw *Peres ac Upharsin*.

Dywed M. Henry, fel hyn: "*Upharsin*—yr hwn a ddylasai gael ei gyfieithu, *a Pharsin*, neu *Peres*. *Parsin*, yn Hebraeg, a arwydda y *Persiaid*: —*Paresin*, yn y Galdeaeg, a arwydda *rhanu*, neu *raniad*. Gesyd Daniel y ddau ynghyd; adn. 28. Rhanwyd dy freniniaeth, rhwygwyd hi oddiwrthyt, a rhoddwyd hi yn ysglyfaeth i'r Mediaid a'r Persiaid, i gael ei rhanu rhyngddynt.

Dywed Dr. Gill. "*Peres*, rhif unigol am *Pharsin*. Ystyr y gair yw, dy freniniaeth a ranwyd; cynnwysai y deyrnas hon amryw daleithau cyfunol dan Belshazzar, ond yn awr cymmerwyd hi oddiarno, gan ei rhoddi i'r Mediaid a'r Persiaid; i Darius y Mediad, ac i Cyrus y Persiad, yr hwn a fu yn rhanog â'i ewythr Darius, dros ychydig, yn llywodraeth yr ymerodraeth."

Dyma eiriau y Dr. Fawcet ar y lle, "*Peres* yw ffurf gyssefin y gair, heb y blaen-ddod na'r terfyniad, ac a arwydda "Hwy a'i rhanant;" ond y mae tebygoliaeth rhwng y gair *Peres* a'r hwn a ddefnyddir am y Persiaid, at yr hwn y cyfeirir."

Oddiwrth y sylwadau dysgedig uchod, er nad oes rheswm pendant yn cael ei roddi paham y defnyddir *Upharsin* mewn un adnod, a *Peres* yn y llall, gwelir nad oes raid wrth reswm dros hyny, amgen nâ dywedyd fod y geiriau yn gyfystyr, neu yn agos felly, a bod un yn gystal â'r llall yn ateb dyben yr ysgrifenydd. Er, efallai, fod cysgod o wahaniaeth rhwng y geiriau mwyaf cyfystyriawg, ac am hyny nas gellir arferu un yn lle y llall yn mhob amgylchiad; etto yn y nifer amlaf o amgylchiadau e wasanaetha y naill yn lle y llall; megys, pobl, pobloedd;—nef, nefoedd;—ce'nfôr, dyfnfôr;—cyfnos, hwyr, rhwng dau oleu, gyda'r nos;—enllib, gogan, absen, &c., &c. Gan hyderu y boddlonir J. J—s â'r sylwadau blaenorol, y gorphwys ei gyd-deithiwr tua'r Tecel-*fa* fawr, IORWERTH.

## YSGELLYN A CHEDRWYDDEN LIBANUS.

CEISIA G. ab Siencyn eglurhad ar ddammeg Joas, brenin Israel, a welir yn 2 Bren. xiv, 9. "A Joas, brenin Israel, a anfonodd at Amasiah brenin Juda, gan ddywedyd, Yr ysgellyn yn Libanus a anfonodd at y gedrwydden yn Libanus, gan ddywedyd, Dyro dy ferch i'm mab i yn wraig. A bwystfil y maes yr hwn oedd yn Libanus a dramwyodd ac a sathrodd yr ysgellyn."

Hyderaf na raid defnyddio rhesymau i brofi mai dammeg, neu ymadrodd allegawl, yw y geiriau uchod, am na welais neb erioed mor hurt ag amheu hyny. Hefyd, peth cyffredin yn ffurfiad dammegion, yn yr hen amseroedd, ac yn wir, hyd heddyw, ar ryw byneiau, oedd priodoli y ddawn o leferydd, &c., i grenduriaid direswm, coedydd, meini, llysiau, &c., megys y gwneir yma i'r ysgellyn. Gwel ddammeg Jotham, yn

nghylch y prenau, &c. Barn. ix, 7—15. Bellach, brysiaf i egluro y ddammeg hon.

1. Yr achlysur o honi oedd hyn.

Bu Amasiah, brenin Juda, yn dra llwyddiannus mewn brwydr â'r Edomiaid, yn nyffryn yr halen, adn. 7. Yn ganlynol i hyny, efe a ddanfonodd hèr i Joas, brenin Israel, gan ddywedyd, "Dyred, gwelwn wyneb ein gilydd," adn. 8, h. y, Tyred di â'th luoedd i'r maes, minnau a'm lluoedd a ddeuwn i'ch cyfarfod, a cheir gweled pwy yw y gwŷr goreu mewn brwydr.

2. Ni ddywed Amasiah pa beth a'i cynhyrfodd i ddanfon yr hèr hon i frenin Israel, eithr cesglir fod un o'r tri pheth canlynol, os nid y tri ynghyd, wedi ei gynhyrfu i hyny. (1.) Ysbryd ymddial; darllenwn yn 2 Cron. xxv, 6, 10, 13, fod Amasiah wedi cyflogi llu o Israeliaid i fyned gydag ef a gwŷr Juda yn erbyn yr Edomiaid, ond ar orchymyn gŵr Duw, efe a'u gollyngodd ymaith; yr hyn a barodd i wŷr gwrthodedig Israel lidio, y rhai yn eu llid a ruthrasant ar ddinasoedd Juda, gan ladd tair mil ynddynt, ac ysglyfaethu anrhaith fawr. Yn awr, gallasai y brenin feddwl fod cyfle i dalu y pwyth i'r Israeliaid wedi dyfod. Pa fodd bynag, nid ymddengys fod un llaw gan lywodraeth Israel yn y rhuthr a wnaethai y milwyr dywededig ar ddinasoedd Juda. (2.) Barna rhai fod Amasiah, oddiar ei lwyddiant diweddar, yn meddwl mai yn awr oedd yr amser i ddwyn deg llwyth Israel yn ol dan lywodraeth hil Dafydd. (3.) Ereill a dybiant i'w lwyddiant diweddar feithrin balchder yn ei galon, fel y tybiodd na fedrai neb ei wrthwynebu yn llwyddiannus mewn rhyfel, ac i'r hèr ddywededig darddu oddiar y cyfryw falchder. Nid da bod yn rhy bendant, pan fyddo yr ysgrythyr yn fud.

3. Atebiad dammegol Joas, brenin Israel, i hèr Amasiah, a gynnwysir yn y geiriau a grybwyllwyd gan G. ab S. "Yr ysgellyn yn Libanus a anfonodd at y gedrwydden," &c. Nid oes, ysgatfydd mewn un iaith, ymadrodd a ragora ar yr atebiad hwn mewn diraddio gwrthwynebwr; y mae yn hynod o gellwair-gnöawl, llymfrathawl, a gwarth-eiriog, gan frathu i'r byw, diystyru, a dirmygu y gŵr a roddes yr hèr i'r eithaf. Ysgellyn sydd chwŷnyn o'r fath waelaf, ac i hwn y cymherir teyrnas Juda a'i brenin, tra y mae teyrnas Israel yn cael ei chymharu i'r gedrwydden ardderchog, ac arwyddir mai yr un peth fuasai i'r ysgellyn dirmygus ymgystadlu â'r gedrwydden werthfawr, ag oedd i Amasiah ymgystadlu â Joas, hyd y nod pe buasai y blaenaf yn dyfod yn heddychol i geisio ymgyfathrachu â'r olaf. Ond gan mai mewn modd rhyfelgar yr oedd yn ewyllysio dyfod, arwyddir ei bod yr un mor hawdd i Joas ddinystrio ei wrthwynebwr ag oedd i fwystfil y maes sathru ysgellyn dan ei draed. Cynghorir Amasiah i ymfoddloni ar yr anrhydedd a ennillodd, a pheidio ceisio ychwaneg trwy ymladd ag Israel, yr hyn fyddai sicr o'i niweidio ef a Juda; eithr ni wrandawodd efe ar y cynghor da hwn.

4. Canlyniad yr hèr oedd i'r ddau frenin a'u lluoedd gyfarfod â'u

gilydd, a buan y cafodd Amasiah y fath olwg ar wyneb Joas ag a barodd iddo wridio. Hèrwyr haerllug yn gyffredin a gânt y gwaethaf. Ffodd Juda, cymmerwyd eu brenin yn garcharor, ac yna cafodd fwy nâ digon o edrych yn ngwyneb Joas. Gwŷn fyd y sawl a dywysir gan Ysbryd Duw, canys hwy a ddiangant rhag dinystr. IORWERTH.

## GWYL ST. SWITHIN.

DYWEDIAD cyffredin oddiar yr hen oesoedd ydyw hwn, "Os bydd yn gwlawio ar y 15fed o Orphenaf, sef, gwyl Sant Swithin, bydd yn sicr o wlawio mwy neu lai bob dydd dros 40 niwrnod wedi hyny." Credir y dywediad gan lawer mor ddiysgog ag y credant yn modolddeb canwyllau cyrff, a holl ystranciau swyddgar ysbrydion yr angladdau, &c. Cadarnhawyd hwy yn eu cred hygoelus gan ansawdd y tywydd ar ddiwedd yr haf diweddaf, sef, Gorph. ac Awst, 1823. Canys ar ddydd St. Swithin y flwyddyn hòno yr ydoedd yn gwlawio, a dilys genym fod gwlaw wedi disgyn, mwy neu lai, bob dydd wedi hyny dros 40 niwrnod. Nid ein hamcan yw olrhain y gred hon hyd at ei sylfaen dwyllodrus, sef, chwedlau pabaidd a gwrachaidd, y rhai a briodolant i St. Swithin lywodraethiad y cymylau ar brydiau, megys y priodolant hanfodiad y canwyllau cyrff i weddiau Dewi, y sant Cymreig; eithr dynoethwn yr ofergoeliad ag ychydig eiriau fel y canlyn:—

Gwir yw ei bod yn gwlawio ar y 15fed o Orph. yn 1823, a pharhau felly dros 40 niwrnod wedi hyny; ond, yr un mor wired ydyw ei bod yn gwlawio mwy neu lai bob dydd, dros 40 niwrnod, ac ychwaneg, cyn hyny, ac *ychwaneg* nâ 40 niwrnod wedi hyny; o ganlyniad cymhwysach priodoli yr hir-wlybaniaeth hyny i lywodraethiad y diwrnod ar yr hwn y dechreuodd, nag i Wyl St. Swithin, a chywirach fyddai rhifo'r dyddiau gwlawiog yn 120 nag yn 40; y canlyniad anocheladwy ydyw, nad oes y rheswm gwanaf dros gredu'r chwedl, (yn nghylch gwyl St. Swithin,) yn cyfodi oddiwrth un o'r blynyddau mwyaf manteisiol i'r dywediad ffuantus. Eithr pe addefem fod rhyw amgylchiadau yn y flwyddyn 1823, a rhai blynyddau cyn hyny, â thuedd ynddynt i gadarnhau'r hen ddywediadau gwrachaidd dywededig; cafwyd prawf digonol y flwyddyn hon ei fod yn llwyr anwireddus. Ar ddechreu Mehefin diweddaf yr oedd yr hîn yn sych a gwresog iawn; ond o'r 10fed o'r mis hwnw hyd ganol Gorphenaf, yr ydoedd yn gwlawio agos bob dydd; ac ar y 15fed, sef, dydd St. Swithin, yr ydoedd yn gwlawio ychydig o'r boreu hyd yr hwyr; ond, er syndod i ofergoelwyr y wlad, trannoeth ydoedd ddiwrnod têg heb ddim gwlaw; ac oddiar hyny hyd y dydd hwn, (Gor. 26.) nid oes gwlaw wedi disgyn ar y ddaear, mewn gwybodaeth i ni, trwy holl gymmydogaethau y dref hon. Prawf diymwad yw hyn, nad oes un math o lywodraeth gan

ddydd y Sant gwlawiog, fel ei gelwir, ar y dyddiau a ganlynant; a gobeithiwn fod y nodiadau byrion uchod yn ddigon i alltudio un o ofergoelion ein gwlad yn mhell o'n mysg. Duw yw rheolwr y cymylau, ac ar y dydd, neu'r dyddiau, y gwelo efe fod yn dda y bydd gwlaw neu sychdwr; ni chymmer efe ei lywodraethu gan saint y byd na saint y nef; ac, O! na byddai i'n ffydd a'n hymarweddiad gael eu rheoli gan ei air ef, ac nid gan arferion, traddodiadau, ac ofer-chwedlau dynion. GOLYGYDD.

---

## NODIADAU AR YSGRIF Y DIGYFFELYB BRUTUS.

[YN y fl. 1824, ymddangosodd Llythyr yn SEREN GOMER yn diraddio ac yn bychanu yr Iaith Gymraeg, gydag holl egni dawn yr ysgrifenydd—Ei awdwr oedd BRUTUS, sef, Mr. David Owen, bryd hyny yn weinidog y Bedyddwyr yn Lleyn, sir Gaernafon, wedi hyny yn bregethwr gyda'r Anymddibynwyr, ac yn Olygydd *Lleuad yr Oes*, a'r *Efangylydd*, yn awr yn Olygydd *Yr Haul*, a gyhoeddir gan Mr. Wm. Rees, Llanymddyfri, dan nawdd Offeiriaid y Dywysogaeth. Atebwyd BRUTUS yn y Seren gan Mr. I. B. Jones, (Isaac o Dreflus,) a'r Parch. Daniel Jones, Lerpwl; yntef a amddiffynodd ei hun mewn ail lythyr hyawdl iawn, ar hyn cyhoeddodd Mr. HARRIS y llythyr canlynol; ac ysgrifenodd yr enwog GARNHUANAWC (Parch. Thos. Price, Crughywel) lythyr ar ddewrder y Cymry, yr hwn a ymddangosodd y mis ar ol hwn, Tachwedd, 1824. —D. R. S.]

Cymmeraf fy nghenad i alw Brutus yn ddyn digyffelyb, o herwydd nid wyf yn cofio i mi glywed am un dyn arall erioed a ymhyfrydai i ddifrio a diraddio ei genedl, ac heb feiddio dwyn un achwyniad yn eu herbyn fel sylfaen ei ddifriaeth. Hefyd, barnaf y dengys y nodiadau canlynol ei fod yn ymresymydd o'r fath fel nas gellir cael llawer o'i gyffelyb.

Efe a ddywed mai rhesymau ac nid difriaeth ddiles sydd eisieu arno, heb ystyried, ysgatfydd, mai anhawdd cael un a ragora mewn difriaeth ar y gwr a eilw ei wladwyr yn "gib-ddeillion,—eu cyrff ar agwedd ddynol, ond eu heneidiau yn anifeiliaidd, heb fwy o reswm ynddynt nâ'r Ouran Otan. Beirdd Cymry mor resynol o anwybodus ag i gynhyrfu tosturi ein *gwladgarwr* neu ynte mor ddrygionus ac anfad ag y teilyngant gerydd annychymmygadwy—Iaith y Cymry yn felldith ac yn rheg—a chenedl y Cymry yn genedl o ladron," &c. Oni fedr Brutus brofi fod ganddo freinsgrif i'w awdurdodi ef i ddifrio, meddyliaf y dylai ef fod y diweddaf oll o epil Adda i achwyn ar ddifriaeth, hyd y nod pe cymhwysid ato y geiriau llymaf a fedda ein Iaith.

Pe byddai anghenrheidrwydd, nid anhyfryd fyddai genyf ddilyn Brutus trwy holl gonglau'r maes; nid i frwydro llawer ag ef, ond i edrych ar haerllugrwydd digywilydd-dra yn ymosod mor ffyrnig ar adeilad a safodd

yn ddigryn yn ngwyneb cewri creulon-ddewr a stormydd rhuadwy oesoedd lawer; neu i sylwi ar farwolddyn anystyriol yn rhyfygu gwaedu gwladgarwch anfarwol i farwolaeth, ac yn aml, i edrych ar Brutus yn ymladd â'i gysgod ei hun.

Efe a eilw am atebiad i'w resymau, heb ystyried mai ei ddyledswydd oedd ein cynnysgaeddu â'r cyfryw nwyddau, cyn galw arnom eu dystrywio; hawdd yw gwneuthur nodiadau ar bob rhan o'i ysgrif, eithr gorchest orercwlffaidd fyddai dirymu rhesymau nad ydynt yn hanfodi. Pa bwnc newydd a ddygwyd i'r goleu ganddo? Pa beth sydd yn ei ysgrif yn galw am ddirymiad, heblaw haeriadau disail? Pa beth a ellir weled trwy ei waith heblaw yr hyn a ymddangosodd, o ran sylwedd, yn y *Cambrian* a'r *Carmarthen Journal* yn Saesneg, yn 1821, 1822, a 1823? A llwyr ddiogel genyf i'r holl resymau ffugiol a'r haeriadau beiddgar, o eiddo brodyr cedyrn Brutus, D. W. o Rumsey, a T. J. Llandilo, &c., gael eu dynoethi yn ddyladwy, a'u dymchwelyd yn glodforus, gan yr hyglod DANIEL AP IEUAN DDU, o Geredigion, y diweddar hawddgaraf a grymusaf IEUAN DDU o Lan Tawy, ac ereill, a hyny yn y *Saesoneg*, sef, yr anwylaeg ei hun, yn y Newyddiaduron dywededig.

Defnyddir llawer o eiriau gan Brutus, er profi'r manteision i Gymro o wybod mwy nag un iaith! A ydyw hyn, attolwg, yn un o'r camp-resymau ag sydd yn gofyn atebiad iddo? A oes rhyw eisteddfod neu Gymdeithas Gymröaidd yn gwadu'r gosodiad? Nid wyf yn dirnad i ba ddefnydd, gan hyny, y llychwynai efe gymmaint o bapyr ar y pen hwn? Gyda'r un cymhwysder y gallai ysgrifenu llythyr hirfaith er profi yr hyn nad oes un dyn synwyrol yn ei amheu, fod dysgu tair, pedair, pump, &c. o ieithoedd, yn cynnysgaethu'r dysgydd â manteision helaethach o lawer nâ'r sawl sydd yn gwybod ond dwy. Er yr holl ogoniant a genfydd Brutus yn y Saesoneg, pereidd-dra ei llais, danteithion ei bwrdd, a ffrwythlondeb ei meusydd, dir yw, na feddylia un Sais awyddus am wybodaeth, ei fod yn ddyn dysgedig, oni ŵyr efe ryw iaith, neu ieithoedd, heblaw hòno. Ni freuddwydiodd un erioed, oddieithr tylwyth yr hen *Ddic*, fod dysgu Saesonaeg yn teilyngu'r enw ysgolhaig. Gwir yw fod yr enwogion a enwa Brutus, megys y Barwn Richards, Young, Thompson, Blair, Newton, Bacon, Halley, Sheridan, a Watts, yn gwybod Saesoneg, a'r un mor wired yw eu bod bob un o honynt, yn gwybod ieithoedd ereill hefyd. Gan hyny, nid gwybodaeth o'r Glytiaith yn unig a enwogodd mo'r dyn o honynt. Os yw Brutus yn credu ei athrawiaeth ei hun, sef, bod pob mwyniant rheidiol yn gysylltedig wrth wybodaeth o dafod-iaith Lloegr, dylai alw ar ei gyfeillion Saesonaidd i beidio danfon eu plant i'r prif Athrofeydd, lle y caethiwir eu rhydd-did, y treulir eu meddiannau, ac y peryglir eu hiechyd; i lawr â Rhydychen, Caergrawnt, Tref Edyn, a Glasgow, a holl athrofeydd yr Ymneillduwyr, fel maen melin i eigion y môr! Saesoneg a Brutus a'i frawddeg i ni!

Yn atebol i'w gyssondeb arferol, gelwir yn daer gan ein *gwladgarwr*,

ar ei wladwyr i ddwyn y Saesoneg i arferiad cyffredin, er budd y Cymry uniaith, a'i reswm dros hyny yw, "nad oes ddyn o dan y nef mor anwybodus, dwl, a chibddall, â Chymro uniaith—ei enaid yn anifeilaidd, ac heb fwy o reswm ynddo, nâ'r Ouran Otan!" (rhywogaeth o'r *mwnci*, ag sydd debycach i ddyn, o ran agwedd ei gorff, nag un creadur arall; ond etto yn hollol amddifad o reswm.)—A oes rhyw un dan yr haul, heblaw Brutus, a feddyliai am ddysgu Saesneg, a rhoddi gweithiau Sheridan, Blair, Locke, &c. i'r *Ourang Otang*, ac addasu y creadur hardd hwnw trwy Saesoneg, i fod "yn *Philosophydd*, *Astronomydd*, ac yn addas i ymresymu yn senedd Prydain Fawr?" Efe a ddywed yn bendant y gwnelai gwybodaeth o'r glytiaith y Cymro uniaith mor enwog â hyny, a'r un mor bendant y tystia efe fod "enaid Cymro uniaith yn *anifeilaidd* —heb *fwy* o reswm ynddo nâ'r *Ouran Otan!*" H. y. yn berffaith anifeilaidd, os gellir credu Brutus, heb y radd leiaf o wahaniaeth rhyngddo ag eiddo anifail! Hyfryd iawn onidê, fyddai gweled Brutus, wedi cyrchu dwsin neu ugain o'r creaduriaid cwlbrenawg hyn o'r Affric, neu o ynys Borneo, yn eu rhesu mewn rhyw ystafell dlos yn ei balas, yn Llëyn, ac yn eu dysgu i fod yn Saeson hyawdl, yn athronyddion cywrain, ac yn seryddion enwog; eithr casglaf mai hawddach gorchwyl fyddai *Otangeiddiaw* Brutus nag athroneiddiaw yr *Ourang Otang*. Gofyniad. A raid i'r creaduriaid dyn-debygawl hyn ymddangos gyda hil Adda yn y farn gyffredinol olaf, neu a gaiff y Cymry uniaith eu hesgusodi rhag rhoddi cyfrif o'u goruchwyliaeth? Rhaid i un o'r ddau beth hyn fod, od oes dal ar Brutus!

Y mae rhyw hyfrydwch anarferol i ymdrin â dadleuwyr o'r fath ag yw Brutus, canys pe byddai rhywbeth, yn yr hyn a eilw èfe yn resymau, yn gofyn atebiad, efe a arbed drafferth ei wrthwynebwyr, ac a fydd mor gymmwynasgar â'i ateb ei hunan. Efe a gyd-raddola'r Cymry uniaith ag anifeiliaid y maes, yr unig wahaniaeth rhyngddynt yn ol ei lythyr ef, sydd gynnwysedig yn agwedd eu cyrff; ac efe a haera yn aml y gwnelai gwybodaeth o'r Saesneg yr anifeiliaid yn enwogion clodfawr dros ben; eithr yn yr un tu-dalen (83) efe a ddywed, "a chan fod pobl gyffredin gwlad Cymry yn *rhagori cymmaint* ar eu brodyr, sef pobl gyffredin gwlad Lloegr, pa gymmaint a ragorent pe medrent yr iaith?" sef, y Saesneg. Attolwg, pa beth yw meddwl ein hawdwr? Ai bwriadu gwaradwyddo Saeson a Saesneg, dan y lliw o ddiraddio ei genedl ei hun y mae?— Beth, y Cymry heb fwy o reswm ynddynt nâ'r Ourang Otang, o ddiffyg gwybodaeth o'r Saesneg, ac etto yn rhagori yn mhell ar eu cymmydogion, unig iaith y rhai yw Saesneg! O ardderchocaf Brutus—"Saesneg wnelai farchogion siroedd o îs-raddolion Cymry," ond yr un Saesneg ogoneddus yn gadael ei phobl ei hun, nid yn gydradd, ond "yn fwy disynwyr nâ'r mul a'r asyn!" Ai meddwl y mae Mr. Brutus fod ei anwylyd, Meistres Saesneg, yn bleidgar iawn i hil Gomer, neu yntê, nad yw Crewr pawb wedi cynnysgaethu îs-raddolion Lloegr â chynneddfau meddyliadol

cyfuwch ag eiddo'r Epa, neu'r Ourang Otang? A fedrodd y Cymro mwyaf gorwyllt ac Otangaidd, oddiar amser yr helbul yn ngwastadedd Sinar (Gen. xi,) ysgrifenu dim o duedd gryfach i ddiraddio, gwaradwyddo, cabldreithio, mwncieiddio, neu oranifeleiddio Saeson, neu ryw genedl arall, nâ llythyr Brutus? Meddyliaf fod yn edifar gan galon Brutus iddo gyfaddef cymmaint o wirionedd yn ei lythyr cyntaf, "Fod îs-raddolion Cymru yn rhagori ar îs-raddolion Lloegr," canys yr un cyfaddefiad hwn a ddryllia ei drefniant, a dynoethai ei ffug-resymau, ac a ddengys fod pob sill a ddywed efe yn erbyn cymhwysder y Gymraeg i feithrin plant, yn hollol ddisail ac anwireddus. O'i led anfodd efe a wna'r un cyfaddefiad yn ei ail lythyr; ond, ow! mor gyfyng yw arno wrth geïsio cyssoni yr addefiad hwn â'i haeriadau disail ereill, "caniatëais hyny yn barod, eb efe, ond gwybyddwch mai *addysgiadau crefyddol* sydd wedi gwneuthur hyny, ac nid rhinwedd naturiol yn meddiant y Cymry, amgen y Saeson." Ddedwyddaf Brutus! Wele ef yn ceisio sychu ymaith y gwarth a grugiasai yn ei fyrbwylldra, ar y Saeson yn ei lythyr cyntaf, ac o dan effaith yr un byrbwylldra, heb weled dim o'i flaen mwy nâ'r dall genedigol, yn lluchio gwarth erchyllach atynt, yn ei ail. Sefyllfa gyfyng iawn yw eiddo tyst anghywir; wrth geisio gochelyd y ffos ar y naill law, wele ef yn ysgoi gormod nes syrthio dros ei ben i'r ffos ar y llaw arall. Beth Brutus! a fedr y Saesneg ogoneddus ddim trosglwyddo addysg grefyddol i'w phlant? A ydyw'r Saeson ddim yn ymdrechgar i addysgu eu gilydd mewn pethau crefyddol? Hawyr! a aeth Mrs. Saesneg yn Gilboa, ei ffynnonau yn hesbion, a'u bronau yn ddilaeth, gyda golwg ar y peth mwyaf ei bwys dan y nef, a hyny o dan ddwylaw dawnus Brutus!—Os felly, Cymraeg a chrefydd i mi, canys yr ydwyf yn dysgwyl y symudir fi cyn hir i wlad lle na bydd arnaf eisieu dim ond crefydd.—Yn ol llythyr cyntaf Brutus, mwynhaid pob manteision gwybodaeth gan y Saeson, a'r peth nesaf i ddim gan y Cymry, er hyny rhagora'r Cymry difanteision ar y Saeson manteislawn; canlyniad anocheladwy yr haeriadau hyn ydoedd, naill ai bod y Saeson yn wanach eu cynneddfau nâ'r Cymry *Otangaidd*, neu ynte fod tuedd felldithiol yn y manteision a fwynhäent. Ond, yn ol ei ail lythyr nid "oes rinwedd naturiol yn meddiant y Cymry, amgen y Saeson," ond bod manteision y Cymry yn rhagori ar yr eiddynt hwy! Manteision bychain, perthynol i'r celfyddydau, gyda'r blaenaf, ond manteision mawrion—o bwys tragywyddol—addysgiadau crefyddol yn meddiant yr olaf! Yn ol yr ysgrif flaenaf, gallasid meddwl fod Watts, Blair, Milton, Gill, Henry, Scott, a lluoedd o awdwyr rhagorol ereill, yn meddiant pob un a ŵyr Saesneg, a dim ond rhyw loffion gan y Cymry, eithr yn awr ymddengys mai'r olaf yw'r genedl mwyaf uchel-freiniol.—Ië'r Gymraeg hefyd sydd yn trosglwyddo yr addysg rhagorach hwn.

Sonia Brutus lawer am ddiffyg llyfrau dysgedig yn y Gymraeg, yr hon, meddai ef, "nad yw ei meusydd ond Gilboa, ei dyffrynoedd yn laswellt gwywedig, ei ffynnonau yn hesbion, a'i bronau yn ddilaeth," &c. Pe

gwir fyddai pob sill à ddywed efe am brinder llyfrau yn y Gymraeg, pa beth a brofai y gwirionedd hyny? Efe a brofai, yn benaf, yr unig beth a hoffai, ac a fwriadai y dedwyddaf a'r cywreiniaf Brutus i'w wrthbrofi, sef, mai gwaith da rhagorol yw cynnysgaethu'r Cymro uniaith â chyfryngau gwybodaeth yn ei iaith ei hun! (oddigerth mai ei ewyllys yw ei gadw fyth mewn tywyllwch.) Wele Brutus etto yn milwrio yn galed yn ei erbyn ei hun. Mawr yw ei awydd (os gellir ei gredu) am gael y Cymry yn ddynion gwybodus—haerir ganddo nad oes ganddynt gyfryngau gwybodaeth yn eu Iaith eu hunain,—ac efe a ŵyr yn dda ddigon, onid yw yn hurtach nâ neb o feibion byrbwylldra, na ddysgir mo'r iaith arall fyth gan gannoedd o filoedd o honynt,—etto nid boddlon ganddo yr ymdrechiadau a wneir i'w haddysgu yn yr unig iaith a ddeallent! Nid rhyfedd fyddai genyf ei glywed cyn hir yn dywedyd, pe byddai ar Gymro chwant bwyd, "Tosturiaf o'm calon wrth ei gyfiwr newynllyd, eithr na rodder iddo na'r tamaid na'r llamaid hyd oni ddeallo Milton, Blair, a Locke yn Saesneg!" Meddyliaf na fyddai hyn amgen nâ pherffeithio ei wladgarwch, ei hynawsedd, a'i gynlluniau odiaethol er dwyn yn mlaen ddedwyddwch ei wlad!

Er mai yn y modd dywededig yr eglura Brutus ei fawr serch at ei genedl, odid na farna y synwyrol y gallasai ei egluro yn weddusach, (a chael cyfle teg i ymffrostio yn ei wybodaeth ar yr un pryd) mewn geiriau cyffelyb i'r rhai a ganlyn:—"Deallaf eich bod chwi Gymry, yn amddifaid o amryw lyfrau da ar rai o gangenau dysgeidiaeth, yr hyn a gyffroa'm tosturi atoch, ac am fy mod yn gwybod Saesneg, ac o ganlyniad anocheladwy yn *Philosophydd*, yn *Astronomydd*, ac yn ymresymwr addas i ymddangos yn mysg dysgedigion pena'r byd, ac felly yn addas iawn i fod yn hyfforddwr i chwi, yn enwedig am nad wyf hyd yma wedi anghofio'r iaith a ddechreuais ddysgu wrth sugno bronau fy mam, myfi a ysgrifenaf y llyfrau anghenrheidiol ar y pynciau mwyaf pwysfawr mewn dysgeidiaeth; ac yna dygir chwi o'r tywyllwch." Nid felly Brutus. Eithr yn groes i ddyngarwyr y byd efe a eilw ar ei gydgenedl i anghofio eu hiaith eu hunain os mynant wybodaeth, can nad pa un fydd cyfleusderau i ddysgu iaith arall ai peidio! Yr holl Gymdeithasau Cenhadol, y Bibl Gymdeithas a'i merched prydweddol, a ymdrechant roddi gair Duw i'r holl genedloedd o dan y nef yn eu hiaith eu hunain, cynnysgaeddwyd yr apostolion gynt â doniau i lefaru ieithoedd y bobloedd yr ymwelent â hwynt; ni ddysgwyd hwy gan yr Ysbryd i ddywedyd, "Anghofiwch eich ieithoedd eich hunain, a dysgwch yr eiddym ni, yr hon yw y ragoraf yn y byd, ac yna mynegwn i chwi ffordd iechydwriaeth." Os y ffordd oreu i ddysgu dynion mewn pethau ysbrydol yw defnyddio eu hieithoedd eu hunain, rhoddaf hèr i holl *Frutusiaid* a *Diciaid* daear i brofi nad hòno yw'r ffordd odidocaf i ddysgu iddynt holl ganghenau Llêenyddiaeth. Os canmoladwy yw gweithrediadau y cymdeithasau uchod, oni raid fod gwaith Brutus "yn felldith ac yn rheg" yn mhob man y gwyddys am dano?

Megys pe prif hyfrydwch Brutus fyddai profi ei hun yn anwireddus, neu afresymol, efe a ddywed am y Cymry fod "eu hawdwyr, pregethwyr, a'u beirdd, yn lledrata eu gwybodaeth, &c., oddiar faesydd estronol, ac mai *cenedl o ladron* ydynt." Yn y tudalen nesaf ond un efe a haera yn bendant y dygai gwybodaeth o'r Saesneg "y Cymry i fwynhad o'r oes aur, ac y byddai'r gwaelaf o'r bobl yn dra enwog, yn athronyddion," &c. Atolwg, ai'r enwogion hyn ag ydynt wedi dysgu Saesneg, ac "yn y mwynhad o'r oes aur," sy'n teilyngu'r enw "*cenedl o ladron?*" Os felly, meddyliaf bod nifer digonol, ac ychydig dros ben, o honom wedi dysgu Saesneg, a'i bod yn hen bryd i ni ei dad-ddysgu, os medrwn. Beth, Brutus, "Cymry yn y mwynhad o'r oes aur, yn *genedl o ladron*" !—Oni wna gwybodaeth o'r Saesneg hwy yn alluog i gyhoeddi cyfansoddiadau cyssefin o'r eiddynt eu hunain, pa beth a ddaw o haeriad ein *Gwladgarwr*, sef, "y gwna'r wybodaeth hòno y gwaelaf o honom yn athronyddion," &c. Onid tebycach fod Brutus yn perthyn i "genedl y cecrod," i dylwyth digywilydd-dra, ac i fintai bradychwyr gwladgarwch, nâ'i fod yn Athronydd neu Serydd, er ei fod yn gwybod Saesneg? Os dywed Brutus, mai nid y Cymry a wyddant Saesneg a eilw efe yn lladron, atolwg pa Gymry yw'r lladron? Gobeithiaf nad yw yn meddwl mai'r "Cymry unieithawg, cibddeillion, a brodyr yr Ourang Otang" ydynt, canys, pe felly, rhaid fod y creaduriaid hyn yn chwiwgwn heb eu bathau, yn medru lledrata oddiar faesydd toreithiawg y Saesneg, a hwythau heb ddeall Saesneg! Diamheu genyf fod dynion deallus ac ymofyngar Cymru yn prynu ac yn darllen cymmaint o lyfrau buddiol mewn gwahanol ieithoedd, ag y byddo eu dysgeidiaeth, eu hamser, a'u harian yn ganiatâu; a dilys genyf eu bod yn gwneuthur hyn er helaethu eu gwybodaeth, ac ychwanegu eu defnyddioldeb. Ai hyn sydd yn galw ar ŵr *boneddig* i ddefnyddio iaith Porth Beli, gan eu galw yn "genedl o ladron!"—A oes genedl dan y nef, ag sydd yn hoffi dysgeidiaeth, a'r nad yw yn gwneuthur yr un peth? A welodd Brutus erioed awdwr, pregethwr, neu fardd Seisnig enwog, a'r na byddai ganddo gryn lawer o lyfrau, mewn gwahanol ieithoedd yn ei lyfrgell? Ai mintai "o ladron" oedd yr holl wŷr cywrain a gyfieithasant weithiau awdwyr clodfawr o'r Groeg, Lladin, Ffrangaeg, Ellmynaeg, &c. i'r Saesneg? Ai lladron yw pawb a ddarllenant y cyfieithadau hyn? Os lladron yw y Cymry a fenthycant amgyffredion o'r llyfrau y talasant am danynt, oni raid bod y Saeson yn garn-lladron, gan eu bod yn rhoddi pob annogaeth â fedrant i len-yspeilwyr? I ba ddyben y cyhoeddwyd *The Pulpit Assistant*, *Skeleton of Sermons*, *Sketches of Sermons*, *The Preacher*, a lluoedd ereill o'r cyffelyb? Ai gan Gymry neu er mwyn Cymry uniaith y gwnawd hyn?—Nage, a bod yn sicr. A roddodd Cymro gyffelyb annogaeth i ladroni i'w wladwyr uniaith? Naddô, erioed. Ai Cymry sydd yn darllen pregethau cyfain, gair yn ngair, a gyfansoddwyd gan ereill, bob Sabboth, i'w cynnulleidfaoedd? Nagê, eithr lluoedd o'r Saeson a'i gwnant. Pwy yw'r lladron yn awr, Brutus? Onid lledrad

yw llawer mwy nâ hanner Meistres Saesneg ei hun? pa ryfeddod, gan hyny, ei bod yn magu plant yspeilgar. Pell oddi wrthyf fi fyddo beio awdwyr a chyhoeddwyr y llyfrau uchod, gallant fod o wasanaeth mawr i ddynion bŷr eu doniau a phrin eu hamser; ar yr un pryd profant pwy yw y prif ladron; am y Cymry a wyddant Saesneg, boneddigion "yr oes aur" ydynt hwy, a'u gwybodaeth mor helaeth fel na raid iddynt ledrata oddiar neb; ac am y Cymry uniaith, annichonadwy iddynt hwy yw lledrata oddiar faesydd estronol; a'r un mor anmhosibl yw iddynt ledrata dim oddiar faesydd y Gymraeg, am fod "ei bronau hi yn hesbion," (h. y. od oes y gred wanaf yn ddyledus i dystiolaeth Brutus,) o ganlyniad, y Cymry oll ydynt berffaith onest, yn ol "rhesymeg wreiddiol" ein gwladgarwr ei hun. Dywed Brutus lawer am y manteision cydfynedol â dysgu Saesneg. Pwy, wrth ddarllen ei waith, nad ymresymai fel hyn?—"Os gŵr geirwir yw y dyn hwn, y mae holl Loegr, Browyr, rhan helaeth o Ddyfed a Maesyfed, yn hollol amddifaid o weithwyr; nid oes yno neb ond Athronyddion, Seryddion, ac ymresymwyr addas i ymddangos yn senedd Prydain."—Gwelir llyfrgelloedd helaeth yn mhob tŷ, a gweithiau Locke, Newton, Blair, Milton, a Sheridan, yn nwylaw pob dyn a dynes, a dysgeidiaeth a chyfoeth helaeth yn meddiant pawb! Meddyliais fod hyn i gyd yn hyfryd iawn, eithr, (meddwn i) "Pwy sydd yn aredig, hau, medi, dyrnu, malu, a phobi bara i'r Saeson? Pwy sydd yn adeiladu a chyweirio eu tai? yn argraffu eu llyfrau dysgedig, ac yn gwneuthur eu dillad uchelbris," &c., &c. Rhaid (ebe fi) fod eu bara yn tyfu yn dorthau parod ar luoedd o goedydd per ddeiliog ireiddlas; eu tai gorwychion, a phob math o ddodrefn destlus ynddynt yn barod, yn tyfu o bridd y ddaear ar ffrwst, fel bwyd y boda! (barcut,) eu gwin a'u gwirodau trudfawr yn llifo i'w cwpanau heb eisieu trulliad i'w cyrchu! Eu gwartheg mwynion yn godro eu hunain i'r llaethdŷ, a'r llaeth cymwynasgar yn troi yn ymenyn a chaws parod, heb ludded afreidiol y leithwraig drafferthus, gan neidio i'r bwrdd pan fyddo eu heisieu; a chymmaint a ddiango rhag dannedd ysglyfus y Sais blonhegog a â yn ol yn dawel i'r fwyd-gell doreithiawg, hyd oni fyddo ei eisieu drachefn! Eu tê a'u melusderau moethus a ehedant ar adenydd tirionaf awelon y wawrddydd o'r ddwy India, gan gyfarfod â'u gilydd, ac ymgymmysgu â chymmaint dwfr a fyddo rheidiol, yn mhalas eurwych Brutus o Leyn, ac oddiyna ymwasgarant, a brysiant i ymweled â phob dyn sydd yn deall Saesneg o fewn golwg i Gaergwdion! Eu cesig a fwriant ebolion odiaethol, rhai â cherbydau goreurog ynglŷn wrthynt, ac ereill â chyfrwyau newyddion ar eu cefnau, a ffrwynau ni heneiddiant yn eu safnau, a deuant yn ewyllysgar, heb gyfarwyddyd cerbydwr na marchwas, at ddrysau eu meistriaid uchelfraint, pan fyddo raid wrth eu gwasanaeth dihebgor! &c., &c.

O'r fath deimladau hyfrydlawn a gynhyrfai'r sylwadau blaenorol yn fy mynwes, eithr UN ystyriaeth a ddirymai—a waradwyddai—a felldithiai'r cwbl. A'r ystyriaeth hyny ydoedd, eu bod i gyd yn dwyllodrus a chel-

wyddog, er eu bod yn tarddu mor naturiol oddiwrth haeriadau Brutus ag y deilliodd unrhyw bregeth erioed oddiwrth ei thestun. Dim "ond dysgu yr iaith arall (medd efe) a wnelai y gweithiwr yn philosophydd," &c. h. y. pob gweithiwr yn ddiwahaniaeth, canys nid yw B. yn llysu neb. Eithr dir yw fod Saeson Lloegr, Cymru, yr Alban, a'r Iwerddon, yn gorfod ennill eu bara mor galed trwy chwys eu talcenau â'r Cymry uniaith; eu pyrsau mor waged, eu llyfrgelloedd mor llwmed, a'u gwisgoedd mor waeled ag eiddo'r Gomeriaid gwaelaf. Ni feddant mo'r arian i brynu, yr amser i ddarllen, na'r deall i amgyffred y llyfrau dysgedig a grybwylla Brutus, ynghyd ag ereill yr un mor ddefnyddiol. Gallaf weled Newton, Locke, Blair, a Milton, yn mro Morganwg, (bro a gardd y Cymry) mor aml, os nid amlach, nag yn Browyr, (bro'r Saeson) yn yr un sir. Ac yr wyf yn eithaf hyderus nad yw Browyr ond Gilboa, mewn cymhariaeth i Fro Morganwg. Ac er gofid i Frutus, gallaf haeru, yn ddiofn gwrthwynebiad, fod yr ardal ëang oddeutu Llanilltyd Fawr, yn mro Morganwg, lle na ddeallid mo'r iaith ond Saesneg, oddeutu 50 neu 60 mlynedd yn ol, yr un mor ffrwythlon, cysurus, a chlodfawr yn awr ag ydoedd bryd hyny, ac yn hytrach yn fwy felly, er mai iaith gyffredin y trigolion yn awr yw Cymraeg; nid yw cyfnewidiad yr iaith wedi lleihau rhifedi ei athronyddion, seryddion, na'i ymresymwyr seneddol. Sylwed y darllenydd ar gyflwr y gweithiwr Seisnig a Chymreig yn ngweithfeydd Abertawe, Merthyr, Tredegar, &c., a thrigolion gresynol yr Iwerddon, y rhai a ddeallant Saesneg, ac yna creded, os beiddia, gymmaint â sill a ddywed Brutus ar y pen hwn.

Pe byddai ynof awydd dadlu ar unrhyw bwnc, Brutus o ddynion y byd, a hoffwn yn wrthwynebwr; anhawdd fyddai cael arall mor gymmwynasgar i'w atebwr ag ef; amcan ei ddau lythyr oedd dyrchafu'r Saesneg ac iselu y Gymraeg, ac er gwneuthur yr olaf yn eithaf dirmygus, efe a'i geilw yn "felldith ac yn rheg." Pan ofynwyd iddo "gan bwy y mae yn felldith ac yn rheg," ni fedrai ateb y gofyniad ond yn y fath ffordd ag a wna'r Saesneg ei hun yn "felldith ac yn rheg" hefyd, o herwydd efe a ddywed, "Nid yw y Gymraeg mewn braint, oblegyd esgeulusir hi gan ddysgedigion y byd, ni *wrteithiant* gydnabyddiaeth (Cymraeg Brutus yw hwn) â hi—melldith a rheg ydyw gan bawb a'r nis dysgant hi." Y canlyniad anocheladwy ydyw fod holl ieithoedd daear yn felldith ac yn rheg mewn rhyw barthau, y Saesneg ei hun yn "felldith ac yn rheg" gan y Cymry a'r na's dysgant hi, ac felly trwy'r byd.—Rhegu a melldithio iaith ei fam yn unig a fwriadai ein hawdwr; ond och! heb ystyried terfynau'r felldith pan aeth allan, wele ef yn felldithiwr ac yn rhegwr holl deyrnasoedd y byd!

Gosodir llawer o bwys gan ein hawdwr ar yr amgylchiad "nad yw dysgedigion byd yn *gwrteithio* cydnabyddiaeth â'r Gymraeg." Nid oes un o ddengmil, ysgatfydd, o ddysgedigion byd yn dysgu Saesneg, heblaw Saeson eu hunain,—pe byddai Cymraeg yn iaith breninllys, diamheu

genyf y byddai mwy o ddysgedigion tramor yn ei dysgu nag sydd; eithr nid bai'r iaith ydyw nad yw hi felly.—Yn mhellach, nid yw y Gymraeg mor ddisylw gan lëenyddion ag y mynai Brutus i ni gredu; nid wyf yn deall fod nemawr o athrofeydd Prydain ag nad oes ynddynt rai llyfrau Cymreig; onid ar gyfrif ei ddysgeidiaeth a'i lafur Cymreig y cafodd y Dr. Puw ei urdd-lythyr, o brif ysgol Rhydychain? Gwelais lythyr cyfrinachol oddiwrth aelod o gymdeithas ddysgedig yn mhrif-ddinas Ffrainc, at W. Fechan, ysw., Llanelay, Morganwg, yn SEREN GOMER, ryw amser yn ol; dyben ffurfiad y cyfryw gymdeithas, fel y deallais, oedd cael allan drysorau, &c. gwahanol ganghenau y Geltaeg;—gwaeth nâ'r cwbl i Brutus, y mae arglwyddi, esgobion, boneddigion, ac offeiriaid dysgedig ein gwlad, wedi ffurfio cymdeithasau er dwyn yn mlaen ddysgeidiaeth Gymreig, a'n brenin ei hun yn ymgeleddwr iddynt. Mawr raid fod o bres yn nhalcen y dyn a fedro ddywedyd yn ddibetrus am ein hiaith, "esgeulusir hi gan ddysgedigion y byd—melldith a rheg ydyw!"

Ateb i ofyniadau Brutus, y rhai ydynt yn perthynu i'n hiaith; gofynol fyddai llythyr hirfaith arall i gynnwys atebiad i'w ddau ofyniad olaf perthynol i ddewrder y Cymry; am hyny rhaid eu gadael ar hyn o dro.

1. Y mae'r Gymraeg mor "bur a dilwgr" ag un iaith â wn i am dani. Pe deolid yr ychydig eiriau ag ydynt o darddiad amheüus o honi, nid llawer fyddai'r golled; eithr pe deolid yr holl eiriau lledrad o'r Saesneg, ni fedrai'r Saeson amlygu eu meddyliau i'w gilydd, ond yn gyffelyb i anifeiliaid yn gyffredin, neu'r Ourang Otang, yn neillduol.

2. Hyd oni ddangoso Brutus, neu ryw un arall, i'r gwrthwyneb, credaf nad oes un iaith a ragora ar yr Omeraeg. Ysgrifenodd y gofynydd ddau lythyr hirion i'w diraddio, eithr ni chynnygodd un enghraifft o'i byrdra, neu o ragoroldeb rhyw iaith arall arni; hawddach nâ hyny oedd efelychu Porthbeliyddion, a'i "melldithio a'i rhegu, a'i galw yn hen afr."

3. Profais nad yw llawer o ddysgedigion yn anwybodus o ardderchawgrwydd y Gymraeg, ond eu bod yn "*gwrteithio* cydnabyddiaeth â hi."

4. Cystal gofyn, "Pa un fwyaf o wybodaeth a gaffai dyeithrddyn trwy ddysgu yr Yspaenaeg neu y Ffrangaeg? Os yr olaf, dylai'r Yspaeniaid anghofio eu hiaith, a dysgu'r Ffrangaeg! Athrawiaeth Frutusaidd, debygaf yw hon. Dywed Brutus, fod "Cyfansoddiad ei gorff yn gadarnach, a'i gynneddfau eneidiol yn gryfach, &c., nag eiddo dynion cyffredin." Nid wyf yn meddwl mai rhinwedd yw ymffrostio yn, na rhoddi diolch i'r Creawdwr am yr hyn na roddodd, ac ni addawodd ei roddi i ni. Diolched B., am y trugareddau a gafodd, ac fe'i hesgusodir am beidio diolch am "Gynneddfau eneidiol cryfach nâ chyffredin;" yr un mor wrthun ydyw ei glywed yn moli am hyn â phe diolchai am ei fod yn frenin Prydain. Ni raid wrth brawf o'r haeriad hwn amgen ei lythyrau ei hun, agos pob peth a gynnygir ganddo fel rheswm, a atebir ganddo ei hun. Wedi darllen ei lythyrau drostynt, naturiol fyddai gofyn: pa beth oedd ei ddyben wrth ysgrifenu? pa beth y mae wedi ei brofi? a brofodd

efe fod cyfleusderau gan ei holl wladwyr i ddysgu iaith heblaw yr eiddynt eu hunain? dim tebyg. A ddangosodd efe na's gellir trosglwyddo pob math o wybodaeth trwy gyfrwng y Gymraeg? dim o'r fath beth. A roddodd efe brawf o ddiffyg yn yr iaith a gabla, neu ragoriaeth rhyw iaith arall arni? Naddô ddim. Pa beth, gan hyny, a brofir ganddo? dim, dim, dim! Efe a geintacha lawer am fod meib Gomer yn canmol eu hiaith; eithr a oes rhyw beth yn ei waith ef i ddirymu sylfaen y cyfryw ganmoliaeth? dim yn y mesur lleiaf, oddigerth bod haeriadau disail a gwrthddywediadau cywilyddus yn medru ei wneuthur. Dichon y Gymraeg fod yr iaith ardderchocaf o dan y nef o ran dim a brofodd efe i'r gwrthwyneb. Efe a ymffrostia yn nghadernid ei gorff, cryfder ei gynneddfau eneidiol, a rhagoroldeb ei arfau milwrus; gellid meddwl wrth ei ruadau beiddgar mai cawr ydyw; eithr ei gampwaith a ddengys y gellir nesu ato yn hollol ddiberygl; nid yw y bugadwr ond corach, ei gwlbren, ei gleddyf, a'i saethau ydynt wellt a chyrs yssigedig, a'i fagnelau mwyaf ydynt chwistrelli plantos. Nis gallodd syflyd gymmaint â maen o'r hen gastell a ymosododd arno gyda'r fath ffyrnigrwydd. Mewn efelychiad o ryw Sais amleiriog, crugir amryw ymadroddion cyfystyr, neu yn agos a bod felly, ynghyd gan Brutus, trwy ei ddau lythyr, y rhai hyn a wnant dwrw fel eiddo crochan berwedig crychiasawl; wrth edrych ar ei ryferthwy ffrochwyllt ar yr olwg gyntaf, gallem feddwl fod y gwrthddrych yn werthfawr, ond erbyn tŷnu ymaith yr holl yscai, neu'r yscwm, nid oes braidd dim wedi ei adael. Dëolwch o ysgrifau B., ei holl haeriadau anmhrofadwy, ei ymadroddion ymffrostgar, ei eiriau difriawl, ei atebion iddo ei hun, a'i ddadl â'i gysgod ei hun, neu ei brofion o'r hyn nad oes neb yn ei wadu, a syndod fydd i mi os bydd chwech llinell o honynt heb eu dileu. O bob cyfansoddiad a welodd fy llygaid, ni's gwn am yr un mor wael a dirmygus ag eiddo Brutus, cymmaint yn cael ei haeru a'i ffrostio, a chan leied yn cael ei brofi. Sicr yw nad yw efe yn un o'r "Cwn mudion ni chyfarthant," eithr cyfarth ar y lleuad y mae ac felly yn ofer. Ni's gellir ei gyhuddo o segurdod, canys y mae yn rhedeg, ond rhedeg gyrfa â'i gysgod ei hun y mae. Ymddengys fod ganddo adenydd cedyrn, eithr i ba le y dygir ef gan yr adenydd hyn, ond i anialwch gwag erchyll! Attolwg pa peth a gynhyrfodd y dyn i ysgrifenu? a siomwyd ei ddysgwyliadau gan rai o'r Eisteddfodau Cymreig, o ran campdlysau neu ryw beth o'r cyffelyb? Neu, ynte, ai awydd oedd arno wneuthur son am ei ben, neu i ddangos fod ei nwydau difriawl yn aflywodraethus?

Addefaf yn rhwydd mai gwir yw fod mwy o lyfrau yn y Saesneg, ac ieithoedd ereill, nâ'r Gymraeg, a bod amryw Gymry yn chwennych deall Saesneg ac ieithoedd ereill; eithr gwn mai cystal gwir ydyw fod mwy o lyfrau eisioes yn y Gymraeg nag a fedr y tlodion brynu a darllen—fod amryw o'r Cymry goludog yn dysgu ieithoedd ereill—ac od oes rhy fychan yn y Gymraeg, yr unig ffordd i wneuthur i fynu'r diffyg yw cyhoeddi ychwaneg. Gwn hefyd mai *gwladgarwr* hynod yw'r gwr a achwyna ar brinder manteis-

ion ei wladwyr, ac ar yr un pryd, a wrthwyneba â'i holl egni y cynnygion a wneir i'w helaethu!—Gwirionedd o bwys cyfartal ydyw fod llawer o Saeson yn chwennych dysgu Cymraeg, ac yn ei wneuthur; nis gwn pa un amlaf y Cymry neu'r Saeson yn y lle y preswyliaf, eithr dios genyf fod "*I wish I understood Welsh,*" yn seinio yn fynychach yn fy nghlustiau nâ "Ow! na wypwn Saesneg;" a dilys genyf hefyd nad oes ddyn o fewn terfynau y Dywysogaeth, can nad beth ei alwad a'i sefyllfa, tyddynwr, masnachwr, meddyg, ynad, cyfreithiwr, offeiriad, pregethwr, neu'r barnwr ar ei orsedd, a'r nad yw gwybodaeth o'r Gymraeg yn fanteisiol iddo, a bod y sawl na'i deallo yn llafurio yn fynych dan anfanteision o'r pwys mwyaf. Yn mhellach, meddyliaf, os nad yw is-raddolion Cymru yn ddigon awyddus i ddysgeidiaeth, mai nid llawer heblaw Brutus, sydd heb wybod mai'r unig ffordd i gynhyrfu'r awydd gofynol mewn pobl unieithawg yw trwy gyfrwng yr unig iaith a ddeallant, ac nid trwy arall nas deallant. Ac nis gwn am neb, ond efe, a farnai'n fuddiol anghofio anwyl iaith ei anwyl fam, unig iaith ei wladwyr, iaith Adda ac Efa, ac iaith Gwynfa nefol, er dim a wyddom ni, oblegid fod gwybodaeth o ieithoedd ereill yn fanteisiol yn yr anialfyd hwn.

Nid rhyfedd genyf glywed fod "llaeth y Gymraeg yn ceulio (cawsi) yn nghylla," Brutus, canys, deallaf fod cylla LLO, (nis gwn beth am gylla asyn neu ŵydd,) yn ceulio y llaeth goreu. Nid syndod i mi ychwaith, oedd clywed ei fod wedi "ynfydu;" nac ychwaith ei fod yn addef hyny, canys y mae cryn lawer o ffalsder a chyfrwystra yn perthyn i amryw orphwylliaid byd, pan fyddo ganddynt ddyben i'w ateb. Bid heddwch i'r byd, a llwydd i amcan Brutus, a llwydd mawr i Gymru a Chymraeg,

GEDEON.

# TRAETHAWD

AR

# BRIODOL DDUWDOD EIN HARGLWYDD IESU GRIST;

YNGHYD AG

Atebiad i brif Wrthddadleuon y Sosiniaid; sef Sylwedd dwy Bregeth a draethwyd yn Addoldy yr Heol-Gefn, Abertawy, Rhag. 10 a'r 17, 1815.

*Wedi ei gyfieithu i'r Gymraeg, ac ychwanegu ato, gan yr Awdwr.*

"Yn dala dirgelwch y ffydd mewn cydwybod bur."—PAUL.

## HYSBYSIAD.

YR un rhesymau sydd gan yr Awdwr dros gyhoeddi y Traethawd canlynol yn iaith ei fam, ag a'i cynhyrfodd ar y cyntaf i'w osod dan sylw ei gyd-ddeiliaid yn yr iaith Saesneg; sef, bod amryw wyr cyfrifol wedi ceisio ganddo gymmeryd y gorchwyl mewn llaw—bod amgylchiadau lleol yn gofyn fod testun y Llyfryn hwn yn cael ei drin gan ryw un—ac am nad oes un arall, a'r a ŵyr ef, wedi cynnysgaeddu y Dywysogaeth â golygawd byr a chynnwysfawr o'r ddadl a drinir yma, efe a ystyriodd ei bod yn rhwymedig arno i wneuthur y cynnyg, i'r dyben i amddiffyn anrhydedd ein Prynwr bendigedig, gan ochelyd pob peth o natur bersonol, hyd ag oedd alluedig, fel y dull mwyaf tueddol i ddwyn yn mlaen achos y gwirionedd.

Nid y prif amcan yn nghyfansoddiad y Traethodyn hwn oedd cael allan lawer o resymau newyddion, er fod yr ysgrifenydd yn hyderus ei fod yn cynnwys amryw amgyffredion na welodd efe mewn neb awdwyr ereill; y dyben penaf mewn golwg oedd cynnysgaeddu ei ddarllenwyr â golygiad cyffredin o'r pwnc mewn dadl, gwneuthur y defnydd goreu a fedrai o'r rhesymau arferol i'w defnyddio, ychwanegu yr hyn a ymddangosai yn fuddiol, a dirymu y gwrthddadleuon cryfaf yn erbyn yr athrawiaeth bwysig o briodol Dduwdod ein Harglwydd, fel y galluogid y darllenydd o synwyr cyffredin i gyfarfod â'i wrthwynebwyr yn ddiarswyd. Nid ei fwriad oedd dywedyd cymmaint ag a allasid i egluro y pwnc hwn, eithr efe a ymdrechodd gynnwys cymmaint o fatter ag y gallasid yn rhesymol ddysgwyl mewn cyn leied o le. I ba raddau y llwyddodd yn ei gynnyg, ni pherthyn iddo ef farnu yn derfynol.

Gan fod yr awdwr yn elyn i erlidigaeth, ac yn cyfrif pob gradd o gamddarluniad yn fath o gospedigaeth anhaeddiannol, nid yw wedi priodoli dim i'w wrthwynebwyr ond yr hyn a ymddengys iddo ef mewn cyssylltiad anwahanol â'u cyfundraeth.

Am fod yr ysgrifenydd wedi ei lwyr berswadio fod y Beibl Santaidd ei hun yn ddigon i alluogi pob meddwl diragfarn i benderfynu ynghylch pynciau o gymmaint pwys ag a drinir yn y Traethawd byr hwn, y rhesymau a arferir ganddo a sylfaenir ar dystiolaeth yr ysgrythyrau yn unig; ac yn wir, os nad yw eu tystiolaeth hwy ddigonol i'n dysgu i wahaniaethu rhwng Creawdwr a chreadur, anhawdd yw dywedyd paham y rhoddwyd

Beiblau i ddynion; pa fodd bynag, pe chwennychai y darllenydd wybod tybiau boreuol Cristionogion ar y pen hwn, gallai gael boddlonrwydd trwy ddarllen gwaith dysgedig Esgob presennol Tyddewi, *(1st, 2d, & 3d. Address to persons calling themselves Unitarians,)* ynghyd â'r llyfrau a grybwyllir ýn y Cyfarchiadau hyn; yn y rhai y dynoethir yn eglur gamddarluniadau, haeriadau disylfaen, a rhagfarnau afresymol blaenoriaid y blaid wrthwynebol, ar y pwnc hwnw.

Yn lle galw gwrthwynebwyr Duwdod Crist wrth yr enw "Undodiaid," gelwir hwy gan yr awdwr yn "Sosiniaid," nid o anmharch, ond o herwydd eu bod yn cael eu hadwaen yn gyffredin yn well wrth yr enw olaf; ac am eu bod yn Sosiniaid mewn gwirionedd yn yr un ystyr ag y mae efe a'i frodyr yn Galfiniaid, ac am eu bod hwy bob amser yn galw y sawl a gredant mewn etholedigaeth a'r pynciau cydfynedol, yn Galfiniaid, er gwahaniaethu mewn pethau ereill, ni ddylent dramgwyddo herwydd cael eu galw wrth eu henw mwyaf adnabyddus, er amrywio o honynt oddiwrth eu cyn-athraw mewn rhai pethau; hefyd, y mae enw Sosinus yn llai gwarthus yn nghyfrif Cristionogion yn gyffredin, nag enwau blaenoriaid diweddar y blaid hon, gan ei fod ef yn addef y dylid addoli Crist, yr hyn a wedir ganddynt hwy; ond yn benaf o herwydd ei fod yn ystyried addolwyr Crist yn Undodiaid hefyd, er nid yn yr un ystyr o'r gair a'u gwrthwynebwyr.

Gelwir y cyfieithiad newydd diweddar o'r Ysgrythyrau Cristionogol, a enwir "Cyfieithiad diwygiedig o'r Testament Newydd," yn y traethawd hwn "Y Testament Sosinaidd," o herwydd cael o hono ei arolygu a'i gyhoeddi gan Sosiniaid yn unig—nad yw yn cael ei gymmeradwyo gan neb enwau ereill, ac felly eu heiddo priodol hwy ydyw—ac yn benaf, o herwydd nad yw'r awdwr yn credu ei fod yn gyfieithad diwygiedig, ond i'r gwrthwyneb yn un dirywiedig.

Os try yr ymegniad tlawd hyn allan i fod yn fendithiol i ddychwelyd un pechadur oddiwrth gyfeiliorni ei ffyrdd at y gwirionedd megys y mae yn Nghrist, ystyria yr ysgrifenydd ei fod yn derbyn gwobrwy digonol. Am adferiad y sawl ag ydynt dan lywodraeth ddifreiniol eu cyfundraeth niweidiol, nid oes ganddo ond gobaith gwanaidd. Y maent hwy wedi gwneuthur i fynu eu meddyliau ar y pwnc, ac wedi llwyr berswadio eu hunain eu bod ar yr iawn, ac ni ddichon gair Duw na rhesymau dynion ysgogi eu rhydres, neu eu hunan ymddiried; ni ddichon y tystiolaethau egluraf na'r ymresymiadau mwyaf diymwad, o du gwirioneddau anghysson â'u hegwyddorion hwy, wneuthur argraff arnynt namyn eu caledu (neu, fel y ffugiant, eu cadarnhau) yn eu rhagdybiau. Am y cyfryw, gan nad pa le bynag y ceffir hwynt, gellir dywedyd yn gywir (os nad yw eu cydwybodau wedi eu serio fel ag haiarn poeth) fod eu meddyliau yn ddiau yn anrheiddiadwy gan yr ysgrythyrau; a gallant ymffrostio eu bod mor gadarn yn y ffydd â bod yn analluog i deimlo pwysau y rhesymau cadarnaf, a rhoddi ffordd i awdurdod yr Ysgrythyr ei hun.

Cafodd yr Awdwr lawer o fudd wrth ddarllen gwaith y Parch. Feistriaid A. Fwler, R. Wardlaw, ac R. Robinson, a'r Dr. Jamieson, a Dr. Ryland, ar y ddadl hon, y rhai a gymmeradwya efe yn fawr i ystyriaeth y darllenydd ag sydd yn deall Saesneg, ac a chwennycho weled ysgrifenadau helaethach ar y pwnc.

Yn dra ebrwydd wedi ymddangosiad y Traethawd hwn yn Saesneg, cyhoeddwyd math o atebiad iddo, mewn llythyr at yr awdwr, gan Mr. John Rees, o'r dref hon, yr hwn fuasai gynt yn bregethwr o'r efengyl yn mysg y Bedyddwyr.

Pan ymddangosodd yr atebiad gyntaf, yr unig sylw a wnaeth ysgrifenydd y llyfryn hwn o hono oedd, dywedyd wrth ei gyfeillion ac ereill, "Os barnai dynion call, hyd y nod yn mysg y Sosiniaid eu hunain, fod llythyr Mr. Rees yn cynnwys atebiad digonol i'w resymau ef, y byddai iddo yn ebrwydd fyned ynghyd â'r gorchwyl o'i ateb;" bu yn dywedyd hyn wrth rai o'r Sosiniaid, a cheisiodd ganddynt ei fynegu i'w blaenoriaid. Eithr ni chlywodd son am y pwnc, er ymholi, mwy nâ phe buasai Mr. R. heb freintio'r wasg â'i gyfansoddiad.

O gylch chwe mis wedi cyhoeddiad y Traethawd, wele hysbysiad yn y *Cambrian*, fod Mr. Awbrey, Gweinidog y Sosiniaid, yn y dref hon, yn nghylch cyhoeddi sylwadau ar y Traethawd hwn, ac yn fuan wedi hyny ymddangosodd ei atebiad yntef; yr hyn a barodd i'r awdwr ddywedyd, "Gan nad pa un a bod llyfr Mr. Awbrey yn cynnwys atebiad i'r eiddof fi ai peidio, eglur yw ei fod yn atebiad digonol i gyhoeddiad Mr. Rees, ac am hyny ni raid i mi fyned i'r drafferth o ateb hwnw; canys pe barnesid fod yr atebiad cyntaf yn ddigonol, pa raid i weinidog y blaid gyhoeddi, o'i led anfodd, atebiad arall, heb son mwy am y cyntaf nâ phe buasai Mr. Rees wedi gosod ei ysgrifen yn y tân, yn lle ei danfon i'r argraff-wasg. O'I LED ANFODD, meddaf, canys dywed efe yn ei arweiniad i mewn, y buasai "yn llawenychu pe syrthiasai'r gorchwyl o chwilio neu brofi llyfryn Mr. Harris i ddwylaw ereill, ond gan ei fod wedi disgyn i'w ran ef yr ymdrechai gyflawni'r tasc yn y modd goreu ag y medrai."

Pa fodd bynag, ymddengys i'r awdwr fod yr ail atebiad mor annigonol â'r cyntaf, os nad atebwyd y traethawd yn gyflawn gan Mr. R., dilys ganddo ei fod yn aros yn ddiatebiad etto, er dim a gyhoeddodd Mr. A. Ac er ymholi yn fanwl, nid yw wedi clywed fod y Sosiniaid eu hunain yn dywedyd i'r gwrthwyneb. Hyn, ynghyd â barn ei gyfeillion mwyaf deallus nad yw ei resymau wedi eu dirymu, yw'r unig achos na buasai'r awdwr wedi ysgrifenu atebiad yn yr iaith Saesneg i gyhoeddiad Mr. Awbrey.

Er darllen yr atebion mor ddiduedd ag y medrai, ynghyd â chyhoeddiadau helaethach Priestley, Lindsey, Carpenter, Christie, Belsham, &c., o'r rhai y cymmerwyd hwynt; y mae yr ysgrifenydd yn tystio yn gydwybodol nad yw yn ymddangos iddo ef, fod cymmaint ag un o'r rhesymau a arferodd efe wedi cael ei ddirymu, ac nad yw yn gweled angen cyfnewid ond dau ymadrodd, er mwy eglurder yn ei holl Draethawd.

Addefir gan Mr. Awbrey nad oes neb amgyffredion newyddion yn ei lyfr ef, gan hyny, gwelodd y sawl a ddarllenasant draethadau Sosinaidd ereill swm yr hyn oll a gyhoeddodd efe.

Dichon y bernir hwn yn deilwng o atebiad yn y Gymraeg etto, os felly, ac os barna arddelwyr Duwdod Crist y bydd sylwadau atebol yn ofynol, a bod i iechyd ac einioes yr awdwr i gael eu harbed, efe a fydd dra sicr o wneuthur sylw dyladwy o'r hyn a ymddangoso ar y pwnc, cyn gynted ag y goddefo dyledswyddau ereill ei sefyllfa iddo wneuthur hyny; o'r tu arall, os nad ymddengys dim a dueddo i ddirymu y rhesymau a ddefnyddir yma yn marn darllenwyr yn gyffredin, dichon cant o atebwyr anrhegu'r byd â chynnyrch helaethlawn eu myfyrdodau ffrwythlawn, os mynant, heb achos ofni gwrthwynebiad o'i ran ef; neu, mewn geiriau ereill, mae yr ysgrifenydd yn ymrwymo ateb tra bernir fod achos y gwirionedd yn ei ofyn, a chyfeillion i'w gynnorthwyo i ddwyn y draul; ond pan na byddo hyny yn bod, efe a fydd ddystaw a llonydd, heb chwennychu tebygu cenedl y cecrod, neu gàreg adsain, y rhai a ymroddant i gael y gair diweddaf bob amser, gan ofalu gwneuthur i fynu y golled o resymau mewn lliosogrwydd geiriau.

Cynnwysir cryn lawer o sylwadau yn yr argrffiad Cymreig o'r Traethawd hwn a'r nad oedd yn y Saesneg, y rhai a achlysurwyd, gan mwyaf, gan y dywededig atebion, yn y rhai y codir amryw wrthddadleuon, heblaw y rhai a atebwyd eisioes; eithr nid yw yr awdwr yn chwennychu sôn ond ychydig am eu hysgrifenwyr, gan farnu mai gwell yw cadw gyda'r pwnc nâ chrwydro i wneuthur llawer o sylwadau ar bersonau; yn neillduol, am nad yw yn yr un iaith ag y cyhoeddasant hwy eu gwaith; ond er myned heibio i'w henwau, nid yw wedi arbed eu gwaith.

Gosodwyd yr awdwr dan lawer o rwymedigaethau i amryw foneddigion, eglwyswyr, a lleygion, am eu caredigrwydd yn cymmeradwyo ei gyhoeddiad ar ei ymddangosiad cyntaf; ac ni ddichon oddef i'r cyfle hwn fyned heibio, heb amlygu yn gyhoeddus ei ddiolchgarwch gwresocaf i Esgob presennol Tyddewi,* yr hwn a welodd yn dda i sylwi ar y Traethawd hwn, ei wneuthur yn destun cyfrinach yn mysg boneddigion, a'i gymmeradwyo yn galonog i ystyriaeth offeiriaid ei esgobaeth; ac i'r hwn, a gweinidogion, ac aelodau yr Eglwys Sefydledig yn yr esgobaeth hon, y mae yr awdwr o dan lawer mwy o rwymau cydnabyddiaeth, nag i'r corff ag y mae yn meddu yr anrhydedd o berthynu iddo, ynghyd â'r holl bleidiau ereill a'u gosod ynghyd; yr hyn, ac yn neillduol llafur dysgedig a diludded yr Awdwr Urddasol ei hun, dros y gwirionedd a amddiffynir yn y llyfryn hwn, a ddengys ymlyniad selog gwyr eglwysig yn gyffredin wrth yr athrawiaeth bwysfawr a amddiffynir yma.

Deisyfir ar y Parch. W. Hewson, Ficar eglwys Fair, yn Abertawe, i dderbyn gostyngedig ddiolch yr ysgrifenydd am y gwasanaeth a gyf-

* Y diweddar Dr. Burgess.—D. R. S.

lawnodd efe ar yr achos hwn yn mysg ei gyfeillion ac aelodau ei eglwys. —Cofir yn hir am garedigrwydd y Parch. W. Kemp, gweinidog yr efengyl yn nghyfundeb y diweddar Gountess o Huntington, a'r Parch. T. Luke, gweinidog yr Anymddibynwyr Seisnig, yn y dref hon, am eu gair da, a'u cymmeradwyaeth o'r Traethawd, megys pe buasai yn eiddo iddynt eu hunain.

Cydnebydd yr awdwr ei rwymau i John Grove, ysw., Porthlywydd, neu Faer Abertawe, y flwyddyn ddiweddaf, am ei fawr sel dros ymdaeniad y Cyhoeddiad hwn.—Ac i R. N. Thomas, ysw., Maer presennol y dref hon, y chwennychai yr ysgrifenydd i amlygu ei ddiffuant gydnabyddiaeth, am yr annogaeth a gafodd ganddo i ailgyhoeddi ei Draethawd ar lythyren frasach, ac ychwanegu ato, nes byddai yn llyfr o faintioli i'w rwymo wrtho ei hun, gan addaw bod yn ymgeleddwr i'r Cyhoeddiad, a dywedyd y byddai yn llawen ganddo weled ei enw yn nghofres y tanysgrifwyr, er dangos i'r byd nad oedd gywilydd arno o'r athrawiaeth a amddiffynir ynddo. Diffyg amser yw yr unig achos na fuasai cynnyg i gyflawni y cais hwn wedi cael ei wneuthur cyn hyn.

Trwy ganmoliaeth y gwyr cyfrifol uchod, ynghyd ag ereill a ellid enwi, nid oes nemawr o deuluoedd offeiriaid a boneddigion yn y dref hon a'i chymmydogaeth, heb feddu y Traethawd hwn, ac y mae'r ysgrifenydd wedi cael lle i gredu ei fod wedi bod yn fuddiol er cadarnhau amryw eneidiau yn y gwirionedd.

Nid oes gan yr awdwr le i achwyn ar y derbyniad a gafodd ei gyhoeddiad gan y Sosiniaid eu hunain; clywodd fod dysgedion yn eu mhysg yn dywedyd ei fod yn un o'r goreu, os nid y cadarnaf oll a welsant ar y pwnc; ac arwyddir gan ei atebwyr, os na wna hwn y tro i sefydlu yr athrawiaeth a ddadleuir drosti yma, y gellir ei rhoddi i fynu pryd y mynir. Ond ofni y mae yr awdwr mae eu hamcan wrth dderchafu ychydig ar ei fedrusrwydd ef, yw iselhau cryn lawer ar y pwnc a arddelir ganddo; ac er ei fod ef, megys ereill, yn anmherffaith yn y cwbl, ac felly, ddim yn rhydd oddiwrth hunanoldeb, a cheisio yr eiddo ei hun i raddau beius, efe a ddichon dystio'n gydwybodol, wedi pwyso'r mater yn ddwys, mai gwell ganddo i'w enw ef fyned i'r llwch nag i'r gwirionedd arddeledig yma fod yn ddiystyr; a phe gorfyddai arno farw, er mwyn dangos ei fod yn caru athrawiaeth y groes, yn yr ystyr y dadleuir drosti yn y llyfr hwn, yn well nag ef ei hun, neu bob enw, mwyniant, ac einioes yn y byd hwn, y mae yn gobeithio y byddai iddo gael nerth i ddyoddef llosgiad merthyrdod yn hytrach nâ rhoddi'r pwnc gwerthfawr i fynu; gan hyny na ryfedded, ac na feied Sosiniaid ef am amddiffyn y gwirionedd gydag awydd a gwresogrwydd cyfatebol i bwysigrwydd yr achos mewn llaw.

O herwydd fod cryn lawer o sylwadau ychwanegol yn yr argraffiad hwn, gorfu ar yr awdwr wneuthur rhai cyfnewidiadau yn yr ymadroddion, a gadael allan rai o'r pethau ag oeddynt yn yr argraffiad Seisnig, gan hyderu fod y cyfnewidiad er gwell.

Boed i fendith Duw gydfyned â'r Cyhoeddiad hwn, er dymchweliad i gyfeiliornad, anrhydedd y Messia, a lles i eneidiau dynion.

*Abertawe, Ebrill*, 1817. J. H.

[Y mae y rhan fwyaf o'r nodiadau ar odreu y dail yn argraffiad Mr. HARRIS, wedi eu gosod yn nghorff y tu-dalenau yn yr argraffiad hwn.

D. R. S.]

---

## SYLWADAU RHAGLITHIOL.

AMRYWIOL ymraniadau yn mysg Cristionogion proffesedig ydynt ddyledus i ymlyniad anweddus wrth ranau neillduol o'r ysgrythyr. Cydnabyddir Dwyfol awdurdod y Beibl mewn ymadroddion cyffredin, gan bawb a elwir yn ganlynwyr i Iesu Grist, eithr pan sylwo llawer o honynt ar bethau neillduol, eglur yw fod rhan fechan iawn o hono yn ddigon i wasanaethu eu hachos hwy. Addefir ei awdurdodeb, eithr llawer o'r gwirioneddau a ddatguddia ydynt anhyfryd ac annheilwng o bob derbyniad. Ffurfir cyfundraeth crefyddol, i'r hwn y rhaid i'r llyfr santaidd roddi ffordd pa bryd bynag yr ymgyffyrddo ag ef. Y mae dynion o'r fath hyn wedi terfynu yn eu meddyliau beth a ddylai crefydd fod, a rhaid i ddatguddiad Duw ei hun ymostwng i'w athrylith rhagorach: nid buddiol yr ysgrythyrau yn mhellach nag y gwasanaethant olygiadau y pleidwyr. Dilys genyf nad yw hyn amgen nâ chynnyg i wneuthur gair Duw yn ddirym.

Peth cyffredin gan wrthwynebwyr Duwdod Crist yw taeru nad oes ond un Duw, (megys pe gwedid hyny gan ryw rai) o herwydd paham tybiant na's dichon Iesu Grist fod yn berson Dwyfol. Gwybodus ydwyf fod amryw destunau ysgrythyrol yn mynegu unoliaeth Duw, eithr ni's gwn paham yr esgeulusir y testunau ag ydynt yn son am dano yn y *rhif liosog* oddieithr fod y byd i'w berswadio nad oes dim ymddibyniaeth i'w osod ar y Beibl, ond yn unig pan ddygwyddo ei dystiolaeth i gydfyned â daliadau y sawl a wadant athrawiaeth y Drindod; fod enwau a rhagenwau *lliosog ac unigol* yn ddiwahaniaeth, pan gymhwysir hwy at yr Hollalluog, i'w deall yn y rhif *unigol*, herwydd eu bod hwy yn *ewyllysio* i hyny fod; eithr pan ddarlunir dynion a phethau ereill, addefir eu bod mor hyddysg mewn rhifeiri fel y gallant wahaniaethu rhwng *dyn* a *dynion*, neu *beth* a *phethau*. Pa fodd bynag, yr ymadroddion canlynol ydynt ddigonol i eglur brofi lliosogrwydd o bersonau yn y Duwdod.

"Duw hefyd a ddywedodd, GWNAWN ddyn ar EIN delw NI." "Hefyd yr Arglwydd Dduw a ddywedodd, Wele y dyn sydd megys UN O HONOM NI." "A dywedodd yr Arglwydd, DEUWCH, DISGYNWN, a CHYMMYSGWN yno eu hiaith hwynt—felly yr Arglwydd a'u gwasgarodd hwynt oddiyno." (Gen. i, 26; iii, 22; xi, 6—8.) At y rhagenwau lliosog hyn y gellir ychwanegu rhifedi mawr o enwau y rhai a briodolir i Dduw, ac a ysgrifenir yn yr iaith wreiddiol yn eu ffurf liosog, megys Alehim *(Duwiau.)* "Ni ellwch wasanaethu yr Arglwydd, canys Duw Santeiddiol yw

efe." (Yn yr Hebraeg, y mae *Duw* a *Santeiddiol* yn lliosog.) "Canys dy Briod yw yr hwn a'th wnaeth," neu yw dy Wneuthurwr, (lliosog yw *Priod* a *Gwneuthurwyr* yn yr Hebraeg.) "Cofia yn awr dy Greawdwr," (Heb. *Creawdwyr,*) Josh. xxiv, 19; Esay liv, 5; Eccles. xii, 1, ynghyd â llawer ereill o'r un arwyddocâd, y rhai ydynt berffaith gyssen ag athrawiaeth y Drindod, ond yn dra anhawdd i'w hegluro yn ol yr athrawiaeth wrthwynebol.

Gwnaethpwyd llawer cynnyg i ddiryma y rheswm a sylfaenir ar yr enwau lliosog hyn dros athrawiaeth y Drindod; yn mysg ereill, dywedir—1. "Mai wrth yr angylion y dywedodd y Tad, 'Gwnawn ddyn,'" &c., Mewn atebiad i hyn digon yw dywedyd, os dichon ein gwrthwynebwyr ddangos fod yr angylion yn *gydweithwyr* â Duw yn y Greadigaeth; fod y Creawdwr yn annerch ei greaduriaid mewn iaith a ddynoda *gydraddoldeb*, ac felly yn rhoddi ei "Ogoniant i arall;" a bod yr ysgrythyrau yn ein dysgu i ddyn gael ei greu ar *lun a delw angylion;* bydd rhyw beth tebyg i reswm yn eu gwrthddadl; eithr os na allant hyny, nid oes neb ond y sawl a garant gael rhyw siarad, o ddiffyg rheswm, dros eu credo ddiymgeledd a wna'r sylw lleiaf o hono, oddieithr ei ddal allan fel gwrthddrych o'r gwarth a haeddai.

2. Pan fetho ein gwrthwynebwyr a chadw y tir uchod, ymdrechant ohirio y ddadl trwy ddyfais arall, gan haeru fod "Yr enwau a'r rhagenwau LLIOSOG perthynol i Dduw yn arwyddo *llywodraeth, awdurdod a mawredd* yn unig, gan fod Breninoedd y ddaear yn llefaru am danynt eu hunain yn y rhif liosog."—Ymddengys gwrthuni yr haeriad ëofn hwn pan ystyriom—1. Dichon fod y geiriau lliosog a arferir gan Benaduriaid y ddaear am danynt eu hunain, yn cynnwys eu cynghoriaid; ond nid oedd raid i'r Hollwybodol wrth gynghoriaid, ac ni bu neb yn wyr o gyngor iddo ef.—2. Nid yw'r Arglwydd yn defnyddio geiriau lliosog i'w osod ei hun allan pan fyddo yn darlunio ei fawredd, ei awdurdod, a'i ogoniant, ond rhagenwau yn y rhif unigol; megys, "Y nef yw FY ngorseddfainc, a'r ddaear yw lleithig FY nhraed," &c. O ganlyniad nid yw yr enwau lliosog yn cael eu harfer i ddynodi mawredd.—3. *Rhagenwau*, ac nid enwau priodol a ddefnyddir yn lliosog gan Uchelwyr y ddaear; nid yw un Brenin fyth yn galw ei hun yn *Freninoedd;* nac Ymerawdwr, yn cael ei alw yn *Ymerawdwyr;* eithr mewn ychwanegiad at ragenwau lliosog y Creawdwr, arferir yr enw cadarn Duw, (*Alehim*) yn y rhif liosog, ynghyd ag ereill a enwyd eisioes; ac, megys y sylwasom, dichon rhagenwau lliosog gynnwys cynghoriaid y Tywysog, yr hyn ni's geill enwau priodol, oddieithr bod y cynghoriaid yn Dywysogion hefyd.—4. Nid oedd uchelwyr, na neb *unigolion* pwy bynag, yn amser Moses, neu pan ddefnyddiodd yr Arglwydd y geiriau mewn dadl, ac oesoedd lawer wedi hyny, yn gosod enwau lliosog arnynt eu hunain; ac nid wyf yn cofio i mi gyfarfod â dim o'r cyffelyb trwy'r holl hanes ysgrythyrol, ond yn ngeiriau Rehoboam ac Artacserces; am hyny, nid dim amgen tlodi digyffelyb ein gwrthwyneb-

wyr mewn rhesymau, a ellai eu tueddu i wneuthur y fath wrthddadl afresymol—5. Ni ddefnyddiodd Tywysog, Brenin, nac Ymerawdwr am dano ei hun, yn amser Moses, yn amseroedd Rehoboam ac Artacsercses, nac ar un amser oddiar ddechreuad y byd, erioed iaith gyffelyb i'r hon a arferodd y Creawdwr ychydig wedi cwymp Adda, cyn bod na Brenin, nac Ymerawdwr yn hanfodi, "Hefyd yr Arglwydd Dduw a ddywedodd, Wele y dyn sydd megys UN O HONOM NI."—Geiriau yw y rhai hyn a ddynodant liosogrwydd mor eglur, fel na ddefnyddiwyd hwynt erioed mewn un amser, nac mewn un parth o'r byd, gan un person am dano ei hun yn unig. Achwynir yn llymdost gan Sosiniaid yn fynych ar eu gwrthwynebwyr, am nad ydynt yn siarad am danynt yn fwy parchus, a pheidio eu trin megys pe na byddai ganddynt ddim i ddywedyd drostynt eu hunain; a dilys genyf fod y sawl a ymddygo felly atynt yn dra beius, canys gan fod y fath ddywediad ag a gynnwys y gwrthddadl uchod, a'i gyffelyb, yn eu boddio, sicr yw y gallant ddywedyd faint a fynont drostynt eu hunain.

3. Gan ofni nad yw eu pwnc yn ddiogel yn y nawddleoedd rhag-grybwylledig, cawn gynnyg arall i'w amddiffyn gan ein gwrthwynebwyr, y rhai a haerant "fod lliosogrwydd yn hollol anghysson â natur Duw, ac am hyny na's dichon fod yn wirionedd;—nad yw enwau lliosog Duw yn dynodi lliosogrwydd yn yr hanfod Ddwyfol, o herwydd fod gau-dduwiau, megys *Baal*, *Dagon*, ac *Asthtaroth*, a dynion, megys Moses, yn cael eu galw wrth yr enw Alehim, yr hwn a ddywedir sydd liosog, pryd na byddo ond *un* yn cael ei olygu."

I ddangos gwendid y gwrthddadl hwn, sylwn—1. Fod yr haeriad yn nghylch anghyssondeb lliosogrwydd â natur Duw yn dynodi cryn lawer o hunan-ymddiried; canys pa fodd y daethant hwy i wybod fod hyn yn anghysson;—A wyddant hwy yn well nâ Duw ei hun am y modd y mae efe yn hanfodi?—Neu, a raid i ni roddi mwy pwys ar eu tystiolaeth hwy, *y rhai ni wyddant*, nag ar dystiolaeth yr Arglwydd ei hun, *yr hwn sydd yn gwybod?*—2. Am enwau lliosog eilun-dduwiau unigol, &c., digon o atebiad yw, fod yr un rheswm yn gymhwys dros eu henwi yn yr *un modd* â'r Goruchaf ag sydd i'w galw yn dduwiau. Os addas yw iddynt gael enw Duw arnynt, nid anaddas yw iddynt ei gael yn yr un ffurf neillduol ag y cymhwysir ef at y Goruchaf. Pan osodwyd yr enw duwiau arnynt gan eu haddolwyr gresynol, yr oeddynt i wasanaethu iddynt hwy yn lle y gwir Dduw, ac nid amgen enw cyflawn y Creawdwr arnynt a'u boddiai; a phan elwir hwy ar enw Duw gan ysgrifenwyr y Llyfr Santaidd, eglur yw mai defnyddio iaith eilun-addolwyr y maent; ac am nad ydym yn tybied fod eilunod feddiannol ar wir dduwdod o herwydd eu bod yn cael eu galw yn *dduwiau*, felly ni ddylem feddwl fod *un* eilun yn lliosog am gael o hono yr enw lliosog Alehim. Ni fedda eilunod ddim o Dduw ond yr enw, a phan alwyd hwy wrth hwnw, rhoddwyd ef iddynt yn gyflawn.

4. I'r dyben i gael llonydd yn rhyw fodd gan yr enwau lliosog trallodus hyn, haerir gan ysgrifenwyr Sosinaidd, "Nid yw *Alehim* ac enwau lliosog ereill yn profi dim o du Trindod o bersonau; gallant fod yn ddau, tri, pedwar, neu ugain, neu ugain mil, er dim a amlygir yn y fath eiriau."—Er nad ydym yn ceisio profi *Trindod* oddiwrth eiriau lliosog, cofied y darllenydd mai lliosog ydynt fyth; er pob gwrthddadl yn eu herbyn, yr ydys yn methu yn deg a'u gwrthddadleu i'r rhif unigol, am hyny profant fod mwy nag un person; ac mor amlwg yw athrawiaeth y Drindod yn yr ysgrythyrau, i'r sawl a gredant mewn lliosogrwydd yn y Duwdod, fel nad oes achos pryderu na dderbynir y cyntaf gan y neb a addefo yr olaf, gan hyny, afreidiol fyddai sylwi yn mhellach ar y gwrthddadl hwn.

Gallwn sylwi yn mhellach fod yr ymadroddion ag ydynt mewn modd neillduol yn profi undod Duw, yn arwyddo yn gryf fod yn hanfod y Duwdod liosogrwydd o bersonau, ac felly, nad oedd ysgrifenwyr y Beibl yn ystyried Trindod ac Undod yn anghysson â'u gilydd, er bod felly mewn ffordd na's gallwn ni amgyffred; nodwn un testun yn neillduol, Deut. vi, 4, "Clyw, O Israel; yr Arglwydd ein Duw ni sydd un Arglwydd." Neu, megys y mae yn yr iaith wreiddiol, "JEHOFA ein ELOHIM ni sydd UN JEHOFA;"—yma y mae ARGLWYDD *(Jehofa)* yn y rhif unigol, a DUW *(Elohim)* yn y rhif liosog; ac am fod y geiriau wedi eu hysgrifenu i gadw Israel rhag aml-dduwiaeth y cenedloedd, eilunod lliosog y rhai a elwid *Elohim;* peth tra rhyfedd fod yr un gair yn cael ei arferyd am un Duw yr Iuddewon, oddieithr bod y proffwyd yn chwennych eu dysgu nad oedd lliosogrwydd yn y Duwdod yn anghytunol â'r undod Dwyfol, ond bod eu Harglwydd yn *lliosog* mewn un ystyr ond yn *un* mewn ystyr arall. Ac yn wir, heb olygu hyny, anhawdd yw gwneuthur synwyr o'r geiriau, neu ddeall amcan yr ysgrifenydd. Paham y dywedai efe fod *Elohim* yn *un Jehofa*, os nad yw Elohim yn lliosog? Yr un yw â phe dywedid, Sior ein brenin ni sydd *un Sior;* neu, Moses ein harweinydd ni sydd *un Moses;* neu, Awbrey fy ngwrthwynebwr sydd *un Awbrey;* neu, mewn geiriau ereill, *un yw un*, neu, *enwau yn y rhif unigol ydynt yn y rhif unigol.*

Yn y Testament Newydd y mae profion o'r Drindod yn dra lliosog. Gorchymynir gweini bedydd "yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân," (Mat. xxviii, 19,) heb arwyddo yn y mesur lleiaf fod y naill berson yn Dduw, y llall yn greadur, a'r trydydd yn briodoledd o'r Duwdod; eithr hwy a gyssylltir yn y fath fodd â phe byddent yn berffaith gydradd.

Os gofynir, "Beth sydd i ni ddeall wrth fedyddio i Moses, bedydd Ioan, a bedyddio yn enw Paul, a oeddynt hwythau hefyd yn dduwiau?" Yr ateb yw, nad oedd bedydd mewn ystyr briodol wedi ei sefydlu yn hir wedi amser Moses; ond mewn ystyr gymharol bedyddiwyd yr Israeliaid *iddo*, neu *ganddo*, trwy gael eu tueddu i dderbyn ei addysgiadau, a'i ganlyn fel eu blaenor trwy'r môr, &c.—Wrth fedydd Ioan y meddylir y bedydd a bregethodd ac a weinyddodd y gwr santaidd hwnw; ac am

fedyddio yn enw Paul, nid wyf yn deall i hyny gael ei wneuthur erioed, a phe cawsai ei wneuthur, tra phechadurus fuasai y weithred; ond pechadurus yw peidio bedyddio yn enw Crist; hefyd, gan nad pa anrhydedd a roddir i'r Tad wrth fedyddio yn ei enw, y mae'r un anrhydedd yn perthyn yn ddiwahaniaeth i'r Mab ac i'r Ysbryd Glân; yr hyn ni's gellir ddywedyd am Moses, Ioan, na Phaul.

Cadarnheir yr un gwirionedd gan y bendithiad apostolaidd, "Gras ein Harglwydd Iesu Grist, a chariad Duw, a chymdeithas yr Ysbryd Glân, a fyddo gyda chwi oll. Amen." (2 Cor. xiii, 13.) Addawodd *Iesu Grist* i ddanfon yr *Yspryd Glân*, dan yr enw Dyddanydd, oddiwrth y *Tad*, at ei ddysgyblion. (Ioan xv, 26.) Pe byddai achos i ni roddi i fynu y testun ag a ddadleuir gymmaint yn ei erbyn, "Y mae tri yn tystiolaethu yn y nef; y Tad, y Gair, a'r Ysbryd Glân; a'r tri hyn un ydynt;" (1 Ioan v, 7.) nid llawer fyddai colled yr athrawiaeth a gynnwysir ynddynt, gan ei bod yn cael ei phrofi gan liaws o destunau ereill, awdurdoldeb y rhai ni amheuwyd erioed. Ac er mai peth cyffredin gan ddadleuwyr Sosinaidd yw taeru nad oes ond *ychydig* destunau dros athrawiaeth y Drindod, gwybydded y darllenydd fod pob ysgrythyr a rheswm ag sydd yn profi priodol Dduwdod Crist a'r Ysbryd Glân, yn cadarnhau yr un mor gryfed athrawiaeth lliosogrwydd yn y Duwdod; a phob testun a sonia am y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân, fel personau gwahaniaethol, a eglura mai tri ydynt, ac nid mwy nâ llai; ac yr wyf yn hyderus na anturia neb i ddywedyd fod y cyfryw destunau yn anaml.

Gan fod Trindodiaid yn credu mewn dwyfol undod â dynoliaeth Crist, sef bod y tri pherson dwyfol yn *un*, a bod Iesu yn *Dduw a dyn*, ni ddichon tyru lluaws o ysgrythyrau ynghyd ag ydynt yn profi y gwirioneddau hyn, i'r dyben i'w hargyhoeddi o'u cyfeiliornad tybiedig, o un gwasanaeth, gan fod y rhai hyn, yn gystal â'r lleill, yn ffurfio rhan o'u credo. Ni byddai lliosogi rhesymau dros fod yr haul wedi ei greu, yn profi nad yw y lleuad yn hanfodi; ni allai cant o dystiolaethau i brofi fod Paul wedi myned i'r nefoedd wanhau yn y mesur lleiaf ein crediniaeth yn nghadwedigaeth Pedr ac Ioan; ni allai mil o resymau dros fod dyn yn feddiannol ar gorff marwol, ein perswadio nad oes ganddo enaid anfarwol; ac ni ddichon myrddiwn o destunau difynedig dros unoliaeth Duw â dyndod Crist i siglo yn y mesur lleiaf ein ffydd yn y Drindod a Duwdod y Cyfryngwr, oddieithr y gellir tybied ein bod yn cael ein maeddu pan fyddo ein achos yn cael ei gryfhau; fod ein gwrthwynebwyr wedi ennill brwydr ardderchog trwy arwain eu lluoedd rheoleiddiedig i faes lle nad oedd perygl i gyfarfod â gelyn; neu fod rhai o'n hegwyddorion yn rhwym o fod yn feius o herwydd eu bod hwy wedi rhoddi benthyg eu cynnorthwy caredig i sefydlu un neu ddau o erthyglau ein credo.

Amddiffynir athrawiaethau'r Drindod a Duwdod Crist genym, ar yr un awdurdod ag yr amddiffynir yr Undod dwyfol â dynoliaeth Crist, sef tystiolaeth yr ysgrythyrau. Pa fodd y mae y tri pherson yn y Duwdod

yn un, a'r un yn dri, sydd heb ei ddatguddio, am hyny nid oes gywilydd arnom i gyffesu fod eu *dull* o hanfodi i ni yn anamgyffredadwy, a'n bod yn credu yr hyn nas gallwn egluro; eithr bod tri hanfodiad, neu bersonau yn un, sydd wedi ei ddatguddio yn eglur, ac ni a feiddiwn amddiffyn yr athrawiaeth. Nid wyf yn meddwl eu bod yn dri ac yn un yn yr un ystyr, canys cynnwysai hyny wrth-ddywediad, ond y maent felly mewn ystyr na welodd y Goruchaf yn dda i'w ddatguddio, ac am hyny ni ddylem ryfygu i egluro y pwnc hwnw, yn nghylch yr hwn y mae y Beibl ei hun yn ddystaw.

Gwrthodir y Drindod gan y Sosiniaid i'r dyben i ochelyd dirgelwch, neu anghyssondeb ymddangosiadol; ond da fyddai iddynt gadw yn eu cof, y gallai mintai arall o bobl gyda chymhwysder cyfartal, i bwyso ar yr holl eiriau lliosog a gymhwysir yn y Beibl i Dduw, a defnyddio eu hyfedredd mewn esbonio ymaith ystyr amlwg yr holl ymadroddion ysgrythyrol a berthynant i undod Duw, a sefyll dros hanfodiad tri o Dduwiau gwahanol ac anymddibynol, ac haeru nad yw y geiriau *un Duw* a'r cyffelyb yn wirionedd mewn ystyr lythyrenol; fod y cyfundraeth Sosinaidd yn sylfaenedig ar ymadroddion cymharol a geiriadaeth Iuddewig; a bod y tri Duw yn un yn yr un ystyr ag y mae gŵr a gwraig yn "un cnawd," a dysgyblion Crist "yn un." Felly gallai y Tridduwiaid hyn gymmeryd yr enw o "Grist'nogion rhesymol," a dywedyd gyda llawer o hunan-ymddiried, "nid gwŷr y dirgelion ydym ni," yr un mor rhesymol ag y dywed Gwrth-drindodiaid yr un peth, y rhai i'r dyben i gynnal eu cyfundraeth a adawant y Beibl truan i ymdaro drosto ei hun, neu yn hytrach ei lusgo i chwil-lys rhesymokleb Sosinaidd, a'i arteithio yno ar arteithglwyd ddidrugaredd beirniadaeth, hyd oni ddychymmygont eu bod wedi peri iddo gyffesu a fynent, neu lefaru iaith eu cyfundraeth hwy.

Ond gan mai fy amcan yw helaethu yn fwy neillduol ar y profion a rydd yr ysgrifeniadau ysbrydoledig dros briodol Dduwdod ein Cyfryngwr mawr, ac am fod pob rheswm a wasanaetha i sefydlu y gwirionedd hwn yn tueddu i brofi lliosogrwydd yn y Duwdod, brysiaf i arddangos gwir Dduwdod ein Harglwydd Iesu Grist; ac yma parod wyf i ddangos fod pob peth darluniadol o Dduw, neu sydd yn gwahaniaethu y Bod Goruchaf oddiwrth greadur yn unig, yn cael eu cymhwyso yn ddiattal gan yr ysgrifenwyr ysbrydoledig i Iesu o Nazareth; a phan sylwer yn ddyladwy ar y titlau a roddir iddo—y priodoliaethau a feddianna—y gweithredoedd a briodolir iddo—y daioni mawr o'r hwn yr oedd ei ymddangosiad yn mysg dynion yn ddarluniadol—yr anrhydedd a roddir iddo—ac anghyssondeb a thuedd niweidiol y cyfundraeth gwrthwynebol, gobeithio na phetrusa anmhleidgarwch i ddefnyddio iaith yr anwyl apostol, "Hwn yw y gwir Dduw a'r bywyd tragywyddol."

I. Yr enwau a'r titlau a briodola'r ysgrythyrau i Iesu Grist ydynt ddarluniadol o'i ddwyfol bersonoliaeth.

*Yn gyntaf*, Mewn amryw leoedd yn yr Hen Destament, gelwir ein

Harglwydd ANGEL, neu Genad yr Arglwydd, neu megys y darllenir y geiriau gan rai, yr ANGEL JEHOFA. Am yr Angel hwn sylwer, mai am ei fod yn cael ei alw *Angel yr Arglwydd*, mai rhaid yw ei fod yn wahaniaethol mewn rhyw ystyr oddiwrth yr Arglwydd, Angel yr hwn ydyw, ac am y priodolir enwau dwyfol iddo, ac y rhoddir addoliad iddo, ni ddichon ei fod amgen y Messia, yr hwn a elwir *Angel*, neu Genad *y Cyfammod.*

Sylwaf ychydig ar rai o'r testunau yn y rhai y sonir am dano dan yr enw hwn. Pan oedd Hagar mewn cyfyngder mawr dywedodd *Angel yr Arglwydd* wrthi, "Gan amlhau yr amlhaf dy had di—a hi a alwodd enw yr *Arglwydd, yr hwn oedd yn llefaru wrthi*, Ti O DDUW wyt yn edrych arnaf fi." (Gen. xvi, 10, 13.) Galwodd *Angel yr Arglwydd* ar Abraham o'r nefoedd, a dywedodd, "Gwn weithian i ti ofni DUW, gan nad atteliaist dy fab, dy unig fab, ODDIWRTHYF FI." (Gen. xxii, 11, 12). Y prawf a roddwyd fod Abraham yn *ofni Duw*, oedd peidio attal ei fab oddiwrth *Angel yr Arglwydd;* eithr pe creadur fuasai yr angel hwn, ni allasai gwaith y patriarch yn offrymu ei fab iddo brofi ei fod yn ofni Duw, oddieithr bod gweithred eilun-addolgar dros ben mesur, yn amlygiad digonol o wir dduwioldeb.

Cynnysgaetha y ddeuddegfed ar hugain o Genesis ni ag hanes ymdrechiad Jacob â pherson a elwir *gwr*, (o herwydd ymddangosai ar ddull dyn); gelwir yr un bôd gan Hosea (xii, 4), yn *Angel;* a dywed Moses wrthym i Jacob, yn ol cael y fendith, alw yr ymdrechfa *Peniel*, am y rheswm hwn, "Oblegid *gwelais Dduw* wyneb yn wyneb." Eglurasai yr Angel hwn ei wir gymmeriad i Jacob cyn hyn; "Ac *Angel Duw* a ddywedodd wrthyf, (medd y patriarch),—Myfi yw *Duw Bethel.*" (Gen. xxxi, 11—13). Eglur iawn ydyw mai yr un person yw y *gwr* a ymdrechodd â, yr *Angel* a lefarodd wrth, a *Duw Bethel*, yr hwn a fendithiodd Jacob.

Gelwir yr hwn a ymddangosodd i Moses yn y berth danllyd (Ecsod. iii, 2—4,) yn *Angel yr Arglwydd*, ac yn yr un bennod dywedir wrthym mai DUW oedd yr hwn a alwodd ar Moses o ganol y berth. Dywedodd *Angel yr Arglwydd* wrth Balaam, "Cyfeiliornus yw y ffordd hon yn *fy ngolwg*—Dos gyda'r dynion, a'r gair a *lefarwyf* wrthyt, hyny yn unig a lefari." (Num. xxii, 32—35.) Eithr dywed Balaam wrth draddodi ei genadwri, ei fod ef yn wrandawydd *geiriau Duw*, a gweled o hono *weledigaeth yr Hollalluog*, (Num. xxiv, 4.) Pan ystyrir holl amgylchiadau ymddangosiad *gwr* i Joshua, yr hwn a eilw ei hun yn *Dywysog llu yr Arglwydd*, a'r hwn a alwyd gan Joshua, dan addoli, *fy Arglwydd*, (Josh. v, 13—15,) ymddengys mai yr un Angel a feddylir. Gelwir yr hwn a ymddangosodd i Manoa i'w galonogi yn erbyn y Midianaid, yn *Angel yr Arglwydd*, yn *Arglwydd*, neu *Jehofa;* a thrwy *edrych* arno efe a drosglwyddodd rymusder i'r blaenor crynedig. (Barn. vi, 12—22). Tra eglur yw mai yr un person a ymddangosodd i Manoa a'i wraig; canys

gelwir ef yn *Angel yr Arglwydd*, yn *Wr Duw*, ac wedi derchafu o hono yn fflam yr allor, dywedodd Manoa, "Gwelsom *Dduw*." (Barn. 13.)

Ymddengys fod Nebuchadnezzar yn hysbys o athrawiaeth yr Iuddewon yn nghylch yr Angel Jehofa, canys, meddai ef, "Wele fi yn gweled pedwar gwyr rhyddion yn rhodio yn nghanol y tân—a dull y pedwarydd sydd debyg i *Fab Duw*—Bendigedig yw Duw Sadrach, Mesach, ac Abednego, yr hwn a anfonodd ei *Angel*, ac a waredodd ei weision." (Dan. iii, 25—28.) I beidio lliosogi tystion o'r fath hyn, ni chaf ond enwi un testun yn ychwaneg, yn yr hwn y gelwir y Messia addawedig yn *Arglwydd*, yn *Genad*, neu *Angel*, "Yn ddisymwth y daw yr *Arglwydd*, yr hwn yr ydych yn ei geisio, i'w deml, sef *Angel y Cyfammod* yr hwn yr ydych yn ei chwennych: Wele efe yn dyfod, medd *Arglwydd y lluoedd*." Mal. iii, 1.

Hawdd fuasai nodi llawer yn ychwaneg o gyffelyb ymadroddion, eithr dengys yr hyn a grybwyllwyd yn eglur nad yw yr amgyffrediad o fod person Dwyfol yn cael ei ddanfon gan Dduw yn cael ei gyfyngu i ysgrifeniadau y Testament Newydd, ond yn cael ei gadarnhau gan yr ysgrythyrau Iuddewig, mewn modd mor amlwg fel na ddichon dim ond ymorchestiad anrasol beirniadaeth afreolus dywyllu eu hystyr naturiol.

Swm yr hyn a ddadleuir gan fy ngwrthwynebwyr yn erbyn y sylwadau uchod yw, "Os oedd yr Angel rhag-grybwylledig yn berson dwyfol, pa fodd y gallai amlygu ei hun i synwyrau y patrieirch, gan fod Duw yn anweledig?—A pha fodd y gellir profi mai yr ail berson, yn hytrach nâ'r cyntaf, neu y trydydd a ymddangosodd?—Pa brawf sydd mai y *corff* a groeshoeliwyd yn Judea, yn hytrach nâ chorff Samuel, neu eiddo Ioan Fedyddiwr a ymddangosodd?—" A fuasai iddynt hwy (addolwyr Crist) feddwl am y fath esboniad ar yr ymddangosiadau dan yr Hen Destament, oni buasai eu bod wedi adeiladu eu cyfundraeth ar iaith y Testament Newydd? Syndod fyddai i bob Iuddew glywed yr haeriad mai y Messia a ymddangosodd i Moses, Abraham, &c. Ond yn benaf oll, dywed yr apostol (Heb. i, 1;) mai yn y dyddiau diweddaf hyn y llefarodd Duw wrthym yn ei Fab, yr hyn a arwydda nad oedd wedi llefaru trwy ei Fab o'r blaen; gan hyny, rhaid mai nid y Mab a ymddangosodd i'r Patrieirch."

Mewn atebiad i hyn oll, sylwer—1. Gallwn roddi hèr i holl wersyll Sosiniaeth i brofi nad ymddangosodd *Duw* i'r Patrieirch, gan hyny, yn lle lliosogi geiriau i chwyddo y Traethawd hwn yn mhell tu hwnt i'r bwriad dechreuol, trwy ddangos yn mha fodd y gellasai person dwyfol anweledig amlygu ei hun i synwyrau dynion, gofynwn a feiddia rhesymoldeb (a pheidio dywedyd, *haerllugrwydd*) ein gwrthwynebwyr i haeru nad amlygodd Duw ei hun i ddynion yn y modd crybwylledig, a dangos y parch lleiaf i'r ysgrythyrau. Hyd oni wnelont hyn, ein cais fydd ar iddynt ateb eu gofyniad eu hunain, os tybiant hyny yn fuddiol, neu gadawent iddo hyd oni farno rhyw un arall ei fod yn deilwng o atebiad.

2. Am ein gwybodaeth mai Crist ac nid y Tad na'r Ysbryd Glân a

ymddangosodd ar lun dyn, hawdd fyddai ymesgusodi, a pheidio ateb hyn hefyd, gan fod *Angel* a elwid Arglwydd wedi dyfod oddiwrth Dduw, a derbyn o hono addoliad gan ddynion, rhaid fod mwy nag un person yn y Duwdod; yr hyn ynddo ei hun sydd ddigon i lwyr ddinystrio cyfundraeth y Sosiniaid; ond rhag barnu o honynt fy mod yn rhy angharedig, mynegaf iddynt yr hyn a'n tuedda i gredu mai Crist oedd yr Angel dywededig.—Gelwir ef yn Angel y Cyfammod—dywedir fod yr Iuddewon yn ei ddysgwyl, neu ei chwennych—addefir gan ein gwrthwynebwyr fod yr enw Angel, neu Genad, neu Anfonedig, yn addas i Grist; gan hyny, am bwy y dysgwyliai yr Iuddewon, ond am y Messia?—Pwy oedd y Messia, ond Iesu o Nasareth?—A pha un o bersonau y Drindod a elwir yn *Angel* ond efe?—A phe rhwymid ein gwrthwynebwyr i addef fod lliosogrwydd yn y Duwdod, pwy fyddai barotach nâ hwy i gyffesu mai yr ail berson a ymddangosodd i'r Patrieirch.

3. Am y prawf mai y corff a groeshoeliwyd yn Judea a ymddangosodd i'r cyn-dadau; gorphwysed baich y prawf ar y sawl a wnaeth yr haeriad; pa fodd bynag, y mae y gofyniad yn brawf eithaf o annhegwch y gofynwyr mewn dadl, y rhai, pan fethont ymresymu a ymdrechant wneuthur y golled i fynu mewn cam-ddarluniau; ac hefyd fod ysgrifenwyr y fath ofyniad yn rhag-gyfrif yn helaeth ar hurtwch neu anonestrwydd eu darllenwyr pleidiol; canys pwy erioed a dybiodd i gorff Crist ymddangos cyn ei wneuthur o wraig?

4. Nid anhawdd genym gydnabod fod athrawiaeth y Drindod, ynghyd ag amryw wirioneddau pwysig ereill a ddygwyd i *oleuni* eglurach *trwy'r efengyl*, yn amlycach dan yr oruchwyliaeth hon, nag oeddynt gynt; er hyny, os ydym feddiannol ar yr un tueddiadau a goleuni ag oedd gan y rhai ag yr ymddangosodd y Mab iddynt gynt, nyni a gredem y gwirionedd a amddiffynir genym yma, er bod heb weled y Testament Newydd, canys addoli yr *Angel Jehofa* a wnaethant hwy, pan oeddynt yn y cyfryw amgylchiadau; ac er bod yr haeriad yn peri syndod i'r Iuddewon presennol, nid oedd felly i'w tadau, megys y profir yn helaeth gan y Dr. Jamieson ac ereill, o *Dargumau* Jerusalem, Jonathan, &c., heblaw yr hyn sydd yn yr Hen Destament ei hun. Hefyd, gweddus fyddai adgofio ein gwrthwynebwyr mai nid gyda phrydferthwch mawr y mae y gwrthddadl hwn yn dyfod oddi wrthynt hwy, canys nid llawer llai yw syndod hiliogaeth y rhai a groeshoeliasant Dywysog y Bywyd pan haerir mai *dyn da* oedd Crist, nâ phan y dywedir iddo ymddangos i Abraham.

5. Nid wyf yn gweled dim yn y geiriau "Duw, gwedi iddo lefaru—wrth y tadau gynt trwy y proffwydi, yn y dyddiau diweddaf hyn a lefarodd wrthym ni yn ei Fab," a duedda i ddangos na lefarodd y Mab wrth ddynion o'r blaen. Eglur yw fod y Mab wedi ei eni o Fair yn llefaru mewn *dull* na wnaethai cyn hyny, eithr os profa yr ymadrodd mai dyna y pryd y dechreuodd lefaru mewn *unrhyw ddull*, efe a brawf yr un mor eglur na lefarodd Duw erioed wrth y tadau, ond *trwy y* proffwydi, yr

hyn a brofai fwy nâ'r gwir, ac am hyny ni phrofai ddim. Y proffwydi oedd y cyfryngau gynt i drosglwyddo meddwl Duw i'r bobl, eithr nid yw hyn anghytunol â'r haeriad mai Crist oedd yr Angel Jehofa yr hwn a eglurodd feddwl y Duwdod i'r proffwyd Moses yn y berth fflamlyd, ac i ereill, eithr hawdd profi mai efe ydoedd, canys dywedir (1 Pedr i, 11,) mai *Ysbryd Crist oedd yn y proffwydi.* Ond wedi ei wneuthur o wraig, ac nid yn amser y tadau, yr hysbysodd efe ewyllys y Duwdod i'r bobl yn ddigyfrwng, yn yr un modd ag y gwnaethai y proffwydi gynt.

II. Nyni a brofwn fod yr enw *Arglwydd* mewn ystyr anghydweddol â dynoliaeth yn unig, a *Jehofa,* mewn ystyr briodol a chyflawn, yn cael ei roddi i Grist, er mai hysbys yw fod y Duw tragywyddol yn hòni hawl i hwn fel ei enw gwahaniaethol ei hun, yr hwn ni chaniatawyd i'r creadur mwyaf uchel ei gael erioed mewn un ystyr. "*Fy* ENW JEHOFA," medd Duw; ac am dano ef y dywed y Salmydd, "Tydi, yr hwn yn UNIG *wyt Jehofa* wrth dy enw." (Ecs. vi, 3; Sal. lxxxiii, 18.)

1. Cawn y geiriau nodadwy hyn yn Sal. cx, 1; "Dywedodd yr Arglwydd *(Jehofa)* wrth *fy Arglwydd,* Eistedd ar fy neheulaw, &c." at y rhai y cyfeiria ein Harglwydd, wedi dywedyd o'r Phariseaid, ei elynion anghymmodlon, mai "mab Dafydd" yw y Crist. "Pa fodd gan hyny (meddai ef) y mae Dafydd yn yr ysbryd yn ei alw ef yn *Arglwydd,* gan ddywedyd, Dywedodd yr Arglwydd wrth fy Arglwydd, Eistedd ar fy neheulaw? Os yw Dafydd gan hyny yn ei alw ef yn *Arglwydd,* pa fodd y mae efe yn *fab* iddo?" (Mat. xxii, 41—46). Dyfysgwyd a dystawyd hwy gan y gofyniad; "ni feiddiodd neb o'r dydd hwnw allan ymofyn ag ef mwyach." Nid boddlon ganddynt gydnabod ei ddwyfol bersonoliaeth, ac yr oeddynt yn anwybodus o'r drefn Sosinaidd i drin y testunau a briodolant ddwyfol berffeithiadau iddo ef, ac am hyny nid oedd dim i'w wneuthur ond myned yn fud. Os nad oedd Crist yn hòni hawl i faboliaeth uwch nâ bod yn un o hîl Dafydd linolin, mewn pa beth oedd diffyg atebiad yr athrawon Iuddewig gynnwysedig, pan ddywedasant, "Mab Dafydd yw y Crist?" Ai gweddus oedd i'r *dyn da,* y santeiddiaf o ddysgawdwyr a ddanfonwyd oddiwrth Dduw, i derfysgu ei wrandawyr â gofyniadau dyryslyd, pan oedd eu tybiau am dano yn gywir? A ddanfonwyd y Messia i dywyllu meddyliau y sawl ag oedd â'u hamgyffredion am dano yn unol â'r ddwyfol ewyllys? Gormod gwaith i'n gwrthwynebwyr yw amddiffyn eu "dyn da," yn hyn o orchwyl. Eu cyfundraeth hwy a dry'r Iuddewon drygionus yn ddynion da, ac a euog-farna y Messia!

Y ffordd a gymmerodd un o'm hatebwyr i ddianc rhag grym yr ymresymiad uchod, oedd dywedyd, "Mai rhyw dywysog Iuddewig, ac yn fwyaf tebygol Salomon, a olygid gan Dafydd, pan draethodd y geiriau hyn, Dywedodd yr Arglwydd wrth *fy Arglwydd, &c.* (sef wrth fy mab Salomon), o herwydd fod son am ei fuddugoliaethau, mewn dydd digofaint, yn y Salm o'r hon y cymmerwyd hwynt, yr hyn, medd efe, sydd anghysson â chymmeriad Crist, ond yn ddarluniad gweddus o goncwerwr

bydol." Ymddengys y gwrth-ddadl hwn yn ysgafnach nâ gwegi, pan ystyriom, fod Crist yn cael ei ddarlunio fel Concwerwr galluog mewn manau ereill o'r ysgrythyr—na allasai Dafydd, gydag un priodolder, i alw *ei Arglwydd* ar ei fab ei hun, yr hwn oedd yn rhwym i fod o dan lywodraeth ei dad tra fu efe byw, ac wedi hyny yr oedd yn mhell o fod dan arglwyddiaeth Salomon—ac yn neillduol, am fod ein Hiachawdwr ei hun yn dywedyd mai *Crist* oedd Dafydd yn ei alw yn Arglwydd, a'r Iuddewon yn gorfod addef hyny yn ddystaw. Nid hawdd credu y gŵyr canlynwyr parthol Sosinus yn well nâ'r Messia? neu eu bod yn well ac onestach dynion nag Arglwydd Dafydd.

2. Dywed Esay (vi, 1—10,) wrth ddarlunio gweledigaeth a gafodd yn y flwyddyn y bu farw y Brenin Uzzia, iddo weled "Yr Arglwydd *(Jehofa)* yn eistedd ar eisteddfa uchel," a bod ei lygaid wedi gweled "Y Brenin Arglwydd *(Jehofa)* y lluoedd." Dyfynir yr ymadrodd gan yr Efangylwr Ioan (xii, 39—41,) ag sydd yn canlyn y geiriau uchod, yr hwn a ystyria efe yn ddarluniadol o wrandawyr Crist, gan ychwanegu, "Y pethau hyn a ddywedodd Esaias pan welodd ei *ogoniant* ac y llefarodd am *dano* EF;" hyny yw, pan welodd efe *ogoniant Crist*, yr hwn yw testun hanes yr Efangylwr. Gan hyny, y *Brenin Arglwydd* (Jehofa) y *lluoedd*, gogoniant yr hwn a welodd y proffwyd, oedd Iesu Grist. Yr esboniad Sosinaidd ar hyn yw, mai nid gweled, ond *rhagweled* gogoniant Crist a wnaeth y proffwyd, sef ei ogoniant yn y cyflawniad o wyrthiau aruthrol! Eithr nid ydynt wedi hysbysu i ni pa fodd y daethant hwy i wybod mai *rhagweled* gogoniant Crist a wnaethai Esay, yr hyn a fyddai yn ddymunol, gan fod y proffwyd ei hun a'r efengylwr yn dywedyd mai ei *weled* a wnaethai efe. Nid ydynt ychwaith yn mynegu pa fodd y daethant i wybod mai gogoniant Crist yn ei *wyrthiau* a welodd Esay; yr hyn a ddylasent wneuthur, gan fod y proffwyd ei hun yn hollol esgeuluso yr amgylchiad hyny. Hefyd, pe caniataem mai *rhagweled* y gogoniant dywededig a wnaeth Esay, a bod y gogoniant hwnw yn ymddangos mewn *gwyrthiau*, etto, gweddus fyddai i'n gwrthwynebwyr gofio mai gogoniant yr *Arglwydd*, y Brenin, *Jehofa y lluoedd*, oedd yr hwn a welwyd; ac os addefant y gwyddai yr efengylwr yn well nâ hwy pwy oedd y proffwyd yn olygu, hawddach iddynt fyddai attal y môr rhag llifo yn ei lwybr arferol nâ phrofi nad Crist yw y *Brenin*, *Jehofa y lluoedd*.

3. Jeremia, (pen. xxiii, 5, 6,) wrth ragfynegu teyrnasiad llwyddiannus y Messia dan yr enw *Blaguryn*, a ddywed, "Yn ei ddyddiau ef yr achubir Juda, ac Israel a breswylia yn ddiogel: a hyn fydd ei enw ar yr hwn y gelwir ef, Yr ARGLWYDD *(Jehofa)* EIN CYFIAWNDER. Ni ellir priodoli y geiriau hyn gydag un mesur o addasrwydd i un person ond Crist; yr hwn a elwir mewn lle arall, (Zec. vi, 12,) "Y gwr a'i enw *Blaguryn*," sef, yr un enw ag a briodolir yma i *Jehofa ein Cyfiawnder*. Cymhwysir cyffelyb iaith at Dduw Israel, (Esay xlv, 24, 35.) "Yn ddiau yn yn yr Arglwydd *(Jehofa,)* medd un, y mae i mi *gyfiawnder* a nerth;" a

dywedir yn bendant (1 Cor. i, 30,) fod Crist wedi cael ei wneuthur i ni "Yn ddoethineb, ac yn *gyfiawnder*," &c. At yr hyn y gellid ychwanegu amryw dystiolaethau pendant, fod yr hen Iuddewon yn cymhwyso y geiriau hyn at y Messia. Dengys y sylwadau hyn ein bod yn cael ein hawdurdodi gan broffwyd arall i alw Iesu o Nazareth wrth enw gwahaniaethol y *Jehofa* tragywyddol. Chwennycha ein gwrthwynebwyr ddirymu yr ymresymiad hwn trwy haeru mai "Nid Crist a olygir wrth y Blaguryn, ond ysgatfydd, rhyw frenin daearol yr hwn a waredai Israel o gaethiwed." Oni byddai fy mod wedi ymgynnefino ag haeriadau gwrthun ac anghysson Sosiniaid, byddai y sylwad hwn o'r eiddynt yn ddigon i beri llawer o syndod i mi; canys dywedant yn fynych am y *dyn da*, ei fod uchlaw pawb dynion ereill, a'r bôd mwyaf goruchel o bob creadur; ond etto, mewn rhyw fodd, ymddengys mai gwell ganddynt i ryw ddyn, na's gwyddant pwy, i gael y teitlau ardderchocaf yn hytrach nâ'r Messia! Eithr difudd hollol yw y ddyfais hon, oddigerth profi o honynt fod ryw frenin neu broffwyd heblaw Crist yn cael ei alw yn *Jehofa*, ac yn *Gyfiawnder* i'w bobl.

Rhag ymddangos o'r haeriad blaenorol yn ei agwedd briodol, sef yn ddisylfaen, perir i ni "Edrych ar Jer. xxxiii, 16, lle y dywedir fod Jerusalem yn cael ei galw yn 'Jehofa ein cyfiawnder.'" Yr wyf wedi edrych yno, heb weled y fath beth yn fy Meibl Cymreig, ac er fod argraffiadau o'r Beibl Seisnig yn darllen felly, etto y mae ysgolheigion dwys yn mysg y Saeson yn gystal â'r Cymry wedi amddiffyn y cyfieithad Cymreig; ac y mae y tebygoliaeth rhwng yr ymadroddion yn Jer. xxiii, 6; a pen. xxxiii, 16, yn dangos yn eglur mai am yr un person y llefarir yn y ddau le, ac o ganlyniad, yn lle profi fod Jerusalem yn cael enw pennodol y Goruchaf, cawn yma brawf ychwanegol fod yr enw *Jehofa* yn cael ei briodoli i Grist.

4. Dywedodd yr angel a ymddangosodd i Zecaria am Ioan Fedyddiwr, blaenredwr ein Hiachawdwr, "A llawer o blant Israel a dry efe at yr ARGLWYDD EU DUW; ac efe a â o'i FLAEN EF yn ysbryd a nerth Elias." (Luc i, 15—17.) Y rhagflaenor i'r rhagenw EF yw, yr ARGLWYDD DDUW; gan hyny tystiolaeth yr angel yw y byddai i Ioan fyned o flaen yr *Arglwydd Dduw*, a Christ Iesu yw yr hwn yr aethai Ioan o'i flaen i barotoi ei ffordd, canys medd efe, (Ioan iii, 28,) "Nid myfi yw y Crist, eithr fy mod wedi fy anfon *o'i flaen ef*," a gelwir gweinidogaeth Ioan, gan y proffwyd (Esay xl, 3,) "Llef un yn llefain yn yr anialwch, *Parotowch ffordd yr Arglwydd* (Jehofa.) Arddengys hyn nad oedd Crist, o flaen yr hwn yr aethai Ioan, ddim llai nag *Arglwydd Dduw* meibion Israel.

5. Yn yr Hebreaid (pen. i, 10,) cawn y Tad tragywyddol yn anerch y Mab, gan ddywedyd, "Ac tydi yn y dechreuad, ARGLWYDD, a sylfaenaist y ddaear; a gwaith dy ddeheulaw di yw y nefoedd." Mai'r Mab yw yr hwn ag y llefarir wrtho yn yr wythfed adnod o'r bennod hon sydd mor eglur fel na ellir ei wadu, ac ni ddichon fod neb arall yn cael ei olygu yn y 10fed adnod, canys ni roddir yr awgrym lleiaf am gyfnewidiad yn

mherson y llefarwr na gwrthddrych yr anerchiad; ond i'r gwrthwyneb, defnyddir y cyssylltiad AC i gyssylltu y ddwy adnod. Ac wrth ddarllen y Salm cii, 24, 25, o'r hon y cymmerwyd y geiriau hyn, cawn fod y Mab, yr hwn a elwir yma yn *Arglwydd*, yn cael ei alw yno yn Dduw, a'i anerch trwy y Salm wrth yr enw *Jehofa*. Dichon Gwrthdriadodiaid haeru mai Salomon a olygir yn y Salm o'r hon y dyfynir y geiriau uchod; ond, yr hyn sydd fwy boddhaol nag *haeriad* mewn dadl yw *prawf*, yr hyn ni's gallant roddi. Cystal fyddai dywedyd mai rhyw Dywysog arall a feddylir, Hezecia neu Bonaparte, canys ni byddai hyny ond taeru peth nad yw yr ysgrythyr yn fynegu, cyffelyb i'w haeriad hwy. Nid oes air o son yma am Salomon, ac ni elwir ef nac un Tywysog daearol arall yn *Jehofa*, trwy yr holl ysgrythyr; eithr dywed yr apostol yn bendant mai wrth y Mab, ac nid wrth neb arall, y dywedodd y Tad, "Ti, yn y dechreuad, *Arglwydd*, a sylfaenaist y ddaear," &c. Rhaid i resymoldeb ein gwrthwynebwyr wneuthur Jehofa, a Chreawdur o Salomon, neu addef fod Crist felly, neu ynte ddyfeisio rhyw ffordd newydd i ddianc rhag grym yr ymresymiad hwn; dilys genyf fod yr hen ffordd yn rhy beryglus.

Rhoddir yr enw Jehofa i Grist mewn amryw fanau ereill o'r ysgrythyrau, neu fe'i cynnwysir yn yr hyn a ddywedir am dano,* ond gan fy mod yn llwyr gredu fod y dyfyniadau a'r arnodiadau blaenorol, yn ddigonol i brawf-egluro'r priodoldeb o alw Iesu Grist wrth enw gwahaniaethol y Goruchaf, brysiaf i ystyried arall o'i deitlau Dwyfol.

III. Yr ydym yn gorchwirio fod Iesu Grist yn cael ei alw yn *Dduw*, a bod yr enw hwn o'i eiddo yn fynych mewn cyssylltiad â'r fath eiriau dodi ag a'i gwna yn amlwg ei fod yn cael ei arfer mewn ystyr briodol, ac nid megys y cymhwysir ef yn achlysurol at swyddogion gwladol, ar yr hwn amgylchiad y gosodir llawer o bwys gan ein gwrthwynebwyr; ond cyn y gallo fod o wasanaeth iddynt dylent brofi fod ein Hiachawdwr yn swyddog gwladol, neu yn yr un swydd a sefyllfa â rhyw bersonau a alwyd yn dduwiau mewn ystyr gymharol. Eithr pa broffwyd, pa ddysgawdwr, fel y cyfryw, a alwyd erioed wrth yr enw hwn?

1. Dywed Esay (vii, 14,) wrth ragfynegu genedigaeth Mab y forwyn, hi "a eilw ei enw ef IMMANUEL;" a dywed Mathew, (i, 2, 3.) wedi mynegu o hono yr hyn a ddywedasai angel Duw wrth Joseph yn nghylch ei enedigaeth, "A hyn oll a wnaethpwyd fel y cyflawnid yr hyn a ddywedwyd gan yr Arglwydd trwy y proffwyd, gan ddywedyd, Wele, morwyn a fydd feichiog, ac a esgor ar fab, a hwy a alwant ei enw ef EMMANUEL, yr hyn a'i gyfieithu yw, *Duw gyda ni*." Rhoddwyd yr enw hwn iddo

* Cymhared y darllenydd yr ysgrythyrau canlynol â'u gilydd, a chaiff weled fod ysgrifenwyr y Testament Newydd yn dywedyd mai Crist yw yr hwn a elwir Jehofa, ac Arglwydd y Lluoedd gan y proffwydi; a bod yr olaf yn priodoli i *Jehofa* yr hyn a berthyn yn unig i Grist:—Sal. lxiii, 17, 18, ag Eph. iv, 7, 8.—Esa. viii, 13, 14, â Rhuf. ix, 32, 33.—1 Pedr ii, 7, 8.—Esa. i, 1—3—6.—Esa. liv, 5, ag Eph. v, 23.—Dat. xix, 7, â xxi, 9.—Zec. xii, 10, ag Ioan xix, 34.

pan anwyd ef, i arwyddo nad oedd y proffwyd yn ystyried athrawiaeth ei dddyndod yn anghysson â'i briodol Dduwdod. Ac os nad oedd yr enw hwn yn ddarluniadol o'i wir gymmeriad, gellir gwadu rheswm yr angel dros alw ei enw ef *Iesu*, "oblegyd efe a wared ei bobl oddiwrth eu pechodau." Os nad yw yr enw Emmanuel yn dynodi urddas ei berson, a'i fod mewn gwirionedd yn Dduw gyda ni, neu Dduw yn ein nhatur ni, nid yw yr enw Iesu yn arwyddo ei fod yn Achubwr oddiwrth bechod, ac felly yr ydym at ein rhyddid i wrthddywedyd proffwydi ac angylion wrth ein pleser!—Am yr esboniad Sosinaidd, sef, "bod Duw o'n tu ni trwy ein ffafrio â gweinidogaeth Crist," nid neb ond y sawl a *fynant* mai felly y dylai yr ystyr fod, a'i credant, o herwydd, os felly, "Duw gyda ni," yw pob dyn da a ddanfonwyd i bregethu y gwirionedd!—Ac os gwir athrawon yw fy ngwrthwynebwyr, Duw gyda ni yw Mr. R. Awbrey, a Duw gyda ni yw Mr. J. Rees!!!

2. Gan yr un proffwyd (Esay ix, 6,) cawn hanes rhagfynegol am enedigaeth Crist yn y geiriau pwysig hyn, "*Bachgen a aned* i ni, *Mab a roddwyd* i ni—gelwir ei enw ef Rhyfeddol, Cynghorwr, y DUW CADARN, Tad Tragywyddoldeb," &c,—Dywed un o'm hatebwyr, mai Hezecia a feddylir wrth y Duw Cadarn yma; a'r llall sydd hyderus mai Cyrus a olygir: ac nid wyf amheus, pe haerai trydydd ysgrifenydd mai Napoleon, neu Ddug Welington a feddylir y gellai ddywedyd cymmaint drosto ei hun â hwythau, a chyflawni cystal gwasanaeth i'r cyfundraeth Sosinaidd, canys ymddengys mai yr unig beth dymunol yn ngolwg ein gwrthwynebwyr fyddai priodoli yr enw i ryw un, ni's gwaeth i bwy, yn hytrach nag i'r hwn a alwant 'Eu Harglwydd a'u meistr.'

Yn Esay x, 21, gelwir 'y Goruchaf wrth yr un enw, "Y gweddill a ddychwel, (sef gweddill Jacob), at y *Duw Cadarn*." Ai Hezecia neu Cyrus a feddylir yma hefyd? Y mae rhoddiad y Mab, genedigaeth y Bachgen, a elwir yn *Dduw Cadarn*, yn cael ei ystyried gan y proffwyd yn reswm dros, neu yn achos o, *i'r bobl a rodiasant mewn tywyllwch i weled goleuni mawr*, (Esay ix, 1—6); eithr dywed yr efengylwr (Mat. iv, 13—16;) mai pan ddaeth Iesu i efengylu "y cyflawnwyd yr hyn a ddywedwyd trwy Esias y proffwyd—*y bobl oedd yn eistedd mewn tywyllwch a welodd oleuni mawr*," *&c*. Tystiolaeth yr efengylwr, gan hyny, a brawf mai Iesu Grist yw y *Duw Cadarn*; eithr os mynwn gredu mai Hezecia neu Cyrus yw efe, rhaid i ni ymfoddloni wrth dystiolaeth, neu haeriad Sosiniaid yn unig.

Pa fodd bynag addefir gan y Dr. Priestly, ac ereill o'r blaid, mai y Messia yw y *Duw Cadarn*. Ac nis gellir gwadu fod y *Bachgen a aned* yn cael ei alw yn *Dduw*, ac i'w wahaniaethu ef oddiwrth y sawl a elwir yn dduwiau o herwydd eu swyddau, efe a elwir y *Duw Cadarn*; a phe ceffid plaid o ddynion yn ddigon cywrain ac haerllug i droi y Duw Cadarn i ddyn egwan yn unig, tra theilwng fyddent o'r holl gysur a dardda oddiwrth fedrusrwydd i wyrdroi unrhyw ran o air Duw, pan fyddo diffygiadau eu cyfundraeth yn gofyn defnyddio dyfais mor arswydus.

3. Dechreuir yr efengyl yn ol Ioan â'r geiriau hyn, "Yn y dechreuad yr oedd y Gair, a'r *Gair oedd gyda Duw, a Duw oedd y Gair.*" Pan ystyriom fod *Gair yr Arglwydd* yn cael ei fynych osod allan fel person yn yr Hen Destament, fod Jehofa yn *gweithredu er mwyn ei Air;* i Jehofa *ymeglurhau* trwy *Air Jehofa;* i *Air yr Arglwydd* ddyfod at Abram a *llefaru wrtho,* (2 Sam. vii, 21; 1 Sam. iii, 21; Gen. iii, 1; ac amryw fanau ereill); fod y Gair yn cael ei fynych ddarlunio gan ddehonglwyr Iuddewig megys Jehofa; fod yr hyn oll a ddywedir am y gair yn y bennod gyntaf o Ioan yn perthyn i Iesu o Nasareth, am yr hwn y dywedir yn y 14eg adnod, "*A'r Gair a wnaethpwyd yn gnawd;*" fod yr un ysgrifenydd yn defnyddio yr un enw i ddynodi Crist yn nechreuad ei epistol cyntaf; yr hwn a eilw efe yno yn *Air y Bywyd;* ac yn y Datguddiad, (pen. xix, 13); gwedi darlunio o hono ef amryw ffyrdd, efe a ddywed, "Ac yr oedd wedi ei wisgo â gwisg wedi ei throchi mewn gwaed; a gelwir ei enw ef *Gair Duw;*" pan ystyriom hyn oll, meddaf, afreidiol yw lliosogi profion mai Iesu yw y person a olyga Ioan wrth y *Gair*, a'r hwn a ymhaerllugo gan haeru mai dyn yn unig oedd y Gair, sydd wedi ei berffaith addasu i wrth-ddywedyd tystiolaeth bendant yr ysgrythyrau pryd y myno, canys *Duw oedd y Gair.* Parodd amryw ysgrifenwyr Gwrth-drindodaidd i feirniadaeth ymorchestu hyd eithaf ei galluoedd, i brofi fod y *Gair* yn dynodi priodoledd ddwyfol ac nid person; eithr ymddengys fod Cyhoeddwyr y Testament Sosinaidd wedi ymwrthod â'r gosodiad anmhrofedig hwn, fel peth rhy warthus i'w arddel, hyd y nod gan wrthwynebwyr Duwdod Crist, y rhai a wyddom nad ydynt yn gyffredin ry betrusgar yn y rhydd-did a gymmerant â'r ysgrifenadau santaidd; ond rhag i'r Hwn a alwant eu Meistr gael gormod anrhydedd, y maent wedi troi yr ymadrodd, "And the word was *a god,*" (ac yr oedd y gair yn dduw, neu yn îs-dduw;) sef, duw mewn ystyr îs-raddol neu gymharol, o herwydd fod y banod *O* yn eisieu yn y Testament Groeg, yr hwn sydd fel hyn *Thèos ên o Logos;* eithr i'r dyben i amlygu yr hyn a fŷnai addolwyr Crist, dywedant y dylasai fod, *O Logos ên o Theos.* Eithr os ysgrifenodd Ioan ei efengyl, megys yr haera Sosiniaid yn gyffredin, i fod yn ragrwystr i eilunaddoliaeth, pa fodd y dygwyddodd iddo ddefnyddio iaith eilunaddolwyr yn nechreuad ei yrfa deilwng? Onid ymddengys ei fod yn cyfiawnhau yn hytrach nâ gwrthwynebu eilun-addoliaeth? Ac uwchlaw y cwbl, pa fodd y blinodd y diwygwyr mor gynted ar ddiwygiad? Paham na roddasent yr un cyfieithad i'r gair THEOS *(Duw)* yn adnodau 6, 12, 13, 18, o'r bennod hon, yn y rhai oll y mae y bannod *O* yn eisieu, ac ysgrifenu, "Yr oedd gwr wedi ei anfon *oddiwrth is-dduw* (a god) —allu i fod yn feibion i *is-dduw*—a aned o *is-dduw*—ni welodd neb *is-dduw* erioed!—A ellir rhoddi rhyw reswm heblaw tlodi dirfawr y cyfundraeth, am y gwahaniaeth hwn? Pe cyfieithasid yr ymadroddion a grybwyllwyd ddiweddaf, yn yr un modd ag y gwneir â'r adnod gyntaf, buasai urddas y Tad yn cael ei ddwyn i anfri, yr hyn ni ofynir gan y

cyfundraeth, ac am hyny, fe'u gadawir yn y Testament Sosinaidd yn yr un modd ag y maent yn ein cyfieithiadau cyffredin. Os cymmeradwyir y dull uchod o gyfieithu, hawdd fyddai i blaid arall o ddynion gyfieithu ymaith dduwdod y Tad, (yr hwn ni's gallant amgyffred) ac haeru nad yw yr ysgrythyrau yn son dim yn nghylch Bod Goruchaf, ac felly yn raddol i wneuthur y Llyfr Santaidd yn llyfr di-dduw, a darostwng Cristionogion i'r amgylchiad truenus o fod heb Dduw yn y Beibl!

4. Wedi i Thomas gael ei argyhoeddi o adgyfodiad Crist, efe a'i geilw ef, "Fy Arglwydd a'm Duw." (Ioan xx, 28.) Erys y gyffes yma heb gyfnewidiad yn y Testament Sosinaidd; eithr gwnawd llawer cynnyg i newid ei hystyr naturiol. Yr ydys wedi arwyddo fod y teitl cyntaf, *Fy Arglwydd*, wedi cael ei gyfeirio at Grist, a'r ail, *A'm Duw*, neu, *fy Nuw*, at y Tad; ond y dyb ffŷnadwy yn mysg gwrthwynebwyr Duwdod Crist yw, fod y cwbl yn groch-lef, darluniadol o syndod y dysgybl anhygoelus am allu y Tad yn cyfodi Crist oddiwrth y meirw. Gwrthbrofir yn eglur y naill a'r llall o'r tybiau hyn gan yr hanes ei hun a rydd yr Efengylwr o'r mater hwn; canys dywedodd ein Harglwydd wrth Thomas, "Na fydd anghredadyn ond credadyn."—"A Thomas a atebodd ac a ddywedodd *wrtho*, (wrth Grist,) Fy Arglwydd a'm Duw." Ni ddichon dim fod yn amlycach nâ bod y geiriau yn cael eu llefaru wrth Grist, a bod y ddau deitl cynnwysedig ynddynt yn cael eu rhoddi iddo ef. Derbyniodd Crist yr anerchiad hwn heb roddi yr awgrym lleiaf i'w ddysgybl, nad oedd ganddo ef hawl i'r urddas a roddid iddo yn yr anerchiad hwnw; felly ymddengys fod Thomas wedi cyffesu mai yr Iesu oedd ei Arglwydd a'i Dduw, a bod Crist wedi cymmeradwyo y gyffes hòno; a chymmeradwy raid ei bod gan bawb a roddant i'r Gwaredwr y parch dyledus iddo.

5. Iaith Paul wrth y Rhufeiniaid, (ix, 5,) "O'r rhai (yr Israeliaid) yr hanodd Crist *yn ol y cnawd*, yr hwn sydd uchlaw pawb, *yn Dduw bendigedig yn oes oesoedd, Amen*," sydd mor eglur, pwysig a therfynol, fel na allasai yr apostol sefydlu athrawiaeth priodol dduwdod Crist mewn modd mwy effeithiol pe buasai yn wybodus o resymau Sosiniaid yr oes bresennol. Ni ddichon neb ddywedyd yn ngwyneb y dystiolaeth hon, fod y Gwaredwr yn Dduw, megys yr oedd Moses, mewn ystyr is-raddol, canys y mae efe *uchlaw pawb*, dynion ac angylion, *yn Dduw bendigedig*, yn oes oesoedd. Y mae y testun hwn yn achos cymmaint o ofid i'n gwrthwynebwyr, fel y maent wedi defnyddio pob moddion cyrhaeddedig i'r dyben i fogi y dystiolaeth drallodus a roddir ganddo; traws-dŷnwyd ei wedd, a dadgymalwyd ei aelodau, a gosodwyd hwy ynghyd o'r newydd, i'r dyben i beri i'r tyst anhyblyg lefaru iaith wahanol. Cynnygwyd amryw gyfieithiadau newyddion, ond yr hwn a gymmeradwywyd gan gyhoeddwyr y Testament Sosinaidd yw, "O'r rhai, trwy *lin-ach naturiol* yr hanodd Crist, bendithier Duw, yr hwn sydd uchlaw pawb yn oes oesoedd," *(of whom, by natural descent, Christ came, God who is over all be blessed for ever)*. Am hyn, sylwer, nad oes neb wedi rhyfygu haeru nad yw y cyfieithiad cyffredin yn

*yn da*, ac yn *dra naturiol;* a phe buasai modd i ddangos ei wendid a'i anghyssondeb â'r iaith wreiddiol, gallwn fod yn hyderus y buasai hyny wedi cael ei gyhoeddi, nid yn unig o Dan hyd Beersheba, ond yn Gath ac heolydd Ascelon, neu leoedd cyffelyb, er ys amser maith; canys gan nad beth a ddichon fod yn ddiffygiol ar ysgrifenwyr Sosinaidd, nid oes perygl iddynt gael eu cyhuddo o fod yn ddiffygiol mewn hyfdra neu ëondra wrth ymdrin â'r Ysgrythyr Lân. Y ddadl a ddygir ganddynt yw, y *gellai* y testun gael ei gyfieithu mewn modd amgen, yr hyn sydd reswm digonol dros amddiffyn y cyfieithiad cyffredin, canys y cyfnewidiad a gynnygir sydd er gwasanaeth dybenion eu cyfundraeth. Heblaw hyn, y mae yr ymadrodd "o'r rhai yr hanodd Crist *yn ol y cnawd*," (neu cyn belled ag y perthyn i'r natur ddynol,) yn ein harwain i derfynu ei fod yn feddiannol ar natur heblaw'r ddynol; canys pe buasai ond *dyn yn unig*, yn mha fodd y meddyliai ein gwrthwynebwyr iddo ddyfod ond yn ol y cnawd? Os nad oedd ond dyn fel ereill, pwy achos son am ei ddyfodiad *yn ol y cnawd?* Neu pa fodd na ddywedir fod Ioan Fedyddiwr, Paul, Pedr, neu Ioan, wedi dyfod *yn ol y cnawd?*—Am eu cyfieithiad hwy, "O'r rhai, trwy *lin-âch naturiol* yr hanodd Crist;" rhaid bod gwr yn dra awyddus i'r cyfundraeth cyn y gallo addef ei gywirdeb. "O ran cyfieithu y geiriau mewn dadl, *trwy lin-âch naturiol*, y mae yn rhydd-did o'r mwyaf argl-wyddaidd ar y geiriau eu hunain, yr hyn sydd hollol annghaniatäol, ac yn teilyngu y cerydd llymaf."*

6. Trosir yr un gwirionedd mewn modd cadarn gan y geiriau hyn, "Ac yn ddidadl, mawr yw dirgelwch duwioldeb; *Duw a ymddangosodd yn y cnawd*." (1 Tim. iii, 16.) Gadewir y gair *Duw* allan o'r Testament Sosinaidd, yr hwn a ddarllen, "*Yr hwn* a ymddangosodd yn y cnawd, a gyfiawnhawyd yn yr Ysbryd," &c. Eithr a gadael y medrai dysgedig-ion Sosinaidd brofi mai anweddus yw cadw yr enw Duw yn y testun, (yr hyn a gredaf sydd dra anhawdd, er darllen o honof eu rhesymau dros hyny,) dynodir hyd y nod gan y cyfieithiad hwn, fod Crist yn hanfodi cyn ei ymddangosiad yn y cnawd, ac y gallasai efe ymddangos ryw ffordd arall heblaw yn y cnawd; neu mewn geiriau ereill mai nid dyn yn *unig* oedd efe, os amgen, rhaid fod yr ymadrodd "ymddangos yn y cnawd," (gair a arferir yn fynych yn yr ysgrythyrau i ddynodi'r natur ddynol,) yn hollol ddisynwyr. Dywedyd fod "dyn anmherffaith" wedi ymddan-gos yn y cnawd, neu mewn dynol natur, a ymddengys yn dra rhyfedd i bawb ag nad ydynt fwy elymedig wrth gyfundraeth o'r eiddynt, nag wrth ymresymiad cywir, neu synwyr cyffredin. Yn y modd hyn gwelwn fod y gwirionedd a fynegir yn eglur gan y cyfieithiad derbyniedig, yn cael ei gynnwys yn eiddo ein gwrthwynebwyr; ac os gwedir hyn gan-ddynt, dymunol fyddai cael rheswm, ac nid haeriad noeth dros yr hyn a ddywedont.

* *Wardlaw's Discourses, page* 72.

7. Cawn dystiolaeth y Tad tragywyddol ei hun dros y gwirionedd hwn yn yr epistol at yr Hebreaid (i, 8.) "Ond wrth y Mab, (y mae yn dywedyd) Dy orseddfainc di, O Dduw, sydd yn oes oesoedd." Cyfieithiad y Sosiniaid o'r testun hwn sydd dra chywilyddus, "Duw yw dy orseddfainc." Gellai y darllenydd fod yn barod i ddywedyd fod ein gwrthwynebwyr wedi anghofio eu hunain, a derchafu y Mab uchlaw y Tad, tra yr oeddynt yn ymdrechu dwyn eu Meistr yn gydradd â hwy eu hunain. Os yw efe (y darllenydd) yn tybied hyny, y mae yn camsynied yn fawr, canys gyda help gair cynnorthwyol neu ddau, a'r nad ydynt yn yr iaith wreiddiol, galluoger hwy i'w ddarostwng ef wrth eu bodd, a darllenant, (God is *the support of* thy throne,) "Duw yw *cynnaliwr* neu *ategwr* dy orseddfainc." Y geiriau ychwanegol hyn a wnant gyfnewidiad o bwys yn yr ystyr, ac am hyny nis gellir derbyn y cyfieithiad; canys os goddefir i gyfieithydd gyflenwi diffygiadau mewn ymadrodd yn y fath fodd ag i newid ystyr yr awdwr i'r graddau a nodir yma, gellai ysgrifenydd arall, yr hwn a fyddai ganddo ddybenion ereill i'w gwasanaethu, gyda yr un priodoldeb osod i lawr eiriau eglurhaol ereill llwyr wahanol yn eu hystyr, fel y byddai yr un ymadrodd o'i enau ef yn hollol wrthwynebol i'r hyn a fyddai yn ngenau ei wrthwynebwr; gellai un ddywedyd, "Duw yw *ategwr* dy orseddfainc;" dichon arall ddywedyd, "Duw yw *cyfranogwr* dy orseddfainc;" a gellai y trydydd haeru yn hyderus fod y ddau yn gamsyniol, a dywedyd y dylai fod, "Duw yw *dinystrydd* dy orseddfainc;" ac felly yn y blaen yn ddiderfyn. Heblaw hyny, y mae y cyfieithiad derbyniedig yn berffaith gysson ag eglur amcan yr apostol yn y cyd-destun, yr hyn yw profi fod Crist yn fwy urddasol a gogoneddus nag angylion, eithr nid yw dywedyd, "Duw yw ategwr dy orseddfainc," yn perthyna dim i Grist yn neillduol, gan fod cadernid pob gorsedd a pharhad gogoniant angylaidd yn ymddibynu yn gyfangwbl ar Dduw. Rhaid i ni gredu fod yr apostol wedi defnyddio rheswm yr hwn a brawf gydraddoldeb Crist a'r angylion, a dim ond hyny, pan oedd yn bwriadu arddangos ei ragoriaeth ar bawb bodau crëedig, cyn y gallom dderbyn y cyfieithiad hynod uchod; eithr yn ol y cyfieithiadau derbyniedig, y mae rheswm ac amcan yr apostol mewn perffaith gyd-drawiad â'u gilydd; ac felly, ni ddichon fod dim wedi cael ei ddatguddio yn eglurach nâ bod y Tad yn dywedyd wrth y Mab, "Dy orseddfainc di, O Dduw, sydd yn oes oesoedd:" "*Pròs de ton uion. O thronos sou, o Theos, eis ton aiôna tou aiônos.*"

8. Sylwn ar iaith nerthol yr apostol Ioan, yn ei epistol cyntaf (v, 20;) "Ac yr ydym yn y Cywir hwnw, sef yn ei Fab ef Iesu Grist. Hwn yw y GWIR DDUW, *a'r bywyd tragywyddol.*" Nid oes le wedi ei adael yma i Sosiniaid ymlechu dan gysgod ystyr îs-raddol y gair *Duw*, canys mewn gwahanredoliaeth i'r sawl ag y cymhwysir yr enw iddynt yn achlysurol, dywedir yn bendant mai Iesu yw y *Gwir* Dduw; ac y mae hwn i'w gael hyd y nod yn y Testament Sosinaidd heb un cyfnewidiad o bwys. Wrth y *gwir Dduw a'r Bywyd tragywyddol* yn yr adnod hon yr ydym

yn ddiddadl i ddeall yr *un person;* canys nid yw y *gwir Dduw* yn un person gwahanol, a'r *Bywyd tragywyddol* yn berson arall; ac eglur yw mai enw perthynol i'r Mab ac nid i'r Tad yw *Bywyd tragywyddol*, megys y gwelir yn yr ail adnod o'r epistol hwn, yr ydym "yn mynegu i chwi y *Bywyd Tragywyddol*, yr hwn oedd gyda'r Tad." Addefir hyn gan gyhoeddwyr y Testament Sosinaidd mewn sylwad ar y lle, ac yn y testun llythyrenau dechreuol y geiriau *Bywyd Tragywyddol* ydynt rai penigol. Ni roddir y teitl hwn i neb ond i Iesu o Nasareth, ac am hyny ni ddichon un gwirionedd fod wedi ei sefydlu yn gadarnach nag mai Iesu Grist yw y *Gwir Dduw;* ac os nad yw y teitl hwn ddarluniadol o briodol Dduwdod, nid yw geiriau ond seiniau gweigion, oferedd yw ieithoedd, ac y mae anifeiliaid y maes, y rhai nad oes ganddynt iaith, eithr a ddeallant eu gilydd trwy arwyddion, ysgogiadau a lleisiau, yn rhagori yn hyn o beth ar fôdau rhesymol. Eithr da gan y darllenydd fyddai gwybod trwy ba ffyrdd yr ymdrecha ein gwrthwynebwyr i achub eu cyfundraeth rhag awdurdod y testun hwn? Hwy ddywedant wrthych, "Ymddengys fod dau rag-flaenor i'r rhag-enw *Hwn*, neu *efe* yn y testun." Ac enwant ychydig destunau yn y rhai y cyfeiria y rhag-enw amlygol *Hwn* at y rhag-flaenor *pellenig*, ac nid at yr un digyfrwng neu y nesaf ato, ac "am hyny dichon yr ymadrodd *Hwn yw y Gwir Dduw*, gael ei gymhwyso at yr *Hwn sydd gywir* (y Tad), yn gystal ag at ei *Fab ef Iesu Grist.*" I'r hyn yr atebwyd yn gywir, mai rheol gyffredin i ddeonglu yr ysgrythyrau yw, y dylid deall pob rhag-enw personol ac amlygol fel yn cyfeirio at y rhag-flaenor nesaf, oddieithr bod rhyw beth yn amgylchiadau y lle a fyddo yn gwneuthur cyfeiriad at y rhag-flaenor pellenig yn anghenrheidiol, a'r cyfryw anghenrheidrwydd yn amlwg ac yn ddiddadl; a phe ymadawid â'r rheol hon yn ol mympwy dynion, gellid priodoli y gwrthuni a fynid i'r Ysgrythyrau Santaidd. Yn y testunau a enwir gan ein gwrthwynebwyr ar yr achos hwn y mae yr anghenrheidrwydd yn amlwg, ac am hyny ystyrir hwy yn ddiwrthddadl fel eithriadau i'r rheol gywir; eithr yn yr achos mewn dadl nid yw y cyfryw anghenrheidrwydd yn hanfodi, oddieithr bod ymlyniad ein gwrthwynebwyr wrth gyfundraeth ag sydd yn nacâu i'r Iesu y gogoniant a ystyriwn ni yn ddyledus iddo, yn esgus digonol dros ymadael â rheol mor amlwg a buddiol. Hefyd, os yw yr ymadrodd *Hwn yw y gwir Dduw*, i'w gyfeirio at y Tad, yr hwn a elwir o'r blaen *yr Hwn sydd Gywir*, ac nid at ei *Fab ef Iesu Grist*, defnyddir eglurhad afreidiol gan yr apostol wrth ddywedyd, Hwn *yw y Gwir Dduw*, ac y mae megys pe dywedasai, "Yr hwn sydd gywir, yw y cywir Dduw," neu "Y gwir Dduw, yw y Gwir Dduw!" Mewn gaïr, os nad yw rheolau ieithadurol, ac amgylchiadau y lle yn ddigon i derfynu y ddadl, oferedd yw cyfeirio at neb rheolau i derfynu ymryson.

9. Yr ydys wedi sylwi fod gradd arall o destunau ysgrythyrol, yn y rhai yr ymddengys yn dra thebygol oddiwrth y cyfieithiadau cyffredin, fod Crist yn cael ei alw yn Dduw, megys, "Ymddangosiad gogoniant y Duw

mawr, a'n Hiachawdwr Iesu Grist;" a "Trwy gyfiawnder ein Duw ni, a'n Hiachawdwr Iesu Grist." (Titus. ii, 13; 2 Pedr i, 1). Yn y rhan amlaf o hen gyfieithiadau y Beibl Seisnig, ac ar ymylau dail rhai argraffiadau diweddar, cyfieithir y geiriau uchod yn y modd hyn, "Ymddangosiad gogoneddus *ein Duw mawr a'n Hiachawdwr Iesu Grist.*" Trwy gyfiawnder *ein Duw a'n Hiachawdwr Iesu Grist.*" Y mae y Cyfieithiad Cymreig yn dyfod yn nes at yr hen gyfieithiadau Seisnig, nag yw yr argraffiadau diweddar o'r Beibl Seisnig; ac haerir gan y dysgedig, mai yn y modd uchod y dylid eu cyfieithu; ac o ganlyniad, hawdd fyddai dwyn llawer o destunau ychwanegol, pe anghenrheidiol hyny, i sefydlu yr athrawiaeth bwysig hon.

IV. Y mae amryw enwau ac ymadroddion darluniadol o wir Dduwdod, y rhai a briodola Jehofa iddo ei hun yn yr Hen Destament, yn cael eu rhoddi i Grist yn y Testament Newydd, megys, yr Israeliaid "a demtiasant Dduw yn eu calon, trwy ofyn bwyd wrth eu blys;" eithr dywed Paul mai *temtio Crist* a wnaethant, a chael o honynt eu dinystrio gan seirph (Sal. lxxviii, 18, 56; 1 Cor. x, 9.) Dywed y Salmydd fod *Duw, Jehofa* wedi derchafu i'r uchelder, a chaeth-gludo caethiwed; eithr dywed yr apostol mai Crist a dderchafodd i'r uchelder, a chaethiwo caethiwed; (Sal. lxviii, 17, 18; Eph. iv, 7, 8;) "Myfi (medd Jehofa) yw y cyntaf, diweddaf ydwyf fi hefyd." "Mi (medd Iesu) yw y cyntaf a'r diweddaf." (Esay xliv, 6; Dat. 1, 11, 17;)—"Eich Duw (medd Moses wrth yr Israeliaid,) yw Arglwydd yr arglwyddi." "Yr Oen (medd Ioan,) yw Arglwydd yr arglwyddi." (Deut. x, 17; Dat. xvii, 14.) Dywedai y Salmydd, "A'r *Goruchaf* ei hun a sicrha Sïon." Ac yr oedd Ioan Fedyddiwr, yr hwn a aethai o flaen Crist, "yn broffwyd i'r *Goruchaf.*" Sal. lxxxvii, 5; Luc i, 76. Arglwydd y lluoedd yw "Brenin y gogoniant;" ac Iesu Grist yw "Arglwydd y gogoniant." Sal. xxiv, 10; 1 Cor. ii, 8; Iago ii, 1. Ymdderchafodd Belshazzar yn erbyn Arglwydd y nefoedd; a Christ yw yr Arglwydd o'r nef; Dan. v, 23; 1 Cor. xv, 47. Os nad oedd yr ysgrifenwyr santaidd yn meddwl trosi yr amgyffrediad o wir Dduwdod trwy yr ymadroddion uchod, anobeithiol fyddai byth cyrhaedd gwybodaeth o un pwnc trwy gyfrwng geiriau. Nid yw yr esboniad Sosinaidd ar yr ymadroddion hyn ond un tra gwael, eithr ymddengys eu bod hwy yn ymfoddloni iddo, o leiaf, hyd oni fedront ddyfeisio gwell. Dywedant "fod yr enwau crybwylledig yn cael eu rhoddi i Grist mewn ystyr is-raddol neu gymharol." Ond pa fodd y daethant hwy i wybod hyny? A ydynt yn dysgwyl i'w darllenwyr gredu hyny, yn unig o herwydd eu bod hwy yn ei daeru? O herwydd fod *Swyddogion gwladol yn achlysurol* yn cael eu galw mewn ystyr gymharol yn dduwiau, ac yn y fath fodd na chamsyniodd dyn erioed mo honynt, a ydyw hyny yn reswm dros roddi *holl* enwau y Goruchaf i ddyn na fu yn *Swyddog Gwladol erioed,* nac yn meddu un awdurdod fydol?—Attolwg, pe addefai Sosiniaid y gellai Crist fod yn Dduw ac yn ddyn,

wrth ba enwau y chwennychent iddo gael ei alw, namyn enwau dwyfol a dynol? Nid yw bod ei awdurdod yn fawr dan Dduw yn brawf y dylai gael holl deitlau y Duwdod iddo ei hun. Pe cymmerai un o'm hatebwyr deitlau Brenin Prydain iddo ei hun, a chael ei alw yn Frenin gan ei ganlynwyr, fe'i cyfrifid ef yn fradwr, a byddai mewn perygl o golli ei fywyd, os bernid ei fod mewn meddiant o synwyr cyffredin; byddai y trosedd yn fwy erchyll etto pe cyhoeddai Dug Welington ei fod yn Frenin; a gwaeth nâ hyny fyddai i Ddug Caerefrog urddasu ei hun â theitlau Breninol; o herwydd pa nesaf mewn graddau at y penadur, tebyca fyddent i lwyddo, a mwyaf yw eu rhwymau i amddiffyn y Brenin; am yr un rheswm, y dylasai Crist, os nad oedd ond dyn, a'r nesaf at Dduw yn yr holl grëedigaeth, megys y taera ein gwrthwynebwyr, fod yn fwy gofalus nâ neb i ochelyd priodoli enwau Dwyfol iddo ei hun, ac felly dylasai ei ganlynwyr wneuthur. Eithr ymddengys y gwirionedd hwn yn mhellach trwy ystyried,

II. Fod priodoliaethau perthynol i'r Goruchaf Dduw yn cael eu priodoli yn eu hystyr gyflawn i Iesu Grist.

1. *Priodolir Tragywyddoldeb iddo.* Gwelsom eisioes fod y Messia addawedig yn cael ei alw gan y prophwyd yn "Dad tragywyddoldeb," neu y "Tad tragywyddol." Mewn ymddyddan a'r Iuddewon, efe a ddywedodd wrthynt, "Cyn bod Abraham, yr wyf fi." Os nad yw hyn yn golygu ei fod yn hanfodi cyn Abraham, nid yw yn atebiad i'r gofyniad, ond yr hyn a gyfrifid mewn llys barn yn iaith hocedus, ac am hyny yn hollol annheilwng o Hyfforddwr mawr dynolryw. Ystyrid y geiriau gan yr Iuddewon eu hunain fel atebiad uniongyrchol i'w gofyniad, a "chymmerasant gèryg i'w taflu ato ef," gan dybied ei fod yn euog o gabledd, trwy briodoli iddo ei hun berffeithiadau dwyfol, neu, fel ar achos arall, "yn gwneuthur ei hun gystal â Duw;" (Ioan viii, 57, 58; a v, 18.) Os dygwyddodd iddynt gamsynied ei feddwl, a ellir tybied y buasai Goleuni y byd yn eu gadael yn y tywyllwch, neu y buasai yr Hwn a ddaeth i achub dynion oddiwrth eu pechodau, yn goddef iddynt bechu rhagddynt yn gydwybodol, ac heb gynnyg eu diwygio! Trachefn, darlunir Barnwr Israel yn y modd hyn, "yr hwn yr oedd ei fynediad allan *o'r dechreuad, er dyddiau tragywyddoldeb;* a chymhwysir y geiriau hyn at Grist gan yr Efengylwyr; (Mica v, 2; Mat. ii, 8.) Anerchir y Mab gan y Tad, gan ddywedyd, "Dy orseddfainc di, O Dduw, sydd yn oes oesoedd," megys y dywedir yn yr Hen Destament, "Jehofa a deyrnasa byth ac yn dragywydd," neu yn oes oesoedd, (Heb. i, 8; Ecs. xv, 18.) Ac yn y Datguddiad dywedir fod Crist "Yn Alpha ac Omega, y dechreu a'r diwedd, yr hwn sydd, a'r hwn oedd, a'r hwn sydd i ddyfod." (Dat. i, 8, 17, 18). Cryfach geiriau i ddynodi tragywyddol hanfodiad ni raid, ac ni ellir gael.

2. *Hollalluogrwydd sydd briodoledd a feddiannir gan Grist,* ac a briodolir iddo yn yr un geiriau ag a wneir i'r Tad. Gan Esay gelwir

Jehofa y *Duw Cadarn*, a geilw yr un proffwyd y *bachgen a aned*, y *Duw Cadarn*. Ymddangosodd Jehofa i'r patrieirch dan yr enw *Duw Hollalluog*, ac ymddangosodd Iesu i Ioan, gan ddywedyd, Myfi yw Alpha ac Omega—*yr Hollalluog*. Dywed Paul fod yn rhaid iddo deyrnasu hyd oni osodo ei holl elynion dan ei draed. A thrachefn, Yr Arglwydd Iesu Grist, yr hwn a gyfnewidia ein corff gwael ni—yn ol y nerthol weithrediad, trwy yr hwn y *dichon efe, ie, ddarostwng pob peth iddo ei hun*." (Esa. x, 21; a ix, 6; Ecs. vi, 3.—Dat. i, 18; 1 Cor. xv, 25; Phil. iii, 21.) A ddichon neb dynion, a fedront wahaniaethu rhwng priodoliaethau Dwyfol a dynol, feddwl dros fynydyn y gellir cymhwyso yr iaith uchod gydag un priodolder at fôd na fyddo wedi ei wisgo ag hollalluogrwydd?

3. *Y mae Iesu Grist yn holl wybodol.* Nid oes ond Duw a edwyn galon dyn yr hon sydd fwy ei thwyll nâ dim; "*Ti yn unig* (medd y doethaf o ddynion, wrth Jehofa,) a adwaenost galonau holl feibion dynion," "Myfi yr Arglwydd (Jehofa) sydd yn chwilio y galon, yn profi yr arenau, i roddi i bob un yn ol ei ffyrdd, ac yn ol ffrwyth ei weithredoedd." "A'r holl eglwysi a gânt wybod (medd Iesu) mai *myfi yw yr hwn sydd yn chwilio yr arenau a'r calonau;* ac mi a roddaf i bob un o honoch yn ol eich gweithredoedd." "Nid oedd raid (i'r Iesu, medd Ioan,) dystiolaethu o neb iddo am ddyn; o herwydd yr oedd efe yn *gwybod* beth oedd mewn dyn." "Arglwydd (meddai Pedr wrth Grist,) *ti a wyddost bob peth*, ti wyddost fy mod yn dy garu." (1 Bren. viii, 9; Jer. xvii, 9, 10; Dat. ii, 23; Ioan ii, 24, 25, a xxi, 17.) Yr ymadroddion hyn a ddangosant nad oes ond Jehofa yn medru chwilio y galon, a gwybod pob peth, ac am fod Iesu yn gwybod hyny, rhaid mai Jehofa yw. Y mae yr olaf o honynt yn aros, gydag ychydig gyfnewidiad, yn eu grym yn y Testament Sosinaidd. Os nad yw y fath eiriau ddarluniadol o wir Dduwdod, rhaid fod yr ysgrythyrau yn tueddu i gythryblu yn hytrach nag hyfforddi y meddwl, a gwell fyddai fod heb Feiblau nâ'u meddiannu.

4. *Priodolir Hollbresennoldeb i'r Gwaredwr*, yn gystal ag i'r Tad. "Onid ydwyf fi yn llenwi y nefoedd a'r ddaear?" medd yr Arglwydd. "Crist (medd Paul) sydd yn cyflawni (neu yn llenwi) oll yn oll." "Yn mhob man (medd Jehofa) lle y rhoddwyf goffadwriaeth o'm henw, y deuaf attat, ac i'th fendithiaf." "Lle y mae dau neu dri (medd Iesu) wedi ymgynnull yn fy enw i, yno yr ydwyf yn eu canol hwynt." Drachefn, Crist a galonoga ei ddysgyblion i barhau pregethu yr efengyl, â'r addewid hon, "Wele, yr ydwyf fi gyda chwi bob amser hyd ddiwedd y byd." (Jer. xxiii, 24; Eph. i, 23; Ecsod. xx, 24; Mat. xviii, 20, a xxviii, 20.) Gwn fod y testun a ddyfynwyd ddiweddaf yn cael ei gyfieithu gan ein gwrthwynebwyr, *hyd ddiwedd yr oes*. Eithr ni rydd y cyfnewidiad hwn un math o ymwared i'w cyfundraeth anghenus hwy, canys os yw Crist yn hollbresennol dros *oes*, neu fis, neu un awr, rhaid ei fod yn Dduw, ac felly gyda'i bobl yn mhob oes. Os nad yw Crist yn Dduw holl-

bresennol, onid sicr yw ei fod wedi addaw yr hyn na's dichon gyflawni? A ddichon dyn yn unig fod mewn mil o fânau ar yr un pryd, rhai o honynt cyn belled oddiwrth eu gilydd â'r India Ddwyreiniol a Gorllewinol? Dylai rhyfyg ei hun gywilyddio wrth gyhoeddi y fath dyb wrthun.

5. *Anghyfnewidioldeb sydd briodoledd o eiddo Iesu Grist.* "Myfi yr Arglwydd ni'm newidir," yw iaith Duw Israel am dano ei hun; ac wrth anerch y Mab, dywed y Tad am y nefoedd a'r ddaear, "Hwynt-hwy a ddarfyddant; ond tydi sydd yn parhau; hwynt-hwy oll fel dilledyn a heneiddiant—*ond tydi yr un ydwyt*, a'th flynyddoedd ni phallant." "Fy Nuw, (medd y Salmydd)—*yr un ydwyt*, a'th flynyddoedd ni phallant." "Iesu Grist (medd yr apostol) *yr un* ddoe, heddyw, ac yn dragywydd." (Mal. iii, 6; Heb. i, 8—12; Salm cii, 24—27; Heb. xiii, 8.) Pob peth crëedig sydd gyfnewidiol, y Creawdwr mawr yn unig sydd mewn anfeidrol bellder oddiwrth yr amgylchiadau a barant gyfnewidiad yn ei greaduriaid; ac am fod yr un iaith yn cael ei defnyddio i osod allan anghyfnewidioldeb Crist a'r Tad, fe'n rhwymir i gredu fod Iesu yn *Dduw anghyfnewidiol.* Y cwbl a fedr Sosiniaid ddywedyd yn erbyn priodoli y dywededig berffeithiadau i Grist, yw tŷru amryw ysgrythyrau ynghyd i brofi ei wendid, ei anwybodaeth, &c., megys pe byddai yr ysgrythyrau yn anghysson â'u gilydd, ac am hyny y dylid ysbrydoli, neu yn hytrach gnawdoli, y rhai nad ydynt gydfynedol â'u meddyliau hwy; ond gan ein bod yn credu fod Iesu yn ddyn yn gystal ag yn Duw, ac felly yn feddiannol ar holl wendidau dibechod dynoliaeth, ni raid i ni eu hateb hwynt, oddieithr profi o honynt ei bod yn anmhosibl i Dduw a dyn hanfodi yn yr un person, yr hyn na's gallant fyth ei wneuthur. Y mae yr holl destunau ag ydynt yn sôn am wendidau difai y Gwaredwr, yn amddiffyn rhan o gredo pawb a gredant ei fod yn Dduw-dyn, yn gystal â'r rhai a arddangosant ei wir Dduwdod.

Eithr ymddengys y priodoliaethau a feddianna Crist yn fwy manteisiol fyth pan ystyriom,

III. Fod gweithredoedd Dwyfol yn cael eu priodoli i'n Cyfryngwr mawr; dywedir fod gweithredoedd na allasai llai nag Hollalluogrwydd eu gwneuthur yn weithredoedd o'i eiddo ef.

1. *Efe a greodd bob peth*—"Trwyddo ef (neu ganddo ef) y gwnaethpwyd pob peth; ac hebddo ef ni wnaethpwyd dim a'r a wnaethpwyd." "Trwyddo ef y crewyd pob dim a'r sydd yn y nefoedd, ac sydd ar y ddaear, yn weledig, ac yn anweledig—pob dim a grewyd trwyddo ef, ac erddo ef, ac y mae efe cyn pob peth." Trachefn, "Tydi yn y dechreuad, Arglwydd, (y Mab) a sylfaenaist y ddaear; a gwaith dy ddwylaw di yw y nefoedd." (Ioan i, 3; Col. i, 16, 17; Heb. i, 10.) Nid yw y cyfnewidiadau a wnawd yn y geiriau hyn yn y Testament Sosinaidd o nemawr pwys. Ac yma yr ydym yn cael fod Crist *yn y dechreuad*—ei fod yn hanfodi *cyn pob peth*—a bod pob peth *wedi eu creu* trwyddo, neu ganddo. Os nad yw yr ymadroddion hyn ddarluniadol o allu Dwyfol, gallwn

ofyn, ai galluedig yw i eiriau amlygu y cyfryw amgyffrediad mewn modd dealladwy? Os nad yw Creawdwr pob peth yn Dduw, a ydyw y Beibl yn sôn am Dduw oll? Os yw gwaith y greadigaeth yn datgan *tragywyddol allu a Duwdod* y Creawdwr, pa fodd y dichon Iesu, yr hwn a wnaeth bob peth, fod yn ddyn yn unig? A ddichon yr hwn a greodd bob peth fod yn greadur ei hun? I'r dyben i wanychu yr ymresymiad hwn, ffugir fod "Crist yn fath o oruchwyliwr neu is-swyddog yn nghyflawniad y gwaith hwn." Eithr yn mha le y sonia yr ysgrythyr am y cyfryw oruchwyliaeth? Hefyd, os gwnaeth Iesu y byd oll, rhaid bod ei allu yn Ddwyfol; ni ellir trosglwyddo gallu Duwdod i greadur, yn y fath fodd a dyfod o hono yn eiddo iddo ef, dros gymmaint â mynydyn, pe amgen byddai y creadur hwnw yn Dduw dros y mynyd hwnw! Ond *Duw mynydol neu dymhorol* sydd wrthddywediad mewn geiriau. Dywed ereill, fod "Y greadigaeth a briodolir i Grist, yn golygu cyfnewidiad mawr yn y byd moesol trwy oruchwyliaeth yr efengyl." "Os felly, oni allent, trwy ychydig ymorchestiad ychwanegol o'u cywreinrwydd, brofi *na chreuwyd y byd erioed?* ac nad yw Jehofa, wrth ddywedyd, "Fy llaw i hefyd a seiliodd y ddaear," (Esa. xlviii, 13,) yn meddwl dim ond ei fod ef, yn yr hyn a elwir y dechreuad, wedi peri i gyfnewidiad mawr i gymmeryd lle, yn y pethau ag oeddynt yn hanfodi eisioes? fod y byd ei hun yn dragywyddol, neu, yr hyn sydd yr un peth, yn wirioneddol Dduw? ac felly gwneuthur y byd yn wrthddrych addoliad, yn hytrach nag ymostwng i awdurdod Iesu Grist; yr hyn fyddai yn fwy boddhaol i lawer nâ chael eu galw i addoli Oen Duw.

2. *Priodolir cynnaliad y byd i Iesu Grist.*—Yr hwn, sef y Mab, sydd "Yn *cynnal pob peth* trwy air ei nerth." "Ac y mae efe (Crist) cyn pob peth, *ac ynddo ef y mae pob peth yn cydsefyll.*" (Heb. i, 3; Col. i, 17.) Nid gallu llai nâ'r hwn a greodd y byd sydd ddigonol i'w lywodraethu a'i gynnal. Os dyn yn unig yw Crist ni ddichon efe gynnal y byd yn well nâ rhyw greadur arall; nid yw dyn ond bôd meidrol egwan, gan nad pa faint fyddo ei ddyrchafiad. Nid yw dywedyd "Fod llywodraeth y byd wedi cael ei *roddi* i Grist, a bod y Tad wedi ei *apwyntio* ef i lywodraethu y bydoedd," yn lleihau, yn y mesur lleiaf, yr anhawsdra ag y llafuria y cyfundraeth rhesymol (fel y ffugir) o dano; canys ni's gallwn dybied fod yr urddas yma wedi cael ei gosod gan anfeidrol Ddoethineb ar berson amddifad o alluoedd i gyflawni dyledswyddau ei sefyllfa uchel—os yw pob awdurdod yn y nef a'r ddaear wedi cael eu rhoddi yn weithredol i Grist, pa fodd y dichon efe gyflawni dyledswyddau ei alwad, oddieithr ei fod yn meddiannu hollalluogrwydd, hollwybodaeth, ac hollbresennoldeb, y rhai, megys y gwyddom oll, nid ydynt briodoliaethau trosglwyddadwy; nid yw *apwyntiad* i unrhyw swydd yn rhoddi galluoedd i'w chyflawni. Gellid coroni ffol-geni yn Ymerawdwr, ond ni addasai hyny efe i'w sefyllfa newydd; etto gallai efe lywodraethu teyrnas heb gynghorwyr cystal ag y gallai y dyn godidocaf reoli y byd, neu gynnal pob peth. Un peth yw

apwyntiad, peth arall yw medrusrwydd. Yr un peth yw meddwl fod gosodiad Crist yn ei addasu i gynnal y byd, a thybied fod yr hwn ag *oedd unwaith* yn ddyn anmherffaith, wedi dyfod wedi hyny yn briodol Dduw! ac felly i gyfiawnhau araeth y sarph, yr hon a haerai y gellai dynion fod fel duwiau; os amgen, oferedd yw myned at weithredoedd Jehofa i ddysgu gwahaniaethu rhyngddo ef a'i greaduriaid. Dylai Sosiniaid naill ai gwadu fod pob awdurdod mewn nef a daear yn meddiant Crist, neu addef ei fod ef, yn awr, o leiaf, yn wir Dduw!

3. *Cyflawnodd Iesu y gwyrthiau mwyaf aruthrol trwy ei allu ei hun*, y rhai na allasai ond Hollalluogrwydd eu gwneuthur; a gwnaeth ei ddysgyblion lawer o arwyddion a rhyfeddodau yn ei enw ef. Yn ei enw ei hun, heb gyfeirio at oruwch allu, efe a orchymynodd yr ysbrydion aflan, a hwy a ddaethant allan; efe a geryddodd y cryd, ac efe a ymadawodd â'r claf; ar ddymuniad Pedr, efe a orchymynodd iddo ddyfod, ac efe a rodiodd ar y dyfroedd; efe a geryddodd wyntoedd a moroedd, fel y bu tawelwch mawr; efe a ddywedodd *Epphatha*, sef, ymagor, a'r tafod rhwymedig a'r glust gauedig a ufyddhasant i'w orchymyn, ac a gyflawnasant eu swyddau; wrth iachau gwas y Canwriad, efe a brofodd y gallasai weithredu mor effeithiol ar wrthddrychau pellenig ac ar rai presennol. Luc iv, 36, 39; Mat. xiv, 29; Marc iv, 39; vii, 34, 35; Mat. viii, 13.

Addefir fod gwyrthiau Crist yn cael eu bwriadu i brofi gwirionedd ei athrawiaeth, ond yr oeddynt hefyd yn arddangos ei Dduwdod, gan mai ei gydraddoldeb â'r Tad oedd un o'r gwirioneddau a ddysgai efe. Cydnabyddir hefyd fod yr apostolion wedi gwneuthur pethau rhyfeddol; eithr yr oedd gwahaniaeth mawr yn ngwyrthiau Crist a'r rhai a gyflawnwyd ganddynt hwy, o ran y *dull* a'r *dyben* o'u cyflawni—gwnaethant hwy y cwbl yn ei *enw ef*, gan gydnabod fod y cythreuliaid ddarostyngedig iddynt trwy ei *enw ef;* a pha bryd bynag y byddai yr arwyddion rhyfeddol a gyflawnwyd trwy eu hofferynaeth yn debyg o gael eu priodoli i'w gallu neu eu santeiddrwydd hwy, megys yn achos Pedr ac Ioan a'r gŵr cloff, yr oeddynt bob amser yn ofalus i gyfeirio sylw y bobl at y gwir achos, sef, *ffydd yn enw* Tywysog y Bywyd. Pan ewyllysiai Eliseus gyflawni yr un gwyrth ag a welodd efe Elias yn ei wneuthur, efe a lefodd, "Pa le y mae Arglwydd Dduw Elias," (Luc x, 17; Act. iii, 16; 2 Bren. ii, 14,) eithr cyflawnodd yr apostolion bob arwydd anghenrheidiol yn enw eu Meistr yn unig, heb ddywedyd, "*Pa le y mae Arglwydd Dduw yr Iesu.*" Yn y siamplau uchod ni ddysgir dysgyblion Crist ganddo ef i briodoli anrhydedd ei wyrthiau i arall, ac os nid efe oedd y gwir awdwr o honynt, y mae yr ychydig anrhydedd a briodola Sosiniaid i Grist yn perthyn i'w ddysgyblion yn hytrach nag iddo ef. Cyfrifai yr apostolion eu hunain yn *offerynau yn unig* o'r hyn a gyflawnent; eithr, nid yn unig cyflawnodd Crist ei wyrthiau yn ei enw ei hun, ond efe a hònai hawl i anrhydedd *eu llwyddiant hwy* hefyd, "*Yr ydwyf FI yn rhoddi i chwi awdurdod* i sathru ar seirph, ac ysgorpiwnau, ac ar holl gryfder y gelyn."

"*Ac EFE a roddes* (i'r deuddeg dysgybl) *awdurdod* ar yr holl gythreuliaid, ac i iachâu clefydau." (Luc x, 19; ix, 1.) Ni allasai y dysgyblion iachâu ar bob amser, eithr dywed Iesu am dano ei hun, "Y mae y Mab yn bywhau *y rhai a fyno.*" Ystyriai y gwahanglwyfus ei fod yn meddu y gallu hwn, pan ddywedai, "Arglwydd, *os myni*, ti a elli fy nglanhau i." Cadarnhaodd Crist ef yn y dyb hon, trwy ddywedyd, "*Mynaf*, glanhäer di." (Ioan v, 21; Mat. viii, 2, 3.) Nid yw yr arwyddion a wnawd gan yr apostolion fyth yn cael eu hystyried *fel eu heiddo priodol hwy*, eithr dywedir yn bendant am gyflawniadau aruthrol eu Meistr, mai *ei eiddo ef* ydynt, "A thyrfa fawr a'i canlynodd ef; canys hwy a welsant *Ei arwyddion* y rhai a wnaethai efe ar y cleifion." A'r gwyrthiau a gyflawnodd yr apostolion wedi ei esgyniad i'r nefoedd a briodolir yn eglur iddo ef, "A hwythau a aethant allan, ac a bregethasant yn mhob man, A'r Arglwydd (Iesu) yn cydweithio, ac yn *cadarnhau y gair trwy arwyddion, y rhai oedd yn canlyn.*" Iaith Pedr wrth Aeneas sydd dra hynod, "A Phedr a ddywedodd wrtho, *Aeneas, y mae Iesu Grist yn dy iachau di.*" (Ioan vi, 2; Marc xvi, 20; Act. ix, 34.) A allasai dyn yn unig cyn belled ymaith â'r drydydd nefoedd iachâu dyn claf ar y ddaear? Rhodded y sawl a ymwrthodant â phob dirgelion reswm am hyn os gallant. Yn fyr, yr oedd gwyrthiau yr apostolion yn cael eu hystyried fel amlygiadau o allu a gogoniant eu Meistr; ond eiddo Crist oeddynt amlygiadau o'i *ogoniant ef ei hun.* Pan drodd efe y dwfr yn win, efe *a eglurodd Ei ogoniant;* ac am glefyd Lazarus, efe a ddywed ei fod *er gogoniant Duw, fel y gogonedder* MAB DUW. (Ioan ii, 11; xi, 4.) Ai gweddus yw i ddyn, yn neillduol y goreu o ddynion, i wneuthur cymmaint o hono ei hun, ag ystyried ei ogoniant ei hun fel dyben penaf ei weithredoedd? Yr ydwyf fi yn ystyried yr ymadroddion uchod ynghylch gwyrthiau Crist fel cynnifer o dystiolaethau dros ei Ddwyfol allu, a phwy bynag a wado hyn a ddylai fod yn barod i brofi na's gellir fyth adnabod gallu Duwdod trwy ei weithrediadau nerthol. Sylwir etto ar y geiriau a fynegant na allasai Crist wneuthur dim o hono ei hun.

4. *Priodolir gwaith iechydwriaeth i Grist.* Gelwir ef yn fynych yn *Geidwad ac Iachawdwr*, a thystiodd Pedr pan oedd yn llawn o'r Ysbryd Glân, nad *oes iechydwriaeth yn neb arall.* (Act. iv, 12.) Byddai dywedyd ei fod yn *unig Geidwad* ar gyfrif tuedd achubol ei athrawiaeth, yr hon a gadarnhaodd efe trwy ei farwolaeth, yn cynnwys gwrthddywediad; canys yn ol y dull hyn o ymresymu, rhaid bod cynnifer o iechawdwyr ag o ddysgawdwyr ffyddlon a ddanfonwyd gan Dduw yn mhob oes i bregethu, pa fodd gan hyny y dichon Crist fod yn unig Geidwad? Rhaid bod Pedr neu ein gwrthwynebwyr yn gamsyniol ar y pen hwn.

Ond i beidio helaethu ar y teitl Iechawdwr, ni a gawn fod ymddygiad Crist yn cyfateb i'w gymmeriad fel Ceidwad galluog. Ei ddull o addysgu sydd yn amrywio yn mhell oddiwrth bawb dysgawdwyr ereill. Cyfarwyddai proffwydi ac apostolion eu gwrandawyr i gredu yn eu Meistr

Dwyfol, ac nid ynddynt hwy: ond yn ol athrawiaeth Crist, yr oedd ffydd yn ddiffygiol oni byddai y Mab yn wrthddrych iddi yn gystal â'r Tad, "Yr ydych (medd efe) yn credu yn Nuw, *credwch ynof finnau hefyd.*" Dysgai athrawon ereill eu canlynwyr fyned oddiwrthynt hwy at Dduw am gymhorth: eithr dywedai Crist, "Deuwch *ataf fi* bawb ag y sydd yn flinderog, *a mi* a esmwythaf arnoch." "Od oes ar neb syched, deued *ataf fi*, ac yfed." A'r hwn a ddel *ataf fi*, ni's bwriaf ef allan ddim—*myfi* a'i badgyfodaf ef yn y dydd diweddaf." Ac ni ellir cyssoni yr addewidion mawrion a wnaeth efe â dim ond â gwir Dduwdod, neu â'r rhyfyg a'r cabledd mwyaf erchyll; ai gweddus oedd i ddyn yn unig ddywedyd, "Os gofynwch ddim yn fy enw i, *mi a'i gwnaf—ni's gadawaf* chwi yn amddifaid—*mi a ddeuaf* atoch—yr hwn sydd *â'm gorchymynion* ganddo—yw yr hwn sydd yn fy *ngharu i*, a'r hwn sydd yn fy *ngharu i*, a gerir gan fy Nhad i—a *nyni a ddeuwn ato*, ac a *wnawn ein trigfa* gydag ef—*A minnau* ydwyf yn rhoddi iddynt fywyd tragywyddol, ac ni chyfrgollant byth, ac ni ddwg neb hwynt allan o'm *llaw i?*" (Ioan xiv, 1; Mat. xi, 28; Ioan vii, 37; vi, 37—40; xiv, 13—23; x, 28.) Ai gweddus oedd i'r hwn a ddarlunir fel cynllun gostyngeiddrwydd, i wneuthur cymmaint o hono ei hun? Os felly, fe'n tueddir i ofyn, pa beth yw y gwahaniaeth rhwng eithafoedd balchder ac iselfrydedd? Oni ddylai *uchelfrydedd* a *gostyngeiddrwydd* gael eu hystyried o hyn allan yn gyfystyr?

At hyn gellir ychwanegu, fod yr apostolion a'u hymlynwyr yn credu y gallasai Crist wneuthur ei holl addewidion yn dda, canys yr oeddynt yn *credu ac yn gobeithio*, neu yn hyderu ynddo, er gwybod fod Jehofa yn dywedyd mai melldigedig yw yr hwn a hydero mewn dyn. (Eph. i, 12; Jer. xvii, 5.) Tra pheryglus raid fod y cyfundraeth ag sydd yn ei ganlyniadau yn melldithio y sawl a fendithir gan Dduw.

Trachefn, sefydlodd Iesu ei gymmeriad fel Iachawdwr oddiwrth allu condemniol pechod, trwy ei faddeu, a gwneuthur gwyrth i brofi bod ganddo awdurdod i wneuthur hyny. Dygwyd ato ef ŵr claf o'r parlys, efe a ddywedodd wrtho "Ha fab—*maddeuwyd i ti dy bechodau.*" Tramgwyddodd hyn rai o'r Iuddewon, a dywedasant, "Y mae hwn yn cablu;" gan eu bod hwy yn barnu, yn uniawn, na allasai neb faddeu pechodau a gyflawnwyd yn erbyn y Goruchaf ond efe ei hun. Yn lle galw ei eiriau yn ol, y mae ein Hiachawdwr yn wynebu y cyhuddiad, gan ddywedyd, "Pa un hawsaf ai dywedyd, Maddeuwyd i ti dy bechodau; ai dywedyd, Cyfod a rhodia?" Gan arwyddo trwy hyn fod y naill mor hawdded iddo ef â'r llall, ac y gallasai Dwyfol allu gyflawni gwyrth yn gystal â maddeu pechod; ac i brofi yn eu gŵydd hwy oll fod ei allu ef yn ddigonol i'r ddau, efe a ddywedodd, heb gyfeirio at oruwch awdurdod, "Eithr fel y gwypoch fod awdurdod gan Fab y dyn ar y ddaear i faddeu pechodau, efe a ddywedodd wrth y claf o'r parlys, *Cyfod, cymmer dy wely i fynu a dos i'th dŷ.*" Aeth Dwyfol effaith gyda'i orchymyn, a chymmerodd y

gwr claf y gwely, ar yr hwn y dygwyd ef yno ar ei ysgwyddau, a dychwelodd adref mewn perffaith iechyd. (Mat. ix, 1—6; Marc ii, 2—6; Luc v, 21.)

I hyn gwrthddadleuir, "nad oedd y lliaws a welsant y gwyrth hwn yn meddwl fod Crist yn meddu un gallu anarferol ynddo ei hun, o herwydd pan *welsant*, rhyfeddu a wnaethant, a gogoneddu Duw, yr hwn a roisai gyfryw awdurdod i ddynion." Eithr dylid cofio fod y dyrfa gynnulledig ar yr achos hwn yn ddirfawr, fel nad oedd le myned â'r claf i mewn trwy y drws, gan y dorf, ond ei ollwng i lawr trwy nen y tŷ, a bod *Phariseaid a doctoriaid y gyfraith yn eistedd yno*, (yn y tŷ gyda Christ,) y rhai a ddaethent o *bob pentref o Galilea, a Judea, a Jerusalem*, fel yr oedd yr ystafell, wrth bob tebygolrwydd, wedi cael ei llenwi gan y boneddigion hyn, y rhai yn unig a gawsant gyfle i *glywed* y geiriau a gyfrifid yn gabledd; ni wnaeth y dyrfa ond *gweled* yr hyn a wnaethpwyd; ac ni thramgwyddwyd yr ysgrifenyddion a'r Phariseaid gan yr hyn a *wnaethpwyd*, ond o achos yr hyn a *ddywedwyd*, sef, *Maddeuwyd i ti dy bechodau.* Yr ystyriaeth o hyn a lwyr ddiryma y gwrthddadl uchod.

Llefarodd ein Hiachawdwr mewn cyffelyb fodd wrth y wraig a safai wrth ei draed yn nhŷ Simon y Pharisead, "Ac efe a ddywedodd wrthi, Maddeuwyd i ti dy bechodau," a rhoddwyd yr un dehongliad i'w eiriau gan y rhai ag oeddynt yn cydeistedd ag ef, gan ddywedyd, "Pwy yw hwn sydd yn maddeu pechodau hefyd?" (Luc vii, 48, 49.) Ystyriai yr apostol fod awdurdod Crist i faddeu pechodau yn ddiddadl, Ie, pechodau na allasid eu cyflawni yn ei erbyn ef fel dyn, ac na allasai efe eu maddeu os nad oedd yn fwy nâ dyn. "*Megys ag y maddeuodd Crist i chwi*, felly gwnewch chwithau" i'ch gilydd. (Col. iii, 13.) Nid oedd y Colosiaid wedi gwneuthur dim yn erbyn y *dyn da*, ni fu efe yn pregethu yn eu plith, ac ni chawsant faddeuant nes wedi ei dderchafiad ef, o ganlyniad, os maddeuodd efe iddynt, rhaid mai Duw ydyw.

Dichon ein gwrthwynebwyr haeru, "mai *cyhoeddi* maddeuant pechodau yn unig a wnaeth Crist, ac na chafodd neb achos i feddwl ei fod yn hòni fod ganddo awdurdod i'w maddeu yn weithredol." Eithr gellir gofyn etto, pa fodd y daethant hwy i wybod hyny?—Ai gwell barnwyr ydynt hwy ar y mater nâ'r rhai a welsant y gwyrth, ac a glywsant eiriau Crist? Yr oeddynt hwy o'r farn ei fod ef yn goresgyn gorfraint Duw, ac efe a'u gollyngodd ymaith â'r argraff hyny ar eu meddyliau, yr hyn a'u cadarnhaodd yn eu tybiau; ac os camsyniol oeddynt, gwaith anhawdd yw ei ryddhau ef oddiwrth y cyhuddiad o fod yn achos o'u cyfeiliornad echryslawn. Ai rhesymol yw tybied y gallai un *dyn da* gymmeryd ei genad oddiwrth amryw o'i gydgreaduriaid a fyddai dan gamsynied mor arswydus, ac heb gynnyg i'w hyfforddi yn well ar bwnc o gymmaint pwys?

5. Y gwaith o godi y meirw a barnu y byd a berthyn i Grist. Sylwasom eisioes fod ein Hiachawdwr wrth annog pechaduriaid i ddyfod ato

ef, yn dywedyd, *Myfi a'i hadgyfodaf ef yn y dydd diweddaf.* Pan oedd yn nghylch adgyfodi Lazarus, efe a ddywedodd, *Myfi yw yr adgyfodiad a'r bywyd.* Wrth ddarlunio y farn olaf, efe a ddywed, "A Mab y dyn pan ddel *yn ei ogoniant*, a'r holl angylion santaidd gydag ef, yna yr eistedd ar *orseddfainc ei ogoniant*, a chyd-gesglir *ger ei fron ef* yr holl genedloedd; ac *efe a'u didola* hwynt oddiwrth eu gilydd," &c. Darlunir yr un gwirionedd pwysig yn fynych yn yr epistolau, "Gosodir ni oll ger bron gorseddfainc Crist." "Rhaid i ni oll ymddangos gerbron brawdle Crist." "Yr ydwyf fi gan hyny yn gorchymyn gerbron Duw, a'r Arglwydd Iesu Grist, yr hwn a farna y byw a'r meirw yn ei ymddangosiad a'i deyrnas." (Ioan xi, 25; Mat. xxv, 31—46; Rhuf. xiv, 10; 2 Cor. v, 10; 2 Tim. iv, 1; Ioan v, 22—27; Act. x, 42; xvii, 31.)

Ai galluadwy yw i ddyn yn unig drefnu achosion anfeidrol y dydd diweddaf? A ganiatâ rhesymoldeb ein gwrthwynebwyr y dichon bôd meidrol weini barn ddiduedd i fyrddiynau dirif y byd cynnulledig? Os nad yw yr Iesu ond dyn "darostynedig i gyfeiliorni a phechu," megys y geilw Dr. Priestley ef, onid mwy tebygol yw y gelwir arno ef i sefyll yn mhlith y dyrfa afrifed a rhoddi cyfrif o'i ymddygiad ei hun, nag y bydd iddo weithredu fel Barnwr Goruchaf ar yr achos pwysfawr hwnw? A dderbynir wyneb gan y Duw mawr a chyfiawn, a gadael un *pechadur*, o leiaf, i ddianc rhag manwl-chwiliad y dydd arswydus hwnw? Myfi a wn y dywed Sosiniaid wrthym "mai ymadroddion allegol yw y rhai a ddarluniant Grist fel Barnwr pawb, ac mai y meddwl yw y bernir hwy yn ol yr athrawiaeth a ddysgodd efe." Os felly, pa fodd y bernir y sawl na chlywsant ei athrawiaeth erioed ganddo ef? Yn ol yr egwyddor hon o ddehongli, rhaid yw i'r sawl a freintwyd â'r oruchwyliaeth Foesenaidd, gael eu barnu gan Moses a'r proffwydi, ac o ganlyniad, ni ddichon Crist farnu ond *rhan* o ddynolryw! Ac os ydym at ein rhydd-did i droi pob ymadrodd atgas yn allegol, gallwn ymwrthod â holl athrawiaethau Cristionogaeth yn lled fuan; a'r hwn sydd yn caru pleserau yn fwy nâ Duw a ellai esmwythau ei gydwybod yn lled hawdd, trwy berswadio ei hun nad yw yr holl fynegiadau ysgrythyrol yn nghylch cospedigaethau mewn byd arall, ond ymadroddion allegol, mewn cyfeiriad at ryw ddefodau yn mysg dynion.

IV. Ystyriwn y daioni a'r gras anghymharol o'r rhai yr oedd dyfodiad Crist i'r byd yn ddarluniadol.

1. Darlunir y rhoddiad o Grist fel yr eglurhad mwyaf o gariad Duw at ddynion; "*Felly* y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei *unig-anedig Fab.*" Nid yw Duw yn gosod cymmaint pwys ar ei gariad mewn dim arall; "Y mae *Duw yn canmol ei gariad atom;* oblegyd a nyni etto yn bechaduriaid, *i Grist farw trosom ni.*" Ystyrir hyn fel y gwystl mwyaf sicr o gael pob bendith anghenrheidiol gan Dduw; "Yr hwn nid arbedodd ei *briod Fab*, ond a'i traddododd ef trosom ni oll; pa wedd *gydag ef* hefyd na ddyry efe i ni *bob peth?*"—Fe'i gosodir allan fel yr

ymorchestiad mwyaf o eiddo cariad Dwyfol, megys pe prin y byddai pob eglurhad arall o hono, wrth ei gymharu â hwn yn deilwng o sylw; "*Yn hyn* yr eglurwyd cariad Duw tuag atom ni, oblegyd danfon o Dduw ei *unig-anedig Fab* i'r byd, fel y byddem fyw trwyddo ef. *Yn hyn y mae cariad;* nid am i ni garu Duw, ond am iddo ef ei hun *caru ni*, ac *anfon ei Fab* i fod yn iawn dros ein pechodau." (Ioan iii, 16; Rhuf. v, 8; viii, 32; 1 Ioan iv, 9, 10.)

Yn ol y tyb-osodiad Sosinaidd prin y dichon fod un ystyr i'r ysgrythyrau uchod; canys ai galluadwy yw fod yr holl ymadroddion uchel-seiniog hyn am gariad digyffelyb, yn meddwl fod Jehofa wedi danfon *dyn da* i hyfforddi ei gydgreaduriaid, a dim ond hyny, megys pe na ddanfonasai efe un genad ffyddlon erioed o'r blaen, nac yn meddwl gwneuthur hyny drachefn?—Datguddiwyd meddwl Duw gan broffwydi ac apostolion—a'r rhan amlaf o honynt fuont fwy llwyddiannus nâ Christ—a llefarasant oll mor eglur am eu cymmeriad eu hunain fel cenadon dynol, fel na thybiodd neb o'u gwrandawyr eu bod yn chwennych cael eu hystyried yn fwy nâ dynion; ond yn ol yr athrawiaeth ag ydym yn wrthwynebu, rhaid ystyried fod danfoniad proffwyd yr hwn a lefarodd am dano ei hun yn y fath fodd ag i arwain ei wrandawyr i feddwl ei fod yn gwneuthur ei hun yn gystal â Duw, fel amlygiad digyffelyb o gariad y Goruchaf, tra nad yw danfoniad yr holl ffyddlon a gostyngedig weision ereill Duw, y rhai na cheisiasant anrhydedd nad oedd yn perthyn iddynt, na gwneuthur cymmaint o honynt eu hunain ag i achlysuru camsynied yn nghylch eu gwir gymmeriad, prin yn deilwng o sylw, wrth ei gyferbynu â hwnw! Neu, mewn geiriau ereill, rhaid ystyried fod gweinidogaeth yr hwn ag oedd naill ai yn anewyllysgar neu yn analluog i lefaru yn eglur, yn fendith llawer mwy prisfawr i ddynion, nag eiddo y sawl ag oeddynt ewyllysgar a medrus i draddodi eu cenadwri gydag eglurder! Os yw rhesymoldeb yn gofyn i ni gredu hyn, gwell fydd gan ddynion ag sydd a'u dealldwriaeth o'r gwneuthuriad cyffredin, gael eu galw wrth ryw enw heblaw rhesymoliaid.

2. Darlunir ymweliad ein Hiachawdwr â'r byd fel amlygiad dirfawr o'i ras a'i ostyngiad ei hun. "Canys chwi a adwaenoch *ras* ein Harglwydd Iesu Grist, iddo ef, *ac yntau yn gyfoethog*, fyned er eich mwyn chwi yn *dlawd*, fel y cyfoethogid chwi trwy ei dlodi ef." (2 Cor. viii, 9,) Yr ydym oll yn gwybod pa bryd y bu Crist yn dlawd; eithr anhawdd dywedyd pa bryd y bu yn gyfoethog fel dyn; efe a ddywedodd wrthym, fod gan y llwynogod ffauau, ac adar y nefoedd nythod, ond nad oedd gan Fab y dyn le i roddi ei ben i lawr; eithr ni fynegodd neb i ni pa bryd nac yn mha le y bu golud gan y *dyn* Iesu. Yr ydym yn addef fod gwaith dyn cyfoethog yn cyfranu i'r anghenus nes dwyn ei hun i dlodi, yn brawf o gariad a daioni mawr, ond yr ydym heb ddysgu hyd yma pa fodd y gallasai tlodi dyn na fu yn berchen cyfoeth erioed, yr hwn oedd dlawd o'i enedigaeth i'w farwolaeth, fod yn amlygiad o ras ac haelioni heb ei ail.

Pan ddywedir fod "cariad Crist yn ein cymhell ni," a bod "cariad Crist uchlaw *gwybodaeth*," (2 Cor. v, 14; Eph. iii, 9.) naturiol fyddai gofyn, pa beth a wnaeth efe i deilyngu y fath glod? A oes dim yn galw am y fath anrhydedd ond bod dyn tlawd wedi gwneuthur ei ddyledswydd, a dim ond hyny, a dywedyd y goreu am dano? Pwy all gredu hyn? Ond o'r tu arall, y mae yr ystyriaeth o'i Ddwyfol urddas, ei gyfoeth fel Creawdwr a Chynnaliwr pob peth yr hwn a roddodd efe heibio, neu a beidiodd ddefnyddio, yn y natur ddynol yr hon a gymmerodd efe, yn llenwi y meddwl â syndod, ac y mae ei gariad yn ddigyffelyb mewn gwirionedd.

Gwrthwynebwyr Duwdod ein Harglwydd, gan deimlo pwys y gwrthddadleuon hyn, a ymrysonant fel arferol â'r cyfieithiad, ac yn eu Testament hwy cyfieithir y geiriau, "Canys chwi a adwaenoch *ddaioni grasol* ein Harglwydd Iesu Grist, mai *tra* yr oedd efe yn gyfoethog, etto er eich mwyn chwi efe a fu *byw mewn tlodi*." Dilys genyf mai dirfawr dlodi y cyfundraeth Sosinaidd, yn yr hwn y mae gwedi byw yn hir, yw yr unig achos o'r cyfnewidiad uchod. Pa fodd bynag, yn ol y cyfieithiad hwn yr oedd Crist yn *gyfoethog* ac yn *dlawd* ar yr un amser; a phe goddefid i mi ei esbonio, myfi a ddywedwn ei fod yn gyfoethog fel Duw, ac yn dlawd fel dyn; ond rhag i ddarllenwyr y Testament uchod gael eu tueddu i gymmeryd y geiriau yn y goleu hwn, hysbysir iddynt yn y modd caredicaf mewn sylwad o eiddo y cyhoeddwyr, fod "ein Harglwydd yn gyfoethog mewn galluoedd gwyrthiol, y rhai a ellasai efe ddefnyddio pe mynasai, er mantais iddo ei hun, ond er budd i'w ganlynwyr efe a ddewisodd arwain bywyd o dlodi ac ymddibyniaeth." I hyn yr atebaf, os oedd Iesu yn weithredol mewn meddiant o allu i wneuthur gwyrthiau wrth ei bleser, ac i ateb ei ddybenion ei hun, sicr yw fod gallu creadigol o dan reolaeth ei ewyllys ef, ac o ganlyniad rhaid ei fod yn wir Dduw; gan na ddichon neb ond yr Hollalluog Greawdwr ei hun ymchwelyd trefn natur wrth ei bleser. Ni ellir trosi y gallu hwn i greadur, ac ni ellir ei ddefnyddio i foddhau ei ewyllys ef, eithr rhaid yw iddo drigo yn Nuw bob amser. Byddai meddwl i'r gwrthwyneb yr un peth â dychymmygu fod y gwahaniaeth rhwng Duw a dyn wedi cael ei lwyr ddinystrio; a Sosiniaid yw y bobl ag ydynt euog o ymdrechu tynu i lawr ganolfur y gwahaniaeth hwn.

3. Gosodir cymmaint pwys gan Grist ar fuddioldeb ei ymweliad â dynion, ag i deilyngu y prif le yn eu serchiadau, ac i haeddu yr ufydd-dod mwyaf diolchus oddiwrth ei ganlynwyr; canys, medd efe, mewn iaith weddus i Dduwdod yn unig, "Yr hwn sydd yn caru tad neu fam yn fwy nâ *myfi*, nid yw deilwng o *honof fi*—a'r hwn nid yw yn cymmeryd ei groes, ac yn canlyn ar *fy ol i*, nid yw deilwng o *honof fi*." "Os gwasanaetha *neb fi, dilyned fi*; a lle yr wyf fi, yno y bydd *fy ngweinidog* hefyd," &c.; (Mat. x, 37, 38; Ioan xii, 26). Yn y geiriau hyn gelwir ar y dysgyblion i *garu, gwasanaethu*, ac *ufyddhau* i Grist, megys pe na byddai un bôd goruwch iddo; ac ni roddir y gocheliad lleiaf iddynt rhag derchafu gormodd arno. A geisiodd un gwas i Dduw erioed o'r blaen y fath an-

rhydedd iddo ei hun? Oni chyfrifid cyffelyb iaith yn ngenau rhyw fôd marwol arall yn dra anaddas, tramgwyddus, a throsglwyddiedydd yr hunan-fawrhad a'r rhyfyg eithaf. Nid yw dywedyd "fod yr awdurdod a roddwyd iddo ef yn dra helaeth, yn rhagori yn mhell ar ddim a roddwyd i'r proffwydi a'r apostolion," yn gwella nemawr na dim ar yr achos; canys os nid oedd efe feddiannol ar ddwyfol berffeithiadau, yr oedd mor rhwymedig arno ef ag ar y gwaelaf o ddysgawdwyr, i gyfeirio sylw, cariad ac ufydd-dod y bobl oddiwrtho ei hun at Dduw. Nid yw y pellder rhwng yr uchelaf a'r iselaf o ddynion ond ychydig iawn wrth ei gymharu â'r hwn sydd yn hanfodi rhwng y Creawdwr mawr a'r mwyaf dyrchafedig o'i greaduriaid. Bod i unrhyw ddyn, gan nad pa mor urddasol fyddo, i ddefnyddio iaith o'r fath uchod, yw dirdreisio pob teimlad o addasrwydd, a dinystrio holl reolau priodolder ag un ddyrnod. Eithr os yw y llefarwr yn berson dwyfol, pob anghysondeb a ddiflana, efe yw ein Harglwydd a'n Meistr, ac y mae yn cyflawn haeddu ein calonau a'n gwasanaeth.

4. Ymddengys fod saint y Testament Newydd yn cael eu llòni gymmaint trwy fyfyrio ar gariad a daioni y Gwaredwr, fel yr ystyriant yr adnabyddiaeth o hono ef yn werthfawrusach nâ'r holl fyd, a boddlon oeddynt i ddyoddef unrhyw galedi er ei fwyn yn unol â'i orchymyn ef. Cyfrifai Paul bob peth yn *golled* er mwyn ardderchogrwydd *gwybodaeth Crist Iesu ei Arglwydd*, er mwyn yr hwn y colledwyd ef yn mhob peth, ac yr oedd yn eu cyfrif yn dom fel yr *ennillai Grist*. Ymadawai y dysgyblion o'r cynghor yn *llawen*, am iddynt gael eu cyfrif yn deilwng i ddyoddef er mwyn *enw Crist*. Crist oedd testun eu gweinidogaeth, ac yr oeddynt yn ystyried ysgariad rhyngddynt ag ef yn anwneuthuradwy. Yr oedd y rhwymedigaethau ag y gosododd efe hwy danynt wrth ddyfod i'r byd, a marw dros bechod, yn effeithio mor rymus ar eu meddyliau, fel nad oeddynt yn ystyried un anrhydedd yn rhy fawr i briodoli iddo—unrhyw ymadrodd yn rhy dderchafedig i gymhwyso ato—un gwasanaeth yn rhy galed i gyflawni drosto—nac un dyoddefaint yn rhy boenus i fyned dano er ei fwyn ef. Yn eu pregethau, eu epistolau, eu ffydd, eu gobaith, a'u cariad, Iesu Grist oedd "oll ac yn oll." Naturiol yw gofyn, paham yr oeddynt mor glymedig wrth un dyn da yn neillduol? Onid oedd dysgyblion Moses mor ddyledus iddo ef am yr amlygiad a wnaethai o ewyllys Duw, ag yw canlynwyr Iesu i'w hyfforddwr hwythau am y goleuni ychwanegol â'r hwn y bendithir hwy? Datguddiodd Moses a'r proffwydi *gynnifer* o wirioneddau, ac *mor eglur* ag y mynai Duw, ac ni wnaeth Crist fwy nâ hyn; etto y mae'r dyn da olaf yn cael ei dderchafu gymmaint goruwch ei gyfeillion fel na ddichon y meddwl diragfarn lai nâ thybied fod rhy fach o anrhydedd yn cael ei briodoli i Moses a'r proffwydi, neu fod gormodd gogoniant yn cael ei roddi i berson, a derchafiad i waith Iesu Grist, os nad yw efe ond dyn fel hwythau. Cedwir y blaenaf yn y tir cefn, ac anfynych y cyfeirir at eu hysgrifeniadau ond i'r dyben i dderchafu a gwasanaethu amcanion yr olaf, i'r hwn y rhoddir cymmaint gogoniant ac

ufydd-dod â phe byddai yn wirioneddol Dduw. Pa fodd y dichon Sosiniaid gyssoni hyn â rheolau uniondeb? Eithr os ystyriwn Grist fel Duw wedi ymddangos yn y cnawd, hawdd canfod fod pob un o'i weision yn cael ei ran o anrhydedd, tra y mae Crist, yr hwn a dderchefir gymmaint uwchlaw iddynt, yn anfeidrol deilwng o'r holl ogoniant a briodolir iddo. Yr hyn a'm tywys i sylwi yn fwy neillduol ar

V. Yr addoliad o'r hwn y mae Crist yn wrthddrych. Iawn ystyriaeth o hyn a'n rhwyma i gredu mai ewyllys y nefoedd yw fod "i bawb *anrhydeddu y Mab* megys y maent yn anrhydeddu y Tad."

1. Tra lliosog yw yr engraffau dros addoli Crist yn y Testament Newydd. Daeth y doethion i Bethlehem, i'w *addoli ef.* Wedi gorphen o hono ei bregeth ar y mynydd, daeth gŵr gwahanglwyfus ac a'i *haddolodd ef.* Daeth y penaeth, merch yr hwn a fu farw, ac a'i *haddolodd ef.* Y wraig o Ganaan a'i *haddolodd ef.* Mam meibion Sebedeus a'i *haddolodd ef.* Wedi ei esgyniad i'r nefoedd, y dysgyblion a'i *haddolasant ef.* (Mat. ii, 2; viii, 2; ix, 18; xv, 25; xx, 20; Luc xxiv, 52; vii, 25; Mat. xxviii. 9.) Troir y geiriau *addolasant ef,* yn y Testament Sosinaidd i *ymgrymasant,* neu cyfarchasant yn barchus iddo, *(they did obeisance to him.)* Gwir yw fod y gair a gyfieithir *addoli* weithiau yn dynodi parch gwladol, ond gormodd gorchwyl i holl gywreinrwydd beirniadaeth yw profi ei fod yn cael ei ddefnyddio yn yr ystyr hyny mewn un o'r manau a grybwyllwyd. Yr un gair ydyw ag a arferir i ddynodi yr addoliad a roddir i'r Tad, yr hwn ni pherthyn i'r creaduriaid mwyaf derchafedig; a'r hwn a wrthododd Pedr ei dderbyn gan Cornelius, a'r angel gan Ioan, gan ddywedyd, "Cyfod; dyn wyf finnau hefyd;" a "Gwel na wnelych hyn; cyd-was ydwyf i ti, ac i'th frodyr, y rhai sydd ganddynt dystiolaeth Iesu." (Act. x, 26; Dat. xix, 10.) Yr un addoliad a wrthododd Pedr ac angel Duw, a dderbyniodd Crist bob amser; gan hyny yr ydym yn penderfynu ei fod yn wrthddrych addas i'w addoli, neu fod Pedr yn gymhwysach i fod yn Feistr ac yn brif Athraw nag efe.

2. Gorchymynir i angylion Duw i'w addoli ef. "Pan yw yn dwyn y Cyntaf-anedig i'r byd, y mae yn dywedyd, *Ac addoled holl angylion Duw ef.*" Pe caniataid i Sosiniaid, fel y cyfryw, fyned i blith y dyrfa ddysclaer, rhaid yw y byddai eu hymddangosiad yno yn dra chwithig; ond am fod holl gylchynwyr gorseddfainc y Jehofa anfeidrol yn cael gorchymyn i addoli ein Gwaredwr, anhawdd yw rhoddi enw addas ar y dyn a farno bod syrthio ger ei fron yn ormodd gostyngeiddrwydd ac hunan-ymwadiad ynddo ef. Cynnygir dirymu y rheswm sylfaenedig ar y gorchymyn hwn trwy gyfieithu y geiriau, "And let all the *messengers* of God *pay homage* to him;" sef, "Taled holl genadon Duw wriogaeth (neu ufydd-dod) iddo ef." A rhag y bernid fod hyn yn priodoli gormodd o barch iddo, ychwanegir sylwad eglurhaol, "*h. y.* Cydnabydded holl broffwydi a chenadon Duw ef yn flaenor (neu uchlaw) iddynt." Eithr yr ydym wedi gweled eisioes nad oes dim yn fwy anhawdd i'w brofi nâ rhagoriaeth Crist

ar y proffwydi a'r apostolion heb gydnabod ei Dduwdod, oddieithr fod y balch a'r uchelfrydig yn rhagori ar y gostyngedig a'r hunan-ymwadol; canys ni oddefodd yr un o honynt hwy i'w wrandawyr feddwl ei fod yn fwy nâ dyn, yr hyn a wnaeth Crist.

Heblaw hyn, wrth sylwi ar un o'r gweledigaethau goruchel a gafodd Ioan, cawn weled fod yr angylion yn rhoddi *addoliad gweithredol* i Grist. "Ac mi a edrychais, ac a glywais lais *angylion lawer* yn nghylch yr orseddfainc, a'r anifeiliaid a'r henuriaid; a'u rhifedi hwynt oedd fyrddiynau o fyrddiynau, a miloedd o filoedd; yn dywedyd â llef uchel, *Teilwng yw yr Oen*, yr hwn a laddwyd, i dderbyn gallu, a chyfoeth, a doethineb, a chadernid, ac anrhydedd, a gogoniant, a bendith. *A' phob creadur a'r sydd yn y nef, ac ar y ddaear, a than y ddaear, a'r pethau sydd yn y môr, ac oll a'r sydd ynddynt*, a glywais i yn dywedyd, *I'r hwn sydd ar yr orseddfainc, ac i'r Oen, y byddo y fendith, a'r anrhydedd, a'r gogoniant, a'r gallu yn oes oesoedd.*" (Dat. v, 11—13.) Yn y weledigaeth hon darlunir yr Oen fel yn nghanol gorseddfainc y Tad; *priodolir tragywyddol ogoniant ac anrhydedd iddo ef* gan bob creadur deallgar; a'r *unrhyw anrhydedd a gogoniant* a roddir iddo ef ag i'r Tad tragywyddol; ac am mai rhwymedig yw ar bawb Cristionogion i weddio ar fod i ewyllys Duw gael ei wneuthur ar y ddaear megys y mae yn y nefoedd, dylai Crist gael ei addoli gan bawb ar y ddaear, oblegid ei fod yn cael ei addoli gan bawb yn y nefoedd. Nid yw yr anrhydedd hwn yn cael ei wadu i'r Gwaredwr gan y Testament Sosinaidd; eithr mewn sylwad o eiddo y Cyhoeddwyr, hysbysir i ni fod yr addolwyr yn yr olygfa weledigaethol hon yn cael eu darlunio fel yn weledig bresennol gyda'r gwrthddrych, ac am hyny "ni ddichon hyn gyfiawnhau addoliad gweithredol i Grist pan fyddo efe yn anweledig."—Ymresymiad tra hynod!—megys pe byddai eilun-addoliaeth gynnwysedig yn *absennoldeb y creadur* a addolir, ac nid yn nhrosglwyddiad yr addoliad oddiwrth Dduw at y creadur! "Yn ol y rheol hon, (meddai y clodfawr Mr. R. Robinson), pan ddywedodd Bartimeus *ddall*, 'Iesu fab Dafydd Trugarha wrthyf,' yr oedd efe yn euog o eilun-addoliaeth, gan ei fod yn anerch Iesu anweledig, ond wedi derbyn o hono *ei olwg*, a dilyn Iesu, gan ei foli ar y ffordd, efe a beidiodd bod yn eilunaddolwr!" "A yw Pabydd yn llai eilun-addolwr wrth addoli aberth yr offeren pan fyddo *yn ddiorchudd*, nag wrth addoli yr un aberth pan fyddo allan o'r golwg mewn blwch?" Y sylwadau hyn ydynt ddigonol i ddynoethi gwendid ac afresymolrwydd y dull hyn o resymu; pa fodd bynag cawn weled yn fuan fod Crist yn cael ei addoli pan oedd yn anweledig i lygaid marwolion. Cynnwysir gwrthddadl arall yn y sylwad a grybwyllwyd uchod yn erbyn y rheswm a sylfaenir ar y weledigaeth hon dros roddi addoliad ac anrhydedd gogyfuwch i'r Mab ac i'r Tad. "Os felly, (meddant), fe ganlyn y dylid rhoddi yr un anrhydedd ac addoliad i Dafydd ac i Dduw; canys dywedir yn bendant (yn y Beibl Seisnig, 1 Cron. xxxix, 20): "A'r holl dyrfa—a ymgrymasant (Saesneg *addolasant*)

i'r Arglwydd ac i'r Brenin." Nid yw y gwrthddadl hwn yn medru ysgogi y sawl a ymddibynant ar gywirdeb y cyfieithiad Cymreig o'r ysgrythyrau; ond, a gadael, er mwyn ymresymu, fod y Saesneg yn gywirach, cawn weled yn ebrwydd fod y gwrthddadl yn hollol ddirym. Addefasom eisioes fod y gair *addoli* weithiau yn arwyddo gwahanol raddau o barch, a mwy nag unwaith *parch gwladol* yn unig, a phan ddywedir fod y bobl yn addoli yr Arglwydd a'r brenin, eglur yw fod ystyr annherfynol y gair yn cael ei olygu gan yr hanesydd santaidd, yr hwn a feddyliai fod y dyrfa wedi dangos y parch dyledus i'r Arglwydd, ac i'r brenin ei eneiniog; ond nid yw hyn yn profi mewn un modd, nad oes ystyr derfynol i'r gair. Heblaw hyny, nid yw y rheswm a gymmerir o'r weledigaeth dros addoli Crist, yn cael ei sylfaenu ar y gair *addoliad*, ond yr ydym yn haeru y dylai gogyfuwch anrhydedd ac addoliad gael eu rhoddi i Grist ag i'r Tad, o herwydd fod yr *un anrhydedd a gogoniant*, yn yr *un geiriau*, yn cael eu priodoli gan yr holl greadigaeth "i'r hwn sydd yn eistedd ar yr orseddfainc *ac i'r Oen*." Pan ddefnyddir gair amryw-ystyr, neu a olygo wahanol raddau i ddarlunio yr anrhydedd a roddwyd i Ddafydd ac i Arglwydd Dafydd, y peth hawddaf yn y byd yw i ni derfynu fod y parch a ddangoswyd ar yr achlysur hwnw yn gyfatebol i wahanol urddas y gwrthddrychau a barchent; ond ar yr achos arall, nid yn unig fe *addolir yr Oen*, eithr fe a'i *haddolir* yn hollol yn yr *un modd* ag y gwneir â'r Tad, nid oes gymmaint â gair yn cael ei gyfeirio at y naill a'r nad yw yn cael ei gyfeirio at y llall; ac ni a allwn yn ddiofn roddi hèr i orchestion eithaf galluoedd beirniadaeth i brofi y gwrthwyneb. Os anrhydeddir y Tad oll gan y dyrfa nefol, anrhydeddir y Mab hefyd i'r un helaethrwydd; ac felly diflana y gwrthddadl tlawd hwn, ac ni a welwn holl angylion Duw yn addoli Crist.

3. Yn hanes merthyrdod Stephan, (Act. vii,) dywedir, "A hwy a labyddiasant Stephan, ag efe yn galw (ar Dduw), ac yn dywedyd, *Arglwydd Iesu derbyn fy ysbryd.* Ac efe a ostyngodd ar ei liniau, ac a lefodd â llef uchel, Arglwydd, na ddod y pechod hwn yn eu herbyn. Ac wedi iddo ddywedyd hyn, efe a hunodd." Yn yr hanes hwn nyni a gawn fod y cyn-ferthyr yn ystyried Crist yn wrthddrych gweddi, ac yn ei alw yn Arglwydd; efe a wnaeth hyny o dan gynhyrfiad dwyfol, pan na allasai gamsynied, canys yr oedd yn *gyflawn o'r Ysbryd Glân*—efe a erfyniodd ar Grist am yr hyn nad oedd alluadwy i ddyn ei roddi, sef, bod iddo *dderbyn ei Ysbryd*, yr hwn oedd ar ymadael â'r byd hwn—efe a alwodd ar Iesu fel Duw'r maddeuant a'r drugaredd, gan ddywedyd, *Arglwydd, na ddod y pechod hwn yn eu herbyn*, canys nid oes gyfnewidiad yn ngwrthddrych ei anerchiad—efe a weddiodd ar Grist pan oedd yn gweled *gogoniant Duw*, a'r Iesu yn sefyll ar ddeheulaw Duw. Nid oes gwahaniaeth o ran y ddadl pa un ai golwg lygadol neu weledigaeth ddeallawl trwy ffydd oedd hon, y gwir difeth yw, fod Stephan yn galw ar Grist, pan oedd yn gweled y Tad yn ei ogoniant—gelwai y merthyr yr hwn oedd *ar y ddaear*, ar ei Arglwydd yr hwn a welai efe *yn y nefoedd*. Yn olaf,

gweddiodd Stephan yn y modd hyn pan oedd *dan y cyhuddiad o gabledd*, ac nid galluadwy oedd i un ymddygiad o'i eiddo ef gadarnhau ei gyhuddwyr yn y dyb o'i fod ef yn gablwr yn fwy nâ'r hyn a gyfiawnodd; ac ni wn i pa fodd y gellir ei gyfiawnhau yn hyn, ond ar y dyb ei fod yn ymroddi eu perswadio â'i anadliad olaf fod Iesu yn wir Dduw, ac, o ganlyniad, nad oedd ei addoli ef nac yn gabledd nac yn eilun-addoliaeth. A ellir meddwl fod dyn yn y meddiant o holl feddwl datguddiedig Duw, yn addoli eilun, ac yn sefyll dros eilun-addoliaeth cyhyd ag y gallasai anadlu, er cael o hono ei rag-rybyddio o'i berygl trwy'r cyhuddiad blaenorol o gabledd, wedi cael derbyniad i'r nefoedd? Os felly, y mae cyfiwr dyn yr un mor ddiogel tra y mae yn rhoddi parch dwyfol i greadur, â phe addolai y Gwir Dduw. A sicr yw fod Stephan yn un o'r eilun-addolwyr mwyaf cyndyn ag a hanfododd erioed, neu ynte dichon pob Cristion orchymyn ei enaid, wrth ymadael, yn ddiberygl, i ofal Iesu, Ceidwad pechaduriaid.

4. Gwahaniaethir credinwyr oddiwrth ereill, yn yr oes apostolaidd, trwy eu bod *yn galw ar enw yr Arglwydd Iesu*. "At eglwys Dduw yr hon sydd yn Corinth—*gyda phawb ag sydd yn galw ar enw ein Harglwydd Iesu Grist yn mhob man*." Danfonodd yr Arglwydd Iesu Ananias at Saul wedi ei ddychweliad, a dywedodd Ananias, "O Arglwydd, (Iesu,) mi a glywais gan lawer am y gwr hwn, faint o ddrygau a wnaeth efe *i'th saint di*—ac—y mae ganddo awdurdod i rwymo *pawb sydd yn galw ar dy enw di*." Synodd y dysgyblion pan glywsant fod Saul yn pregethu Crist, am ei fod gynt yn dyfetha pawb yn Jerusalem a *alwent ar yr enw hwn*. (1 Cor. i, 2; Act. ix, 10—21.) Fel hyn yr ymddengys fod y rheswm dros addoli Crist yn sylfaenedig nid ar un siampl yn unig, ond ar ymddygiad cyffredin y Cristionogion yn yr oes apostolaidd, y rhai a wahaniaethid oddiwrth bawb ereill yn eu bod yn galw ar enw, neu yn addoli yr Arglwydd Iesu. Nid ydym i gasglu oddiwrth hyn, nad oedd y dysgyblion yn galw ar, neu addoli y Tad; eithr anghenrheidiol oedd iddynt gael eu gwahaniaethu oddiwrth yr Iuddewon anghrediniol, y rhai a gymmerent arnynt eu bod yn addoli y Tad; a'r gwahaniaeth rhyngddynt oedd gynnwysedig yn ngwaith gwir gredinwyr yn addoli y Mab yn gystal â'r Tad; a hyn a wnaethant *yn mhob man*, wedi derchafiad ein Hiachawdwr, pan nad oedd efe mwyach yn weledig i lygaid corfforol. I'r dyben i gynnyg diddymu y rhesymiad dibenol hwn, cyfieithir yr ymadroddion blaenorol yn y Testament Sosinaidd, "Sydd yn galw eu hunain ar dy enw di," "Y rhai a elwir ar dy enw di," &c. Eithr ymddengys yn eglur fod y cyfnewidiad hwn wedi ei wneuthur i wasanaethu amcanion pleidiol, yn hytrach nâ dwyn yn mlaen achos gwirionedd, pan ystyriom nad oes neb o'r beirniadon Sosinaidd, na chyhoeddwyr eu Testament hwy, wedi cyffwrdd neu gyfnewid dim ar yr un ymadroddion yn Rhuf. x, 12, 13, ac Act. ii, 21, lle y bernir eu bod yn cyfeirio at y Tad. "Yr un Arglwydd—sydd oludog i bawb a'r sydd yn *galw arno*. Canys pwy bynag *alwo ar enw yr Arglwydd*,

cadwedig fydd." "A bydd pwy bynag *a alwo ar enw yr Arglwydd* a fydd cadwedig." Yn y testunau a newidwyd gan y Sosiniaid, y mae yr ymadroddion yn yr iaith wreiddiol yn hollol yn yr un modd â'r rhai a grybwyllwyd ddiweddaf; ac am hyny, dylent fod felly yn mhob cyfieithiad; ond ewyllysia ein gwrthwynebwyr, y rhai ydynt foddlon i alw AR *enw y Tad*, i bawb Cristionogion gael EU *galw ar enw* yr Iesu, yn hytrach nà bod iddynt alw ar ei enw ef.

5. Deisyfir gras a llwyddiant ysbrydol yn fynych oddiwrth Grist gan yr apostolion, iddynt eu hunain a'u cyd-Gristionogion. Mewn cyfyngder atolygodd Paul i'r Arglwydd deirgwaith ar fod iddo ymadael ag ef; yr ateb a dderbyniodd oedd, "Digon i ti fy ngras i; canys fy nerth i a berffeithir mewn gwendid." "Yn llawen iawn, gan hyny, (medd efe) yr ymffrostiaf fi yn hytrach yn fy ngwendid, fel y preswylio nerth Crist ynof fi." (2 Cor. xii, 8, 9.) Felly y mae yn eithaf eglur mai yr Arglwydd ar yr hwn y gweddiodd Paul oedd Iesu Grist, gan ei fod ef yn ystyried atebiad yr Arglwydd i'w weddi, "fy *nerth i* a berffeithir mewn gwendid," yn addewid y byddai *nerth Crist* i breswylio ynddo.

Erfynir cyfarwyddyd Dwyfol a chysur ysbrydol i'r Cristionogion yn Thessalonica, oddiwrth Grist, mewn cysylltiad â'r Tad, gan yr un apostol. "A Duw ei hun a'n Tad ni, a'n *Harglwydd Iesu Grist*, a gyfarwyddo ein ffordd ni atoch chwi." *A'n Harglwydd Iesu Grist ei hun*, a Duw a'n Tad, yr hwn a'n carodd ni, ac a roddes i ni ddyddanwch tragywyddol, a gobaith da trwy ras, a ddyddano eich calonau chwi, ac a'ch sicrhao yn mhob gair a gweithred dda." (1 Thes. iii, 11; a 2 Thes. ii, 16, 17.) "Ugeinwaith (medd Mr. Robinson), yn y Testament Newydd, y deisyfir gras a thangnefedd oddiwrth Grist ynghyd â'r Tad," Nyni a grybwyllwn rai engraffau:—"Gras i chwi a thangnefedd oddiwrth Dduw ein Tad ni, a'r Arglwydd Iesu Grist." "Gras fyddo i chwi a heddwch oddiwrth Dduw Dad, a'n Harglwydd Iesu Grist." (Gwel Rhuf. i, 7; 1 Cor. i, 3; 2 Cor. i, 2; Gal. i, 3; Eph. i, 2; Col. i, 2; 1 Thes. i, 1; 2 Thes. i, 2; Phil. 3.) Y geiriau hyn, a llawer ereill o gyffelyb arwyddocâd, ydynt heb un cyfnewidiad o bwys yn y Testament Sosinaidd; ac a allwn ni gydag un lliw o resymoldeb dybied fod dyn gwael yn cael ei gysylltu â'r Duw Goruchaf mewn gweddi am bob bendith anghenrheidiol i Gristionogion? Ai gweddus yw i gydgreadur, yr hwn nid oes ganddo ond a dderbynio fel ninnau, a'r hwn sydd yn mhell y tu hwnt i gyrhaedd llais dyn, gael ei anerch mewn gweddi yn yr un geiriau a gyfeirir at y Duw tragywyddol. Nid yw dywedyd nad yw y geiriau uchod wedi cael eu cyfeirio at Grist, ond yn eglurhad o ddymuniad yr apostolion ar fod bendithion a chysuron efengyl gras, yr hon a bregethodd Crist, i gael eu mwynhau gan eu cyd-Gristionogion," ond yr un peth â dywedyd, i'r apostolion ysgrifenu yr hyn ag y cyfarwyddwyd hwy i'w hysbysu, ond ein bod ni at ein rhydd-did i'w deall yn y modd y gwelom fod yn dda, a gosod unrhyw ystyr i'w geiriau a fyddo yn cynghaneddu â'n tybiau ein hunain;

ac felly yr ydym mor amddifaid o reol ffydd â phe buasai y "dyn da," neu y "proffwyd mawr," heb erioed ymweled â'r byd; heblaw hyny, os nad yw y deisyfiadau crybwylledig yn cael eu cyfeirio at Grist, ni ellir dysgwyl y bendithion a ddeisyfir oddiwrth y Tad tragywyddol ychwaith, gan fod y Mab yn yr un modd â'r Tad yn hollol, yn wrthddrych i'r deisyfiadau. Oddiwrth y cwbl ymddengys, os yw y Beibl yn darlunio addoliad crefyddol mewn rhyw fodd, ei fod yn gosod Crist allan fel gwrthddrych o hono yn gyfartal â'r Tad; "fel yn enw Iesu y plygai pob glin, o'r nefolion a'r daearolion, a than-ddaearolion bethau." (Phil. ii, 10.)

Gallwn ychwanegu, os y cwbl a feddylir wrth yr ymadroddion uchod, yw fod yr apostolion yn ewyllysio i'r Cristionogion fwynhau cysuron efengyl Crist, gallasai y proffwydi gyda'r un cymhwysder, lefaru mewn cyffelyb fodd am Moses, a dywedyd, "Nerth Moses a berffeithir yn ein gwendid ni; am hyny, ni a ymffrostiwn yn ein gwendid fel y preswylio nerth Moses ynom." "A'n Harglwydd Moses ei hun, a Duw a'n Tad, a'ch dyddano." "Gras ein Harglwydd Moses fyddo gyda chwi oll, Amen."

Ac oni ellai ein gwrthwynebwyr gydag addasrwydd neillduol briodoli yr un anrhydedd i un neu arall o'u hysgrifenwyr enwog hwy, y rhai ydynt wedi dwyn i'r amlwg gyfeiliornadau Cristionogion yn gyffredin, mewn pynciau llawer mwy pwysig nag a ddynoethwyd gan y Messia? Ac onid yw yn eglur ddigon fod gwaith Dr. Priestley, ac ereill, yn fwy cysurlawn i Sosiniaid, fel y cyfryw, nâ holl ysgrifenadau y Testament Newydd a'u gosod ynghyd? Er hyn oll, yr wyf yn meddwl yn gryf y cyffröid cynnulleidfa o Sosiniaid yn fawr, pe dywedai gweinidog o'r eiddynt, "Digon i chwi yw gras y Dr. Priestley, ei nerth ef a berffeithir yn eich gwendid chwi, am hyny, ymffrostiwch yn eich gwendid fel y preswylio nerth Dr. Priestley ynoch!" "A Dr. Priestley ei hun, a Duw ein Tad a'ch dyddano." "Gras y Dr. Priestley a fyddo gyda chwi oll, Amen."—Dichon ein gwrthwynebwyr gyfrif hyn yn gellwair os mŷnant, ond dilys genyf nad yw amgen ymresymiad teg; canys os anaddas yw yr iaith hon gyda golwg ar y dadleuydd hwnw, neu arall, anweddus yw ei harferyd am un dyn, gan nad pa mor odidog fyddo.

Yn awr dangoswn yn fwy neillduol,

VI. Fod canlyniadau arswydus i'r cyfundraeth gwrthwynebol *i* Dduwdod Iesu Grist.

1. Ei duedd uniongyrchol yw gwneuthur ysgrifenwyr yr ysgrythyrau yn euog o wrthddywediadau y mwyaf annirnadwy, eu gosod allan fel yn annigonol i, neu yn anffyddlon yn y cyflawniad o'r gwaith a gymmerasant arnynt, neu eu cyhuddo o'r bwriad i osod maglau i ddala dynion mewn eilunaddoliaeth, tra y ffugient i buro y byd oddiwrth gau-dduwiaeth; canys os nad oeddynt yn credu yn mhriodol Dduwdod Crist pa fodd y gallwn ochelyd drwg-dybio eu medrusrwydd neu eu honestrwydd, gan eu bod yn cymhwyso teitlau, ac yn priodoli yr anrhydedd dyledus i'r Bôd goruchaf, iddo Ef yn llwyr ddiderfyn. Heblaw y testunau a goffhawyd eisioes,

ymddengys y rhai canlynol yn dra amddifad o synwyr, ond yn gynnyrchiol o wrthddywediadau, ar y dyb mai dyn yn unig yw ein Hiachawdwr:—"Mab y dyn yr hwn *sydd yn y nefoedd*." Os caniateir awduroldeb y testun hwn, hysbysir i ni yn dra charedig gan gyhoeddwyr y Testament Sosinaidd, "Ei fod i'w ddeall am y wybodaeth a feddiannai Crist o ewyllys y Tad!"—Dedwyddaf ddyfais!—Pwy fyth a fuasai yn meddwl am y fath esboniad godidog heb feddiannu y graddau mwyaf o resymoldeb! "*Y neb a'm gwelodd i a welodd y Tad*," hyny yw, "O herwydd fy mod i yn pregethu y gwirionedd ynghylch y Tad;" megys pe na buasai un dyn da wedi gwneuthur hyny o'r blaen. "O Dad, gogonedda di fyfi gyda thi dy hun, â'r gogoniant oedd i mi gyda thi cyn bod y byd." Er, yn ol y cyfundraeth hwn, nid oedd ganddo na hanfod na gogoniant nes yn mhell wedi creadigaeth y byd; eithr meddant, "Yr oedd Duw wedi bwriadu rhoddi gogoniant iddo;" ac iddo ef yn *unig*, debygid. "Ein Harglwydd a wnaed o had Dafydd *o ran y cnawd*." Hysbysiaeth ryfeddol! Dyn yn ymddangos yn yr un modd â phawb *dynion* ereill! "Paul apostol, *nid o ddynion na thrwy ddyn*, eithr *trwy Iesu Grist* a Duw Dad."—Nid o ddynion na thrwy ddyn, ond trwy Iesu Grist, yr hwn nid yw *ond dyn!* Nid gan *ddyn* y derbyniodd Paul yr efengyl a bregethai, ond trwy ddatguddiad Iesu Grist, yr hwn nad oedd *ond dyn!*—Ymresymiad heb ei fath!—"Pob ysbryd a'r sydd yn cyffesu ddyfod Iesu Grist *yn y cnawd*, o Dduw y mae;" hyny yw pob ysbryd a gyffeso fod dyn yn unig wedi ymddangos yn y byd yn yr un modd â dynion yn gyffredin, sydd ail-anedig! (Ioan iii, 13; xiv, 9; xvii, 5; Rhuf. i, 3; Gal. i, 1, 12; 1 Ioan iv, 2.) Eithr os ystyriwn Grist yn feddiannol ar ddwy natur, yr holl wrthddywediadau hyn a ânt o'r golwg, pob gwrthuni a ddiflana, a rhyddheir yr ysgrifenwyr santaidd yn gyflawn oddiwrth y cyhuddiad o ysgrifenu ffolineb a gwrthddywedyd eu hunain.

2. Tyb anmhrofedig y Sosiniaid a duedda i wneuthur y Beibl o nemawr gwerth i gorff y werin, gan ei bod yn fwy dyledus i lafur beirniadol blaenoriaid y blaid nag i ystyr amlwg yr ysgrythyr. Ymddengys i mi y rhaid bod meddwl dyn yn dra phleidiol i egwyddorion Gwrthdrindodaidd cyn y byddo alluadwy iddo eu cymmodi â'r ysgrythyrau santaidd er boddlonrwydd i'w feddwl ei hun. I'r dyben i fod yn hyddysg yn y cyfundraeth hwn, anghenrhaid yw i ddyn o ddeall cyffredin i gael ei ddwyn i fynu ynddo, a bod yn dra diwyd ac ymroddgar i'w ddysgu, megys pe byddai yn dysgu crefft neu un o'r celfyddydau breiniol. Nid yw adnabyddiaeth o wrthddrych addoliad, a'r modd o gymmeradwyaeth gyda Duw yn gyrhaeddadwy, heb gynnorthwy uchel ddysgeidiaeth, neu ymorchestiad beirniadol dirfawr.

Pa fodd bynag bwriadwyd Cristionogaeth i fuddioli dynion yn gyffredin. Ar y cyhoeddiad cyntaf o honi, yr oedd ei hathrawiaethau yn ddealladwy *i rai bychain*, neu ddynion o alluoedd cyffredin, tra yr oeddynt guddiedig rhag y *doethion a'r deallus*. Triniai y Groegiaid dysgedig

*athrawiaeth y groes* gyda yr un diystyrwch yn hollol ag y llefara ein gwrthwynebwyr "Rhesymol" am athrawiaeth y cymmod trwy farwolaeth Crist, gan ei galw yn *ffolineb;* eithr dewisodd Duw *ffol bethau y byd* fel y gwaradwyddai y doethion. Y rhai na ffugient eu bod yn meddu mwy nâ gwybodaeth a synwyr cyffredin, a ddeallasant ac a dderbyniasant y gwirionedd, eithr y byd dysgedig *trwy ddoethineb* ni adnabu mo Dduw. (Mat xi, 25; Luc x, 21; 1 Cor. i, 17, 29.) Dadleuir llawer gan Sosiniaid dros henafiaeth eu credo, ac eglur yw y rhaid eydnabod ei bod yn gydoesol â'r boneddigion uchod. Os nad yw adnabyddiaeth o wir wrthddrych addoliad, a'r cyfrwng trwy yr hwn y cyfrenir bendithion achubol i fyd syrthiedig, yn gaffaeladwy heb feddiannu y medrusrwydd beirniadol a welir yn esboniadau gorchestol ac annaturiol y beirniaid Sosinaidd, byddcd i bob cymdeithas Gristionogol yn mhob modd, debygoli *mam puteiniaid a ffieidd-dra y ddaear*, a chadw yr ysgrythyrau oddiwrth y bobl; na fydded i neb ond y mwyaf dysgedig ddarllen y llyfr santaidd. Ni's gellir ymddiried i ddynion o gynneddfau cyffredin hyd yn oed y Testament Sosinaidd ei hun, yn neillduol os na fydd sylwadau y blaid gydag ef. Cwbl ddiogel genyf yw y rhaid i'r werinos ymfoddloni naill ai i'r Beibl neu mewn Sosiniaeth; nid yw derbyn y ddau alluadwy. Pe tŷnem oddiwrth rifedi llawn y dychweledigion i Sosiniaeth, rifedi y sawl a dueddwyd i'w derbyn yn galonog, wrth ddarllen y Beibl yn unig, credu yr ydwyf, y byddai y gweddill yn agos, neu yn hytrach yn gymhwys yr un â'r swm a roddwyd gyntaf. Parod bob amser yw ein gwrthwynebwyr i ymffrostio yn rhifedi y gwyr dysgedig ac enwog ag ydynt wedi amddiffyn eu hachos. Ni fynwn er dim gynnyg eu difuddio o'r dyddanwch deilliedig o'r ystyriaeth hyn, na gwrthwynebu y cyfundraeth o herwydd fod dynion o uchel-ddysg yn ei fynwesi, ond yr wyf yn ei gondemnio o'm calon, o herwydd ei fod yn *gofyn* cymmaint dysgeidiaeth a chywreinrwydd beirniadol i'w amddiffyn. Pell oddiwrthyf fydd meddwl ymddangos yn wrthwynebwr i ysgolheigdod, neu fychanu llymder synwyr mewn un dyn, canys ni ellir gwadu eu mawr fuddioldeb pan gyfyngir hwy o fewn i'w cylchoedd priodol; eithr dichon doniau a chyrhaeddiadau deallawl mawrion, yn absennoldeb gostyngeiddrwydd a gras mawr, fod yn fwy niweidlawn mewn crefydd nag awdurdod diderfyn mewn achosion gwladwriaethol; anghenrhaid yw i awdurdod y goreu o benaduriaid daear i gael ei gyfyngu rhag iddo gael ei gamarferyd; ac anhebgorol yw gosod terfynau i orchestion meddyliawl mawrion, gan hunan-ymwadiad a gwir dduwioldeb, os amgen, ebrwydd yr "Ymddirieda dynion yn eu deall eu hunain," a dysgu "Bod yn ddoeth uchlaw yr hyn a ysgrifenwyd."

3. Sosiniaeth a yspeilia Gristionogaeth o'i phriodolderau ardderchog, neu ei hegwyddorion sylfaenol; hi a dueddа i *gymmeryd ein Harglwydd ymaith*, i'n difuddio o *Dduw yn y enaid*, a gosod dim ond dyn yn ei le; maddeuant pechodau er mwyn gwaed Crist a ddirmygir; yn lle aberth pech-gymmodol y Gwaredwr, nid oes genym ond ffyddlondeb *un merthyr*

*neillduol*, yr hwn a fu farw; megys miloedd ereill, i gadarnhau ei athrawiaeth. Pe llwyddai ein gwrthwynebwyr yn eu cynnygion niweidiol, gorfyddai arnom ddywedyd, ein bod wedi ein gadael yn yr anialwch heb fanna—fod gwlad Israel heb yr un ddinas noddfa—ymadawodd y gogoniant o Sion—a phren y bywyd, ag oedd yn dwyn ffrwyth bob mis, a ddiwreiddiwyd, cyn belled ag y perthyn i'r sawl a drigant y tu yma i'r afon—neu mewn geiriau eglur, nid oes gan ein Hachubwr yn awr fwy o allu i achub nâ rhyw un arall—ein Duw Cadarn heb fedru gwneuthur dim drosom—sylfeini gobaith Cristionogol wedi cael cloddio oddidanynt—a Christ, ein bywyd ni, wedi ei gymmeryd oddiwrthym. Os cymmerir Duwdod Crist a haeddiant dirprwyol y groes oddiwrth reol ffydd y Cristion, pa beth sydd wedi ei adael ar ol i ni ag a'n cynnorthwyo yn ddigonol i sefyll dros ragorineth Cristionogrwydd ar bob crefydd arall, i raddau cyn belled a bod pob gwrthodwr o'r efengyl yn agored i ddinystr anocheladwy? "Y neb ni chredo (yr efengyl) a ddemnir." *Iuddewon*, *Mahometaniaid*, a *Sosiniaid* ydynt gytun ynghylch gwrthddrych addoliad, a'r egwyddor ar yr hon y gellir dysgwyl Dwyfol gymmeradwyaeth, sef, mai'r "Sawl a wnelo yn dda a wobrwyir yn dda," heb ddim ymorphwysiad ar aberth dirprwyol Ceidwad; a chan bob un o'r pleidiau hyn fe'n hadgofir o'u hymlyniad cydwybodol wrth eu daliadau neillduol; ond er eu bod yn cytuno ynghylch *pynciau sylfaenol* crefydd, ac yn amrywio mewn pethau o *ychydig bwys*, a'u cymharu â'r rhai uchod, rhaid i Iuddewon a Mahometaniaid gael eu cyfrgolli, tra y mae eu brodyr Sosinaidd i gael dysgleirio mewn gogoniant didranc! A ganiatâ rhesymoldeb ein gwrthwynebwyr hyn? neu a ânt hwy cyn agosed at gymhedroldeb Deistaidd â gwadu bod cyssylltiad annatodol rhwng gwrthodiad parhaus o'r efengyl a dinystr tragywyddol, ac felly trwy ychydig haeriadau dinystriol, ymdrechu dirymu rhes arall o destunau ysgrythyrol y rhai a ddarluniant ffydd yn yr efengyl yn anhebgorol i iechydwriaeth?

4. Y mae y cyfundraeth Sosinaidd yn ei gwneuthur yn beth amheus pa un a ddylid ystyried dyfodiad Crist i'r byd yn felldith neu yn fendith i ddynion, neu yn hytrach yn ei gwneuthur yn amlwg i'r byd gael ei felldithio ac nid ei fendithio trwy ei ymddangosiad. Gwybodus wyf fod ein gwrthwynebwyr yn ei ddarlunio fel y *Diwygiwr* mwyaf a ddaeth erioed i blith dynion, ac myfi a wn fod y proffwydi a'r apostolion yn ei ystyried fel y person hyglod "Yn yr hwn y bendithid holl dylwythau'r ddaear." Yn nechreuad ei weinidogaeth gyhoedd, ystyriai yr efengylwr fod rhagfynegiad Esay wedi ei gyflawni, o leiaf mewn rhan, "Y bobl oedd yn eistedd mewn tywyllwch a welodd oleuni mawr; ac i'r rhai a eisteddent yn mro a chysgod angeu y cyfododd goleuni iddynt." (Mat. iv, 14—16; Esa. ix, 1, 2.) Gelwir ar Iuddewon a Chenedloedd i lawenychu ar gyfrif ei ymddangosiad yn y cnawd; ond os nad yw yr Iesu yn wir Dduw, yn lle goleuo y byd, bu efe offerynol mewn ymdaeniad mwy tywyllwch. Yn lle gwaredu ei bobl oddiwrth eu pechodau, trwy eu troi oddiwrth eilunod at

y Duw byw, efe a arferodd y fath iaith ag a dueddodd ei gyfeillion a'i elynion i gredu ei fod yn gwneuthur ei hun yn gydradd â Duw. Y sawl nad oeddynt yn eilun-addolwyr o'r blaen a wnaethant eilun o hono ef cyn gynted ag y credasant yn ei enw. Cyn dechreuad ei weinidogaeth gyhoedd ef, yr Iuddewon fel corff a ffieiddient eilun-addoliaeth; ond fyth wedi yr amser hwnw, nid yw lliaws ei ddysgyblion, pa un ai Iuddewon ai Cenedloedd, yn mhob gwlad wedi peidio ei eilun-barchu ef. Hebreaid dychweledig, y rhai oeddynt arferol o addoli y gwir Dduw, a briodolasant anrhydedd Dwyfol i Grist cyn gynted ag y derbyniasant Gristionogrwydd; ac nid oedd dychweliad y Cenedloedd ond eu troi oddiwrth un eilun at y llall, neu oddiwrth amryw at un eilun-dduw. Ai yn y modd hyn y mae tylwythau y ddaear yn cael eu bendithio ynddo ef! A ddichon y daliadau hyny fod yn gywir ag sydd yn troi y fendith mwyaf dewisol yn felldith mwyaf dinystriol? Dylem gofio bob amser nad oes un drwg o faintioli cyfartal i hwnw o droi dynion oddiwrth Dduw at eilunod, ac nid yw bosibl i un daioni a dybir i'r Iesu wneuthur wrth-bwyso y mawr-ddrwg hwn; gan hyny fe'n rhwymir i benderfynu naill ai bod y Messia yn wrthddrych addas o addoliad, neu fod dynolryw wedi cael eu melldithio, ac nid eu bendithio trwy ei weinidogaeth a'i wyrthiau ef. Gwir yw y dywed Sosiniaid wrthym "I'r Iesu lefaru yn ddigon eglur ynghylch ei gymmeriad ei hun fel gwasanaethwr ufydd i'r Goruchaf, ac am hyny na ddylai eilungarwch ei ganlynwyr hudoledig gael ei briodoli iddo ef."—Iddynt hwy, yr ychydig uchel-freiniog, un o fil, y rhai a gynnysgaeddwyd â chraffder deall gor-gyffredin, dichon fod yr iaith yn hollol eglur, yn eu hystyr hwy o honi; ond am gyffredinolrwydd Cristionogion y maent mor ddiysgog yn eu cred ei fod ef a'i weision ysbrydoledig yn priodoli gallu ac anrhydedd Dwyfol iddo ef, fel mai gwell ganddynt fyddai aberthu eu bywydau nâ rhoddi y pwnc i fynu. Llawer o honynt ydynt hollol adnabyddus o ysgrifenadau eu gwrthwynebwyr, a phawb o honynt ydynt yn deall iaith dysgawdwyr ereill am danynt eu hunain, a gallant yn hawdd wahaniaethu rhwng unrhyw ddyn arall a Duw. Pan ddarllenont ysgrifenadau Sosiniaid, Iuddewon anghrediniol, y twyllwr Mahomet a'i ganlynwyr, tra sicr ydynt nad ydynt hwy yn gwneuthur mwy o'r Iesu nac o honynt eu hunain nâ dynion yn unig. Ac ni feddyliodd yr un o honynt i Moses, y proffwydi, a'r apostolion ddywedyd na gwneuthur dim erioed a allasai dueddu eu gwrandawyr i dybied mai duwiau oeddynt, neu eu bod am wneuthur eu hunain felly. Gallasai pob dysgawdwr cyhoedd o ddechreuad y byd hyd yn awr, pa un ai Duw ai dyn a'i danfonodd, beri i'w wrandawyr i'w ddeall pan fyddai yn gwahaniaethu rhwng y Creawdwr a'i greaduriaid; ond wrth ddarllen geiriau yr Iesu ei hun ac ysgrifenadau ei weision am dano ef, y mae corff Cristionogion mewn modd anocheladwy yn cael eu rhwymo i gredu ei fod yn Dduw. O bawb dysgawdwyr dynol, efe, a'r sawl a osodwyd ar waith ganddo, oedd y mwyaf annedwydd yn eu dull o drosglwyddo addysg i'w gwrandawyr!

Nid yw dywedyd fod y byd, a elwir yn Gristionogol, yn llawn o gamsyniadau ereill, a bod y bai ar y bobl, (er fod hyn yn wirionedd,) yn un math o ddirymiad i'r rhesymiad uchod, oddieithr haeru o ryw un fod y camsyniadau ereill yn troi dynion arferol o addoli y Gwir Dduw yn eilungarwyr, oddiwrth y Goruchaf at ei greaduriaid, y felldith fwyaf arswydus o bob melldith ; ac o herwydd mai hyn yw yr effaith a ganlynodd weinidogaeth y Messia, rhaid yw yn mhob modd, fod y byd, hyd yma, wedi cael ei felldithio, yn hytrach nâ'i fendithio, trwy ddyfodiad Crist, os nad yw efe yn Dduw, pa un a fu efe yn achos *diniwed* o'r felldith ai peidio ; rhaid i ryw ddiwygiwr Sosinaidd enwog ymddangos cyn gellir mwynhau y fendith addawedig. A phe byddai gweinidogaeth y cyfryw athraw mor llwyddiannus â throi y byd oddiwrth eilunod at Dduw, oni fyddai i'n gwrthwynebwyr ei ystyried yn rhagorach diwygiwr nâ Iesu o Nasareth, ac felly yn llawer mwy teilwng o gael gweinyddiad bedydd yn ei enw, a'r swpper santaidd er cof am dano ef, yn hytrach nag er anrhydedd i Grist ? Ac am fod Dr. Priestley wedi gwneuthur llawer mwy dros Sosiniaeth, nag a wnaeth y Messia, nid wyf fi o ddifrif yn deall paham na weinyddent hwy y swpper er cof am dano ef, yn gystal ag am Grist, os nid yn lle hyny. Gwir yw fod Crist wedi ei orchymyn er cof am dano ei hun, yr hyn ni wnaeth Priestley ; ond nid yw bod un diwygiwr yn fwy gostyngedig nâ'r llall yn reswm dros esgeuluso caffadwriaeth y mwyaf hunan-ymwadol.

5. Y mae y cyfundraeth Sosinaidd, cyn belled ag y cyrhaeddo ei effaith, yn gwneuthur y Beibl yn ddiddefnydd fel rheol ffydd i bawb dynion heb wahaniaeth. Yr egwyddor yn ol yr hon yr eglura ein gwrthwynebwyr yr ysgrythyrau santaidd a gyfiawnhaiai unrhyw ddyn, neu blaid o ddynion, yn eu gwaith yn tadogi y daliadau mwyaf gwrthun ac anghydweddol ar air Duw. Gorphwysant yn ddibaid ar y testunau ag ydynt yn profi gwir ddyndod ein Hiachawdwr, yr hyn ni wedir gan neb, ac esgeulusant yr ymadroddion tra lliosog ag ydynt yn priodoli perffeithiadau, gweithredoedd, ac anrhydedd dwyfol iddo ef. Ystyriant y cyntaf megys oll ac yn oll yn narluniad cymmeriad yr Iesu, a thriniant yr olaf megys pe cawsent eu hysgrifenu yn unig i roddi cyfle iddynt hwy i arferyd eu cywreinrwydd mewn esbonio ymaith eu hystyr naturiol ; ni ddichon y fath ymadroddion â "Hwn yw y gwir Dduw ;" "Dy orseddfainc di O Dduw, sydd yn oes oesoedd ;" ac "Addoled holl angylion Duw ef," fod o un gwasanaeth i'w hachos hwy ; a chredaf na thramgwyddent wrthym pe na soniem fyth am danynt, eithr y boddhâid hwy yn fawr gan un-dyn a'u galluogai i gael llonyddwch tragywyddol gan y fath ymadroddion annymunol.

Yn ol y dull hyn gallem dyru ynghyd luaws mawr o destunau ag ydynt yn son am gyfiawnder a digofaint Duw, ac am ei lawn-fwriad i gospi yn ddidrugaredd, a galw "canol sain," neu sain cyson yr ysgrythyrau ar hyn, ac felly gwadu yn haerllug gariad, trugaredd, ac hynawsedd y Goruchaf. Ac yn yr un modd yn hollol y gellai arall wadu cyfiawnder a

barn, trwy gasglu ynghyd yr holl ymadroddion ysgrythyrol darluniadol o ras a thrugaredd Duw; ac nid gorchwyl anhawdd, yn ol y rheol orwych hon, fyddai profi o'r Beibl "nad oes un Duw," trwy ddwyn gerbron yr holl destunau ag ydynt yn priodoli iddo ranau, cynheddfau, a gwendidau dynol, ond cymmeryd gofal i ddywedyd nad yw y testunau anghytunol â'i ddaliadau yn awduredig, neu os ydynt, eu bod yn golygu peth llwyr wahanol i'r hyn a fynegant. Ac, yn wir, ni byddai raid i ddyn lled gywrain ofni profi y gwrthuni mwyaf a ddygwyddai redeg i'w ben: a'r peth lleiaf a ellai pawb a gynnygai y fath beth, fyddai cyfaddef eu bod yn ddyledus i Sosiniaeth am y rheol ardderchog.

Cyfododd plaid o grefyddwyr yn yr ail ganrif a elwid Saturniaid, y rhai a wadent wir ddyndod Crist, gan haeru mai dyn mewn *ymddangosiad yn unig* oedd. Ni chlywais i erioed y rhesymau a ddefnyddient i amddiffyn y dyb anysgrythyrol hon, ond y mae yn llawn ddiogel genyf pe adfywid y dyb yma yn y 19eg canrif, a diwygio ychydig arni, y byddai llawn mor hawdd i'w amddiffyn ag eiddo ein gwrthwynebwyr; yr un dull yn hollol ag a gymmer y Sosiniaid i egluro ymaith ystyr gywir yr ysgrythyrau a gadarnhant dduwdod ein Harglwydd, y gellid gyda chyffelyb lwyddiant ddirymu tystiolaeth y rhai a berthynant i'w ddyndod. Fel yr ymddangoso fod yr haeriad hwn ar sylfaen safadwy, ni a gyfwynebwn y ddau gyfundrueth, fel hyn:—

## SOSINIAID.

Sicr yw fod Iesu Grist yn *wir ddyn*, am hyny nis dichon fod yn Dduw.

Ni wyddai ein Harglwydd pa bryd y byddai dydd y farn, am hyny ni ddichon fod yr Hollwybodol Dduw.

Addefir fod ein Hiachawdwr yn cael ei alw yn *Dduw*, ond nid yw hyny yn profi ei fod y Bôd Goruchaf; rhoddir yr enw iddo yn hollol yn yr un ystyr ag y gwneir i swyddogion gwladol.

Cyfeiriwyd ni at y pennodau cyntaf o Fathew a Luc, lle y rhoddir hanes am genedliad gwyrthiol ein Harglwydd, i'r dyben i brofi *nad Joseph oedd ei wir Dad*; ond y rhan fwyaf o'r pennodau hyn, (er eu bod yn yr holl law-ysgrifau a chyfieithiadau ag ydynt ar glawr,) ydynt o awdurdod amheus, ac a wrthodwyd gan yr Eboniaid, (hen sect ag oedd yn gwadu gwir Dduwdod Crist). Tebyg ddigon mai dychymmyg *rhyw genedl-ddyn* a ddychwelid yn gynnar, yw hanes y cenedliad gwyrthiol, yr hwn a obeithiai trwy ddyrchafu urddas y Sylfaenwr, i leihau rhagfarn ei wladwyr anghredinol yn erbyn y sect.

## SATURNIAID.

Sicr yw fod Iesu Grist yn *wir Dduw*, am hyny ni's dichon fod yn ddyn.

Gwyddai ein Harglwydd "bob peth," am hyny rhaid ei fod yn "Chwiliwr y calonau," ac nid dyn meidrol.

Addefir fod ein Hiachawdwr yn cael ei alw yn *ddyn*, ond nid yw hyny yn profi mai bôd dynol ydyw, rhoddir yr enw iddo yn hollol yn yr un ystyr ag y gwneir i'r Tad, yr hwn a elwir yn "ŵr, (neu ddyn) rhyfel."

Cyfeiriwyd ni at y pennodau cyntaf o Fathew a Luc, lle y rhoddir hanes am genedliad gwyrthiol ein Harglwydd, i'r dyben i brofi ei fod wedi ei *eni o Fair*; ond y rhan fwyaf o'r pennodau hyn ydynt o awdurdod amheus, ac a wrthodwyd gan rai o'r Gnosticiaid, (hen sect ag oedd yn gwadu gwir ddyndod Crist). Tebyg ddigon mai dychymmyg rhyw *Iuddew* a ddychwelid yn gynnar, yw hanes y cenedliad gwyrthiol, yr hwn a obeithiai, trwy haeru dyndod y Sylfaenwr, i leihau rhagfarn ei wladwyr anghredinol (y rhai a ddysgwylient Fessia dynol) yn erbyn y sect.

## SOSINIAID.

Rhaid addef y dywedir am ein Hiachawdwr, ei fod ef yn *ffurf Duw*, ei fod *yn gyfoethog*, a dyfod o hono yn dlawd, neu ei fod yn gyfoethog ac yn dlawd ar yr un pryd; ond yr ystyr yw ei fod ef wedi ei gynnysgaethu â'r fath alluoedd gwyrthiol, y rhai a allasai efe ddefnyddio er ei fantais personol ei hun, ac felly mewn ystyr yr oedd efe yn ffurf Duw, eithr ni phrofa hyny mewn un modd ei fod ef yn gydradd â'r Tad.

Ni ddichon fod o un defnydd i haeru priodol Dduwdod Crist, canys dywedir yn bendant wrthym ganddo ef ei hun, *na allasai efe wneuthur dim o hono ei hun*, ac efe a gyfeiria ei wrandawyr at y Tad fel gwir awdwr ei wyrthiau. Tra gwrthun yw tybied ei fod ef yn Dduw.

Sicrheir i ni i'r Iesu *fwyta ac yfed* fel dyn, ac yn y diwedd *bu farw* ar y groes, am hyny ni's dichon priodoliad gogoniant ac anrhydedd mawr iddo ef brofi, yn y mesur lleiaf, athrawiaeth ei briodol dduwdod.

Yr ydys wedi gosod pwys lawer ar eiriau Ioan, "Y Gair oedd gyda Duw, a Duw oedd y Gair." Eithr dichon nad yw y *Gair* yn golygu dim ond priodoledd o'r duwdod; neu os rhaid addef fod Crist yn cael ei olygu, y meddwl yw ei fod ef yn dduw yn ystyr is-raddol neu gymharol y gair.

Mor anghall yw rhai dynion â dychymmygu fod y Messia yn berson Dwyfol, herwydd dywedyd o hono tra yr oedd ar y ddaear, "Mab y dyn, yr hwn *sydd yn y nefoedd*," eithr hawdd yw symud yr anhawsdra hwn; canys "os addefir awduroldeb yr ymadrodd, y mae i'w ddeall am y gwybodaeth a feddiannai Crist o ewyllys y Tad." Mewn lle arall dywedir fod y "Gair gyda Duw," hyny yw, "yr oedd efe wedi ei gyflawn addysgu, trwy gymdeithas â Duw, am natur ac helaethrwydd ei swydd." *(Notes on Socinian Test.)* Felly yr oedd Ioan Fedyddiwr yn "ŵr wedi ei ddanfon *oddiwrth* Dduw," yr hyn a arwydda iddo fod yn gyntaf *gyda Duw;* eithr pell yw hyn o brofi duwdod Crist na Ioan.

Syndod yw pa fodd y daeth neb bôdau

## SATURNIAID.

Rhaid addef y dywedir am ein Hiachawdwr iddo gymmeryd arno *agwedd* gwas, a'i gael mewn *dull fel dyn*, a'i wneuthur mewn *cyffelybiaeth* dynion; ac felly, mewn ystyr, yr oedd efe yn ffurf dyn; ond yr ystyr yw, mai gan iddo ef ymddangos megys pe buasai yn ddyn, arferir geiriau darluniadol o ddyn am dano ef, eithr ni phrofa hyny mewn un modd ei fod yn is nâ'r Tad, a llawer llai ei fod yn ddyn mewn gwirionedd.

Ni ddichon fod o un defnydd i haeru gwir ddyndod Crist, canys dywedir yn bendant wrthym ganddo ef ei hun, ei fod yn *Hollalluog*, ei fod yn *bywhau y neb a fynai;* a gallasai Paul *wneuthur pob peth trwy Grist*, yr hwn a'i nerthai. Tra gwrthun yw tybied ei fod ef yn ddyn.

Sicrheir i ni fod anrhydedd Dwyfol yn cael ei briodoli i Grist, i Jehofa *fwyta* gydag Abraham, a dichon *marwolaeth* fod mewn ymddangosiad yn unig yn gystal â bwyta; ac am hyny, nid yw *bwyta a marw* yn profi, yn y mesur lleiaf, athrawiaeth ei briodol ddyndod.

Yr ydys wedi gosod pwys lawer ar eiriau Ioan, "A deimlodd ein dwylaw am Air y bywyd;" eithr dichon nad yw hyn yn golygu dim ond yr efengyl, yr hon na thriniodd yr apostolion yn dwyllodrus; neu os rhaid addef fod Crist yn cael ei olygu, y meddwl yw i'r dysgyblion ei deimlo, yn ystyr gymharol y gair.

Mor anghall yw rhai dynion â dychymmygu fod y Messia yn berson dynol, herwydd dangos o hono ei draed a'i ddwylaw i'w ddysgyblion, i'w hargyhoeddi nad ysbryd oedd efe; eithr hawdd yw symud yr anhawsdra yma, canys os addefir awduroldeb yr ymadrodd, y meddwl yw, nad oedd efe yn ysbryd yn yr ystyr a feddylient hwy; canys eglur yw nad oedd corff ganddo, herwydd efe a ddaeth i'w canol pan oedd y *drysau yn nghauad*—ymddangosodd mewn *dull arall* i ddau o honynt, a *diflanodd* o'u golwg; a chyn hyny aethai trwy ganol ei elynion heb iddynt ei ganfod; eithr os teimlodd y dysgyblion ef ryw bryd, nid yw hyny fwy nâ wnaeth Jacob â'r angel a ymdrechodd ag ef, eithr pell yw hyn o brofi dyndod Crist nâ'r angel.

Syndod yw pa fodd y daeth neb bôdau

| SOSINIAID. | SATURNIAID. |
| --- | --- |
| rhesymol i ddeall y darluniadau cymharol o urddas ein Harglwydd, fel yn dynodi gwir dduwdod, gan y gosodir ef allan yn eglur fel *gwas y Tad*, ewyllys yr hwn y daeth efe i wneuthur, ac nid yr eiddo ei hun. | rhesymol i ddeall y darluniadau cymharol o ostyngeiddrwydd ein Harglwydd, fel yn dynodi gwir ddyndod, gan y gosodir ef allan yn eglur fel yn *un â'r Tad;* ac os llai yw efe nâ'r Tad, am ei fod yn *was* iddo, llai yw nâ dyn hefyd, canys daeth i *wasanaethu* ei ddysgyblion. |
| Ni ddichon dim fod yn eglurach nâ'r darluniad ysgrythyrol o'r Iesu fel dyn; os yw y Beibl yn son oll am briodoliaethau dynol, y mae yn eu cymhwyso ato ef yn y modd cadarnaf; pa fodd gan hyny y gellir ei ystyried ef fel Creawdwr mawr pob peth? | Os yw y Beibl yn son oll am briodoliaethau Dwyfol, y mae yn eu cymhwyso at Grist yn y modd cadarnaf, pa fodd, gan hyny, y gellir ei ystyried ef fel bôd crëedig? |

Yma ymddengys y rhesymau yn gyfartal o ddau tu'r ddadl, ac hawdd fuasai lliosogi ymadroddion a thestunau ysgrythyrol dros y daliadau gwahanol a gwrthwynebol hyn; trwy gam-ddeongliadau y ddwy blaid perir i'r Beibl wrth-ddywedyd ei hun, mewn pwnc o'r pwys mwyaf; ymlyna y ddwy blaid yn afaelgar wrth y testunau a dueddant i gadarnhau eu gwahanol ddaliadau, a rhaid i eiriau o wahanol dueddiad roddi ffordd, neu gael eu llwyr ddibrisio. Er y gallai ein gwrthwynebwyr ffugio diystyru y ffordd hyn o ymresymu, (fel y dull lleiaf treulfawr i'w hateb), ymddengys i mi o ddifrif, fod ymresymiad y naill blaid mor gywrain a chadarn ag eiddo y llall, ac oni fedrant hwy ddangos y rhagoriaeth, lled debyg mai dyma fydd fy ngolygiadau tra fyddwyf. Diflanodd y gyfundraeth Saturnaidd er ys oesoedd, a phan ddysgo pawb dynion i gymmeryd y Beibl yn unig a'r Beibl i gyd yn reol ffydd, daw tybiau anmhrofedig Sosiniaid yn fuan i'r un diwedd gwarthus, ac ni ddichon cyfeillion dwyfol ddatguddiad ochelyd credu fod Iesu yn Dduw a dyn; fel person dwyfol yn mhob ystyr yn gydradd â'r Tad, ond fel dyn yn llai nag ef, mor ymddibynol ar y duwdod â dynion ereill, heb allu gwneuthur na gwybod dim ond trwy allu ac hysbysiaeth dwyfol.

Gan fod Gwrth-drindodiaid, trwy eu hymddygiad, yn annog pawb dynion i ddeongli yr ysgrifeniadau ysbrydoledig yn ol eu rhag-ddaliadau eu hunain, ac felly i godi eu tybiau hwy i fod yn reol ffydd, ac nid yr ysgrythyrau santaidd, nis gallwn lai nâ sylwi,

6. Fod Sosiniaeth yn tueddu at hollol wrthodiad o'r Beibl, ac ni ellir ei hystyried amgen nâ'r ffordd gymhwys i anghrediniaeth cyfangwbl; ofer yw pob ymddibyniaeth ar y llyfr santaidd, troir yr iaith egluraf i ddywediadau trawsfudol, a geiriadaeth Dwyreiniol,—ymrysonir â chyfieithiadau —ystyrir llawer o destunau yn ddiffygiol mewn awduroldeb, ac ysgubir pennodau cyfain ymaith fel o awdurdod amheüus, a hyny ar dystiolaeth ychydig hen hereticiaid, i'r dyben i roddi lle i gyfundraeth ag sydd yn arwain oddiwrth oraclau y Goruchaf at ddychymmygion dynion, y rhai, fel yr ymddengys i mi, a geisiant fod yn ddoeth uchlaw yr hyn a ysgrifenwyd.

Gan nad beth a feddylio ein gwrthwynebwyr am danaf fi, gŵyr Chwiliwr y calonau nad wyf fi yn ewyllysio y drwg lleiaf iddynt, ond i'r gwrthwyneb, gyfiawnder o'r un dedwyddwch ag ydwyf yn ostyngedig obeithio i'w fwynhau fy hun; ar yr un pryd yr wyf yn ei hystyried yn ddyledus i gyfiawniad ffyddlon o'm swydd i ddywedyd, fy mod yn ystyried eu cyfundraeth hwy fel ffordd sicr i ddinystr, rhagflaenydd yr ail farwolaeth, neu arweinydd difeth i resynoldeb diddarfod. Cyfrifir pob dywediad o'r fath hyn yn *erlidigaeth* gan ein gwrthwynebwyr—tramgwyddant yn aruthr os nad ystyriwn hwynt fel cyd-Gristionogion a brodyr, a gadael eu bod yn gamsyniol. Eithr pa fodd y dichon hyn fod yn erlidigaeth, tra yr ydym yn dadleu dros rydd-did crefyddol i bawb yn ddiwahaniath, ac os na fedrwn eu hargyhoeddi, gadael rhyngddynt a'u Lluniwr mawr? Er barnu fod eu hegwyddorion yn ddamniol, pwy yn ein mysg na lawenychai pe caffai le i gredu y bydd y sawl a'i hamddiffyno gadwedig yn y diwedd? Ai erlidigaeth fyddai dywedyd wrth ddyn hollol anfoesol a gelynol i Dduw, ein bod yn ofni fod ei enaid mewn perygl? Oni ddarlunir cyfeiliornadau yn yr ysgrythyrau mor ddinystriol â drwg-fucheddau? Ai erlid eu gwrandawyr oedd yr apostolion pan ddywedent, "yr hwn ni chredo a ddemnir?"—Onid oedd *heresiau damniol* yn cael eu dwyn i mewn gan gau-athrawon gynt? Ac os yw yr Iesu yn Dduw, ac nad oes iechydwriaeth ond trwy ffydd yn ei aberth haeddiannol ef, a ydoedd yn bosibl y gellasai fod gynt unrhyw heresi yn fwy pwysig, neu yn fwy damniol, nâ gwrthod addoliad iddo ef, a barnu yn aflan neu gyffredin, waed yr unig aberth haeddiannol dros bechodau? Os nad yw cyfeiliorni yn nghylch pwy a ddylid addoli, a'r ffordd i gymmod â Duw o'r canlyniad mwyaf echryslon, pwy heresi a ddichon, neu a allasai fod yn ddamniol?

Gan fod Sosiniaid yn ymwrthod â gwirioneddau sylfaenol Cristionogrwydd, pa fodd y gellir barnu eu bod yn Gristionogion? oddieithr tybied fod Iuddewon a Mahometaniaid anghrediniol yn Gristionogion, y rhai ydynt lawer mwy cytuuol â hwy yn y pethau *mwyaf* mewn crefydd nag addolwyr Iesu Grist; nis gallant hwy a ninnau ddwyn yr enw hwnw; os cywir eu daliadau hwy, rhaid ein bod ni yn eilun-addolwyr; ac os cyfeiliornus ydynt, y maent yn gwrthod y parch dyledus, a'r ufydd-dod gofynol i ben yr eglwys Gristionogol, am hyny, gan nad beth ydynt, Cristionogion nis gallant fod. Eu cyfundraeth hwy ag eiddo addolwyr Crist ydynt cyn belled oddiwrth eu gilydd â'r dwyrain oddiwrth y gorllewin; ni byddai ymroddiad i'w dwyn ynghyd ond cynnyg i debygu Cristionogrwydd i'r cwmwl ar làn y môr coch, yn oleuni cysurol o un tu ac yn dywyllwch barnol o'r tu arall; neu fel y dywed Mr. Wardlaw, "y maent yn sefyll fel gwrthdröediaid i'w gilydd, a'r holl fyd yn gorwedd rhyngddynt; gan hyny ffolineb plentynaidd fyddai ffugio cymmaint hynawsedd â'u galw wrth un enw cyffredin."

Ar adolygiad o'r cwbl ymddengys yn dra eglur i mi, os nad yw Iesu Grist yn Dduw, ofer raid fod pob cyfeiriad at y Beibl i derfynu dadleuon

crefyddol; pe cyhoeddasid ef gyda bwriad i dwyllo, ni allasai yr ysgrifenwyr ei ffurfio yn well i ateb eu dybenion. Y maent wedi llwyr ddinystrio y gwahaniaeth rhwng Duw a dyn; priodolant berffeithiadau, enwau, ac anrhydedd y Duw tragywyddol yn ddiattal i un dyn neillduol; priodolir gweithredoedd y Creawdwr mawr yn y modd eglurafi greadur yn unig, a chyfeirir moliant y nefoedd i ddyn, yr hwn sydd, a'r hwn oedd bob amser, mor ymddibynol ar Dduw, â neb o'r dyrfa waredigol eu hunain. Nid yw yr unig lyfr a ddaeth oddiwrth Dduw i'n hyfforddi mewn crefydd, yn gosod gwahaniaeth rhwng perffeithiadau dwyfol a phriodoliaethau dynol, gyda golwg ar un a dim mwy o'n cyd-greaduriaid; er y gallasai yr ysgrifenwyr ysbrydoledig wahaniaethu yn amlwg ddigon rhwng pethau o nemawr pwys mewn cymhariaeth i hyn, etto, wrth ddarlunio un dyn neillduol, ni allasent ei wneuthur yn effeithiol heb briodoli perffeithiadau y Bôd Goruchaf iddo ef. Dichon y sawl a fedrant gredu hyn, gael eu haddasu yn fuan i ddefnyddio, gydag addasrwydd mawr, iaith y person a ddywedai, "Bendigedig fyddo Duw, myfi a allaf gredu pob peth." O'r tu arall, os yw yr Iesu yn Dduw mewn gwirionedd, datguddir y gwirionedd hwn mor eglur yn y llyfr santaidd ag un gwirionedd arall; cedwir Duw a dyn mewn pellder addas oddiwrth eu gilydd; diogelir yn ffyddlon y gwahaniaeth rhwng y Creawdwr mawr a'i holl greaduriaid. Ac wrth briodoli gogoniant yr iechydwriaeth i'r Iesu, fe'n rhyddheir yn hyfrydlawn oddiwrth yr amgyffrediad fod un o'n cyd-farwolion yn cael gormodd derchafiad, tra y mae ereill yn cael rhy fach; rhyddheir ysgrifenwyr yr ysgrythyrau yn gyflawn oddiwrth y cyhuddiad o dderchafu dyn ar draul gwirionedd, ac er niwed i ogoniant Jehofa, a dichon pawb ar y ddaear uno yn rhwydd â phawb yn y nefoedd, i briodoli anrhydedd i'r Hwn sydd yn eistedd ar yr orseddfainc ac i'r Oen yn oes oesoedd.

---

## OL-YSGRIFEN;

### YN CYNNWYS ATEBIAD I WRTHDDADLEUON NEILLDUOL.

Dywedir yn fynych fod "geiriau Paul, (1 Tim. ii, 5,) 'Canys un Duw sydd, ac un Cyfryngwr hefyd rhwng Duw a dynion, y dyn Crist Iesu,' yn cynnwys credo y Sosiniaid mewn modd eglur a chynnwysfawr; ac os yw y Cyfryngwr yn Dduw yn gystal ag yn ddyn, paham y crybwyllai yr apostol ei ddyndod, ac esgeuluso ei dduwdod." Mewn atebiad, hawdd profi nad oes dim yn y testun hwn yn anghysson â'm credo inneu, a chyn belled â hyn yr ydym yn cytuno; ond gan fy mod yn credu yr holl Feibl, afresymol fyddai dysgwyl cael holl erthyglau fy nghredo mewn un adnod fèr, ac anhawdd yw meddwl fod credo neb ogyfled â'r holl ddatguddiad Dwyfol os dichon ei chael i gyd mewn cyn leied o le. Gallasai fod dyben

neillduol gan yr apostol wrth grybwyll dyndod y Cyfryngwr; yn yr adnod flaenorol soniasai am ewyllys Duw mewn perthynas i gadwedigaeth dynion, ac am mai trwy Gyfryngwr y mae Duw yn achub, tra annogaethol i bechaduriaid crynedig nesâu at yr hwn sydd "Ofnadwy mewn Moliant," yw'r ystyriaeth fod y Cyfryngwr yn wir ddyn, trwy yr hwn y mae i ni ddyfodfa at y Tad. Trachefn, eithafoedd afresymoldeb yw dysgwyl cael *pob* gwirionedd o bwys yn yr un adnod ag a fyddo yn crybwyll pwnc neu bynciau ereill o'r canlyniad mwyaf. Sonir am gyfiawnder Duw mewn adnodau na byddir yn dywedyd dim am ei drugaredd, a dywedir amryw bethau perthynol i berson Dwyfol Crist, ac yn anghytunol â dynoliaeth yn unig, mewn testunau ag na soniant am ei ddyndod; ond pwy a feddyliai wadu trugaredd Duw a dyndod y Messia ar y cyfrif hyny? a phwy, ond y sawl a chwennychant wasanaethu achosion cyfundraeth o'u heiddo eu hunain, a ryfygai wadu duwdod Crist, oblegid na chrybwyllir y gwirionedd hwn yn mhob testun ag sydd yn datgan ei ddyndod? Dilys genyf fod yr ysgrifenwyr santaidd yn ei chymmeryd yn ganiatäol fod eu meddyliau hwy yn hysbys yn nghylch y pynciau a esgeulusid, neu y gellid gwybod eu barn am danynt ond darllen rhanau ereill o'u hysgrifenadau, er bod amgylchiadau yn ei gwneuthur yn anghenrheidiol iddynt sefyll weithiau ar ryw wirionedd neillduol yn hytrach nag arall a fyddai o gymmaint pwys.

Tybia Sosiniaid yn gyffredin fod eu gwaith ar ben, y pwnc wedi ei ennill, y frwydr wedi ei hymladd, a'r fuddugoliaeth yn eu meddiant, wedi iddynt dŷru lliaws o destunau i brofi dyndod Crist; ond y gwir yw, (gan nad oes neb yn eu gwrthwynebu yn hyn wedi trancedigaeth y blaid Saturnaidd,) y mae eu gwaith heb ei ddechreu, oni wnânt ryw beth heb hyn; yn lle bod yn fuddugol, y maent heb ddechreu'r frwydr, y maent yn cilio o'r maes, ni ellir eu cael fodd yn y byd i'r ymdrechfa; ymdebygant i ddynion a fyddent yn crynu wrth ganfod eu gwrthwynebwyr o hirbell, ac ymroddi cadw draw rhag dyfod i wyneb perygl. Mewn geiriau ereill, rhaid i'n gwrthwynebwyr ddangos nad yw duwdod Crist yn cael ei gadarnhau gan neb testunau ysgrythyrol; neu brofi mai *anmhosibl* yw bod duwdod a dyndod wedi ymuno yn mherson Crist. Pob peth tu yma i hyny yw llafurio yn ofer; a'r un mor ofer fyddai cynnyg profi un o'r ddau beth uchod, â cheisio attal llifiant y môr.

Gwrthddadleuir i dduwdod Crist, ac athrawiaethau ereill, gan ein gwrthwynebwyr ar gyfrif eu *dirgelrwydd*. Eithr a oes dim neb dirgeledigaethau yn nglŷn â'u credo hwy? A ydynt hwy yn gwrthod pob egwyddor annirnadwy? A yw eu meddyliau cynnwysfawr hwy yn alluog i ddirnad yn drwyadl bob peth a gredant? Os felly, sicr yw nad yw erthyglau eu credo yn lliosog iawn. A ydynt yn credu eu hanfod eu hunain? Os ydynt, a fyddant mor garediced â'n cynnysgaeddu â darluniad manwl o natur yr undeb sydd rhwng defnydd corfforol ac ysbryd annefnyddiol. A ydynt yn perffaith ddeall y modd y mae *meddwl* yn llywodraethu aelodau y corff? A fedrant godi bŷs, symud troed, canfod

gwrthddrychau, gwahaniaethu seiniau, neu ystyried tyfiant porfäyn, a bod yn anhysbys o ddirgelion? A fedrant hwy ffurfio amgyffredion eglur am dragywyddoldeb a holl-bresennoldeb Duw? A fedrant hwy hysbysu i ni *pa fodd* y gallasai y Goruchaf hanfodi o dragywyddoldeb, a'r modd y mae efe yn bresennol *yma*, ac yn mharthau pellaf y greadigaeth ar yr un pryd? A addefant hwy fod Duw yn anfeidrol fawr mewn *gallu, doethineb, a thrugaredd;* ei fod yn *caru a thosturio* wrth ei greaduriaid megys y gwna tad tyner â'i blant; mai gwaith hawdd fuasai iddo ef rwystro *pechod a'i ganlyniadau gresynol* i'r byd? A fyddant cyn fwyned â dadrusu y dirgelwch hwn i ni, a rhoddi rhesymau eglur dros ddyoddefiadau presennol dynoliaeth, a pheidio dywedyd dim am gosp fygwthiedig mewn cyflwr i ddyfod. Pan symudont hwy yr anhawsderau hyn, yr ydym yn ymrwymo y dywedwn wrthynt *pa fodd* y mae tri pherson Dwyfol yn un, a'r un yn dri, ac i ddarlunio yr undeb rhwng dwy natur yn mherson Crist.

Nid ydym yn gwrthod Sosiniaeth ar gyfrif ei rhesymoldeb, canys ymddengys i ni ei bod wedi ei sylfaenu ar yr egwyddorion mwyaf afresymol ac annaturiol. Wrth amddiffyn dirgelwch y drindod, y mae genym *un anhawsdra*, neu yr ydym yn credu un athrawiaeth na's gallwn ei hegluro o ran dull yr hanfodiad; eithr eu cyfundraeth hwy sydd wedi ei ddyrysu mewn cynnifer o anhawsderau ag sydd o destunau ysgrythyrol wedi eu dyfynu yn y Traethawd hwn, a llawer yn ychwaneg a allesid grybwyll. Os yw ein gwrthwynebwyr yn cydnabod awdurdod Dwyfol yr ysgrythyrau, paham y gwrthodant athrawiaethau a ddatguddir yn eglur ynddynt, o herwydd eu dirgelwch, gan fod pob peth perthynol i Dduw yn annirnadwy? Eithr os ydynt yn amheu ysbrydoliaeth y Beibl, paham y maent mor anghysson ag apelio ato i derfynu un ddadl o bwys? Paham na fwrient ymaith y gorchudd, a phroffesu egwyddorion Deistiaidd ar unwaith? A ddichon dim fod yn fwy afresymol nâ bod i greadur, gwybodaeth yr hwn sydd mor gyfyng, a galluoedd deallawl yr hwn ydynt yn cael eu dyrysu a'u maeddu yn mhob cynnyg i ddirnad *dull* ei hanfodiad ei hun, ac eiddo pob gwrthddrych o'i amgylch, i wrthod gyda diystyrwch y darluniad ysgrythyrol o'r Duw mawr, am yr unig reswm *na ddichon efe ei ddirnad.* Addefir fod pob *creadur* eneidiol a dieneidiol yn ddirgelaidd, ond son am ddirgelwch perthynol i hanfod y Creawdwr tragywyddol a rydd dramgwydd! Cyffesir fod holl *weithredoedd* Duw yn annirnadwy, ond Duw ei hun yn ddirnadadwy, a dull ei hanfodiad yn egluradwy!!!

Ymddengys fod Sosiniaid yn dra cheryddadwy am briodoli swydd i reswm cyfyng dynol yr hon nid yw addas mewn un modd i'w chyflawni. Haerant yn fynych mai anmhosibl yw i Dduw hanfodi mewn modd gwahanol i'w hegwyddorion hwy. Nid yw yr haeriad hwn a'i gyffelyb amgen cynnyg halogedig i ddynesu galluoedd meddwl dyn at berffeithiadau y Duw byw. Nid wyf fi yn gweled rheswm i ddychymmygu fod ein cynneddfau deallawl yn dyfod yn nes at ddoethineb yr Arglwydd nag y mae ein nerth yn ymdebygu i'w allu ef. Byddai cynnyg i debygu Duw yn y

gweithredoedd a wnaeth yn berffeithrwydd ffolineb, ac yr wyf hyderus y byddai ychydig ystyriaeth yn ddigon i argyhoeddi pob dyn fod ei wybodaeth a'i ddeall mor annhebyg i wybyddiaeth dwyfol ddoethineb ag yw ei nerth yn llai nag hollalluogrwydd.

Derchafu rheswm dynol uwchlaw ei gylch priodol sydd mor afresymol a pheryglus ag yw ei dynu yn is nâ'i sefyllfa addas. Tra ffiaidd yw y goel-grefydd ag sydd yn treiddio holl ranau crefydd y pabyddion. Clywed bod Fferdinand, Brenin yr Yspaen yn cael ei fawrygu gan ddysgawdwr ysbrydol am wneuthur a goreuro peisiau a gynau i'r Forwyn Fair, fel prawf o dduwioldeb anarferol, sydd eithaf dirmygus ac yn diraddio rheswm dynol. Eithr nid yw ymorphwysiad anweddus ar ein cynneddfau rhesymiadol yn llai tramgwyddus i'n Gwneuthurwr. Eisteddai dyn gostyngedig gyda Fferdinand, a chynnorthwyai mewn gwneuthur gŵn arall i'n pendefiges, cyn gynted ag yr ymddiriedai gymmaint yn ngalluoedd ei ddeall ei hun, ac haeru na allai y Duw anfeidrol hanfodi ond mewn modd ag sydd yn ddirnadwy iddo ef. Yn hytrach nâ hyn efe a gynnygai bwyso y mynyddau mewn clorianau—i fesur ëangder dirfawr y nefoedd â rhychwant—i grafangu y bydoedd i'w freichiau—a pheri i daranau y nefoedd ruo trwy helaethrwydd anfesurol ëangder wrth ei bleser.—"A elli di wrth chwilio gael gafael ar Dduw? a elli di gael yr Hollalluog hyd berffeithrwydd? cyfuwch â'r nefoedd ydyw, beth a wnei di? dyfnach nag uffern yw, beth a elli di ei wybod? Mae ei fesur ef yn hŵy nâ'r ddaear, ac yn lletach nâ'r môr." (Job xi, 7—9.)

Gwrthddadleuir yn mhellach fod "y Tad yn fwy nâ Christ—na allasai efe wneuthur dim o hono ei hun, ond ei fod wedi derbyn ei genadwri a'r datguddiad a roddes i ni gan y Tad—yn gweithredu yn enw y Tad—yn gweddio arno—yn ystyried ei hun yn was iddo—ac ni wyddai pa bryd y byddai dydd y farn."—Pa beth a brofir gan hyn oll? Dim yn ychwaneg nâ bod Crist yn wirioneddol ddyn—fod pob dyn yn ymddibynol ar y duwdod—nad yw dyndod yn troi yn dduwdod o herwydd yr undeb sydd rhwng y ddwy natur yn mherson Crist. Er ein bod yn credu fod Iesu yn wir Dduw a dyn, nid ydym yn meddwl fod ei natur ddynol yn Dduw, gan hyny yr ydym yn rhwydd gyfaddef na allasai dyndod erioed hyd y nod yn mherson Crist, wneuthur na gwybod dim, ond trwy Ddwyfol drosglwyddiad, eithr rhaid i'n gwrthwynebwyr gyfarfod â rhyw ddynion a fyddo yn dadleu dros fod natur ddynol Crist yn wir Dduw cyn y byddo y gwrthddadl uchod o werth i'w arddel. Gan fod gweithredoedd y Goruchaf yn cael eu priodoli weithiau i'r *Tad*, ac weithiau i'r *Mab*, eglur yw fod pob un o'r enwau pan ddefnyddir hwy felly, yn cynnwys y duwdod, heb gyfeirio at wahaniaethiad personol, megys y gwneir mewn amgylchiadau ereill. Felly nid yw gweddiau y *dyn* Iesu ar Dduw mewn un modd yn cau allan ei briodol dduwdod ei hun.

Ychwanega y gwrthddadleuwr, "Os yw yr Iesu feddiannol ar ddwy natur, gyda pha briodoldeb y gallasai ddywedyd, 'na allasai wneuthur

dim o hono ei hun—na wyddai pa bryd y byddai dydd y farn—ei fod yn llai nâ'r Tad,' a'r cyffelyb? canys, er fod hyn yn wir, a'i gymhwyso at ei natur ddynol, etto y mae yn anwir megys y perthyn i'w *berson*, ar y dyb ei fod yn Dduw a dyn; os na allasai y dyndod *wybod na gwneuthur* megys uchod, etto gallasai y duwdod."

*Ateb*, Efe a ddywedodd y pethau hyn gyda yr un cymhwysder ag yr haerodd,—"Cyn bod Abraham yr wyf fi—Mab y dyn, yr hwn sydd yn y nefoedd—Myfi yw y cyntaf a'r diweddaf, yr Hollalluog," a'r cyffelyb. Hyn oll sydd wirionedd am ei dduwdod yn unig, canys, fel dyn, nid oedd efe cyn Abraham, nac yn y nefoedd tra yr oedd ar y ddaear, ac ni allasai fod y cyntaf a'r diweddaf, a'r Hollalluog. Wrth gyferbynu y tystiolaethau hyn, hawdd canfod mai gyda'r un rhesymoldeb yn hollol y gellai Saturniaid wadu ei ddyndod ac yr ymwrthyd Sosiniaid â'i briodol dduwdod; ond wrth ystyried fod y Cyfryngwr yn Dduw a dyn yn un person, pob anhawsdra a ddiflana, eglur yw ei fod yn llefaru am ei berson ei hun, weithiau yr hyn sydd gymhwysadwy at un natur yn unig, ac weithiau yr hyn a berthyn i'r llall yn unig.

Hawdd yn wir fyddai dirymu y gwrthddadl hwn heb gyfeirio at y gwahaniaeth rhwng y ddwy natur; y mae efe yn was i'r Tad, yn llai nag ef, ac yn gweithredu yn ei enw ef, yn ei *sefyllfa swyddol*, eithr pell yw hyn o brofi ei fod yn llai, neu o îs natur nâ'r Tad. Gwas i'r eglwys yw gweinidog yr efengyl, ond pwy erioed a feddyliodd ei fod yn îs radd mewn natur i'r sawl y mae yn eu gwasanaethu, ar y cyfrif hyny? Yn mysg yr Ymneillduwyr, danfonir cenadon oddiwrth yr eglwys at aelod fyddo wedi ymddwyn yn anweddaidd; nid yw y cenadon hyn fyth "yn gweithredu yn eu henwau eu hunain, ond ar awdurdod y sawl a'u danfonodd—nid ydynt, ac ni allant wneuthur dim o honynt eu hunain—y rhai a'u hanfonodd ydynt fwy nâ hwy—nid ydynt yn ceisio eu gogoniant eu hunain, ond yn ymroddi gwneuthur ewyllys yr eglwys yr hon a'u hanfonodd." Yn ol dull ein gwrthwynebwyr o ymresymu, rhaid fod y cenadon hyn yn fath o greaduriaid llai mewn natur nâ dynion, neu o leiaf, yn ddynion gwael iawn, gwehilion y bobl, neu gaeth-weision; ond i'r gwrthwyneb, yn gyffredin dewisir y mwyaf cyfrifol perthynol i'r frawdoliaeth, a fyddo yn gyfleus iddynt, i gyflawni y gwasanaeth hwn. Gŵyr y darllenydd pa fodd i gymhwyso hyn at y pwnc mewn dadl.

Trachefn, yr ydym yn darllen fod yr Iesu wedi dyfod *i wasanaethu ar ei ddysgyblion;* o ganlyniad, os yw ei fod yn *was i'r Tad* yn profi ei fod yn îs mewn natur nag ef, rhaid yw ei fod yn *llai nâ dyn* hefyd, canys dynion oedd y dysgyblion i'r rhai y daeth efe yn was! Ac felly, y mae yn dygwyddo i'r gwrthddadl gwael hwn megys i dwyll-resymau yn gyffredin, y mae yn dinystrio ei hun yn ei ganlyniadau; wrth brofi gormodd, rhy analluog yw i brofi dim.

Haera ein gwrthwynebwyr yn mhellach, "fod yr unoliaeth â'r cyd-drawiad a welir yn ngwaith creadigaeth, yn profi nad oes lliosogrwydd

yn y duwdod." Gyda yr un gweddeidd-dra gellid taeru fod yr amrywiaeth a welir yn nhymmorau y flwyddyn, a phethau ereill, yn profi amldduwiaeth. Nid yw yr unoliaeth yn ngwaith Jehofa, ond yn unig dangos *unoliaeth cynghor*, gan hyny nid yw llyfr natur yn gwneuthur dim dros nac yn erbyn athrawiaeth y Drindod, yr hon sydd sylfaenedig ar dystiolaeth ysgrythyrol yn unig.

Cynnygir gwneuthur gwrthddadl o atebiad ein Harglwydd i'r hwn a'i galwasai yn *Athraw da*, "Paham y gelwi fi yn dda? *nid oes neb da ond un, sef Duw.*" (Marc x, 18.) Addefir gan wrthwynebwyr duwdod Crist fod y dyn wedi ei anerch mewn ffordd nad oedd efe yn gymmeradwyo, a pha ddehongliad a ddichon fod yn fwy naturiol nâ hwn, "Gan nad oes un yn wirioneddol dda ond Duw, pa ham y gelwi fi yn dda, a thithau heb gredu yn fy nuwdod? naill ai cydnebydd fy nuwdod, neu rho heibio fy ngalw yn dda.?"

Darlunir athrawiaeth Duwdod Crist gan Wrthdrindodiaid fel "maen tramgwydd mawr yn ffordd Iuddewon a Mahometaniaid anghrediniol, symudiad yr hwn sydd anghenrheidiol i'r dyben i wneuthur dychweliad yr anghredinwyr yn llai anhawdd." Gellid arall-eirio y gwrthddadl direswm hwn yn y modd canlynol:—"Dygwch Gristionogaeth mor agosed fyth ag y galloch at reol duwinyddiaeth yr Iuddewon neu y Mahometaniaid, a bydd dychweliad yr anghredinwyr hyn yn fwy gobeithiol. Ymdrechwch debygu y Beibl i'r Alcoran, a bydd y dychweledigion at Gristionogrwydd o fysg y gwrthodwyr hyn o Grist yn dra lliosoog!" Neu, mewn geiriau ereill, "Ymwrthoded Cristionogion ag egwyddorion sylfaenol eu crefydd, ar y rhai y gorphwys eu gobaith am fywyd tragywyddol, a chytunent â Mahometaniaid yn y pethau mwyaf pwysfawr mewn duwinyddiaeth, ac yna gellir gobeithio y bydd i elynion Cristionogrwydd, os ydynt yn meddu y wreichionen leiaf o resymoldeb a serchogrwydd, roddi i fynu bynciau o'r pwys lleiaf, a throi yn Gristionogion!!!"—Pa fodd bynag, y gwirionedd yw fod cannoedd o Fahometaniaid, Hindwaid, ac anghredinwyr ereill, wedi cael eu dychwelyd, a llawer o eglwysi wedi eu plânu yn eu mysg, trwy offerynaeth dynion ag ydynt yn pregethu duwdod Crist a'i aberth haeddiannol; ond pwy erioed a glywodd son am ymdrechiadau a llwyddiant cenadon Sosinaidd yn mysg Paganiaid? Eu gofid penaf hwy, cyn belled ag y gallaf fi ddeall yw, bod Crist yn cael gormodd parch; nid wyf wedi clywed fod addoliad Juggernaut a'i fath yn peri nemawr blinder iddynt; holl eilun-dduwiau anghredinwyr digrist ydynt yn cael llonydd purion ganddynt, ond mawr yw eu hymdrech i rwystro credinwyr yn Nghrist i dderchafu gormodd arno ef, megys pe byddai pob eilun deilyngach nâ'r hwn a addolir gan holl angylion Duw!! Er hyn oll galwant ef yn Arglwydd Frenin; yr hyn a ddwg i'm cof ymddygiad y milwyr Rhufeinig gynt, y rhai a roisant wisg o borphor am Grist, gan ddywedyd, "Henffych well, Brenin yr Iuddewon," a'r peth nesaf a roisant iddo, ar ol y teitl goruchel hwn, oedd CERNODIAU. (Ioan xix, 3.)

Mynych adroddir hanes rhyw dywysog Affricanaidd, gan ein gwrthwynebwyr, yr hwn, meddant, wedi darllen y Testament Newydd, a ddywedodd nad oedd efe yn cael tri Duw ynddo, ond "un Duw mawr daionus." Digon o atebiad i hyn yw fod addolwyr Crist yn credu fod y tri pherson Dwyfol yn y duwdod yn un, er nad ydynt yn golygu eu bod yn *dri ac un* yn yr un ystyr, ac nid oes dim yn ngeiriau crybwylledig y tywysog yn groes i hyn; ac os meddylir fod ei gyffes yn cynnwys rhyw beth amgen, hawdd fyddai gosod ar ei chyfer yr hanes a ddanfonodd Dr. Carey a'i gydweithwyr o India yn ddiweddar, am amryw eilun-addolwyr a ddychwelwyd at Gristionogrwydd trwy ddarllen y Beibl yn unig; a phan gawsant afael yn y cenadon, rhoddasant iddynt hanes *boddlonol* o'u hegwyddorion a'u profiad, er fod y cyhoeddwyr hyn o'r gwirionedd yn ystyried duwdod Crist yn hanfodol i Gristionogrwydd.

Taera ein gwrthwynebwyr fod yr wrthun athrawiaeth babaidd o draws-sylweddiad yn cael ei chynnal gan gryfach testunau nag ellir gael dros y Drindod, o herwydd dywedyd o'n Harglwydd am yr elfenau, "Hwn yw fy nghorff—a hwn yw fy ngwaed, &c." Yr ydym yn ateb, fod llawer o ymadroddion cymharol yn yr ysgrythyrau, ond pell fyddai hyny o'n cyfiawnhau pe cyhoeddem fod pob ymadrodd anghytunol â'n rhag-dybiau ni yn allegol. Yr ydym yn haeru ac yn barod i brofi, fod athrawiaethau y Drindod a duwdod ein Harglwydd, yn cael eu gosod allan mewn geiriau mor eglur â neb a berthyn i Ddwyfol hanfodiad; ond y mae traws-sylweddiad yn cynnwys gwrthiaith, y mae yn ein dysgu fod corff Crist wedi cael ei dòri fyrdd o weithiau i ddeng mil o ddarnau, ac etto yn aros yn gyfan yn y nefoedd! ei fod wedi cael ei fwyta i gyd gant o weithiau gan bob un o'r myrdd deng-myrdd ag ydynt wedi cymmeryd y swper santaidd, ac etto yn aros yn gyfan mewn gogoniant! Nid yw y Drindod a duwdod Crist yn cynnwys dim o'r cyfryw; y gwirioneddau hyn ydynt annirnadwy, megys agos pob peth arall; ond eu bod *uchlaw cyrhaedd rheswm* sydd *reswm digonol* o hono ei hun i arddangos *na ddichon rheswm brofi* eu bod yn *groes i reswm.* Addefir yn rhwydd gan y Sosiniaid fod traws-sylweddiad yn cynnwys gwrthddywediad, ac er yr haerant fod yr athrawiaethau rhag-ddywededig yn cynnwys gwrthiaith hefyd, gwelir mai hawddach *haeru nâ phrofi;* nid ydym, megys y sylwyd eisioes, yn dal fod y Tri Pherson yn *dri* yn yr un ystyr ac y maent yn *un,* ond eu bod yn *dri* ac yn *un* mewn modd na ddatguddiwyd, ac am hyny mewn modd nas gwyddom ni; ac nid ydym yn meddwl fod y dyndod yn dduwdod, na'r duwdod yn ddyndod yn mherson Crist, er cael ein rhwymo i gredu, neu wadu yr ysgrythyrau, ei fod ef yn Dduw a dyn; yn ddiarswyd, gan hyny, y rhoddwn hèr i eithafoedd gorehestion cywreinrwydd Sosinaidd i ddangos fod yma y gwrthddywediad lleiaf, na dim yn debyg i hyny. Ac o herwydd gwrthod o honom *wrthddywediadau,* a raid i ni wadu pob *gwirionedd annirnadwy?* neu, mewn geiriau ereill, a raid i ni beidio credu dim, hyd yn oed ein hanfod ein hunain!

Nid yw traws-sylweddiad yn cael ei gredu gan un enw o Gristionogion ag ydynt at eu rhydd-did i farnu drostynt eu hunain mewn crefydd; a'r hyn oll a ellir ddywedyd drosto a arddangosai yr un mor gadarn fod yr Iesu mewn ystyr lythyrenol yn *ddrws* neu *winwyddin*, *maen* neu *lew*. Ac yn wir, y mae yr athrawiaeth a haera fod yr elfenau yn y swpper yn cael eu cyfnewid yn weithredol i wir gnawd a gwaed Crist, yn *rhoddi y celwydd i'n synwyrau;* ac am y meddyliwn y medrwn wahaniaethu rhwng *bara* a *chnawd*, a *gwin* a *gwaed*, a raid i ni ymwrthod ag athrawiaethau a ddatguddir yn eglur, yn nghylch hanfod y Duw tragywyddol, ar gyfrif na's gallwn egluro y dull o hono? Gofynir hyn gan ryw beth heblaw rhesymoldeb.

Dywedir wrthym gan ein gwrthwynebwyr, "Y gellai addoliad Dwyfol gael ei ddwyn yn mlaen yn y modd ag y gallai pawb Cristionogion ei gymmeradwyo, gan nad beth fyddai eu meddyliau am y drindod; ond na ddichon Sosiniaid uno mewn addoliad Trindodaidd; ac mai llawen fyddai amryw o aelodau yr Eglwys Sefydledig, a llawer o'r Offeiriaid dysgedig, pe gosodid llai pwys ar athrawiaeth y Drindod." Wrth hyn ymddengys fod gwrthodwyr duwdod Crist yn dysgwyl i'r addoliad a roddir i Grist i gael ei esgeuluso, er mwyn cael undeb rhwng pawb a farnant yn addas i alw eu hunain yn Gristionogion, gan na allant hwy uno mewn addoliad i Grist. Hyn sydd megys pe dywedent, "Gan na allwn ymwadu â'n daliadau, os bydd Trindodiaid cyn fwyned â rhoddi i fynu eu prif ddaliadau hwy, a pheidio addoli Crist, na dywedyd ei fod yn deilwng o addoliad, na son am haeddiant ei farwolaeth, a dyfod ynUndodiaid yn ein hystyr ni o'r enw, nyni a unwn yn galonog â hwy." Ond er hoffed genym gymdeithas ein cymmydogion, ni ellir dysgwyl yn *rhesymol* i ni roddi i fynu ein *Harglwydd a'n Duw* yn gyfnewid am eu cyfeillach werthfawr hwy. Ni fyddai dim cyfartalwch rhwng y golled â'r ennill; y golled fyddai anfeidrol, a'r ennill mewn ystyr gymharol yn ychydig iawn.

Od oes rhai o weinidogion yr Eglwys Sefydledig "a lawenychent pe gosodid llai pwys ar athrawiaeth y Drindod," nis gallant fod amgen mintai o ragrithwyr diffaith, y rhai a addolant Grist mewn ymddangosiad er mwyn elw bydol, tra y maent yn credu fod ei holl addolwyr yn eilunaddolwyr; ac yr wyf yn gobeithio nad yw eu hoced a'u rhagrith hwy i'w ystyried yn reswm dros egwyddorion Sosinaidd. Nid yw eu harosiad yn yr eglwys o'r hon y maent yn aelodau *proffesedig* yn gwarthruddo yn y mesur lleiaf yr enw hyny o Gristionogion, gan fod rhagrithwyr wedi medru dyfod i'r eglwysi puraf yn mhob oes; ond eu hymddygiad cywilyddus a dyra y gwarth mwyaf haeddiannol ar Sosiniaeth, cyhyd ag y danfonir ni gan ei hamddiffynwyr atynt hwy er cadarnhad i'w daliadau. Rhaid i'r sawl oll a gredant fod Iesu yn wir Dduw sefyll dros roddi addoliad a gogoniant gogyfuwch iddo ef ag i'r Tad, ac ni ofynir ychwaneg nâ hyn gan yr Eglwys Sefydledig. Y son mynych a wneir o'r dichellwyr hyn gan ysgrifenwyr Sosinaidd, i feio egwyddorion y cyffredin, (nid

i euog-farnu ymddygiad y twyllwyr hyn, os ydynt mewn bod), a'n tywys i led-feddwl fod ein gwrthwynebwyr yn dra pharod i amddiffyn yr hoeed mwyaf echryslawn yn ei natur, a bod rhagrith yn perthynu yn agos i Sosiniaeth, os nid un o'i phrif ategau.

Peth cyffredin iawn gan ganlynwyr parthol Sosinus yw taeru "nad oes ond ychydig destunau a ellir ddwyn dros y Drindod a duwdod Crist, ond fod yr ymadroddion ysgrythyrol dros undod Duw ac îs-raddoliaeth y Messia yn dra lliosog, gan hyny, dylid dëongli y rhifedi lleiaf o adnodau yn gysson ag ystyr lythyrenol y nifer fwyaf." Od oes dim grym yn y gwrthddadl hwn, rhaid yw o hyn allan i ni wrthod tystiolaeth eglur a phendant yr holl ysgrythyrau a fyddont yn groes i'n tybiau blaenorol, os gallwn gael rhifedi mwy yn datgan pwnc gwahanol, er na byddo yn anghysson â'r hyn a gadarnheir gan y lleill; yn lle bod "pob gair yn safadwy yn ngenau dau neu dri o dystion," nid safadwy *un gair* yn ngenau *dau neu dri chant* o dystion, os ceir allan *dri chant ac un* a fyddo yn dwyn tystiolaeth dros beth gwahanol, (nid gwrthwynebol)! Yn y modd hyn, trwy gymhorth Mynegeir da, gellid casglu ynghyd yr holl ysgrythyrau ag ydynt yn sôn am *gorff ac enaid* dyn, ac os amlach fyddai y sôn am gorff nag am enaid, yna creadur dienaid yw dyn! Os ceid y gair *nos* yn fynychach nâ'r gair *dydd*, y canlyniad yw nad oedd dydd yn bod pan ysgrifenwyd yr ysgrythyrau! Os crybwyllir *trugaredd* yn fynychach nâ *chyfiawnder* rhaid i'r gair cyfiawnder sefyll am ddim, nid oes arwyddocâd iddo! Yn ol yr un reol pe ceisid cofres o enwau holl drigolion Abertawe, a chael yn hòno enwau fy nau atebwr, ond bod *Rees* ynddi yn llawer mynychach nag *Awbrey*, pa beth a ddywedid am yr olaf, ond mai enw hollol ddiarwyddocâd ydyw, nad oes un bôd rhesymol yn dwyn y fath enw. Gobeithiwyf fod y gwrthddadl hwn wedi ei ddynoethi yn ddigon, ac nad ystyrir ef o werth ei arddel byth ond hyny, gan ei fod yn cynnwys ynddo gymmaint gwrthuni ag un gosodiad a ddaeth i siol y mwyaf afresymol o hîl Adda erioed.

Yn olaf, i wanychu y rhesymau a ddygir dros dduwdod Crist, adgofir ni yn fynych gan Sosiniaid, "fod yr holl anrhydedd a briodolir i Grist yn ffrwyth *ordeiniad Dwyfol:* a bod yr ystyriaeth o hyn yn unig yn ddigon i ddymchwelyd y cwbl a ellai ymddangos o du ei dduwdod tybiedig.' Addefasom eisioes fod Crist yn nghyflawniad ei swyddau cyfryngol, yn gweithredu fel gŵr anfonedig, a phrofasom nad oedd ei anfoniad yn profi îs-raddoliaeth ei natur i eiddo y Tad; pa fodd bynag, os bernir yr hyn a ddywedwyd yn annigonol, cynnygwn ychydig holiadau ychwanegol a therfynol ar y pwnc. A drefnwyd y proffwyd egwan i wneuthur yr hyn na ellasai neb ond Duw ei gyflawni? A drefnwyd ef i fod *uchlaw pawb, yn Dduw bendigedig yn oes oesoedd?* A ydyw efe yn *Wir Dduw* a bywyd tragywyddol, mewn canlyniad i Ddwyfol osodiad? Ai trwy rinwedd ei anfoniad y daeth efe i fod y *cyntaf a'r diweddaf, yr Hollalluog!*—A addaswyd ef trwy drefniad Dwyfol i fod yn y *nef a'r*

*ddaear* yr un pryd!—A allasai Dwyfol osodiad wneuthur *Bód holl-bresennol o fab y saer!*—A arfaethodd Duw roddi ei *dduwdod* i'r *dyn da* o Nazareth? A ordeiniodd y Goruchaf fab Joseph a Mair i fod y *Duw Cadarn!*—A ddygodd Bethlehem allan *Arglwydd Ddduw meibion Israel* trwy ordeiniad! A ddaeth y gŵr cynnefin â dolur yn *Jehofa y Lluoedd* trwy orchymyn Dwyfol! A dröwyd y proffwyd gostyngedig gan arfaethiad Dwyfol i fod yn *Jehofa ein Cyfiawnder!*—A wnawd dyn "anmherffaith a darostyngedig i bechu," fel ninnau yn wrthddrych *addoliad Dwyfol* trwy osodiad!—Neu, mewn geiriau ereill, a ddaeth pethau llwyr anmhosibl yn bosibl—gwrthddywediadau yn gyssen â'u gilydd, a duwdod a dyndod yn anwahaniaethol trwy ordeiniad!—Ordeiniadau hynodion dros ben! Un ordeiniad ychwanegol fyddai yn ddigon i sefydlu y cyfundraeth *rhesymol* yn drwyadl, dim ond i'n gwrthwynebwyr *ordeinio* yn *effeithiol* i bawb sydd yn proffesu Cristionogrwydd gredu yr athrawiaeth uchod am ordeiniadau, a bydd eu hachos yn fuddugol trwy holl Gristionogaeth.

---

## ATTODIAD.

[Yn y Traethawd goleubwyll a doniolgamp blaenorol, y mae Mr. Harris yn myned rhagddo ar y dybiaeth o *ysbrydolrwydd cyflawn* yr ysgrythyrau. Y mae yn appelio atynt, ac yn defnyddio ei holl alluoedd, dan ddarweiniad gwybodaeth a beirniadaeth oleuedig i gael allan eu mynegiadau ar bwnc eu hymdriniaeth, dan yr ystyriaeth fod pob tystiolaeth o'r eiddynt yn wirionedd diymwad, ac nad oes ond gwallbwyll ar y naill du, neu anffyddiaeth ar y law arall, na rydd grediniaeth barodrwydd a diysgog iddi. Y mae hwn yn gyflwr meddwl o'r pwys mwyaf yn ein hymofyniadau crefyddol, ac i'r diffyg hwn, y mae yn rhaid i ni, tybiwyf, briodoli y canlyniadau aflesiol a ddilynant ddadleuaeth yn fynych. Yn mherthynas i'r ddadl ar Berson yr Iachawdwr, yn enwedig, y mae llawer yn ysgrifeniadau un blaid yn arddangos y diffyg hwn, anfoddlonrwydd i ymddarostwng i'r ysgrythyrau, ac awydd i *beri iddynt* drwy feirniadaeth ddiddeddf lefaru fel y myno y dadleuwr. Yr wyf yn gwybod fod hwn yn gyhuddiad difrif-ddwys—ac yn ystyried hyny—ac yn cofio y pechadurusrwydd cyssylltiedig â dwyn camdystiolaeth—etto, gan fy mod yn credu taw gwir dystiolaeth yw hon, a bod y peth o'r pwys mwyaf, yr wyf yn crefu sylw ati yma. I'r rhai hyddysg mewn llyfrau Saesneg digon i mi fydd enwi y ddau lyfr enwocaf ar y ddadl hon, un o bob tu, sef, "*A Calm Inquiry into the Scripture Doctrine concerning the Person of Christ,*" 1 *Vol.* 8*vo.*, *by* Thomas Belsham—a, "*The Scripture Testimony to the Messiah,*" *&c. by* J. Pye Smith, D. D., 3 *Vols.* 8*vo.* Y mae darlleniad, mor ofalus ag y medrwn, y ddau waith hyn wedi peri yr

argraffiad dwysaf ar fy meddwl i i'r perwyl uchod. Er prawf o hyn, sylwed y darllenydd ar a ganlyn o waith Belsham* :—

"Mat. ix, 4, 'Jesus knowing their thoughts'—Compare Mark ii. 8,' When Jesus perceived in his spirit that they reasoned thus within themselves.' See also Luke v, 22.

"Perhaps the Historians might mean nothing more, than that he judged from their countenance what was passing in their minds." Hyny yw,

"Efallai nad oeddynt yr Haneswyr yn meddwl dim yn ychwneg nag iddo farnu oddiwrth eu gwynebpryd beth oedd yn pasio yn eu mheddyliau."—*Calm Inq. p.* 115.

Cofier, dyma destunau a ddygir yn mlaen gan gredinwyr yn Nuwdod Crist i brofi ei hollwybodoliaeth, a gwrthateb, a gwrthbrawf Mr. Belsham yw *Efallai* nad ydynt yn cynnwys ond hyn a hyn. *Efallai !!* ie, *efallai* eu bod yn cynnwys mwy—a pha fath barch i air Duw yw boddloni ar y fath esboniad â hyn?

Etto, wedi crybwyll am gynnyg *Slichtingius*, i drawsosod llythyren yn Rhuf. ix. 5, fel y darllener *ων ο* yn lle *ο ων*, sylwa Mr. Belsham,—

"This conjecture, ingenious, and even probable as it is, not being supported by a single manuscript, version, or authority, cannot be admitted into the text. But one may almost believe that the present reading might be owing to an inadvertence in one of the earliest transcribers, if not in the Apostle's own amanuensis."—Hyny yw,

"Y cynnygiad hwn, er ei fod yn gywrain a thebygol, nid yw yn cael cynnorthwy gan gymmaint ag un ysgrif, cyfieithad, nac awdurdod, am hyny nis gellir ei osod yn y testun. Ond gallai un agos a chredu y gallasai y darlleniad presennol gyfodi oddiwrth anneheurwydd yn un o'r trawsysgrifwyr boreuaf, neu efallai yn llaw-ysgrifydd yr Apostol ei hun."—*Calm Inq., p.* 143.

Yn awr pa gyflwr meddwl tuag at air Duw a fynegir yma? Dyma dystiolaeth ysgrythyrol yn yr hon y gelwir Crist yn "Dduw bendigedig yn oes oesoedd." Dyma ryw feirniad wedi cynnyg gwelliant yn yr adnod, cyfaddefa Mr. Belsham fod y gwelliant yn hollol anoddefadwy, yn anghynnaliadwy gan gymmaint ag un ysgrif nac awdurdod pa bynag, etto, *gallai dyn agos a chredu*—geiriau rhyfedd iawn, *y gallasai y darlleniad presennol gyfodi oddiwrth anneheurwydd, &c.* Pa deimladau a gynhyrfir at yr ysgrythyr yn mynwesau y sawl a dderbyniant beth fel hyn fel ymofyniad am wirionedd ysgrythyrol? Etto,—

"5. Rev. xxii, 15, 'I am Alpha and Omega, the beginning and the end, the first and the last.'

"In reasoning from the book of Revelation it should be remembered that this is one of the books the genuineness of which was much contested in the primitive church, and which therefore, as Dr. Lardner observes, Hist. of Apost., Vol, 1, p. 30, ought not to be alleged as affording, alone, sufficient proof of any doctrine."—Hyny yw,

"Wrth ymresymu oddiwrth lyfr y Dadguddiad, ni ddylid anghofio taw hwn yw un o'r llyfrau ag y dadleuid yn fawr yn nghylch eu gwirionedd (awduriaeth) yn yr eglwys gynteflg, ac am hyny, fel y sylwa Dr. Lardner, na ddylid ei hòni fel yn rhoddi, ei hun, brawf digonol o unrhyw athrawiaeth."—*Calm Inq., p.* 173.

Wel, a chaniatâu sylw Dr. Lardner, nad yw mynegiadau llyfr y Dad-

* O argraffiad 1817 o lyfr Mr. Belsham yr wyf yn dyfynu—Y mae y llyfr hwn wedi ei gyfieithu i'r Gymraeg gan fy nghymmydog dysgedig, *Mr. James, Gellionen.*

guddiad yn unig yn ddigonol i brofi pwnc, beth os yw y mynegiadau hyn yn cyd-ddweyd ag ysgrythyrau ereill? Buasai rhyw rym yn hyn, pe na allesid dwyn profion o Dduwdod Crist o lyfrau ereill y gair bendigedig —ond nid yw y testun uchod ond cydlefaru ag amryw ereill—ac nid yw dweyd nad yw yn awdurdod pan wrtho ei hun, yn un math o ateb iddo, na gwrthbrawf o hono, *pan nad yw yn y cyflwr hwnw*. Efelly, a chymmeryd Mr. Belsham ar ei dir ei hun, twyll-ddadl sydd ganddo, ac anmharch a rydd ar lyfr y Dadguddiad. Etto, sylwer, dyma y cwbl a ddywed o barthed y testun hwn—yn y testun *dywed Iesu Grist ei hun*, "Myfi yw Alpha acOmega," &c.; ac ni rydd Mr. Belsham un ateb i'r dystiolaeth, nac un rheswm dros ei barhad i anghredu Duwdod Crist *yn ngwyneb y testun hwn*, ond yr un swta, twyll-ddadleugar uchod.—Ai dyma beth yw ymofyniad *tawel* i dystiolaeth yr ysgrythyrau am Berson Crist?

Nid yw fy nherfynau yn caniatâu i mi liosogi y dyfyniadau hyny, onitê gallaswn osod llawer yn ychwaneg o flaen y darllenydd, eithr rhaid boddloni ar yr un canlynol yn unig:—

"In the Gospel of John, our Lord sometimes uses metaphors of the most *obscure* and *offensive* kind!!! such as 'eating his flesh' and 'drinking his blood,' to express the reception of his doctrine. Chap. vi, 56, &c.

" * * * * the Epistle to the Hebrews, the author of which is doubtful, and in which the writer indulges himself in an ingenious, but *forced*, and *fanciful (!)* analogy between the Mosaic institute and the Christian dispensation."—*Calm Inq. pp.* 12, 13.

Dyma ddigon i ddangos i'r darllenydd pwyllgar a diduedd ysbryd yr awdwr, a'r anmharch rhinweddol a gweithredol i air Duw a nodwedda ei waith.

Os nad yw yr ysgrythyr yn WIR *air Duw*, od yw yn oddefol i ni, yn lle derbyn yn galonog ei *holl* dystiolaethau, osod y fath ystyriaethau â'r rhai blaenorol i gymmeryd ymaith rym ac awch nebrhyw ranau o hono, yn ol ein mympwy a'n rhagfarnau ein hunain, nid ydym yn meddu un maenprawf gwirionedd, yr ydym ar fôr tymhestlog, heb lyw na chwmpawd —yn druenusion digymhorth a thruenus. Nid felly y tybiai Mr. HARRIS, eithr cymmerai ei safle ar y gwirionedd datguddiedig, gan appelio at hwn, ac ymddarostwng iddei holl dystiolaethau. Daeth i benderfyniad diysgog ar y pwnc, ac yn y "Traethawd" ceir cynnyrch ei fyfyrdodau. Gallasai ddywedyd gyda'r enwog Dr. Pye Smith, yn niwedd ei lafur ëangach ar yr un pwnc,—

"The conclusion to which my most serious conviction flows from THE WHOLE of the Prophetic and Apostolic testimony concerning Christ, received in simplicity and sincerity, without hiding, rejecting, or evading, any part of that testimony, is that THE PERSON OF JESUS, THE CHRIST, THE LORD, REDEEMER, AND SAVIOUR OF MANKIND, comprises the unique and mysterious UNION of humanity and DEITY; the human nature with all its proper qualities, and the DIVINE NATURE with all its essential PERFECTIONS. This I embrace as the dictate of the Scriptures, the Primitive and Apostolic faith, and the immovable TRUTH OF GOD."

D. R. S.]

# "GAIR DUW YN ERBYN DYCHYMMYG DYN;"

NEU,

## HAWL PLANT BYCHAIN I'R ORDINHAD O SWPER YR ARGLWYDD,

**Wedi ei brofi trwy yr ysgrythyrau, yn ol ymresymiadau "T. Powel, gweinidog yr Efengyl yn Aberhonddu;"**

GAN GYFAILL BABANOD.

***Yngkyd ag amryw Sylwadau Beirniadol ar Aelodaeth Eglwysig Babanod, a'r iawn Ddull o Fedyddio, gan Wrthwynebwr Cyfaill Babanod.***

**Y neb a gloddio bydew, a syrth ynddo; a'r neb a dreiglo gàreg, ato y dychwel.—Salomon.**

---

[Yn y flwyddyn 1821 cyhoeddwyd llyfryn o blaid Bedydd Babanod, gan y Parch. Thos. Powel, bryd hyny o Aberhonddu, dan yr enw "Gair Duw yn erbyn dychymmyg dyn," &c. Buwyd yn dadleu am getyn o amser ar y pwnc mewn llyfrynach a gyhoeddwyd ar y naill du gan Mr. Powel, a Mr. Williams, Llanwrtyd; ac o'r tu arall gan Mr. Evans, Aberhonddu, a Mr. Saunders, o Ferthyr Tydfil. Pan oedd y ddadl yn tŷnu at ei therfyn cyhoeddwyd y dernyn canlynol gan Mr. Harris, dan yr enw "Cyfaill Babanod," ynghyd â llythyr ychwanegiadol ar ystyr y gair *Baptizo,* gan *Twrch Daiar*, sef y diweddar ddysgedig a'r Parch. D. Williams, (Iwan.) Fe wel y darllenwyr natur y dernyn hwn, wrth ystyried taw rhesymau Mr. Powel dros *Fedydd* Babanod a ddefnyddia Mr. Harris dros *Gymundeb* Babanod yn fynych yn ngeiriau y blaenaf, ond yn unig fod y gair *cymundeb* yn cael ei arferyd yn lle y gair *bedydd.* Yn y nodau ar odreu y dail, dan y ffurf o wrthsylwadau ei gyfeillion T. Parri, ac Efan Siencyn, y mae Mr. Harris yn gosod ger y darllenwyr ei wrthresymau ei hun yn erbyn cyfundraeth Bedydd Babanod. Hyn oll a wneir mewn ieithwedd ddigrif, ac weithiau, yn gellweirgnöawl.—D. R. S.]

---

Ddarllenydd Hawddgar,—Wedi cael fy nhueddu gan sêl, "Heb gymhelliad gweinidogion tair sir," ac heb "chwilio yr ysgrythyr lân gyda manylwch yn yr ieithoedd Groeg a Chymraeg," nac un iaith arall, ysgrifenais y llyfr hwn, gan ymddibynu yn hollol ar rym ymresymiadau Mr. Powel, yn y llyfr a eilw efe "Gair Duw yn erbyn dychymmyg dyn," &c., a hyny gan mwyaf *yn ei eiriau ef ei hun*, ond fy mod yn gosod y geiriau *cymundeb babanod*, lle y mae *bedydd babanod* ganddo ef, a newid rhai ymadroddion i'r dyben i ateb i'r gwahaniaeth uchod; a gosod *Taenellwyr* yn lle *Trochwyr* ac *Ail-fedyddwyr*, &c., herwydd gwybod nad oes gobaith llwyddo gyda'r Bedyddwyr i roddi cymundeb i fabanod, tra maent yn nacâu eu bedyddio; ac yn hyn rhaid i mi addef eu bod yn dra chysson â hwy eu hunain; ond erioed ni chlywyd am anghyssondeb mwy cywilyddus, nâ dadleu dros hawl babanod i freintiau eglwysig, ond ar weithredoedd yn gwadu hyny, trwy eu cau o gymundeb. Gyda'r

Taenellwyr yr ydwyf yn meddwl llwyddo; am hyny ni soniaf am neb ereill; ac i'r dyben i wneyd fy llwyddiant yn fwy gobeithiol, *eu rhesymau hwy eu hunain* a ddefnyddir genyf. Nid wyf yn dysgwyl y tramgwydda neb pleidiau crefyddol wrthyf am enw fy llyfr,—"Gair Duw yn erbyn dychymmyg dyn," (a dywedyd y byddai Dychymmyg dyn yn erbyn Gair Duw yn well enw;) canys dyna enw Traethawd Mr. Powel, ymresymiadau yr hwn, gyda'r cyfnewidiad rhag-ddywededig, (ac ychydig ychwanegiad mewn rhai manau,) a gewch yn y dalenau canlynol, y rhai a ddangosant yn eglur i bawb o honoch fod gair Duw mor gryf dros gymundeb babanod, ag yw dros eu bedyddiad; ac mi a hèriaf Mr. Powel (a gweinidogion y tair sir) i ateb fy llyfryn i, heb lwyr ddadymchwelyd pob ymresymiad yn ei lyfr ei hun.

Dichon y gall Mr. Powel, neu ryw rai o'r un tuedd ymrysongar ag ef, geisio rhag-feddiannu y cyffredin â rhagfarn yn erbyn fy llyfr, trwy ddweyd nad yw yn werth sylw, am na ddewisais osod fy enw priodol wrtho; lloches yw hon ag y mae llawer o'i flaen ef wedi rhedeg iddi, mewn cyffelyb amgylchiadau ag y gall ef fod ynddynt, sef pan fyddo eu pwnc yn syrthio, a hwythau heb fodd i'w ategu: ond gwybydded ef, a phawb ereill y syrthia y llyfryn hwn i'w dwylo, mai nid cywilydd i arddel fy ngwaith a fu yr achos i mi guddio fy enw adnabyddus, a galw fy hun yn *Gyfaill Babanod.* Nid wyf wedi deall etto bod enw un dyn, a gadael bod hwnw mor anrhydeddus â *T. Powell, gweinidog yr efengyl yn Aberhonddu*, yn gwneyd dim yn y mesur lleiaf dros nac yn erbyn y gwirionedd; a gŵyr ef a phob gwr mor *ddysgedig* ag ef, fod yr ysgrifenadau mwyaf enwog, rhagorol, a phoblogaidd mewn gwahanol ieithoedd, (ac yn mysg ereill yr epistol at yr Hebreaid,) heb enwau priodol eu hawdwyr wrthynt; ac yr wyf yn sicrhau iddo ef, yn y modd mwyaf syml, y gwnaf fi yr un faint o sylw, ac y talaf yr un cymmaint o barch i'w ateb ef i'r llyfr hwn, (oblegid yr wyf yn ei dynghedu ef, neu rhyw rai o'i frodyr dysgedig, os na all ef, i'w ateb) galwed ei hun wrth yr enw a fŷno, pe byddai hyny yn *hanner cyfaill babanod*, os mwy dewisol ganddo; â phe byddai yn gosod ar y ddalen enwawl mewn llythyrenau o aur, "GAN Y PARCH. T. POWELL, GWEINIDOG YR EFENGYL YN ABERHONDDU." "Fy nyben, yn fwyaf neillduol, yw rhagflaenu pobl ieuainc yr ysgolion Sabbothol, ac ereill, rhag derbyn cyfeiliornad y Taenellwyr."

CYFAILL BABANOD.

D. S. Y sylwnodau ar odre y dail ydynt eiddo rhyw ddynion taeog a dadleugar, a'm gwrthwynebent pan fyddwn yn amddiffyn haeriadau grymus Mr. Powel. Gosodwyd hwy i lawr yma, modd y gallai ef gael cyfle i'm cynnorthwyo i'w ateb yn ei lyfryn nesaf; am yr un rheswm, y rhoddwyd lle i'r sylwadau ar ddull bedydd.

---

## RHAGYMADRODD.

Y mae llawer o bobl yn ein gwlad heb wybod mewn pa bethau y mae y gwahaniaeth rhyngom ni, cymunwyr plant, a'r Taenellwyr. Rhai a

feddyliant mai dyma y gwahaniaeth, sef ein bod ni yn dadleu yn erbyn rhoddi cymundeb i rai *oedranol*, a'u bod hwythau yn dadleu yn erbyn rhoddi cymundeb i blant; nagê, cam-gymmeriad yw hyn. Yr ydym ni yn dal gystal â hwythau, fod *credinwyr oedranol* yn addas i dderbyn Swper yr Arglwydd. Felly yr ydym ni yn gymhwys yr *un farn* mewn perthynas i gymundeb credinwyr. Gan hyny, nid oes achos son un gair ynghylch cymundeb credinwyr: canys i ba ddyben y gwnant hwy ddadleu dros gymundeb credinwyr, pan yr ydym ninnau yn dadleu drosto fel hwythau? Yr unig ofyniad yw, "A ydyw plant bychain yn rhai addas i gael cymundeb, ai nid ydynt?" Nyni a ddywedwn eu bod; eu hewyllyswyr drwg a ddywedant nad ydynt. Yr unig ffordd sydd ganddynt i geisio profi hyn yw, trwy ddangos fod credinwyr yn rhai addas, a thrwy gymhwyso yr ysgrythyrau at blant ag sydd yn perthyn i rai oedranol yn unig. Ni ddichon yr ysgrythyrau ag sydd yn son am gymhwysiadau credinwyr i gymundeb, brofi dim yn erbyn plant bychain. Ac nis gellir byth brofi fod cymundeb plant bychain yn anghymwys trwy brofi fod cymundeb credinwyr yn gymhwys; etto dyma yr unig ffordd y mae gwrthwynebwyr plant yn ceisio profi eu pwnc.

I wneuthur y peth yn fwy amlwg, gadewch i mi ofyn i chwi, A ydyw y plant bychain sydd yn marw yn myned i'r nefoedd? Chwithau a atebwch, Y mae y gwir gredinwyr yn myned yno. Y neb a gredo, a fydd gadwedig. Yma yr atebaf, nid wyf fi yn gofyn dim am gredinwyr, eithr gofyn yr wyf fi, pa un a bod plant bychain yn myned i'r nefoedd ai peidio? Pa fath ateb yr ydych yn ei roddi i'r gofyniad hwn? Ai trwy goffhau cant o ysgrythyrau sydd yn profi bod credinwyr yn gadwedig? A fedrwch chwi brofi fod plant bychain yn golledig, o achos bod credinwyr yn gadwedig? Yr un peth yn gymhwys i wrthodwyr cymundeb i blant geisio profi hyn, a cheisio profi fod plant bychain yn anghymhwys i gymundeb o achos fod credinwyr yn rai cymhwys. Er mor druenus yw y ffordd hon, etto rhaid i'r Taenellwyr ei dilyn neu dewi, am na *feddant un ffordd arall i amddiffyn eu cyfeiliornad dirmygus.*

---

## FOD HAWL GAN BLANT BYCHAIN CRISTIONOGION I'R ORDINHAD O SWPER YR ARGLWYDD.

### Y GOSODIAD I.

YR oedd plant bychain yn aelodau o eglwys Dduw dan yr Hen Destamentau. (1.) Fe wnaeth Duw gyfammod ag Abraham, (Gen. xvii;) ac nid cyfammod gwladol, (fel y dywed gwrthwynebwyr plant), yn unig oedd ef, ond cyfammod o ras oedd. Beth y mae efe yn addaw iddynt? "*Mi a'ch rhoddaf mewn meddiant o wlad Canaan.*" Ai dyma y cwbl? Nagê; eithr, "Mi a fyddaf yn Dduw i ti, Abraham, ac i'th hâd ar dy ol." Yn yr un addewid hon, y mae *pob* bendithion, tymhorol, ysbrydol, a thra-

gywyddol yn cael eu haddaw ar unwaith, prawf eglur o hawl babanod i gymundeb. (2.) Edrychwch yn mhellach ar holl *freintiau eglwysig* yr Israeliaid. Perthyn iddynt fel eglwys oedd oen y pasg, ac nid fel gwladwyr; oblegid gallasai y cenedloedd fyw yn eu mysg heb gael cyfranogi o oen y pasg, *fel gwladwyr;* ond ni chawsent eu derbyn i'r eglwys, heb fod hawl ganddynt i oen y pasg, Ecs. xii, 3, 4, 43—45. Am hyny y mae yn eglur, mai cyfammod o ras a wnaeth Duw ag Abraham, ac mai ordinhad grefyddol oedd oen y pasg. (3.) Os dywed neb nad oedd cenedl yr Iuddewon yn eglwys, y maent yn dywedyd ar *unwaith*, nad oedd gan Dduw eglwys ar y ddaear dros agos i ddwy fil o flynyddoedd. Ni thal dywedyd yma mai y duwiolion yn nheulu Abraham oedd yr eglwys weledig; canys yr oedd pawb a gyfranogent o oen y pasg yn aelodau o'r eglwys, Rhuf. ix, 4. Yr oedd plant yn bwyta o oen y pasg, am hyny yr oedd plant bychain yn aelodau o eglwys Dduw. Hwy a gawsant y fraint hon *dros* agos i ddwy fil o flynyddau heb i neb ei gwarafun iddynt. Gwelir yma fod plant bychain yn *rhai* cymhwys i fod yn aelodau yn yr eglwys; gan hyny, na ryfyged neb osod i fynu eu rhesymau gweigion yn erbyn trefn y nef, a gwrthod iddynt y ragorfraint o fwyta y swper santaidd.

## GOSODIAD II.

Ni chafodd plant bychain erioed eu *tori ymaith o'r eglwys gan Dduw.* Os rhoddwyd y fraint hon iddynt unwaith gan Dduw, y mae yn rhaid fod eu braint yn parhau hyd heddyw, os na alwodd Duw hi yn ol. Yr ydwyf yn galw ar wrthwynebwyr plant bychain i ddangos pa bryd y dywedodd Duw, "Ni chaiff plant fod yn aelodau o'm heglwys i mwyach." Hyd oni allont brofi hyn, doeth fyddai iddynt dewi, a chrynu wrth attal cymundeb iddynt.

I. Cyfnewidiad yr oruchwyliaeth Iuddewig. Rhai a feddyliant, trwy anwybodaeth, i'r eglwys gael ei thynu i lawr pan gyfnewidiwyd yr oruchwyliaeth. Nagê, nid felly y bu, yr eglwys ei hun a barhaodd o hyd, ei dull a'i gwedd yn unig a gyfnewidiwyd.

1. Un peth yw'r eglwys ei hun, a pheth arall yw ei hamgylchiadau. *Pethau* sydd yn *perthyn* i'r eglwys, ac nid yr eglwys ei *hun* yw yr *oruchwyliaeth:* a gellid ei chyfnewid i gyd, heb gyfnewid yr eglwys, mwy nag y mae cyrff dynion yn cyfnewid wrth gyfnewid eu hymborth a'u gwisgoedd; am hyny, pa fodd y beiddiwch gau plant bychain o gymundeb?

2. Fe *safodd* yr eglwys ei hun, pan syrthiodd holl seremoniau a goruchwyliaeth yr Iuddewon: newidiwyd ei dillad, ond nid ei chorff. Beth oedd y corff? Y tadau a'r plant. Yn Rhuf. xi, gelwir yr eglwys yn olewydden: torwyd rhai o'r hen gangenau Iuddewig ymaith, ac impiwyd rhai newydd o'r cenedloedd i mewn; ond ni ddystrywiwyd yr olewydden; sylwedd yr eglwys fyth yw y tadau a'r plant; pwy ryfyga gau yr olaf o gymundeb!

Impir yr Iuddewon etto i mewn yn eu holewydden eu hun, eu hen eglwys. Yr oedd plant bychain yn rhan o'u heglwys hwy, ac yn bwyta

Oen y pasg; ac os na fydd plant mewn cymundeb ynddi pryd y delont yn ol, nid eu heglwys hwy a fydd hi. Rhaid yw y bydd corff yr Iuddewon yn ffieiddio barn y Taenellwyr; oblegid eu bod yn cau eu plant anwyl allan o deyrnas nefoedd, ac mai dyma yr amser y derfydd yn gwbl am farn gwrthwynebwyr cymundeb plant. Nid yw tylwyth wrth gyfnewid rheolau tŷ, ddim yn troi y plant dros y drws, na gwrthod ymborth iddynt.

II. Galwad y Cenedloedd. Ni chafodd y plant eu tòri allan pryd y galwyd y Cenedloedd i mewn. Rhuf. xi. 17, Ti a impiwyd i mewn yn eu plith hwy, ac a'th wnaethwyd yn gyfranog o'r gwreiddyn, ac o frasder yr olewydden.

1. Nid eglwys newydd oedd y Cenedloedd, eithr hwy a chwanegwyd at yr hen eglwys. Eph. ii, 14, Yr Iesu a ddatododd ganolfur y gwahaniaeth oedd rhyngddynt, a gollyngwyd y Cenedloedd i mewn i blith yr Iuddewon. Barned y darllenydd, pa un ai Paul neu wrthwynebwyr cymundeb plant sydd yn dywedyd y gwir. Os gwir ddywed Ysbryd Duw yn ngenau Paul, mae yn rhaid fod eu barn hwy yn eithaf cyfeiliornus am blant bychain.

2. Weithian rhaid gofyn, pa pryd yr ysgymunwyd y plant o'r eglwys? Ni chlywyd son am eu cau allan dros o dair i bedair mil o flynyddau, nes cododd rhai o wrthwynebwyr plant bychain, ychydig gannoedd o flynyddau yn ol, draw i'r moroedd, pryd y dygwyd traws-sylweddiad i'r eglwys. Yn ol trefn Duw, y mae eu *charter* nefol heb redeg allan etto. Gwridied eu gelynion am eu cau o gymundeb.

III. Dystawrwydd yr Iuddewon. 1. Y mae yn amlwg na feddyliodd yr Iuddewon fod eu plant i gael eu troi allan o'r eglwys. Nid ydynt yn dywedyd un gair o blaid nac yn erbyn hyn. Ond paham? *Achos da*, oblegid ni soniodd neb wrthynt am y fath beth. Felly, y pryd y cofleidiodd y Cenedloedd yr efengyl, cawsant hwythau a'u plant eu derbyn i mewn i gymundeb.

2. Wele, dyma fater o'r pwys mwyaf i holl genedl yr Iuddewon dros oesoedd lawer; canys yr oedd y plant o nifer fawr iawn yn Israel; yr oedd eu braint yn werthfawr: yr oedd hi yn fraint oddiwrth Dduw, ac yn hen fraint. Ac os yw hon yn cael ei chymmeryd oddiwrthynt dros byth, heb gyfraith am hyny, ai tybied y buasai y tadau oll yn ddystaw ar y fath achos? Nid wyf yn meddwl. Gan hyny rhoddwch gymundeb i'r gweiniaid.*

* Er mor gywrain yw yr ymresymiad blaenorol, haera J. T. Parri, mai anwiredd bob gair ydyw yr haeriad, "Mai yr un yw *sylweddi* neu *ddefnyddiau* yr eglwys weledig dan bob goruchwyliaeth." Nid dichonadwy i ddyn ystyriol gredu y fath wrthuni.

Yr oedd holl hâd Jacob, bychain a mawrion, hen ac ieuainc, drwg a da, bucheddol ac anfucheddol, yn aelodau o'r eglwys Iuddewig, ac yn cyfranogi o'i holl freintiau: yr oedd yr eglwys a'r byd yn o gyfled ac yn o gyhyd; a'r un yn gymhwys oedd rhifedi y genedl ac aelodau yr eglwys. Can belled ag y golygid meibion Israel, yr oedd cystal

IV. Y mae natur a dybenion cymundeb yn dangos y dylai plant gymuno.
1. Braint i'r sawl sydd yn dyfod i mewn trwy ddrws bedydd i deyrnas, neu eglwys weledig Crist, yw cymundeb. Nid yw ffydd ac hunan-ymholiad yn gymhwysderau gofynol oddiwrth blant, ond oddiwrth ddynion mewn oedran. Trefn yw cymundeb a ordeiniodd Pen yr eglwys, i'r sawl a welo efe yn dda i'w derbyn i'w deyrnas weledig. Felly nid oes mwy o berthynas grefyddol rhwng y plant na chawsant gymundeb erioed, â

hawl gan Saul ag oedd gan Ddafydd, gan Ammon ac Absalom ag oedd gan Salomon, i holl ragorfreintiau yr oruchwyliaeth hòno. A'c oni fedyddia *Powel*, ac oni dderbyn i gyflawn gymundeb, bawb o'i gymmydogion, hen ac ieuainc, duwiol ac annuwiol, (yn neillduol os medrant brofi eu bod wedi hanu o ryw ddyn da, wedi amser Abraham,) y mae yn euog o wrthod dynion a fuasent dderbyniol gynt; ac am hyny nid yw eglwys *Powel*, a'r eglwys Iuddewig wedi cael eu gwneuthur i fynu o'r un defnyddiau. Am y rhai a gyfrifid gynt yn *eithaf pethau*, yn ddefnyddiau eglwysig rhagorol, dywed ymddygiad T. Powel, *na thalant hwy ddim yn y byd;* "Cauwch hwynt allan!" O ganlyniad, un peth oedd eglwys Israel, a pheth arall yw eglwys *T. Powel!* Nid newid dillad yn unig a welir yma, ond newid personau.

Drachefn, nid wyf yn deall bod un ffordd i ddiaelodi o'r hen eglwys ond trwy yru yr aelod pechadurus i'r byd tragywyddol, (nid oedd mo'r byd presennol gan yr eglwys hòno i droi ei baelodau ysgymun iddo;) h. y. trwy osod y troseddwr i farwolaeth; pob gwr na wnelai werth ei fywyd o ddrwg a ystyrid yn aelod rheolaidd. Eithr deallaf fod *T. Powel* yn diarddel y dynion na wnaethant werth eu crogi o ddrygioni, na chymmaint â haeddu mis o garchariad, chwaithach eu crogi: fe ganlyn, gan hyny, fod *T. Powel* yn diarddelu, fel pethau ysgymun, ddynion a gyfrifasid yn aelodau rheolaidd o'r eglwys gynt! Pa fodd ynte, y dichon efe ddysgwyl i ni ei gredu, pan y taera "Mai yr un yw defnydd, neu sylwedd, yr eglwys bob amser," pryd y mae ei ymddygiad yn profi nad yw efe ei hun yn credu mo'r sill leiaf a ddyweda ar y pen hwn!

Unwaith etto, nid yn unig mai taenellwyr babanod yn gyffredinol, trwy eu hymddygiad, yn gwrthbrofi yr haeriad, "Mai yr un yw sylwedd yr eglwys yn mhob oes," ond hefyd y mae agos cymmaint gwahaniaeth rhwng *defnyddiau* eu gwahanol eglwysi hwy a'u gilydd yn yr oes hon, ag sydd rhwng pob un o honynt a defnyddiau eglwys Israel. Eglwys Loegr, yn sicr, yn ein gwlad ni, sydd yn cydymffurfio fwyaf â chynllun yr hen gyssegr bydol; y mae ei gweinidogion yn *offeiriaid*, yn byw yn helaethwych ar fraster degymau, fel meibion Lefi, ac yn "gwneuthur plant i Dduw, ac aelodau i Grist," o holl blant eu plwyfau a ddygir atynt, a chaiff y plant hyn i Dduw wedi tyfu i fynu, fyw yn annuwiol fel plant y diafol heb eu hysgymuno! Y mae yma ddynesiad pwysig at yr hen eglwys, o ran defnyddiau; etto nid yr un yw yr eglwys hon o ran *sylwedd* a'r eglwys Iuddewig; canys nid oes hawl gan blant yr offeiriaid i'r offeiriadaeth, megys yr oedd gan holl fechgyn Lefi; hefyd, yr ydys yn ysgymuno ambell un a wnaethwyd yn blentyn i Dduw o'r eglwys hon, heb ei labyddio â meini, neu ei grogi; os na ddiarddelir dyn am dyngu a rhegu, a phechu yn erbyn Duw, etto gall gael ei ysgymuno am bechu yn erbyn yr *eglwys*. Hefyd, nid yr un yw *defnyddiau* pob cangen o'r eglwys hon a'u gilydd. Derbynir y plwyfolion yn gyffredin i gymundeb gan yr offeiriad H—; ond ni dderbynir neb gan ei gymmydog W—, oni cha efe, wrth ymholi le i farnu eu bod yn wir dduwiol; o ganlyniad, nid yr un yw *defnyddiau* eglwys H— ag eiddo W—, er eu bod eill dau yn offeiriaid eglwys! Rhaid cyfaddef yn wir fod eglwys Loegr H— yn llawer tebycach i eglwys Moses nag eglwys Loegr W—!

Nid yn unig y mae Eglwys Loegr yn gwahanu mewn sylwedd oddiwrth yr eglwys Iuddewig, ond y mae y sectau ereill o daenellwyr yn amrywio cymmaint, os nid mwy,

Christ, nag sydd rhwng anifeiliaid y maes ag ef. *Bedydd sydd yn eu derbyn i'r eglwys weledig*, ac nid yw yn bosibl iddynt gyfranogi o freintiau hòno, oni chânt gymundeb. 2. Y mae cymundeb yn ddrych i ni weled ein breintiau ysbrydol. Y mae yn arwyddo cariad a dyoddefaint anfesurol Iesu, maddeuant pechodau, a holl ranau yr iechydwriaeth fawr; gan hyny onid yw yn fraint neillduol i gael yr ordinhad ag sydd yn arwydd oddiwrth Dduw o'r fath fendithion? A allwn ni dderbyn y fath

oddiwrth Eglwys Loegr, ac oddiwrth eu gilydd, ag yr amrywia hithau oddiwrth yr eglwys Foesenaidd; ie, y mae sect Powel ei hun, yr Anymddibynwyr, hyd yma yn methu cyduno ynghylch pwy ydyw iawn *ddeiliaid bedydd*, neu pwy sydd yn addas i'w derbyn yn aelodau. Dywed *Mr. Roberts*, Llanbrynmair, a llawer o weinidogion y tair sir a annogasant *Powel* (os gellir ei gredu) i gyhoeddi ei lyfryn ar fedydd, fod hawl gan blant yn gyffredinol, dan yr efengyl, i fedydd, sef plant dynion drwg yn gystal ag eiddo dynion da: ond yn ol *T. Powel* ac Ysgolfeistriaid y *Bala*, rhaid bod y tad neu y fam yn proffesu, cyn y byddo hawl gan y plant i fedydd; y rhai a gyfrifa *Mr. Roberts* yn ddefnyddiau rhagorol, a wrthodir fel ffieidd-bethau gan ei frawd *enwog* o Aberhonddu. Gwelir yma fod *sylwedd* eglwys *Powel* ag eiddo *Mr. Roberts* yn llwyr wahanol. Y mae Eglwys Loegr yn myned yn nes nâ neb ereill at eglwys Judea, a *Mr. Roberts* yn myned yn nes nâ *Powel* at Eglwys Loegr; ond y mae *Powel*, o ddygwyddiad, mor gysson ag ef ei hun â hwythau!

Dichon *Mr. Roberts* ofyn i *T. Powel*, "Pa bryd, fy anwyl frawd, y tröwyd y plant (y rhai a wrthodir gan yr olaf) allan o'r eglwys?" A dichon *Powel* ofyn i *Mr. Roberts*, "Pa bryd, fy mrawd anwylaf, y gwrthodwyd y rhieni, pryd y byddai eu plant yn dderbyniol?" A gallai H—, yr offeiriad, ofyn i'r ddau, "Pa bryd, y Sismaticiaid, y cauwyd y rhai a *elwid* yn Israeliaid allan o gymundeb, neu holl freintiau yr eglwys?" A gobeithiaf y gallaf finnau ofyn yn ddidramgwydd i'r tri phendefig hyn, "Pa bryd, chwi ddysgyblion Moses, y derbyniwyd rhieni diarwyddion duwioldeb, a babanod duwiolion, neu eiddo annuwiolion, i holl freintiau yr eglwys Gristionogol?" "A phe caniatëid iddynt yn awr fedydd a chymundeb, heb awdurdod ysgrythyrol, pa fraint iddynt hwy fyddai hyny, nes delent i wybod pa beth y maent o'i herwydd?"

Dengys y sylwadau uchod yn amlwg, nad yw yn bosibl fod cymmaint â dyn yn mysg holl sectau y Taenellwyr yn credu eu haeriad gwrthun eu hun, "Mai yr un yw sylwedd yr eglwys yn mhob oes." Nid yn unig hyny, ond gwelwn hefyd eu bod yn gwrthwynebu eu gilydd o ran defnyddiau yr eglwys efengylaidd; nis medrant gyduno pwy sydd â hawl i fedydd a swper yr Arglwydd; y sawl a wrthodir gan y naill a dderbynir yn siriol gan y llall! Ac etto y mae digon o bres yn nhalcen T. P., i ddangos ei wyneb i'r wlad, a thaeru yn ddigywilydd, "Yr un yw defnyddiau yr eglwys bob amser!" Pe dilynai y cyfeilliornwyr hyn gynllun hen eglwys Israel yn drwyadl, neu eiddo eglwys y Testament Newydd, ni byddai lle i'r amrywiaeth sydd yn eu mysg i flaguro mor helaeth; canys yn ol y cyntaf, dylid derbyn pawb, drwg a da, yn ddiwahaniaeth, fel y sylwyd, fel deiliaid addas i fedydd a chymundeb: ond yn ol yr ail, ni ddylid derbyn neb i fedydd, oni bydd yn proffesu ffydd yn Nghrist; nac i gymundeb, oni fedr holi ei hunan. Tra parhao y Taenellwyr i gymmysgu rheolau y ddwy oruchwyliaeth, nis gallant yn eu byw gyduno ynghylch *sylwedd* yr eglwys; eithr pe ystyrient gyssondeb o werth ei arddel, rhaid fyddai iddynt ddewis naill ai *Crist* neu *Moses*, ac un o'r ddau yn unig, yn ben i'r eglwys; ac os Crist yw ein hunig Feistr, eglur yw mai yr eglwysi Cristionogol crybwylledig yn y Testament Newydd, ac nid yr eglwys Iuddewig, a ddylem eu dilyn; a'r un mor eglur yw, nad oedd neb yn aelodau o'r eglwysi Cristionogol hyny, ond y rhai a broffesent ffydd yn Nghrist. Nis gwn i pa fodd y mae rhwng Taenellwyr a'u cydwybodau—Duw sydd i farnu; eithr digrif ddigon yw eu

arwydd yn rhy fore? Y mae yn gysur i wir Gristionogion feddwl am weithred garedigol eu rhieni yn eu dwyn mor fore at fwrdd y cymun bendigaid, i dderbyn arwydd o fendithion y nef. 3. Gan fod cymundeb yn arwydd o fendithion mor fawr, y mae yn ein gosod dan rwymau tra neillduol i wasanaethu yr Arglwydd yn ffyddlon. Onid ein dyledswydd, gan hyny, yw rhoddi ein plant mor fore ag y *gallom* (heb oedi myned wedi eu dyfodiad i'r byd) dan y rhwymau mwyaf a fedrom i wasanaethu yr Arglwydd, a'u cyflwyno i'w ofal, a'u dwyn o amgylch ei fwrdd santaidd!

clywed yn taeru mai yr un yw sylwedd yr eglwys bob amser, ac ar yr un anadl, dywed y naill mai aelodau eglwysig odiaethol yw y miloedd a wrthodir gan y llall!

Hefyd, nid gwahaniaeth o ychydig bwys sydd rhyngddynt; nid gwahaniaeth ydyw ag sydd yn perthynu i achos *ychydig*, ond i *lawer*. Os cymmerir trigolion ynys Prydain gyda'u gilydd, prin y ceir un teulu o dri yn dwyn nodau gwir dduwiolion; yn ol y gosodiad hwn, bydded i ni ystyried cyfiwr tair miliwn o deuluoedd, (penteuluoedd a olygaf,) a gadael bod pedwar o blant yn mhob teulu, a chymmeryd un gyda y llall; yna y cawn 12 miliwn o blant, sef pedair miliwn o blant duwiolion, ac wyth miliwn o blant dynion diarwyddion duwioldeb. Gofynaf yn awr i'r Taenellwyr, pa beth i wneuthur â'r 12 miliwn hyn o wirioniaid bychain; Ai cymhwys eu derbyn i'r eglwys ai peidio? Beth a ddywedwch chwi, *enwocaf* Powel, ac athrawon *dysgedig* Ysgol Sabbothol y Bala? "O, derbyniwch 4 o'r 12 miliwn yn aelodau eglwys, a gwrthodwch yr 8 miliwn ereill; canys er eu bod mor ddiniwed, deallus, a ffyddiog a'r lleill, etto y maent yn llwyr anghymhwys i fod yn aelodau eglwysig; Och! och! ni ddylai bod mwy o berthynas weledig rhyngddynt â Christ nag anifeiliaid y maes." Clywch chwi, Offeiriaid yr Eglwys Lân Gatholig, a Mr. Roberts, Llanbrynmair; ai priodol dilyn cynghor y Taenellwyr *enwog* uchod? "O, nage, (gelynion plant bychain!) derbyniwch y 12 miliwn i'r eglwys; y maent oll yn eithaf defnyddiau eglwysig, y naill bob tipyn cystal â'r llall?" Clywch etto, foneddigion, ai cymhwys derbyn rhai, neu bawb o honynt, i gymundeb? "O, na, neb," medd yr Offeiriaid; "Neb," medd Mr. Roberts; a Neb," medd Powel; canys ni wyddant beth y maent o'i gylch;" er eu bod yn gwybod yr un faint yn gymhwys am gymundeb ag am fedydd. Wel, a gawn ni eu derbyn i gymundeb wedi y tyfont i fynu, gan nad pa fodd yr ymfucheddont? "Cewch," medd ymddygiad rhai Offeiriaid: "Na chewch," medd Mr. Roberts: "Na chewch, er dim," medd Powel, o Aberhonddu! Ac etto, "yr un yw sylwedd yr eglwys bob amser!" Ardderchocaf ymresymiad! Godidocaf gysondeb!

Byddem yn dysgwyl i'r sylwadau uchod beri i *T. Powel* wridio, oni byddai fod ganddo ef lawer "o fanteision ar" ymresymwyr yn gyffredin: cydwybod gymmwynasgar, a rhyddid trwyadl oddiwrth y teimlad o gywilydd, &c. Gyda yr un cymhwysder y gallai daeru, "mai yr un yw y tywyllwch a'r goleuni bob amser, ac mai yr un peth yn gwbl a feddylir wrth y rhif pedair miliwn â'r rhif deuddeg miliwn! neu bod *pedair punt* yn ddigon o *dâl* am nwyddau a brynodd am *ddeuddeg punt!* ac mai yr un peth a feddylir wrth *Twm Dwl* a *Selyf Ddoeth!* Ond ofer dysgwyl i ddyn wridio am unrhyw wrthuni, hyd oni welo Duw yn dda i roddi iddo synwyr cyffredin a theimladau dynol.

Yn mhellach, er bod Eglwys Loegr yn debycach i'r eglwys Iuddewig nag eiddo T. P., ac yn derbyn llawer i'w mynwes garedig, a wrthodir ganddo ef ac Ysgolheigion y Bala, etto y mae yr holl blant a ystyria Powel yn aelodau eglwysig rheolaidd, wedi iddo ef, neu ereill o'i frodyr, eu taenellu, yn llwyr wrthodedig gan rai o offeiriaid yr Eglwys Sefydledig, hyd oni wnelir hwy yn blant i Dduw trwy ail-daenelliad, yn ol eu cynllun eu hunain. Ychydig flynyddau yn ol, clywais fod Mr. Rowlands, yr hwn oedd bryd hyny yn Offeiriad Llangyfelach, gerllaw Abertawe, yn taenellu amryw blant

4. Gwelwn hefyd am natur cymundeb, ei fod yn sêl ag y mae efe yn ei osod wrth ei gyfammod gras.

V. Y mae *cymhwysder* plant i'r ordinhad yn dangos y dylent gael cymundeb. 1. Onid yw plant bychain yn rai cymhwys i dderbyn *gras cadwedigol?* Yr ydym yn rhwym i gredu fod llawer wedi cael eu santeiddio o'r bru. A phe byddent *heb* ras cadwedigol, nid ydynt i gael eu cau allan o'r eglwys, oblegid dywedodd Crist, "Gadewch i'r ddau gyd-dyfu," sef, babanod bychain grasol, a babanod anfad diras. Os ydynt yn addas i dderbyn gras, y maent yn addas i dderbyn cymundeb, yr arwydd allanol o hono.

ag yr oeddid wedi eu taenellu cyn hyny gan yr Anymddibynwyr a'r Trefnyddion; a bod offeiriad arall gerllaw Merthyr Tydfil, yn gwneuthur yr un peth; ac y mae llyfryn bychan newydd ddyfod i'm llaw, a gyfansoddwyd gan Mr. W. Jones, gweinidog yr Anymddibynwyr, yn Mhenybont, Morganwg, ac a argraffwyd gan Mr. J. Harris, Abertawe, yn 1821, yn yr hwn yr achwyna Mr. Jones yn fawr ar y Parch. H. Philips, Curad Llangrallo, am fedyddio plentyn, neu blant, a fedyddiwyd o'r blaen gan weinidog yr Ymneillduwyr; er bod y dull a'r deiliaid yr un! Rhyfedd, os sêl dros y gwirionedd a gynhyrfodd T. Powel i ysgrifenu, na buasai yn ymosod ar yr *Ail-fedyddwyr hyn*!

Yn ol ymddygiad y taenellwyr offeiriadol dywededig, "nid oes mwy o berthynas rhwng yr holl blant a daenellodd *T. P.* â Christ, nag sydd rhwng anifeiliaid y maes ag ef;" er i *Powel* eu gosod, yn gryno, druain bach, yn ol ei dyb ef, yn y cyfammod, a bod o honynt yn aelodau hardd a defnyddiol iawn o'i eglwys ef, oddiar pan oeddynt bythefnos nes cyrhaeddyd pump neu ddeng mlwydd oed! Ond er hyn, nis medr yr offeiriaid digariad hyn eu hystyried amgen nag estroniaid, ac nis derbyniant hwy i gorff yr Eglwys Lân Gatholig, hyd oni wneler hwy yn blant i Dduw trwy daenelliad rhagorach nag eiddo dyn dysgedig Aberhonddu! Ac etto yr un ydyw sylwedd yr eglwys bob amser! Deisyfaf ar bawb a fedro, i beidio chwerthin. Ychydig ystyriaeth a pharch i gyssondeb a ddysgai *Powel* i dalu y pwyth i'r gwŷr da hyn. Os na ddylid taenellu plant neb ond eiddo dynion duwiol, amlwg yw nad ydyw plant dynion annuwiol yn ddeiliaid addas i'r ordinhad hon, am hyny taenelled *Powel*, ar broffes o ffydd, yr holl rai a fedro a daenellwyd gan Mr. Roberts, Llanbrynmair, a'r offeiriaid, pan *nad* oeddynt ddeiliaid addas. Ni raid iddo ofni y gwnelai hyny y drwg lleiaf i'r hen haeriad, "Mai yr un yw defnyddiau yr eglwys bob amser." Nid yw yn bosibl iddo ef, na neb ereill, i osod hwnw mewn cyflwr enbytach nag y mae ynddo yn awr. Neu ynte darllened ei Destament Newydd etto, ac yn ol y cyfarwyddyd sydd yno, bedyddied yn enw y Drindod bawb a ymddangoso eu bod yn meddu ffydd yn Nghrist, a neb ond hyny.

Sonia *Powel* am anghytundeb barn yn mysg y Bedyddwyr; ond beth sydd a fyno hyny â'r ddadl! Pa gorff o bobl sydd yn y byd, heb fod rhai o'u haelodau yn amrywio mewn barn yn nghylch rhai pethau? Ond am y pwnc mewn dadl, y mae y Bedyddwyr yn unfryd trwy y byd; nid oes yr anghytundeb lleiaf yn eu plith, o ran pwy yw deiliaid bedydd; cymmerant y Testament Newydd yn rheol, yr hwn a ddengys mor eglur mai ar broffes o ffydd y dylid bedyddio, fel nad oes le iddynt i anghytuno; ond am y taenellwyr, herwydd cymmysgu y ddwy oruchwyliaeth, hwy a ymrafaeliant yn barhaus; byth nis gallant gyd-weled pwy yw deiliaid bedydd. Ië, sect *Powel* ei hun a ymranant yn druenus ar y pen hwn; a thyma i ni ŵr mwyn yn edliw i'r Bedyddwyr nad ydynt o'r un farn am bob peth! Nid rhyfedd fyddai clywed y Taenellwyr hyn yn fuan yn taeru mai yr un yw Eglwys Rhufain, Eglwys Loegr, synagog yr Iuddewon, *mosque* Mahomet, a chynnulleidfa *T. Powel*, Aberhonddu; mai cystal gweddio ar Mair, Pedr, a Phaul, ac ar Grist; nad yw y gwahaniaeth ddim yn hanfodol, dim ond megys newid dillad! &c.

2. Y mae plant bychain heb broffesu ffydd yn myned i'r nefoedd gyda chredinwyr; paham gan hyny nad ydynt addas i gymuno gyda chredinwyr! Os na ddylent gymuno o eisiau proffesu ffydd, rhaid dywedyd na ddylid eu hachub o eisiau proffesu ffydd. Dichon plant dibroffes dderbyn bendithion yr Ysbryd Glân, megys y rhai sydd yn proffesu ffydd, ac oni allant dderbyn cymundeb, yr arwydd allanol o hyn, yn gystal â'r rhai sydd yn credu? Gwadu hyn yw gwadu y gwirionedd ar unwaith!

3. Nis gellir galw plant bychain yn *anghredinwyr*. Pe byddent felly, nid posibl iddynt fyned i'r nefoedd; y maent yn myned yno, am hyny nid anghredinwyr ydynt. Nid yw Duw yn gofyn proffes o ffydd ganddynt, nac yn gwadu *un fraint* iddynt am eu bod hebddi. Fy mrodyr anwyl, gyda'i bobl y mae Duw yn gosod plant bychain yn y byd tragywyddol, yna y mae yn amlwg mai gyda ei bobl o gylch y bwrdd cymundeb, y dylent gael bod yma.

VI. Ni chadwodd Duw *un fraint* grefyddol oddiwrth blant *proffeswyr* erioed: y mae cymundeb yn fraint grefyddol, am hyny ni chadwodd y fraint hon oddiwrthynt; (craffwch ar rym fy ymresymiad.) Gofyna y Taenellwyr, Pa fraint yw i blant gael cymundeb? Atebaf, Onid yw yn fraint iddynt gael eu symud o fyd paganaidd i eglwys Dduw, yn mhlith teulu yr Arglwydd? ac onid yw bedydd yn rhoddi hawl i *holl* freintiau yr eglwys? Nid ydynt yn cael eu gadael yn benrhydd, dim ond eu henwi fel anifeiliaid y maes, a bwystfilod yr anialwch; a dim ond taenellu ychydig ddwfr ar eu talcenau, megys y gwna y pabyddion â'r clychau, neu forwyr â'u llongau wrth eu gollwng i'r môr y waith gyntaf. Ond y maent wedi cael yr enw hardd o Gristionogion, yn cael eu dwyn i ysgol Crist i fwynhau breintiau ei eglwys. Gwelwn yn eglur fod y Taenellwyr yn attal oddiwrth eu plant y fraint ag y mae Duw wedi roddi iddynt.

VII. Tystiolaeth ac ymddygiad Crist a ddangosant fod plant bychain i gael aros yn yr eglwys dan yr efengyl. 1. Yr Iesu a gymmerth *fachgenyn*, ac a ddywedodd, "Pwy bynag a dderbynio un o'r cyfryw fechgyn yn fy enw i, sydd yn fy nerbyn i," Marc ix, 37. Pa fodd ydym ni yn derbyn Crist wrth dderbyn plant bychain? Fel hyn; y mae Crist yn Ben ar yr eglwys, a'r plant bychain yn aelodau o honi; y mae undeb gweledig rhwng y pen a'r aelodau, ac wrth dderbyn y naill yr ydym yn derbyn y llall; y mae yn llwyr anmhosibl deall y testun hwn mewn un ystyr arall, am hyny y mae y Taenellwyr, wrth nacâu cymundeb iddynt, yn dywedyd, mewn effaith, wrth Grist, "Cilia oddiwrthym, nid ydym am dy gyfeillach di ar y cymundeb, ac fel prawf o hyny rhwystrasom y rhai bychain ddyfod at y bwrdd."

2. Gwelwn etto yn Marc x, 13, 14, Yr oedd y bobl yn dwyn eu *plant bychain at Grist*. Y dysgyblion a'u gwaharddasant, a'r Arglwydd a geryddodd y dysgyblion am hyn, ac a ddywedodd, "Gadewch i blant bychain ddyfod ataf fi, ac na waherddwch iddynt; canys eiddo y cyfryw rai yw teyrnas Dduw." O eiriau melysion! o'u deall yn iawn; nid wyf

yn meddwl y gellir cael cryfach geiriau dros gymundeb plant yn yr holl Feibl. Dyweda ewyllyswyr drwg i blant, mai plant bychain mewn gras, ac nid mewn natur, oedd y rhai hyn; ac felly mai nid eiddo y plant, ond eiddo rhai fel plant, yw y deyrnas. Gan bwyll! pa reswm yw dywedyd, "Gadewch i blant bychain ddyfod ataf fi," canys y mae y deyrnas, ei chymundeb, a'i holl freintiau yn perthyn i ereill sydd *fel* plant! Os yw y deyrnas yn perthyn iddynt hwy, rhaid eu bod hwythau yn perthyn i'r deyrnas. Ond pa deyrnas a olyga Crist yn y lle hwn? Os dywed ewyllyswyr drwg i blant mai yr eglwys ar y ddaear a feddylir, yr ydym yn cytuno, ac yna rhaid addef fod gan fabanod hawl i gymundeb; ond os dywedant mai y nefoedd a feddylir, gofynaf iddynt, Os yw plant bychain yn addas i fyned i'r nefoedd, paham na chânt gymundeb gyda'r eglwys ar y ddaear? A ydyw eglwysi y Taenellwyr yn burach nâ'r nefoedd! Rhoddir lle i'r gweiniaid bychain o gylch yr orsedd fry, ond cedwir hwy oddiwrth y bwrdd cymundeb yma! Y mae barn ac ymddygiad y Taenellwyr tuag at blant bychain, yn debyg i ddelw Nebucodonosor, a'i ddefnydd yn gymmysgedig; am hyny, ni lŷn y naill ran wrth y llall. Dan. ii, 32, 33.

3. Mae comisiwn Crist i'w apostolion yn gryf o du ein pwnc, Mat. xxviii, 19, 20, "Ewch gan hyny, a dysgwch yr holl genedloedd, gan eu bedyddio hwy yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân; gan ddysgu iddynt *gadw pob peth a'r a orchymynais* i chwi." Gwneuthur dysgyblion o'r holl genedloedd, *gan*, neu *trwy* eu bedyddio, a feddylir yn y comisiwn; y mae plant yn gynnwysedig yn y geiriau *holl* genedloedd, medd Powel, am hyny rhaid bedyddio plant yn gystal â phob math o ddynion mawrion, bucheddol neu anfucheddol, boddlon neu anfoddlon, o'u hanfodd os nid o'u bodd. Gwelwch fod y gorchymyn yn bendant, yn ol fy esponiad i, dros wneuthur dysgyblion o'r *holl genedloedd*, bychain a mawrion, *trwy* eu bedyddio. Ac wedi eu gwneuthur yn ddysgyblion yn y ffordd ragorol yma, rhaid dysgu iddynt gadw *pob peth* a orchymynodd Crist; ac amlwg yw fod *cymundeb* yn un o'r pethau hyn, ac o ganlyniad, y mae mor amlwg y dylai plant gael cymundeb, ag yw y dylid eu bedyddio.*

* Nid myfi, ond llawer o ddynion mor synwyrol â T. P., a daerant fod yr ymresymiad uchod yn dra ardderchog; ond can wired â bod cydwybod gymmwynasgar gan T. P., haera Evan Siencyn nad yw bosibl i ddyn cydwybodol, diragfarn, os yn berchen synwyr cyffredin, i lefaru iaith mor wrthun ag a gynnwysir yn y ffug-resymiad uchod. Gwneuthur *dysgyblion* o fabanod trwy eu *taenellu* sydd orchwyl mor hawdd (nid hawddach) i'w gyflawni, â gwneuthur ysgolheigion a dysgedigion enwog o anifeiliaid y maes trwy wlychu eu cynffonau! Os yw Crist yn gorchymyn taenellu babanod wrth ddywedyd, "Dysgwch yr holl genedloedd, gan eu bedyddio," yn y comisiwn yn ol Mathew, pa beth a feddylia yr un comisiwn yn ol Marc xvi, 15, 16, "Pregethwch yr efengyl i bob creadur, y neb a gredo ac a fedyddier a fydd cadwedig?" Ai meddwl y geiriau hyn yw, "Gwnewch i *bawb gredu* trwy eu bedyddio!" Neu, ai dau gomisiwn llwyr wahanol a adroddir gan y ddau efangylwr? Os yr olaf, gobeithiaf y bydd Mr. P. mor gymmwynasgar â dywedyd pa un o'r ddau a ddylem ufyddhau iddo. A ydyw

Eithr taera y Taenellwyr fod 1 Cor. xi, 28, "Eithr holed dyn ef ei hun; ac felly bwytaed o'r bara, ac yfed o'r cwpan," yn groes i gymundeb babanod. Dyma ysgrythyr ag y mae ewyllyswyr drwg plant bychain yn ei floeddio allan, gan feddwl eu bod yn gorchfygu pawb rhag eu blaen: ond gadewch i ni sylwi ar ei chynnwysiad. Nid yw yr ysgrythyr hon ddim yn cau allan blant bychain, oblegid nad ydynt yn cael eu henwi: yr oedd yr apostolion yn cofio fod eu Harglwydd wedi dywedyd mai eiddo y cyfryw rai yw teyrnas nefoedd. Nid yw fod hunan-ymholiad yn cael ei osod o flaen cymundeb, ddim yn cau babanod oddiwrth yr ordinhad, pe amgen, gellid dangos nad yw yn bosibl iddynt fod yn gadwedig yn ol Rhuf. x, 9. Nid yw enwi yr hyn a ofynir oddiwrth rai mewn oedran, yn profi fod yr un pethau yn ofynol mewn babanod. Felly fe wel pawb ag ydynt am weled y gwirionedd, nad oes dim yn yr ysgrythyr hon yn erbyn cymundeb plant, yn fwy nag oedd derbyniad y pasg gan rai mewn oedran, yn mysg yr Iuddewon, yn cau eu plant bychain allan rhag cyfranogi o hono. Nid oes un adnod o fewn y Bibl, gan ewyllyswyr drwg plant bychain, ond yr un dan ein sylw, ag sydd â chymmaint â *swn llythyrenol* ynddi yn erbyn rhoddi cymundeb i blant. Ond nid oes yn hon gymmaint â sill yn erbyn hyny; pa le, gan hyny, y mae sylfaen y Taenellwyr am wrthod cymundeb i blant? Nid yn yr ysgrythyr, ond yn eu mympwy eu hunain, y ceir y cwbl o blaid eu cyfeiliornad gwarthus. Gwyddoch yn dda nad oes neb yn meddu cymmaint ag enw Cristion, heb iddo gael ei

yn hawddach gwneuthur *dysgyblion* i Grist nâ gwneuthur *credinwyr* yn Nghrist trwy eu bedyddio.

Gorchymynodd Crist "i ddysgu yr holl genedloedd, gan eu bedyddio; y mae plant yn rhan o'r holl genedloedd, am hyny, (medd *Powel*,) y mae y comisiwn yn cynnwys plant; o ganlyniad, dylai plant gael eu bedyddio." "Mi redaf i holl brif-ddinasoedd y byd mewn diwrnod," (ebe Twm Dwl, o sir Aberteifi.) "Taw, (meddai ei gymmydog,) a elli di fyned oddiyma i Lundain mewn diwrnod?" "O na, (ebe Twm,) dim ond hyd Ffair Rhos ac yn ol." Esponiad *Powel* ar y comisiwn a brawf fod Aberhonddu wedi cael ei chynnysgaeddu â Thwm Dwl ysbrydol. "Mi a fedyddiaf blant, (ebe fe) am fod gorchymyn i *ddysgyblu yr holl genedloedd*, gan eu *bedyddio*." Ond a fedyddia efe ddynion mewn oedran a fyddont heb nodau duwioldeb? Och! na wna. Onid ydynt hwy yn rhan o'r holl genedloedd? Ydynt, yn ddiamheu. A fedyddia efe blant bychain dynion digred? Nid wyf yn meddwl y gwna; canys dros fedyddio plant *proffeswyr* y mae yn dadleu. Onid yw dynion diras a'u plant yn rhan, ïe, y rhan fwyaf o lawer o'r *holl genedloedd*? Gwir iawn; ond nid yw y geiriau *holl genedloedd* o werth dim, ond pan fyddont yn ateb dyben *Powel*! Meddwl *T. Powel*, ac nid ystyr y comisiwn, yw y rheol a fÿn efe i ni ei dilyn. Wrth daenellu baban proffeswr, clywch ef yn taeru fod yr holl genedloedd i'w bedyddio, ac am hyny y dylid bedyddio babanod. Soniwch wrtho am fedyddio rhai mewn oedran heb broffes, yn nghyd â'u plant, ac efe a haera yn eich wyneb, na ddylid bedyddio yr holl genedloedd ar un cyfrif yn y byd! Prawf eglur nad yw y dyn yn credu sill o'r hyn a ddywed efe ei hun.

"Dysgyblu yr holl genedloedd, *gan* neu *trwy* eu bedyddio, ac nid *a'u bedyddio*, (medd efe) ydyw y comisiwn;" ond megys pe byddai awydd ynddo i ddamnio ei athrawiaeth ei hun, ni fedyddia efe mo'r dyn *oedranol* heb *ei ddysgu*, neu ei *ddysgyblu* cyn hyny; a rhaid i holl *blant* y digred gael eu dysgyblu hefyd cyn y bedyddio efe un o

fedyddio; y dafnau gwerthfawr yn y bedydd a wnant bagan yn Gristion mewn hanner mynyd; a chofiwch mai yr unig wahaniaeth, ïe, gwahaniaeth anfeidrol ei werth, rhwng pagan bach a Christion bach, pythefnos, neu fis oed, yw bod dafnau bychain tra rhinweddol o ddwfr wedi hanner gwlychu talcen y naill, a'r llall yn amddifad o'r fath fraint annhraethol. Eithr i ba ddyben y gwneir Cristionogion o honynt, oni chant yr ordinhad a duedda i feithrin Cristionogion? eu Cristionogi trwy fedydd, a'u paganeiddio yn eu holau trwy wrthod cymundeb iddynt! Gwneuthur ffug-Gristionogion o honynt, a gwrthod iddynt freintiau Cristionogion! a thrwy hyny yn cyhoeddi i'r byd nad ydynt yn credu mai Cristionogion yw y gwyr bach: yr unig ffordd i wneuthur gwlad Gristionogol yn wlad baganaidd, yw nacâu cymundeb i blant bychain: yr ydwyf wedi mawr synu fod y Taenellwyr yn danfon yr efengyl i Gristionogi paganiaid, pryd y maent ar yr un amser *am* wneuthur, ac *yn* gwneuthur paganiaid o Gristionogion gartref. Fy meddwl yw, y bydd llawer o'u plant yn codi i fynu yn y farn yn eu herbyn, am na wnaethant yr hyn a allasent iddynt.

VIII. Tystiolaeth yr apostolion. Act. ii, 39, "I chwi y mae yr addewid, ac i'ch plant." (Cystal peidio adrodd rhan olaf yr adnod.) Os gofynir, Addewid o beth sydd yma i'r rhieni a'r plant? Atebaf, Addewid o gael eu derbyn yn aelodau eglwysig, bid sicr, ac o ganlyniad, i gael cyfranogi o'r swper santaidd. Addewid Duw yn unig sydd yn rhoddi hawl i'r tadau; etto, ni roddwyd *un addewid* iddynt, a'r ni roddwyd i'r plant yn gystal â hwythau. Ac os rhaid rhoddi cymundeb i'r rhieni, am fod yr addewid yn perthyn iddynt; felly rhaid rhoddi cymundeb i'r plant, am

honynt. Amlwg i bawb yw, mai os rhaid dysgu neu ddysgyblu rhai cyn eu bedyddio, ni ddylid bedyddio neb yn ol y comisiwn heb eu dysgu yn gyntaf, yn ol ystyr naturiol y geiriau. Nid oes air o son ynddo am ddau fath o ddysgyblu. Os yw T. P. yn credu beth y mae yn ei ddweyd, sef fod "dysgwch yr holl genedloedd," &c. yn sail i fedydd babanod, efe a ddylai, o gydwybod, daenellu pawb difedydd a gwrddo, bychain a mawrion, Iuddewon a Thyrciaid, boddlon neu anfoddlon, ac felly gallai wneuthur llawer o ddysgyblion a Christionogion hyfryd mewn ychydig amser, ac heb nemawr drafferth. Ac oni wna efe hyn, neu dewi byth yn nghylch bod sail i'w arferiad yn y comisiwn, rhaid ei fod yn credu fod ei ddarllenwyr mor berffaith hurt ac anystyriol ag y gallai ddymuno eu bod, pe chwennychai eu denu i gredu ei fod ef ei hun yn ddyn call, diragfarn, dysgedig, a chydwybodol. I bob meddwl diragfarn, amlwg yw, fod y comisiwn yn ein rhwymo i *ddysgu* y cenedloedd, neu bregethu yr efengyl iddynt yn gyntaf, ac wedi eu dysgu, neu pan gredont, dylid eu bedyddio, a dim cyn hyny. Dysgwch yr holl genedloedd, gan eu bedyddio, a phregethwch yr efengyl i bob creadur; y neb a gredo ac a fedyddier, a fydd cadwedig, &c. Darllenwch hanes yr apostolion, (Act. ii, 38, 41; viii, 12, 13, 36—40; x, 47, 48; xviii, 8, &c., &c.) a gwelwch fod eu hymddygiad yn ddigon o esponiad (pe byddai yn angenrheidiol) ar y comisiwn; dysgu trwy bregethu a wnaent gyntaf, a bedyddio wedi hyny ar broffes o ffydd; ac nid oes gymmaint â sill yn yr holl Feibl yn arwyddo eu bod yn ymddwyn yn wahanol i hyn ar unrhyw amser pa bynag. Ac felly nid oes y sail wanaf i'r ddefod babaidd ac aflesiol o daenellu babanod yn holl air Duw. Y mae y ddefod wedi ei sefydlu ar sylfaen dywodlyd traddodiad dynol, ac yn cael ei hategu gan ragfarn a digywilydd-dra.

fod yr addewid yn perthyn iddynt hwy yn gystal. Ac os yw barn a thystiolaeth Duw yn ddigon i brofi y peth, dylai plant bychain gael cymundeb yn eglwys Crist.

*Tystiolaeth Paul.* 1 Cor. vii, 14, "Canys y gwr digred a santeiddir trwy y wraig; pe amgen, aflan yn ddiau fyddai eich plant, eithr yn awr santaidd ydynt." Y mae hawl plant y ffyddloniaid i gymundeb yn cael ei brofi yma yn *ddiddadl.* Er pan wrthodwyd yr Iuddewon, y mae pawb a'r sydd yn proffesu yr efengyl yn cael eu galw yn santaidd, 1 Pedr. ii, 9, 10. Dyma sydd i ni ddeall wrth y gair santaidd, (heblaw santeiddrwydd Duw a gwaith yr Ysbryd,) personau neu bethau wedi eu neillduo yn allanol at wasanaeth Duw. Felly, dangos y mae yr apostol yma, os byddai y gwr neu y wraig yn proffesu yr efengyl, fod hawl gan y plant i freintiau gweledig cyfammod Duw, ac felly yn dra chymhwys i dderbyn cymundeb. Gwelwch mor naturiol yw fy ymresymiad.*

IX. *Bedydd teuluoedd.* Yr ydym yn darllen yn y Testament Newydd am *deuluoedd* yn cael eu bedyddio; ac afresymol yw meddwl fod *teuluoedd* yn cael eu bedyddio, heb addef fod *plant bychain* yn cael eu bedyddio; ac mwy afresymol byth fyddai tybied i'r plant gael bod yn un fraint â'u rhieni yn y bedydd, ond yn cael eu gwrthod yn y cymundeb; canys *profa* Powel o hyd trwy *haeru* fod *pob braint* i'r plant ag sydd i'w rhieni; o ganlyniad y mae bedyddiad teuluoedd yn ddigon o brawf, pe na byddai yr un rheswm arall, o hawl babanod i'r swper santaidd: canys y mae bedydd ac enwaediad, y swper santaidd ac oen y pasg, yn sefyll *ar yr un sail*, sef addewid Duw. Dan y ddeddf, pan ddeuai gwr y tŷ yn aelod o'r eglwys, yr oeddid yn derbyn ei blant gydag ef; y gwrrywaid trwy enwaediad, a'r gwrrywaid a'r benywaid i swper oen y pasg; felly dan yr efengyl, y mae y bedydd a'r swper ar yr un fath addewid, "*Tydi a'th had,*" —"*Chwi a'ch plant.*" Gofynaf, A gollodd yr eglwys *yr un fraint* a fu ganddi unwaith? Gorfydd i'r Taenellwyr gyfaddef yma, Naddo.†

* Eithr rhaid i mi addef fod rhyw wrthnysigrwydd yn nglŷn â'r testun hwn, trech nag y medr fy ngalluoedd ei ddarostwng; h. y. yn ol yr esponiad uchod o eiddo *Mr. Powel* o'r gair *santaidd.* Y mae y testun yn rhy gymmwynasgar; y mae yn profi mwy nag y chwennychwn, trwy daeru fod y *plant* yn gyffredin yn *santaidd;* y pechadur deg ar hugain oed, yn gystal â'r baban newydd eni; rhaid derbyn i fedydd a chymundeb, yn ol yr esboniad hwn, y tyngwr a'r rhegwr, os bydd un o'u rhieni yn credu, canys y mae y *plant* i gyd yn santaidd. Buasai yn ateb fy amcan yn well pe dywedasid, Y mae y *babanod* (nid y *plant* yn ddiwahaniaeth) yn santaidd. Ond, gwaeth na'r cwbl, haera y testun fod y *gwr* neu y *wraig* ddigred yn *santaidd,* ie, er parhau yn *ddigred,* trwy rinwedd yr undeb â chymhar crediniol! Ofni yr ydwyf, oni rydd *Mr. Powel* ei gymhorth dawnus i mi yn ei lyfr nesaf, y rhaid i mi fedyddio a rhoddi cymundeb i bob gwr a gwraig anrasion a fyddo wedi priodi cymhariaid duwiol, ac nas gallaf wrthod plentyn anfad yr un o honynt, canys santaidd ydynt oll. Os medr ef symud yr anhawsdra gyda golwg ar fedydd, byddaf dra diolchgar iddo; canys yna y gallaf fi ei symud yn hawdd gyda golwg ar gymundeb.

† Er cywreinied yr ymresymiad uchod, y mae rhyw bethau amgylchiadol yn hanes y teuluoedd bedyddiedig hyn ag sydd yn creu y fath ddyryswch yn fy meddwl, nes

X. *Tystiolaeth yr eglwys.*—Tertulian yw yr awdwr cyntaf oll ag sydd yn son am fedydd babanod; ac yn yr un oes ag efoedd Cyprian yn byw; sef y drydedd oes, ac y mae efe yn crybwyll am *gymundeb babanod*, neu roddi swper yr Arglwydd iddynt, fel peth arferol yn yr oes hòno. (*Cypr. de Lapsis, p.* 175.) A dengys hanesyddiaeth fod yr arfer hyny yn gyff-

peri i mi ddywedyd mai gwell fuasai achos bedydd a chymundeb babanod fod heb yr hanes yn gyfan-gwbl, o ddiffyg cael gwell. Gobeithiaf y rhydd *Mr. Powel* gynorthwy caredigol i'm tynu allan o'r dyryswch hwn, canys efe, o ddifrif, a'm tynodd iddo. Efe a ddywed, (tu-dal. 28), "Nid ydym yn clywed *sôn* am ffydd ac edifeirwch neb ond *penaeth* y tŷ, etto y mae yr *holl* deulu yn cael eu bedyddio; bedyddiwyd ceidwad y carchar a'i holl deulu; teulu Stephanas," &c. Ond yn Act. xvi, 32, 34, dywedir am deulu ceidwad y carchar, "A hwy a draethasant iddo air yr Arglwydd, ac i *bawb* oedd yn ei dŷ ef, ac efe—a fu lawen, gan *gredu* i Dduw, efe a'i *holl deulu*." Act. xvi, 8, "A Chrispus yr archsynagogydd a *gredodd* yn yr Arglwydd, a'i *holl dŷ*—ac a fedyddiwyd." Ac yn 1 Cor. xv, 15, dywedir am dŷ Stephanas, "iddynt ymosod i weinidogaeth y saint." Oni ddengys *Powel* pa fodd y mae bedyddiad teuluoedd oeddynt *yn credu* yn brawf y dylid bedyddio *babanod*, y rhai *nas gallant gredu*, rhaid i mi roddi i fynu yr ymresymiad sydd yn codi oddiar dderbyniad y teuluoedd hyn i'r eglwys, dros gymundeb babanod. Gwnaed Powel fel y mŷno o ran bedydd. Eithr tybiaf, heb ychwaneg eglurder, fod ychydig gallineb yn ddigon i beri iddo yntau ei roddi i fynu, rhag i ryw ddynion fod mor anfoesgar â dywedyd ei fod ef yn taeru anwiredd o'i fodd, wrth ddywedyd, dan y pen *Bedydd Teuluaidd*, nad oes *son* am *ffydd* neb ond *penaeth* y tŷ, etto y mae yr holl deulu yn cael eu bedyddio: er dywedyd o'r Beibl fod ceidwad y carchar *a'i holl dŷ* yn credu; felly teulu Crispus.

Mae rhywbeth cryfach yn ymddangos o'n tu yn hanes teulu Lydia, Act. xvi, 14, 15, "Bedyddiwyd hi a'i theulu, er nad oedd gymmaint â neb o'i theulu ond ei hun yn gwrando y gair;" a dywedir yn adnod 40, i'r apostolion fyned i mewn at Lydia, a "chysuro y brodyr," h. y. trwy roddi cymundeb iddynt, debygaf fi; pa gasgliad a ddichon fod yn fwy naturiol? Rhaid i chwi ddeall, "os na wrandawodd neb o'i theulu y gair ond hi ei hunan," na chredodd neb ond hi ei hunan; ac am mai nid cyfreithlon bedyddio na rhoddi cymundeb i neb ond babanod heb broffes o ffydd, rhaid mai babanod a Lydia oedd yn gwneuthur i fynu ei theulu hi i gyd; nid oedd gymmaint ag un yno wedi tyfu i fynu i raddau can belled a medru gwahaniaethu rhwng drwg a da, neu yn ddigon hen i fedru credu yr efengyl, pe amgen ni chawsai ei fedyddio ar ffydd ei fam. Yn awr, gan i'r apostolion fyned i gysuro y brodyr bychain hyn, a raid i ni ddeall fod y cysur hwn o natur gorfforol neu ysbrydol? Tybia rhai mai cysur corfforol ydoedd; i'r apostolion dosturio wrth Lydia, yr hon oedd â *llawer* o fabanod bychain ganddi, ac felly nad oedd un yn ddigon mawr i ofalu am y llall: y gwr wedi marw, neu wedi ei gadael yn ddiweddar; a hithau mor dlawd heb fedru cadw morwyn, (herwydd cofiwch, pe buasai gwr a morwyn yn perthyn i'r tŷ, ni allasid bedyddio y rhai hyn trwy rinwedd ffydd Lydia, eithr bedyddiwyd y teulu oll:) ychwanegwch at hyn, fod yn rhaid iddi ofalu am ei mhasnachdŷ bychan, os nid myned o ddrws i ddrws i werthu porphor, neu ychydig liw coch, (fel y dywedai y diweddar Barch. B. Evans, Drewen, gwr a wyddai yn dda). Gallasai yr holl helbul hyn gyffroi yr apostolion i fyned i mewn i ddyddanu eu *brodyr bychain*, trwy eu cymmeryd ar eu gliniau, a chanu *lioli babi* iddynt, tra yr oedd y fam resynol o ddrws i ddrws yn gofyn, "A oes eisiau lliw coch yma heddyw!" Ond yr wyf yn edrych ar yr esboniad hwn yn hytrach yn wael ac isel; a dichon ereill ddywedyd ei fod yn ddirmygus. Os yw hyn yn rhy wael, y casgliad naturiol yw, iddynt eu dyddanu yn ysbrydol, trwy roddi cymundeb i'r holl deulu. Os gofyn y Taenellwyr, gelynion plant bychain, "Pa fudd, elw, neu ddy-

redinol yn mhlith bedyddwyr babanod dros oesoedd wedi hyny; yr athrawiaeth babaidd o *draws-sylweddiad*, y mae yn debyg, a'i disodlodd mewn amryw wledydd; ond y mae yr arfer o gymuno babanod, medd haneswyr clodfawr, yn ei llawn ogoniant hyd heddyw, yn yr eglwysi *Groegaidd, Armenaidd, Maronaidd, Coptaidd, &c.*—Am hyny, y mae yn

ddanwch a allasai babanod gael oddiwrth ordinhad y swper, a hwythau yn gwybod dim am ei dyben?" Atebaf yn eofn, yr un faint o fudd a dyddanwch yn gymhwys, heb fymryn llai na mwy, ag a gawsant trwy eu bedydd; ac fe ŵyr Taenellwyr pa faint oedd hyny yn berffaith; felly ni raid ychwanegu. Dychymmyg Powel, mai cysuro Timotheus a Luc, ac ereill ag oeddynt yn aros yn nhŷ Lydia, tra yr oedd yr apostolion yn ngharchar, a wnaeth Paul a Silas, sydd lwyr annheilwng o sylw; oblegid nid oes air o son i'r rhai hyn fyned erioed i dŷ Lydia, chwaithach aros yno; ond yn ol Powel ei hun, yr oedd yno blant bychain, nas gwyddys eu rhifedi; am hyny cysuro babanod a wnaethant, mewn rhyw ffordd neu'r llall.

Blin genyf fod mor drallodus, ond i ba le yr â dysgybl yn ei gyfyngder, ond at ei athraw, am gyfarwyddyd? Taerodd rhyw ddyn taiog yn ddiweddar, "fod yr enwog T. Powel yn adeiladu ar y tywod, wrth sylfaenu taenelliad babanod ar fedyddiad teulu Lydia, gan nad oes son yn y Beibl fod cymmaint ag un baban yn ei theulu; ac os na ellid cael babanod yn y teulu *hwn*, ofer fyddai chwilio am danynt mewn un teulu bedyddiedig arall crybwylledig yn yr ysgrythyrau." Meddyliais y medrwn ei ddystewi mewn mynyd, trwy ddywedyd gyda Powell, "nad oes son ychwaith fod gwasanaethddynion yno," na neb dynion oedranol ereill; a bod y gair gwreiddiol, *oikos*, o anghenrheidrwydd yn cynnwys plant bychain, neu fabanod. Eithr trodd fy ngwrthwynebwr arnaf yn chwyrn, gan ddywedyd, fod Powel a minnau yn addef fod bedydd a chymundeb yn addas i rai oedranol, a bod lluoedd o destunau ysgrythyrol yn profi hyny; ond pa ysgrythyr sydd yn dangos y dylai babanod gael bedydd a chymundeb? "Hanes teulu Lydia," meddwn i. Na, ebr ef, na dim tebyg i hyny, nid oes sill o son am fod ganddi *wr na baban erioed*; fe fedyddiwyd rhyw rai hebddi hi, ond ni ddywedir pwy, na pha fath oeddynt; o ganlyniad, nis gall yr hanes yma fod yn brawf o fedyddiad *babanod*. Ynfydrwydd wedi ei berffeithio a geisia sylfaenu unrhyw athrawiaeth neu ymarferiad ar *ddystawrwydd* y Beibl. Can belled ag y mae yr hanes yn myned, y mae dros fedydd credinol; agorwyd *calon Lydia*, a hi a fedyddiwyd; ond pa fath ddynion oeddynt yn gwneuthur i fynu ei theulu ni ddywedir dim; pa un ai gwasanaethwyr, perthynasau, plant mewn maintioli, neu ryw rai ereill, nid oes ond dystawrwydd. Pe byddai yr holl Feibl mor ddystaw am fedydd a chymundeb y credinol ag yw yr hanes yma am *fabanod Lydia*, ni ddywedwn air byth (ebr ef) dros fedyddio ar broffes o ffydd, byddai y fath fedydd yn berffaith ddisylfaen, ac felly y mae bedyddio babanod yn berffaith ddisylfaen yn yr hanes hwn.

Ond clywch yr hen walch, meddwn i, gan feddwl ei ddystawi ar unwaith, A fedrwch chwi brofi nad oedd babanod yn nheulu Lydia?—Nid yw yn perthyn i mi brofi hyny, (atebai ef,) baich y prawf a orphwys ar y sawl a wnaeth yr haeriad; y cwbl a daeraf fi yma yw nad oes son fod un baban gan Lydia erioed, ond bod yr ysgrythyr yn eglur ddangos fod proffeswyr ffydd yn Nghrist yn addas i fedydd a chymundeb, ac y mae y cwbl a haeraf fi yn cael ei brofi mor eglur fel nas dichon hyd y nod digywilydd-dra T. Powel ryfygu ei wrthwynebu; eithr efe a daera fod babanod i'w bedyddio am i deulu Lydia gael eu bedyddio: ceisiaf ganddo brofi fod baban neu fabanod gan Lydia, ac er ei haerllugrwydd digyffelyb, nis anturia ei wneuthur, ond trwy ddywedyd fod *oikos* yn cynnwys plant bychain, yr hyn a ddengys ei anwybodaeth, er ei ymffrost o'r iaith Roeg, neu fod ganddo un fantais ar lawer o'i frodyr, heblaw yr un a gafodd "trwy letya yn nhŷ un o'r Ail-fedyddwyr," sef bod ganddo gydwybod mor garedig fel nad yw yn

eithaf amlwg fod *bedydd* a *chymundeb* babanod wedi dechreu, a hyny gyda y cymhwysder mwyaf, ar yr un amser; nid oes sill o son am un o honynt gan neb ysgrifenwyr ysbrydoledig nac anysbrydoledig, cyn yr oes ag oedd y ddau dad a enwir uchod yn byw ynddi, ond yn yr oes hòno sonir am y ddau. Am hyny, apeliaf at synwyr holl ddynolryw, oni ddylent gydsefyll neu gydsyrthio!

blino nemawr arno, er dywedyd anwiredd o'i fodd. Yr oedd Cornelius yn *ofni Duw*, ynghyd â'i *holl dŷ* (oiko), Act. x, 2. Ac yr oedd y gau-athrawon yn "dymchwelyd *tai* (oikous) *cyfan*, gan athrawiaethu y pethau ni ddylid," Tit. i, 11. A ydyw babanod yn *ofni Duw*? A fedr gau-athrawon ddymchwelyd *ffydd babanod*?

Gan bwyll, fy ngwas, meddwn i, rhaid bod eich achos yn gloff, oni fedrwch brofi nad oedd babanod gan Lydia; ac hyd oni phrofoch hyny, doeth fyddai i chwi dewi, a rhoddi bedydd a chymundeb i'ch rhai bach—Aië'n wir, ebr ef, a wyddoch chwi pwy oedd Lydia? pwy oedd ei gwr? a pha fath dylwyth oedd ganddi? Na wn i, yn wir, meddwn i, attolwg a wyddoch chwi? Cewch glywed yn fuan, medd ef. Yn gymmaint nas gellir eich boddloni â'r hyn a *fyneya* yr ysgrythyrau, ond eich bod yn sylfaenu eich bedydd bach a'ch cymundeb babanod ar eu *dystawrwydd*, cewch glywed beth a fedraf finnau sylfaenu ar yr un *dystawrwydd;* cofiwch mai yr un faint yn gymhwys o dderbyniad yr wyf yn ddysgwyl gael i'r hanes a ganlyn, (yr hwn y clywais lawer gwaith, a adroddwyd mewn dadl gan ŵr o Forganwg) ag i'ch haeriad chwi ynghylch babanod Lydia, dim mwy, na dim llai; y mae y ddau ar yr un sylfaen. Wel ynte, "Ymerawdwr *Liliput* oedd gŵr Lydia, gwlad ag sydd â'i thrigolion oll o gylch pedair modfedd o uwchder, medd *Mr. Guliver;* bu Lydia yno unwaith yn ymerodres rwysgfawr; eithr gwrthryfelodd y dynion bach, a gorfu ar y teulu ymerodrol ffoi am eu heinioes; ac yn ninas Thyatira y cawsant nawddle, ac y gorfu arnynt agor masnachdŷ i werthu porphor er cynnaliaeth y teulu lluosog. Yr oedd y gŵr yn fyw yn awr; yr achos y sonir am dani hi, yn hytrach nag am dano ef, penaeth y teulu, yw, mai hi yn unig a gredodd, arosodd ef yn anghredadyn; ond am fod y gŵr digred yn cael ei santeiddio trwy y wraig, fel y gwyddoch, fe'i bedyddiwyd ef gyda hi. Deuddeg oedd rhifedi y plant, chwech mab a chwech merch, yr oedd y rhai hynaf wedi tyfu i'w maintioli, yn llawn bedair modfedd o hyd, a'r ieuengaf oll o 12 i 15 oed, a thros dair modfedd o hŷd, (yr oedd y babanod a welodd Mr. Powel yno wedi marw cyn i Lydia gwrdd â Phaul;) a pheth go ryfedd mewn plant o'r un tad a'r un fam, yr oedd pedwar yn dduon, pedwar yn wynion, a phedwar yn gylchfrithion fel praidd Jacob; yr oeddynt oll yn annuwiol; ac felly yr oedd tad a mam Lydia, a dau frodyr ei gŵr, y ddau was a'r ddwy forwyn, (a thyma oedd rhifedi y teulu;) fe'u derbyniwyd i fedydd a chymundeb oll, o barch i Lydia fach, er bod yn eilunaddolwyr. Enw y mab henaf oedd *Lewop Samoth;* a'r ail, *Lewop Mailiw;* a'r trydydd, *Smailiw Difad;* a'r pedw——." Dyna, dyna, ddigon o gelwydd, ebe fi. Celwydd! ebr fe yn chwyrn, profwch i'r gwrthwyneb, os beiddiwch; rhaid bod eich achos yn gloff iawn os na fedrwch brofi nad oedd y teulu yn gymhwys megys y dywedais. Pa le mae eich prawf? meddwn i. Yn yr adnod nesaf, medd ef, at yr hyn ag sydd yn cynnwys eich prawf chwi o fod plant yno, neu bod gymmaint â gŵr neu blentyn i Lydia erioed.—Profwch chwi fod cymmaint ag un plentyn wedi bod i Lydia erioed, yna mi a ddangosaf brawf, yn y geiriau nesaf at hyny, o bob sill a ddywedais; ïe, a channoedd o bethau rhyfedd ereill, os gwrandewch arnaf.—Gorfu arnaf dewi, a thewi a wnaf, hyd oni ddangoso Mr. Powel pa fodd y mae profi bedydd babanod oddiwrth adnodau ag nid ydynt yn son am danynt. Gofaled ef i wneuthur eu bedydd yn ddiogel, myfi a wnaf o'r goreu o ran eu cymundeb. Os na fedr efe fy nwyn o'r anialwch hyn, mi gymmeraf fy llŵ, na soniaf byth ond hyny am hanes anhyblyg ac angharedig teulu Lydia, i brofi hawl babanod i freintiau eglwysig.

"Daeth bedydd babanod a'u cymun i'r byd,
Dwy ferch i'r P— *enwog*, o gylch yr un pryd,
A chànt o chwiorydd i'r rhai'n, o'r unrhyw—
Rhan fach a fu farw, rhan fawr sydd yn fyw."

Hefyd, yr oedd yr enwogion diweddar, Mr. Pierce, o Gaeresc *(Exeter)*, a'r Dr. Priestley, yn ddadleuwyr ardderchog dros gymundeb babanod. Gwel *Essay in favor of the ancient practice of giving the Eucharist to children, p.* 76—82.*

XI. *Bedydd y Môr Coch.*—Cawn reswm newydd gan y dewrwych *Powel* yn ei ail lyfr, yr hwn yn sicr sydd mor rymus ag un a glywyd erioed dros y pwnc. Gofynai *Saunders*, o Ferthyr, yn mha le yn y Beibl y mae son am fedydd babanod? Rhoddwch enw y llyfr, y bennod, a'r adnod.—Y mae *Mr. Powel* gyda hyfdra ardderchog yn ateb, nid trwy ddywedyd, "Gweled yr holl ysgrythyrau crybwylledig yn fy llyfr cyntaf," (canys y mae yn debyg iddo anghofio rhoddi un ysgrythyr ar y pwnc yn ei lyfr cyntaf) ond fel hyn, "I argyhoeddi fy ngwrthwynebwr, ac i wasanaethu fy narllenwyr, mi a'i gwnaf; gwel 1 Cor. x 1, 2. (Y llyfr, y bennod, a'r adnod.) Ein *tadau*—'a'u bedyddio hwy *oll* i Moses yn y cwmwl ac yn y môr.' Os ydych am gael gwybod pwy oedd y rhai hyn a fedyddiwyd, trowch i Ecsod. xiv, 22, 'A *meibion* Israel a aethant trwy ganol y môr ar dir sych.' Os ydych am gael gwybod a oedd *plant* yno, trowch i Ecsod. xii, 37, 'A meibion Israel a aethant o Rameses i Succoth, yn nghylch chwe' chan mil o wyr traed, heblaw *plant*.'" Minnau a ychwanegaf, os ydych am gael gwybod a gawsant gymundeb, trowch i 1 Cor. x, 3, 4, (y llyfr, y bennod, a'r adnod) "A bwyta o bawb o honynt yr un bwyd ysbrydol, ac yfed o bawb o honynt yr un ddiod ysbrydol," &c. "Yma y mae y plant yn cael eu henwi; ac y mae yr apostol yn dywedyd eu bod *oll* wedi eu bedyddio," a bod *pawb* o honynt wedi bwyta yr un bwyd, ac yfed yr un ddiod ysbrydol. Nid wyf fi, o ddifrif, yn deall *bod*, nac achos bod, eglurach prawf trwy yr holl Fibl o hawl plant i fedydd a chymundeb nag sydd yma. Gwir yw fod enwaediad ac oen y pasg y pryd hyny yn eu cyflawn rym, ac nad oedd ordinhadau yr efengyl, bedydd a

* Mi fedraf fi ddadlu o'r goreu, tra dalio rhesymau Mr. Powel allan; ond pan ballo y rhai hyny, dyna fi, yn aml, yn y ffos. Gwych gan Powel gael tystiolaeth fod taenellu plant yn y drydedd oes, er na sonir am hyny yn yr oes apostolaidd, ac i minnau gael cyfle i brofi fod eu cymundeb wedi dechreu yn yr un oes; ond yn mhell y b'o cyndyn ddadleuwyr! taerodd rhyw ymrysonwr anfoesgar yn fy ngwyneb, fod y Tertulian rhagddywededig, a soniodd gyntaf am fedydd plant, yn ei wrthwynebu, ac yn crybwyll hefyd, "am *dadau bedydd—arwydd y grog—eneinnio y bedyddiedig—rhoddi llaeth a mêl iddynt—a gweddio dros y meirw,*" &c.; ac am hyny, y dylai pawb sydd yn gosod pwys ar hanesion y drydedd oes, ymarfer â'r holl bethau hyn, neu dewi am y drydedd oes." Yn awr, erfyniaf wybod gan Powel doethwych, pa beth i'w wneuthur; pa un ai ymarfer â'r holl bethau uchod, neu roddi i fynu yr ymresymiad oddiar y drydedd oes? neu benderfynu fod Tertulian yn dweyd y gwir pan ddywedo wrth ein bodd, ond yn gelwyddgi brwnt pan ddywedo yn groes i hyny!

swper yr Arglwydd, wedi eu hordeinio bryd hyn, na rhai cannoedd o flynyddau wedi hyny, ac nad oes ddyn yn ei bwyll a dybia fod yma reol wrth yr hon y dylid terfynu pwy, a pha fodd y dylid derbyn i fedydd a chymundeb: etto, gwelwch fel y mae y plant yn un fraint â'u rhieni; YN y môr, ac YN y cwmwl, dros eu penau a'u clustiau, gyda eu gilydd, yn *bwyta* ac yn *yfed* bob tamaid a llymaid yr un pethau ysbrydol, gan nad beth oedd y pethau hyny. Cryned gelynion plant! Tawed gwrthwynebwyr eu cymundeb!*

* Perth ddrain a fyddo rhyngwyf â'r sawl a ymhaerllugo i amheu cywirdeb fy ymresymiadau! ond y mae rhyw ddynion yn fy ardal i mor rhyfygus â haeru nad oes grym yn yr ymresymiad uchod; ac haerai un gŵr yn fy ngwyneb, nad oes sill o fewn i holl air Duw am fedydd a chymundeb babanod.—Pa fodd y gall hyny fod? meddwn i, onid yw Mr Powel wedi profi yn bendant, o'r ysgrythyr, i'r *tadau* Iuddewig oll gael eu bedyddio yn y môr? ac wrth droi yn ol i Ecsodus, wedi dangos yn eglur fod plant yn eu mysg; ac oni phrofais innau fod y tadau a'r plant yn cydfwyta a chydyfed o'r ymborth ysbrydol. A oedd bedydd a chymundeb mewn bod bryd hyny, (ebr ef,) mewn ystyr briodol? Na, meddwn i, nid wyf yn tybied eu bod. Os felly, atebai yntau, *bedydd* a *chymundeb* mewn ystyr gymharol oedd bedydd y môr coch, &c., ac os ydych yn myned i benderfynu ystyr *briodol* geiriau wrth yr ystyr *gymharol* o honynt, medrwch brofi yn fuan, nad *cnawd* yw defnydd calon dyn anianol, herwydd fe'i gelwir yn *gareg;* ac mai nid dyn a'r Duwdod ynddo oedd Iesu Grist, ond *llew, oen, drws,* neu *winwydden,* yr un a fynoch, canys fe'i gelwir wrth bob un o'r enwau hyn, &c., &c.

Ond er hyny (ebe fi) dyma ysgrythyr bendant yn dangos fod plant wedi cael eu *bedyddio.* Nagê, yn wir (ebr ef,) rhoddwyd hèr i Powel ddangos adnod o fewn y Beibl, os medrai, yn son am fedyddio *plant bychain;* y mae yntau, megys pe byddai wedi ei reibio, neu yn tybied fod ei ddarllenwyr dan effeithiau rheibiaeth, yn enwi ysgrythyr a sonia am fedyddio *tadau!* ni ddywedir yn 1 Cor. x, 1, 2, fod neb ond y *tadau* wedi eu bedyddio! ni buasai raid i Powel mo'i drafferth; pwy erioed a glywodd efe yn gwadu addasrwydd dynion oedranol, os yn credu, i fedydd? Pa le mae son am fedydd babanod, medd *Saunders?* Yn 1 Cor. x, 1, 2, medd Powel, oblegid dywedir yno i'r *tadau* gael eu *bedyddio!* Ardderchocaf ymresymiad! Rhaid bod y dyn hwn yn Salomon y taenellwyr, neu yn ddrel perffaith. Dim cellwair, syr, meddwn i, yr ydym yn ymddyddau am bwnc crefyddol; ond yr ydych chwi yn chwareu ar eiriau; yr oedd miloedd o'r rhai fuont *dadau* wedi hyny, yn fabanod yn amser bedydd y môr coch; am hyny, er ei fod ef yn dywedyd *tadau,* diamheu genym ei fod yn mèddwl yr Israeliaid, hen ac ieuainc, a ddaethant trwy y môr coch. Croes iawn wyf fi i gellwair, (atebai ef,) eithr da fyddai i derfynu pa un ai dyn a fyddo yn ystyried geiriau yn eu hystyr naturiol a phriodol, neu yr hwn a fyddo yn eu gwyrdroi sydd yn chwareu ar eiriau; yr ydych chwi yn taeru i *fabanod* gael eu bedyddio, a'ch rheswm am hyny sydd deilwng o ddyn gwallgof; sef, bod yr ysgrythyr yn son am *dadau bedyddiedig!*

Nid dywedyd y mae yr apostol i'r rhai a fuont wedi hyny yn *dadau* gael eu bedyddio, ond mai *tadau,* heb son am neb ereill, a fedyddiwyd yn y môr. Os y mynediad trwy y môr coch yw rheol bedydd, sicr yw mai *tadau* duwiol ac annuwiol, yn ddiwahaniaeth, ac nid mamau, babanod, na dynion ieuanc heb briodi, na neb dynion wedi priodi, oni byddant *dadau,* a ddylid fedyddio; ac mai *mewn cwmwl ac yn y môr ar dir sych* y dylid bedyddio! Nid cymhwys dywedyd fod Powel yn taenellu *tadau,* heb un rheswm dros hyny ond bod rhai a daenellodd efe yn *fabanod* wedi tyfu i fynu wedi hyny i fod yn *dadau.* Nagê fawr, babanod a daenellodd ef, er eu bod yn dadau yn awr. Gwadu hyn fyddai haeru fod *tadau* a *phlant* yn eiriau cyfystyr. Am hyny, haeraf nad oes son am fedyddio babanod o fewn i'r holl Feibl.

XII. *Cyssondeb.*—Hyd yma ymresymais yn ol y cynllun a roddes *Mr. Powel* i mi; gan ddefnyddio pob rheswm a enwodd efe dros fedyddio babanod i brofi y dylent gael cymundeb hefyd. Yn awr, dangosaf fod cyssondeb ag ef ei hun, yn gofyn iddo roddi cymundeb iddynt. Efe a daera fod yr addewid i Abraham, "Mi a fyddaf yn Dduw i ti, ac i'th had ar dy ol di," yn cynnwys "pob bendithion tymmorol, ysbrydol, a thragywyddol;" er hyny ni rydd efe mo'r fendith iddynt, ond fe'u ceidw rhag pob braint grefyddol, ond y *fraint anmhrisiadwy* o gael ychydig iawn o ddafnau dwfr ar eu talcenau bychain.—Taera eu bod yn *aelodau* o'r

Wrth glywed hyn, teimlais fy hen natur *Bowelaidd* yn cyffro (o herwydd mynwn er dim i amddiffyn fy athraw yn hyn.) Beth, y dyn gwallgof, meddwn i, oni wyddoch i'r plant ddyfod gyda eu rhieni trwy y môr, lle y bedyddiwyd y tadau? Gwn o'r goreu, medd ef, ond a raid fod y cwbl a aeth gyda y tadau trwy y môr wedi cael eu bedyddio, oblegid i'r *tadau* gael eu bedyddio ynddo? A allasai y Bedyddiwr mawr, ag oedd yn gwneuthur y fath wyrthiau rhyfeddol yn awr, ddim gwahaniaethu rhwng tadau a babanod, a bedyddio y sawl a fynai o honynt? Byddai yr un mor brydferth i chwi daeru na allasai yr un cwmwl fod yn dywyllwch i'r Aifftiaid ag oedd yn oleuni i Israel! Dofais ychydig yn awr, a dywedais, gwn y dichon Duw wneuthur y peth a fyno, ond y mae Mr. Powel wedi profi bod plant gyda yr Israeliaid, a *rhesymol* iawn yw barnu i'r rhai bychain gael eu bedyddio gyda eu rhieni, gan iddynt fyned gyda eu gilydd trwy y môr, er na sonir am fedyddiad y babanod.—Rhesymol! aie, ebr ef, yw sylfaenu defod grefyddol ar ddystawrwydd y Beibl, neu yn hytrach, ar dir gwrthwynebol i'r Beibl, ac ar yr un pryd i daeru mai y Beibl yw ein rheol mewn crefydd! Os rhesymol hyn, attolwg beth sydd afresymol! Hefyd, meddai ef, y mae y testun yn ol eich esboniad chwi, yn rhy gymwynasgar i chwi etto; y mae yn profi gormodd, ac yn dangos bod yr un sail i fedyddio Aifftiaid, ie, ac "anifeiliaid y maes," ag sydd i fedyddio babanod. "Os ydych am gael gwybod a oedd plant yno," medd yr ymresymydd Powel, trowch i Ecsod. xii, 37. Goddefwch i minnau, (ebr ef) ychwanegu, "os ydych am gael gwybod a oedd *pobl gymmysg* ac *anifeiliaid* yno, trowch i Ecsod. xii, 38, sef yr adnod nesaf at yr hon a grybwylla am blant, '*A phobl gymmysg* lawer a aethant i fynu hefyd gyda hwynt; *defaid* hefyd a *gwartheg*, sef *da* lawer iawn.'" Mewn gair, am na enwodd Powel un adnod a soniai am fedyddio babanod, ond yr un mewn dadl, pan ofynid iddo gan ei wrthwynebwr i wneuthur felly, amlwg yw, na wyddai efe am un adnod a atebai ei ddyben gystal â hon; a'r un mor amlwg yw na wna hon y tro, o herwydd ni sonia am fedyddio *babanod*, ond *tadau*. O ganlyniad, ni ŵyr Powel am gymmaint ag un adnod o fewn i'r holl Feibl yn crybwyll bedydd babanod, ac felly chwithau am eu cymundeb! A rhyfedd iawn, os ewyllys Duw yw iddynt gael bedydd a chymundeb, na buasai yr Ysbryd Glân yn hebgor un cŵr bychan o'r Beibl i roddi cymmaint â llinell, hàner llinell, neu ddau air, yn rhyw le, i amlygu hyny! Ond am na wnaeth hyny, nis dichon y rhai sydd yn peidio ei wneuthur fod yn feius, oblegid "ni chyfrifir pechod pryd nad oes deddf, a thra rhyfygus raid bod y sawl a'i gwnelo heb ddeddf." Cefais fy nysysu yn dost; nid oes genyf ond ymddibynu ar garedigrwydd a medrusrwydd Mr. Powel, i'm tynu o'r rhwydau hyn, trwy ddangos pa fodd y dichon bedyddiad *tadau* brofi y dylid bedyddio *babanod*, yn fwy nag y mae bedyddio y *crediniol* yn brawf y dylid bedyddio yr *anghrediniol*. Os taera efe fod *mynediad* y *plant* gyda y *tadau*, yn dangos iddynt oll gael eu bedyddio, pa fodd y profwn na fedyddiwyd y *bobl gymmysg* a'r *gwartheg* a'r *defaid*, gan fod y rhai hyny hefyd yn myned gyda y tadau trwy y môr? Attolwg, a oes dim gwell sail i fedyddio babanod, nag sydd i fedyddio Aifftiaid annuwiol, gwartheg, a defaid!

eglwys, ac yn y modd mwyaf digywilydd a ymddyga tuag atynt, megys pe byddent *baganiaid!*—Haera yn hŷf na chollodd yr eglwys *yr un fraint* erioed, ac er bod oen y pasg yn fraint i bob teulu, bychain a mawrion, yn yr hen eglwys, ni cha y plant bychain nac oen y pasg na dim arall yn ei le ganddo ef!—Wrth y cawg a'r dwfr, efe a haera yn ëofn, fod plant i gael eu bedyddio am fod y gwr digred yn cael ei santeiddio trwy y wraig, &c.—Ond wrth y bwrdd cymundeb, cyhoedda ei *ymddygiad* i'r byd, mai anwiredd bob gair oedd yn ddywedyd wrth daenellu; oblegid ni thâl santeiddrwydd y tad neu'r fam ddim mwy yn awr nag aflendid delw-addolwyr! Efo'i gwpan dwfr, efe a floeddia, "Gadewch i blant bychain ddyfod ataf fi, canys eiddo y cyfryw rai yw teyrnas nefoedd;" ond efo'i gwpan gwin, efe a waedda, "Cedwch y plant allan, na roddwch damaid na llymaid iddynt; nid yw teyrnas nefoedd yn perthyn iddynt yn awr!"—Wrth daenellu, efe a fedr wynebu yr ysgrythyrau sy'n gofyn ffydd o flaen bedydd, heb ymddangosiad o'r euogrwydd lleiaf, ond tystio ei fod yn ofni Duw, trwy ddywedyd mai oddiwrth ddynion mewn oedran y gofynir ffydd, ac nid oddiwrth fabanod; ond wrth y cymun, megys pe byddai wedi cael cydwybod arall, efe a ddywed, "Holed dyn ef ei hun, ac yna bwytaed," &c. ond na fwytaed plant, am na allant holi eu hunain! Nis dichon ddyfeisio yn ei fyw, mwy nâ phe byddai wedi hurtio yn drwyadl, mai oddiwrth ddynion oedranol ac nid oddiwrth fabanod y gofynir *hunan*-ymholiad! Gyda ei ddafnau dwfr efe a sicrha i ni "nad oes mwy o berthynas grefyddol rhwng y plant na fedyddiwyd erioed â Christ, nag sydd rhwng anifeiliaid y maes ag ef;" ond gyda ei fara a gwin, clywch ef yn gwirio nad oes mwy o hawl i gymundeb, (yr hyn sydd arwydd allanol o berthynas grefyddol â Christ,) gan blant bychain, er eu bod wedi eu bedyddio, nag sydd gan anifeiliaid y maes! Am fod bedydd yn arwydd o fendithion y cyfammod newydd, rhaid bedyddio babanod; ond am fod y swper yn arwydd o'r un bendithion, ni ddylai babanod ei chael! Efe a daera, mor ddigywilydd â phe byddai yn credu na chynnysgaeddodd yr Hollalluog Dduw nemawr o ddynion â chynneddfau godidocach nâ'r eiddo ef, y dylid *taenellu* babanod, am eu bod yn gymhwys i dderbyn *gras cadwedigol*, ond cyn pen deng mynyd, dacw ef yn tòri bara, ac yn haeru er bod y gweiniaid bach yn gymhwys i dderbyn *gras cadwedigol*, pechod fyddai rhoddi *cymundeb* iddynt!—Mae plant heb broffesu ffydd (medd ef, wrth daenellu) yn myned i'r nefoedd gyda chredinwyr, am hyny paham nad ydynt yn addas i ddyfod i'r eglwys gyda chredinwyr? ond iaith ei ymddygiad wrth gymuno yw, er bod babanod yn gymhwys i fyned i'r nefoedd gyda chredinwyr, trosedd dirfawr yn erbyn Duw fyddai eu derbyn i gymundeb gyda chredinwyr!!! Clywch ef, pan fyddo yn dadlu dros fedydd plant, yn dywedyd yn y modd mwyaf pendant, "Ni chadwodd Duw *un fraint* grefyddol oddiwrth *blant proffeswyr* erioed;" ac megys pe byddai yn ofni yn ei galon y credai neb ei fod yn dywedyd y gwir, ei ymddygiad wrth y bwrdd a ddywed, cyn myned allan o'r

addoldŷ, na newid ei gynnulleidfa, y mae Duw wedi cadw y *fraint grefyddol* hon erioed, oddiwrth *blant bychain* pawb, proffeswyr fel ereill! Uwchben ei lymaid dwfr, efe a ddywed gyda y ffraethder mwyaf, "ein bod wrth dderbyn plant bychain yn aelodau o eglwys Crist yn derbyn Crist ei hun;" ond i arbed y drafferth i chwi brofi fod y dyn yn berffaith wallgof, neu yn taeru anwiredd noeth yn wirfoddol, aroswch fynyd neu ddau, hyd onid elo oddiwrth ei gwpanaid dwfr at y bara a'r gwin, a chewch ei glywed, mewn effaith, yn dywedyd, os derbyniwch blant bychain yma, fel aelodau o'r eglwys, chwi a bechwch yn ofnadwy, ac a wrthodwch Grist!!!

Mawr, yn ei fryd ef, yw anghyssondeb y rhai a ddywedant fod babanod yn myned i'r nefoedd, ond er hyny yn peidio eu bedyddio; a mawr, onidê, raid fod ei gyssondeb ef, wrth hòni eu bod yn gymhwys i fedydd ac i'r nefoedd, ond yn berffaith anaddas i gymundeb! Nid rhyfedd, mewn difrif, fyddai clywed y bygylwr gorwyllt hwn yn taeru, "Y mae hawl gan fy ngwraig a'm plant i *holl freintiau* fy nhŷ, a phechod erchyll fyddai cadw *mo'r fraint* oddiwrthynt; y mae yn eithaf amlwg y dylent gael ymborth, gwisgoedd, a phob ymgeledd, yn ol gair Duw; ond fel mai byw fi, ni chânt ddim genyf fi ond llymaid o *ddwfr* unwaith yn eu hoes! canys yr wyf fi yn ofni Duw!!!

---

## ATEB I WRTHDDADLEUON T. POWEL A D. WILIAMS.

Gorphenaf fy nadl dros gymundeb babanod, trwy ateb yr ychydig wrthddadleuon plentynaidd a grybwyllir gan *T. Powel*, yn ei ail lyfr. Efe a daera, "Nad oedd babanod yr Iuddewon yn addas i fwyta y pasg." Ddim yn addas! Pa anaddasrwydd, atolwg, oedd yn perthyn iddynt? Darllened Ecs. xii, 3, 4, a gweled fod *pob teulu* yn rhwym i gymmeryd oen i'w fwyta; ond os byddai un teulu yn rhy fychan *i'r oen*, yna yr oedd dau deulu i gymmeryd un rhyngddynt; nid oedd neb yn cael eu gwahardd i'w fwyta ond dyeithriaid dienwaededig, adn. 43—49. Cellwair â synwyr y darllenydd fyddai ychwanegu i ddangos fod pawb, *bychain* a *mawrion*, a fedrent fwyta, *yn mhob teulu* Iuddewig, yn cyfranogi o hono. Dangosed *Powel*, os dichon, fod *pob teulu* mewn gwladwriaeth, neu un teulu yn cynnwys babanod, i'w bedyddio, a derfydd pob dadl yn erbyn bedyddio plant bychain. Digyffelyb raid fod digywilydddra y dyn rhyfygus hwn; efe a daera yn haerllug fod *babanod yn addas i'w bedyddio*, o herwydd fod son yn y Bibl am fedyddio *pedwar* teulu, er y dywedir fod dau o'r pedwar yn *credu*, y trydydd yn *ymosod i weinidogaeth y saint*, a'r pedwarydd yn cael eu *cysuro fel brodyr*, gan yr apostolion; ond am fod pob teulu, credinwyr ac anghredinwyr yn ddiwahaniaeth, yn bwyta o oen y pasg, trwy holl genedlaethau Israel, nid oedd babanod yn addas i'w fwyta!!! Pe medrai digywilydd-dra wridio,

byddai yn anmhosibl i'r dyn hwn ddangos ei wyneb heb ei orchuddio gan gywilydd. Clywais yn wir, fod rhai yn dywedyd "nas gallasai babanod newydd eni fwyta oen y pasg, ac nas gallant fwyta y swper santaidd, o herwydd anallu naturiol i *fwyta*, ac mai hyny, ac nid diffyg o hawl i *holl freintiau* yr eglwys sydd yn eu hanaddasu." A'ie'n wir! os felly, dylai holl blant taenelledig y byd gael y swper cau gynted ag y *gallont* fwyta! Eithr ni thâl y rheswm gwrachaidd hwn ddim, canys can gynted ag y barnwyd gynt mai buddiol oedd rhoi bedydd a chymun i fabanod, fe ddyfeisiwyd ffordd i roddi cymun i bawb a fedyddid; ac yn yr un modd y gellid, ac y dylid gwneuthur yn awr.

Gwrthddadleua *T. P.* yn mhellach, yn nhudal. 15 a 27 o'i ail lyfr, "bod pawb yn *oddefol* mewn bedydd, ond yn *weithredol* yn y cymun, yn *cofio marwolaeth yr Arglwydd*." Os, wrth bod yn weithredol, y meddylia efe weithred *gorfforol*, y mae fy atebiad i'r gwrthddadl blaenorol yn ddigon o atebiad i hwn hefyd, canys fe ddichon baban fwyta ychydig, ac ychydig sydd ddigon: ond os wrth *weithredol* y meddylia efe weithgarwch y *meddwl*, rhoddaf hêr iddo i brofi y dylai dyn fod yn fwy gweithgar wrth gymuno nâ phan y bydd yn cael ei fedyddio; yr un mor hawdd yn gymhwys ydyw *holi ein hunain* cyn cymuno, ag ydyw *credu* cyn bedyddio; ac nis beiddia holl alluoedd digywilydd-dra a rhagfarn ddangos fod *hunan-ymholiad*, a chofio *marwolaeth yr Arglwydd*, yn fwy hanfodol i gymundeb, nag ydyw *ffydd* ac *edifeirwch* i fedydd, yn ol tystiolaeth y Testament Newydd. Paham na byddai y dyn anystyriol yn meddwl am ei resymiad ei hun! Pan ddywedir wrtho fod comisiwn Crist, ac hanes bedydd, yn dangos bod ffydd yn ofynol cyn bedydd, ac nad oes son yn yr holl Feibl am gymmaint ag un a fedyddiwyd heb broffes o ffydd yn flaenorol i hyny, efe a ddywed nad ydyw yr ysgrythyrau ag ydynt yn darlunio deiliaid bedydd, ddim yn perthyn i blant, ond i ddynion mewn oedran; ac nad yw bod credinwyr yn ddeiliaid addas i fedydd, yn brawf fod babanod yn anaddas; ond wrth son am gymundeb plant, efe a gondemnia ei athrawiaeth ei hun. Beth ond hurtrwydd plentynaidd a'i rhwystra ef i weled, mai dangos cymhwysderau dynion oedranol i gymundeb y mae y testunau sydd yn gofyn hunan-ymholiad, &c.; ond nad yw bod dynion oedranol yn addas ddim yn profi (yn ol ei resymeg ei hun) fod babanod yn anaddas i gymundeb. Cofied ei fod yn dweyd, na chollodd eglwys Dduw un fraint erioed, a bod *siarter* nefol plant bychain heb gael ei dileu.

Y mae yr un atebiad yn ddigonol i'r hyn a ddywed efe a'i frawd o Lanwrtyd, ynghylch "bod bedydd yn ordinhad o *gyflwyniad*, neu *gyssegriad* i Dduw, a bod y swper i gofio marwolaeth Crist." Eithr dywed yr ysgrythyr fod y prif Cristionogion yn cyssegru neu gyflwyno eu hunain i Dduw cyn dyfod i'r eglwys, 2 Cor. viii, 5. "Hwy a'u rhoddasant eu hunain yn gyntaf i'r Arglwydd, ac i ninnau trwy ewyllys Duw," &c. Y mae bod ffydd yn ofynol cyn bedydd yn profi mai *hunan-gyflwyniad* a ofynai Duw, ac nid cyflwyniad dirprwyol. Ond am fod y taenellwyr

hyn yn taeru y gwna ffydd y gwŷr mawr y tro dros y rhai bychain yn y bedydd, adolwyn, beth sydd yn eu rhwystro i wybod, onid ydynt wedi eu rheibio, y gwna gwaith yr oedranol yn cofio marwolaeth y Gwaredwr y tro yn hollol gystal dros y babanod yn y cymun? Nid ydyw eu Lluniwr yn gofyn ffydd na hunan-ymholiad oddiwrthynt hwy.

Gwrthddadleua y dynion hyn yn mhellach, "fod hawl gan fabanod i aelodaeth eglwysig heb fod yn gymhwys i fwynhau pob braint ynddi; o herwydd nad oedd babanod yr offeiriaid yn gymhwys i weinyddu y swydd offeiriadol, er bod ganddynt hawl enedigol iddi." Pe medrid profi na ddichon babanod fwyta *dim*, byddai eu dywediad yn cynnwys rhyw beth fel ymresymiad, ond am y dichon babanod fwyta ac yfed ychydig, nid yw eu haeriadau, ond dangos gwagder eu siolau, neu wendid eu hachos anobeithiol.

Er bod Mr. Williams, *Llanwrtyd*, ar y cwbl yn fwy moesgar a llai anturiol nâ dadleuwr penboeth *Aberhonddu*, rhagora y blaenaf ar yr olaf mewn anystyriaeth, ar brydiau; efe a ddywed, "y gall dyn fod yn ddeiliad bedydd ac heb fod yn ddeiliad cymundeb," yn ol barn yr Ail-fedyddwyr eu hunain, herwydd bod Dr. Gill a Mr. Saunders yn dywedyd, "mai allan o'r eglwys y mae bedydd yn cael ei weini, ac mewn trefn o dderbyniad iddi." Nid yw hyn brawf o ddim ond o benchwibandod yr ysgrifenydd; y mae Gill a Saunders yn eithaf cysson â hwy eu hunain; ni ddywedodd mo'r un o honynt erioed y dylid cadw y bedyddiedig o gymundeb, oni wnant ryw beth wedi eu bedyddio a fyddo yn galw am hyny; eithr dywed y ddau y dylai pob un a fedyddiwyd uno ag eglwys Crist, os bydd ffordd i hyny, a chyfranogi o'r swper santaidd. Ac yn hyn y mae yn sicr eu bod yn gysson â'r Beibl. Athrawiaeth a ddyfeisiwyd wedi gorphen ysgrifenu y Beibl ydyw yr hon a geidw y rhai a fedyddiwyd dros flynyddau lawer allan o gymundeb. "Bellach y mae yn bryd i Powel a Williams gywilyddio troi i'r noddfa yma, pan fyddo yn gyfyng arnynt; *mae eu Siclag wedi ei llosgi.*" Ow! anghyssondeb y Taenellwyr:

"Ymwiria fod plant meirwon,—o wynfyd
Yn iawnfad 'difeddion;
A gyra'r rhai byw gwirion,
Y gloew saint, o eglwys Ion!"

---

## GOFYNIADAU I DAENELLWYR PLANT BYCHAIN.

1. Gan bwy y trowyd plant allan o'r eglwys, gan eich bod yn gwrthod cymundeb iddynt? 2. Pa fodd y gwnaethwyd hyny? 3. Pa bryd y bu hyn? 4. Ai cyfreithlon troi plant o freintiau yr eglwys heb orchymyn Duw? 5. Pa fodd y gallwn dderbyn plant yn *enw Crist*, os gwrthodwn gymundeb iddynt? 6. Pa les yw eu dyfodiad i'r eglwys, oni chant gymundeb? 7. Gan fod yr un addewid yn gymhwys i'r plant ag i'r tadau,

ai cymhwys cadw plant o gymundeb, gan ddadleu nad oes gymhwysder ynddynt? 8. A fu erioed gan Dduw eglwys ar y ddaear, heb fod y plant ynddi yn unfraint â'u rhieni yn ei chymundeb? 9. Pan gaffai gŵr neu wraig ei dderbyn i gymundeb, a fedrwch chwi brofi o'r ysgrythyr, fod esgeuluso rhoddi cymundeb i blant neb o honynt, hyd oni fedrent holi eu hunain? Atebwch, os beiddiwch. 10. Gan fod cymundeb yn gystal sêl a bedydd, beth sydd yn rhwystr i fabanod ei gael, i ddangos fod gan Grist feddyliau o drugaredd tuag atynt? 11. Pa addasrwydd sydd yn mhlant y Cristionogion i dderbyn y swper, yn fwy nag oedd yn mhlant yr Iuddewon i dderbyn oen y pasg? A welwch chwi yn dda i ateb? 12. A ellir cadw plant oddiwrth eu breintiau, heb bechu yn erbyn Crist a'i deyrnas? Atebwch, a wnewch chwi?

Fel hyn yr agorais fy ngenau dros y mud, a dangosais fod yr un hawl yn gymhwys, yn ol rheswm, ysgrythyr, a *chasgliad*, gan fabanod gwirion i'r cymun ag sydd ganddynt i fedydd; eu bod yn deall cymmaint o natur y naill a'r llall, yn ufyddhau i Dduw yn yr un graddau yn hollol yn y naill a'r llall; a bod y naill mor llesiol, anghenrheidiol, ac adeiladol iddynt â'r llall. Gwridied! Gwridied eu hewyllyswyr drwg, a chuddient eu penau euog o olwg y saint bychain, diniwed hyn!

---

## TAENELLIAD BABANOD.

Gan fy mod yn dwyn cymmaint sel dros *daenelliad* mewn bedydd ag ydwyf dros fabanod mewn cymundeb, rhoddaf hanes byr o'r ymddyddan a fu rhyngof a Throchwr ar y pen hwn, modd y caffo T. P. gyfle i'm cynnorthwyo yn ei lyfryn nesaf i faeddu y gwyr ëofn hyn. Er byrdra, esgeulusaf yr ymddyddanion a arweiniasant y ddadl i mewn.

*Taenellwr.*—Beth yw yr achos eich bod yn myned i'r afon i fedyddio, ac yn trochi y bobl? onid yw ychydig o ddwfr yn gystal â llawer?

*Trochwr.*—Ydyw bob tipyn; a *dim* dwfr yn gystal ag ychydig neu lawer, os nad yw Duw wedi ordeinio y naill na'r llall. Ond os *llawer* sydd ysgrythyrol, y mae *ychydig* gynddrwg â *dim*, a defnyddio *dim* yn bechod yn erbyn Duw.

*I'r dyfroedd, dyfroedd lawer.*

*Taen.*—Pa fodd y profwch nad yw ychydig, neu gwpanaid, yn ddigon i fedyddio amryw?

*Troch.*—Am fod Crist yn y comisiwn (Mat. xxviii, 19, 20,) wedi peri i'w apostolion *ddysgu* yr holl genedloedd, gan *eu bedyddio;* sef eu bedyddio *hwynt*, nid rhan o'u personau, megys bys, llaw, troed, clust, neu dalcen; am i'r Iesu, a lluoedd ereill, gael eu bedyddio YN *yr Iorddonen*, afon fawr yn ngwlad Judea; am fod Ioan yn bedyddio YN *Ainon, canys dyfroedd lawer oedd yno;* ac am i Phylip a'r efnuch, wedi dyfod *at* ryw ddwfr, fyned i waered ill dau I'R *dwfr*, lle bedyddiwyd yr efnuch.

*Taen.*—Defnyddir yn fynych yn y Beibl ymadroddion cyfeiriedig at *bersonau*, pryd na byddo ond rhan fechan yn cael eu golygu. Gelwir ar *bersonau* i *wrando;* etto gŵyr pawb nad yw bys, llaw, troed, na thalcen, ond y *glust* yn gwrando; ond yn ol eich ffiloreg chwi, dylai pob modfedd o'r dyn fod yn glust, neu yn medru gwrando! "Nid yw bod y Beibl yn dweyd fod *llawer o ddyfroedd* lle yr oedd Ioan yn bedyddio, yn profi ei *fod* yn angenrheidiol, mwy nâ bod llawer o laswellt yn angenrheidiol *ar* Grist pan oedd yn porthi y pum mil."—"Yr oedd glaswellt lawer yn y fan hòno," Ioan vi, 10.

*Ateb.*—Pan ddefnyddir ymadroddion *personol*, a dim ond rhan o'r person yn cael EI olygu, y mae rhyw beth yn yr amgylchiad bob amser yn dynodi mai rhan, a pha ran a olygir; pe amgen, pa fodd y gallech wybod mai rhan, ac nid yr holl berson a olygid? Gorchymynwyd enwaedu yr Israeliaid, ac yr oedd y man i enwaedu yn cael ei enwi; ond ond ar ba awdurdod yr ydych chwi yn taenellu y talcen yn hytrach nâ'r llaw, y droed, y glust, neu'r wegil, neu y lle yr enwaedid arno gynt! Pe byddai rhyw fan neillduol o'r corff i'w fedyddio, haeraf nas gellwch byth wybod eich bod wedi cwrdd â'r iawn fan heb fedyddio y corff i gyd; ac haeraf etto, mai y person i gyd, ac nid rhan o hono, a orchymynir i'w fedyddio yn y comisiwn. O ran eich cymhariaeth yn nghylch *glaswellt lawer*, a *dyfroedd lawer*, gwybyddwch nad yw y Beibl yn dywedyd i Grist borthi y pum mil yn y cyfryw fan, *oblegid* bod glaswellt lawer yno; eithr yr unig reswm a roddir paham y bedyddiai Ioan yn Ainon yw, canys *dyfroedd lawer* oedd yno; yr hyn, ynghyd â'i waith yn bedyddio YN yr Iorddonen, a brawf na wnelai ychydig o ddwfr y tro iddo ef; eithr pe taenellu ydoedd, gwyddoch yn dda y buasai llonaid *peint* yn myned yn mhell iawn, ac mai â llonaid *cwart*, gyda thipyn o ofal a chynnildeb, y gallasai wneuthur diwrnod da o waith. Hefyd, afresymol yw meddwl eu bod yn myned *i'r dwfr*, ac yn bedyddio *yn* yr afon, os taenellu oedd eu gwaith. Gwyr pob Taenellwr yn awr nad oes eisiau gwlychu eu traed, na dim arall ond blaenau eu bysedd wrth daenellu; ac felly yn dra chysson nid ânt yn agos at yr afon, chwaithach myned *i'r dwfr*. Tost na buasai T. P., neu rai o'i dylwyth, yn hanfodi yn amser Ioan, Crist, a'i apostolion, modd y gallasai eu haddysgu y gallasid bedyddio yn odiaethol heb wlychu troed mewn dwfr!

*Taen.*—Arafwch ronyn; dangosodd y *dysgedig* Powel fod y dull cyffredin o siarad, myned *i'r* dwfr, *i'r* ffynnon, pryd na byddir ond myned i lan y dwfr neu y ffynnon, a Christ wedi myned *i'r* mynydd, pryd na wnaeth ond rhodio ar hyd-ddo, &c. yn ddigon i ddangos nas gallwch brofi eu bod yn myned *i'r* dwfr i fedyddio gynt; ac hefyd dangosodd Mr. P. bod y ddau air Groeg cadarnaf ag sydd trwy yr holl Feibl i brofi myned i ganol peth, sef *en* ac *eis*, y rhai a gyfieithir yn y lleoedd uchod *yn*, *i*, ac *i'r*, yn cael eu harferyd am fyned i *ymyl*, neu *at* beth, ac nid *iddo:* "Hwy a aethant i mewn at *(eis)* Lydia," Act. xvi, 40. "Ac felly y mae yn

hawdd i bawb sydd yn deall Groeg weled nad oes gan y Trochwyr un sail oddiwrth siampl yr apostolion, na grym geiriau yn yr iaith yr ysgrifenwyd y Testament Newydd, i drochi dyn na dynes."

*Ateb.*—Gallasai T. P. beidio trafferthu efo ei Roeg; y mae y geiriau Cymraeg *yn*, *i*, ac *i'r* neu *i yr*, yn cael eu harferyd weithiau mewn ystyr anmhriodol yn gystal a'r geiriau *en* ac *eis*. Addefa T. P. mai *eis* yw y gair cadarnaf yn y Groeg i arwyddo bod yn nghanol peth; a gwyr pob Cymró mai *yn* ac *i'r* yw y geiriau cryfaf yn Gymraeg i arwyddo yr un peth. Ond os yw bod *en*, *eis*, *yn*, *i*, ac *i'r* yn cael eu defnyddio weithiau yn anmhriodol yn brawf nad ydynt yn eu hystyr briodol yn arwyddo bod *mewn* peth, y canlyniad yw, nad oes mo'r gair yn y Groeg na'r Gymraeg yn arwyddo hyny, ac mai llwyr anmhosibl yw penderfynu beth a feddylir pan ddefnyddir y cyfryw eiriau; ac o ganlyniad nad yw *iaith* o un gwasanaeth, na geiriau yn ateb un dyben! Ac os nad oes ystyr briodol i eiriau, ynfydrwydd perffaith oedd i T. Powel ysgrifenu. Yn ol ei ddull ef o egluro geiriau, *at*, *gerllaw*, neu i *ymyl* uffern yr aeth y goludog! *Gerllaw* neu i *ymyl* y nefoedd yr aeth Lazarus! Nis gellir profi byth bod Duw na dyn YN y nef, na neb YN uffern, herwydd, ysywaeth, bod y gair *yn* yn cael ei ddefnyddio weithiau yn anmhriodol. Yr un gair a ddefnyddir yn y Groeg, Cymraeg, a Saesneg, i arwyddo bod y colledigion *yn* uffern, a'r gwaredigion *yn* y nef, ag a arferir i ddangos i Grist ac ereill gael eu bedyddio *yn* y dwfr.

*Taen.*—Gan fod *en*, *eis*, *yn*, ac *i'r* rai troion yn dynodi *at* neu *gerllaw* i beth, pa fodd y profwch nad *gerllaw* yr Iorddonen a feddylir pan ddywedir *yn* yr Iorddonen?

*Ateb.*—Am yr un rheswm ag y gwn mai *yn* uffern, nid gerllaw iddi, yr agorodd Difes ei lygaid. Yr ydym yn rhwym o ddeall pob gair yn ei ystyr briodol gyntefig bob amser, oni bydd rhywbeth yn yr amgylchiadau yn gwahardd hyny; pe amgen ni byddai geiriau, megys y sylwais, o un gwasanaeth; byddai yn llwyr anmhosibl i ni ddeall ein gilydd trwy ymarfer â hwy. Nid oes Gymro yn yr holl Dywysogaeth mor gibddall â bod heb wybod mai ystyr y gair *yn* yw bod o fewn terfynau peth. Pe dywedai gwr, "Y mae y wraig *yn y tŷ*—y meddyg *yn y dref*—y gwartheg *yn y cae*—y ceffyl *yn y gefeildŷ*—y ceiliog *yn yr ardd* yn crafu," &c. &c.; nid oes mo'r Cymro a'r nas gŵyr mai o fewn terfynau y tŷ, y dref, a'r cae, &c. ac nid gerllaw iddynt a feddylir. Pa fodd y gwyddant hyny? Am fod y gair YN yn arwyddo hyny, a dim arall bid sicr. Pan ddywedir bod y ferch wedi myned *i'r ffynnon* i hol dwfr, paham y bernir mai dim ond i lan y ffynnon yr aeth? Nid wrth y gair *i'r*, ond wrth yr amgylchiadau, y rhai a ddangosant fod y gair yn cael ei ddefnyddio yn anmhriodol. Pan ddywedir i Grist fyned *i'r* mynydd, ac i'r môr mewn llong, nis gwelaf yr anmhriodolder lleiaf, yr oedd o fewn eu terfynau; a phe buasai yn myned o fewn terfynau yr afon, heb nofio neu wyrth, buasai yn sicr o gwrdd â'i gwaelod, ac felly am y môr. Os cynnyga T. Powel

wadu hyn, yn ol ei ddull gwrthun ef o ymresymu, myfi a brofaf, (h. y. os yw ei ffiloreg ef yn profi dim,) nad aeth yr ysbrydion *i'r* genfaint foch, ac nad aeth y moch I'R môr, (Mat. viii, 32,) ac am hyny nis gallasent feirw YN y dyfroedd; nad oes neb *yn* y nef, neb *yn* uffern, neb *yn* y byd, ond *gerllaw* iddynt! Nid gwiw i T. Powel ddywedyd ei fod yn Weinidog yr Efengyl YN Aberhonddu: ni bu ef erioed *yn* yr areithfa, nac *yn* addoldy yr Anymddibynwyr yno, nac *yn* y dref; ac ni bu ef noswaith erioed *yn* y gwely, ond yn ei ymyl! a thyna paham, y mae yn debyg, y mae wedi hurtio cymmaint. Pe dygai ef fil o dystion mewn llys barn, i brofi iddynt ei weled yn mhob un o'r lleoedd uchod, ni byddai y dystiolaeth o werth dim, nis gallai brofi y pwnc, herwydd bod *yn*, mewn ystyr anmhriodol, yn cael ei arferyd weithiau am *at* neu *gerllaw!* Profed ef, os beiddia, iddo fod erioed *yn* addoldy yr Anymddibynwyr *yn* Aberhonddu; ond cofied wrth hyny, y bydd yn dirymu ei feirniadaeth *ragorol* ei hun. Mawr yw ei ryfyg, os yw yn dysgwyl i neb ei gredu ef, pan ddywed ei fod yn Weinidog *yn* Aberhonddu, ac ar yr un pryd yn taeru na fedyddiwyd Crist a'i ganlynwyr mewn dwfr, er bod ysbrydoliaeth ei hun yn dywedyd iddynt fyned i waered *i'r dwfr*, cael eu bedyddio *yn y dwfr*, ac wedi eu bedyddio, iddynt ddyfod i fynu *o'r dwfr!* Nid yw bosibl cael iaith eglurach i ddarlunio sefyllfa y rhai a fedyddid. Syndod i mi, os dichon un dyn cydwybodol, â'r Beibl yn ei law, ddarllen yr ymadroddion hyn, ac apelio at Dduw ei fod yn credu yn syml na ddarfu Ioan na Christ, Phylip na'r efnuch, gymmaint â gwlychu gwadnau eu traed yn achos bedydd! Ac am fod yr ysgrythyr mor bendant yn tystio, a bod Duw *yn* y nef a'r goludog *yn* uffern, mai *yn* y dwfr yr oeddid yn bedyddio, rhaid eu bod yn fath hynod o "wyr y dw'r," os myned yno i *daenellu* oeddynt!

Trachefn, os nad yw T. P. yn credu y dylai ddilyn Crist a'i apostolion mor agos ag y gallo yn y bedydd, i ba beth yr ymdraffertha efe i feirniadu ar yr adnodau a soniant am fedydd? nid ydynt yn perthyn dim iddo ef; dyweded ar unwaith nad yw efe yn gweled angenrheidrwydd i gydffurfio â hwy. Ond os yw yn meddwl y dylai gyd-ffurfio â hwy, oferedd perffaith yw ei holl ymdrech i geisio troi *en*, *eis*, *yn*, ac *i'r*, i arwyddo at neu i ymyl peth, pan sonir am fedydd; canys os yw ei *ymddygiad* ef yn iawn, y mae *at* ac *ymyl* afon neu ddwfr ag y gellir myned iddo, yn berffaith mor gyfeiliornus ag yw *yn* ac *i'r* afon; megys y dengys yr enghraifft a ganlyn:—

| *Y modd y darlunir Bedydd a'i ddeiliaid yn y Beibl.* | *Y modd y dylai y Beibl fod, os yw Taenellwyr babanod ein gwlad yn gwneuthur yn iawn.* |
|---|---|
| "A hwy a fedyddiwyd ganddo *yn afon* yr Iorddonen, *gan gyffesu* eu pechodau," Mat. iii, 6. | "A hwy a fedyddiwyd ganddo *mewn tŷ yn ddigon pell oddiwrth bob afon (a llyn)* cyn y *gwyddent*, gan mwyaf, *am bechodau*, na *medru cyffesu dim*." |
| "Yna y *daeth* yr Iesu o Galilea *i'r* Iorddonen, at Ioan, i'w fedyddio ganddo," Mat. iii, 16. | "Yna y *dygwyd* yr Iesu gan ei rieni, o Galilea i'r *synagog* (neu i *dŷ annedd*) at Ioan i'w fedyddio ganddo." |

| *Y modd y mae y Beibl.* | *Y modd y dylai y Beibl fod, &c.* |
|---|---|
| "Ewch, gan hyny, a dysgwch yr holl genedloedd, *gan eu bedyddio*, &c." Mat. xviii, 19. | "Ewch, gan hyny, a dysgwch yr holl genedloedd *oedranol*, a *dysgyblwch* holl blant bychain y ffyddloniaid, *trwy eu bedyddio*." |
| "A'r Iesu wedi ei fedyddio a *aeth* yn y fan *i fynu o'r dwfr*," Mat. iii, 16. | "A'r Iesu wedi ei fedyddio a *ddygwyd* yn y fan allan o'r *synagog*, (neu yr *annedd-dŷ*.") |
| "Yr oedd Ioan yn bedyddio ac yn pregethu bedydd *edifeirwch* er *maddeuant pechodau*. Ac a'u bedyddiwyd oll ganddo *yn afon yr Iorddonen* gan *gyffesu eu pechodau*," Marc i, 4, 5. | "Yr oedd Ioan yn bedyddio ac yn pregethu bedydd *hâd y ffyddloniaid*, y rhai, gan mwyaf, *na wyddent fod eisieu* maddeuant pechodau. Ac a'u bedyddiwyd oll ganddo *mewn tŷ yn mhell oddiwrth bob afon (a llyn*.") |
| "Ewch i'r holl fyd, a phregethwch yr efengyl i bob creadur; *y neb a gredo* ac a fedyddier a fydd cadwedig," Marc xvi, 15, 16. | "Ewch i'r holl fyd, a phregethwch yr efengyl i bob creadur, y neb a gredo ac a fedyddier *ynghyd â'i holl fabanod*, a fydd cadwedig." |
| "A bû yn y dyddiau hyny, *ddyfod* o'r Iesu o Nazareth. Ac efe a fedyddiwyd gan Ioan *yn yr Iorddonen*," Marc i, 9. Gwel hefyd Luc iii, 3—21. | "A bu yn y dyddiau hyny, *dygwyd* yr Iesu o Nazareth. Ac efe a fedyddiwyd gan Ioan *yn y synagog*, (neu *dŷ annedd*.") |
| "A'r publicanod hefyd a *ddaethant* i'w bedyddio, ac a ddywedasant wrtho, Athraw, *beth a wnawn ni?*" Luc iii, 12. | "A'r publicanod hefyd a ddaethant, gan *ddwyn eu babanod* i'w bedyddio, ac a ddywedasant wrtho, Athraw, beth a wnawn ni â'r *bychain yma?*" |
| "A'r publicanod *a gyfiawnhasant Dduw*, wedi eu bedyddio â bedydd Ioan," Luc vii, 29, 30. | "A'r publicanod a gyfiawnhasant Dduw, wedi eu bedyddio *hwy a'u babanod* â bedydd Ioan." |
| "Ac yr oedd Ioan hefyd yn bedyddio *yn* Ainon, *canys dyfroedd lawer oedd yno:* a hwy a *ddaethant* ac a'u bedyddiwyd. Y mae hwnw yn bedyddio, *a phawb yn dyfod ato ef*," Ioan iii, 22, 23. | "Ac yr oedd Ioan hefyd yn bedyddio *gerllaw* Ainon, canys *ychydig* (oddeutu cwpanaid) *o ddwfr oedd yno*; a rhai a *ddaethant*, a llawer a *ddygwyd* ac a'u bedyddiwyd. Y mae hwnw yn bedyddio, *a rhai yn dyfod*, a llawer yn *cael eu dwyn* ato ef." |
| "Fod yr Iesu yn *gwneuthur ac yn bedyddio* mwy o ddysgyblion nag Ioan," Ioan iv, 1, 2. | "Fod yr Iesu yn *dysgyblu trwy eu bedyddio*, mwy o nifer nag Ioan." |
| "*Edifarhewch*, a bedyddier pob un o honoch yn enw Iesu Grist, er maddeuant pechodau," Act. ii, 38. | "Edifarhewch, a bedyddier pob un o honoch, *a'ch holl blant bychain*, yn enw Iesu Grist, er maddeuant pechodau *i chwi ac i'r plant na phechasant* (yn weithredol) *erioed*." |
| "Yna y rhai *a dderbyniasant ei air ef yn ewyllysgar*, a fedyddiwyd," Act. ii, 41. | "Yna y rhai a dderbyniasant ei air ef yn ewyllysgar, *ynghyd â'u holl blant bychain*, a fedyddiwyd." |
| "Eithr pan *gredasant* i Phylip, yn pregethu y pethau a berthynent i deyrnas Dduw, ac i enw Iesu Grist, hwy *a fedyddiwyd, yn wyr ac yn wragedd*," Act. viii, 12. | "Eithr pan *gredodd rhai o honynt* i Phylip, yn pregethu y pethau a berthynent i deyrnas Dduw, ac i enw Iesu Grist, hwy a fedyddiwyd, yn wyr ac yn wragedd, *ac yn blant bychain*, (neb plant mawrion.") |

| *Y modd y mae y Beibl.* | *Y modd y dylai y Beibl fod, &c.* |
|---|---|
| "Simon yntau hefyd *a gredodd:* ac wedi ei fedyddio, a lynodd wrth Phylip," Act. viii, 13. | "Simon yntau hefyd a *gredodd;* ac wedi ei fedyddio ef, *a'i blant bach,* a lynodd wrth Phylip." |
| "Ac fel yr oeddynt yn myned ar hyd y ffordd, hwy a ddaethant at *ryw ddwfr.* A'r efnuch a ddywedodd, Wele ddwfr; beth sydd yn lluddias fy medyddio? A dywedodd Phylip wrtho, os wyt ti *yn credu â'th holl galon,* fe a ellir. Ac efe a atebodd ac a ddywedodd, Yr wyf yn credu fod Iesu Grist yn Fab Duw.—A *hwy a aethant i waered ill dau i'r dwfr,* Phylip a'r efnuch; ac efe a'i bedyddiodd ef. A phan ddaethant *i fynu o'r dwfr,* Ysbryd yr Arglwydd a gipiodd Phylip ymaith," Act. viii, 36—39. | "Ac fel yr oeddynt yn myned ar hyd y ffordd, hwy a ddaethant *at ryw dŷ,* a'r efnuch a ddywedodd, Wele *dŷ a chwpanaid o ddwfr,* (ond odid,) beth sydd yn lluddias fy medyddio? A dywedodd Phylip wrtho, Os wyt ti yn un o *hâd y ffyddloniaid,* fe a ellir. Ac efe a atebodd ac a ddywedodd, Yr wyf yn *hâd i un o'r proselytiaid.* A hwy a aethant *i mewn ill dau i'r tŷ, ac at y cwpan dwfr,* Phylip a'r efnuch, ac efe a'i bedyddiodd ef. A phan ddaethant *allan o'r tŷ oddiwrth y cwpan dwfr,* Ysbryd yr Arglwydd a gipiodd Phylip ymaith." |
| "A all neb luddias dwfr, fel na fedyddier y rhai hyn, y rhai a dderbyniasant yr Ysbryd Glân, fel ninnau," Act. x, 47. | "A all neb luddias dwfr, fel na fedyddier y rhai hyn, *a'u babanod,* y rhai a dderbyniasant yr Ysbryd Glân, fel ninnau?" |
| "*Claddwyd* ni gan hyny gydag ef trwy fedydd i farwolaeth," &c., Rhuf. vi, 4. | "*Taenellwyd* ni gan hyny gydag ef trwy fedydd i farwolaeth," &c. |
| "Wedi eich *cydgladdu* ag ef yn y bedydd," &c., Col. ii, 12. | "Wedi eich *cyd-daenellu* ag ef yn y bedydd." |

Wele amryw o'r ysgrythyrau sydd yn darlunio bedydd, ac nid oes destun yn y Beibl yn rhoddi darluniad gwrthwynebol; dangosant anghyssondeb cywilyddus y Taenellwyr a'r Beibl. Am mai hwn yw yr argraffiad cyntaf o'r cyfieithiad a weddai i daenellwyr babanod, gellai ei fod yn anmherffaith, eithr wedi i mi gael gweled nodiadau y beirniaid, byddaf foddlon i bob cyfnewidiad rhesymol. Amlwg yw fod yn rhaid gwneuthur y Beibl yn beth nad yw, neu rhaid yw gwneuthur y Taenellwyr yn bethau nad ydynt, cyn y gellir cael y gradd lleiaf o gydfod rhyngddynt. Pe byddai Taenellwr â baban yn ei freichiau yn cyd-adrodd yr ysgrythyrau sydd yn darlunio bedydd, ac wrth nesâu at ei ffiolaid dwfr yn dywedyd, "*A hwy a aethant i waered ill dau i'r dwfr,*" oni feddyliai y gwrandawyr ystyriol fod y dyn wedi ynfydu, ac yn meddwl cerdded efo y baban i'r ffiol!

## *Bedyddio â Dwfr.*

*Taen.*—Hawdd iawn yw talu y pwyth i chwi, trwy ddangos eich hanghyssondeb chwithau â llawer o destunau, yn neillduol y rhai a soniant am fedyddio *â dwfr,* ac nid *mewn dwfr.* "Dywed Ioan ei hun mai *â dwfr* yr oedd ef yn bedyddio, ac nid suddo y corff yn y dwfr." Mat. iii, 11; Marc i, 8, &c. "Oddiwrth y geiriau hyn y mae yn amlwg mai cymhwyso yr elfen at y person oedd Ioan, ac nid rhoddi y person yn yr elfen."

*Ateb.*—Nid mor amlwg; ïe, nid oes rith o wirionedd yn eich sylwad. Gŵyr pawb "sydd yn deall Groeg," neu Gymraeg, nad yw y rhag-osodiad *â* neu *ag* o anghenrheidrwydd yn darlunio *dull* y weithred a ganlyna, ond y *sylwedd* a ddefnyddiwyd yn y cyflawniad o honi. "Siarad cyffredin" a ddengys hyn. A ydwyt wedi golchi dy draed, Twm? Ydwyf. A pha beth y golchaist hwynt? A dwfr, bid sicr; â pheth arall y gallaswn ei wneuthur? Beth a wn i? Clywais fod rhai yn golchi eu traed â maidd ac ag enwyn.—Cofiwch fod y dull yma o siarad yn cael ei arfer pan fyddo y traed yn cael eu *trochi* mewn llestraid o ddwfr. Ond i beidio gorphwys yma, bid hysbys i chwi, y dylasai y geiriau a grybwyllwch gael eu cyfieithu, "Myfi ydwyf yn eich bedyddio chwi *yn* y dwfr—Efe a'ch bedyddia chwi *yn* yr Ysbryd Glân a thân." Yr un gair sydd yn y Groeg yma (sef *en*) ag sydd yn y geiriau canlynol:—"Ein Tad yr hwn wyt *yn* y nefoedd (Mat. vi, 9,)—fuont feirw *yn* y dyfroedd (Mat. viii, 32,)—yr hwn sydd *yn* y nef," (Ioan iii, 13.) &c., &c. Ac amlwg yw mai yr un modd y dylid ei gyfieithu yn yr ymadroddion mewn dadl. Chwithig y swnia ymadrodd fel hyn: "Aethant *i'r* dwfr i fedyddio *â* dwfr," (yn ol esponiad T. P. o'r *â*); eithr myned *i'r* dwfr i fedyddio *yn* y dwfr sydd resymol. Wele y gorsen hon oedd yn ategu taenelliad wedi ei dryllio. Dilyned y duwiolion siampl Crist *i'r* dwfr, ac yn mhob gosodiad Dwyfol.

### *Dilyn Siampl Crist.*

*Taen.*—Syndod i mi eich bod yn rhyfygu dywedyd eich bod yn dilyn *siampl* Crist yn y bedydd, ar ol yr holl rybuddion a gawsoch gan fedyddwyr babanod. Onid ydych yn haeru bod ffydd ac edifeirwch yn ofynol cyn bedyddio! a rhaid eich bod yn gwybod gystal â minnau, nad oedd gan Grist ffydd nac edifeirwch! Pa fodd, gan hyny, yr ydych yn ei ddilyn ef?

*Ateb.*—Yr ydym dra rhwymedig i chwi am eich rhybuddion caredig, etto, tebyg ddigon y byddwn ni mor ëon ag haeru bod Crist yn esiampl i ni, tra darllenom yn ein Beiblau ei fod ef wedi "gadael i ni esiampl fel y canlynech ei ol ef," 1 Pedr iii, 21. Os oedd ei fod ef heb ffydd ac edifeirwch mewn bedydd yn ei anaddasu i fod yn esiampl i ni yn hyny, byddai yn brydferth ddigon i chwi droi yn chwyrn ar Pedr, a thaeru nad yw yn bosibl iddo fod yn esiampl i ni mewn dim, oblegid na feddodd efe ffydd nac edifeirwch erioed, ond bod yn rhaid i ni wrthynt wrth gyflawni pob peth, neu beidio rhyngu bodd Duw. Rhyngoch chwi a Phedr y b'o y ddadl; a ni a wnawn megys y gwnaeth ein Prynwr o'n blaen.

### *Bedyddiad y tair mil.*

*Taen.*—Soniwch lawer am fedyddio mewn afonydd—dyfroedd lawer—myned i'r dwfr—a dyfod o'r dwfr; atolwg yn mha le y bedyddiwyd y tair mil ar ddydd y Pentecost? "Nid oes (fel y dywed Powel) dim son iddynt symud o'r fan hôno, ond cael eu bedyddio *trwy daenellu dwfr arnynt.*" Act. ii, 37—41.

*Ateb.*—Eich cymmwynasgarwch haeriadol parhaus sydd yn rhwym o effeithio arnaf; ond atolwg, os na ormesaf ormod ar eich natur dda, byddwch cystal ag enwi yr adnod lle y dywedir iddynt gael eu *taenellu*, a thyna y ddadl ar ben; ac oni wnewch, ofni yr ydwyf mai yr unig dâl a gewch chwi a T. P. am eich haeriad hysbysol, fydd cael eich cyfrif yn ddynion anwireddus, perffaith diddal, heb fwy o barch i wirionedd nag sydd gan dad y celwydd ei hun. Nid oes air o son am y fath beth yn yr hanes. Nis gwn i pa le y bedyddiwyd hwy, ac nis gwyddoch chwithau; a phrin y meddyliaf y cynnygai neb ond ynfydion i brofi pwnc oddiwrth *ddystawrwydd* y Beibl. Gwir nad oes son am afon na myned i'r dwfr yma, a'r un mor wir yw, nad oes son am *ddim dwfr* yma; ac felly nis gellir profi oddiwrth yr hanes hwn dim pellach nag y mae y gair BEDYDDIO ei hun yn arwyddo, yn mha ddull y gweinyddwyd yr ordinhad; y cwbl a haeraf oddiyma a brofaf, sef, os bedyddiwyd y rhai hyn yn yr un modd â'r rhai y darlunir amgylchiadau eu bedyddiad, hwy aethant i waered i *ryw ddwfr*, ac *yn hwnw* fe'u bedyddiwyd: os bedyddiwyd hwy mewn modd gwahanol, gofynaf am brawf: eithr gofyn a allaf ni fedr neb ei roddi. Pe taerai rhywun mai nid *mewn* nac *â* dwfr, ond ag olew, llaeth, neu win, y bedyddiwyd hwy; neu mai bawd pob troed ddeheu a fedyddiwyd ag enaint; ac mai Pedr ei hun, heb gymhorth neb, a eneiniodd yr holl fawdiau hyn, nes oedd asgwrn ei gefn ar dòri, parod fyddech i ddywedyd fod cydwybod haiarn a chalon gallestr gan y dyn a fedrai haeru y fath gelwyddau cywilyddus, etto, cofiwch y gellir profi y naill neu y llall o honynt mor hawdd ag eiddo *T. Powel.* Pa beth, gan hyny, a ddywedwch am ei galon a'i gydwybod hawddgar ef!

*Bedyddiad Ceidwad y Carchar.*

*Taen.*—Yn mha le y bedyddiwyd ceidwad y carchar a'i deulu? Act. xvi, 25—34. "Fe'u bedyddiwyd hwy yn y nos, ac y mae yn amlwg, fel y dywed *Powel*, nad aeth neb o honynt allan o dŷ, oblegid fe ddywedir iddynt oll gael eu bedyddio yn y fan. A pha le y mae rhith o esiampl gan y Trochwyr oddiwrth ddull apostolion Crist i drochi neb? pan y mae mor amlwg â'r haul y pryd y byddo yn dysgleirio fwyaf, mai eu taenellu a gafodd ceidwad y carchar a'i deulu yn y fan. Ow! drochwyr, cywilyddiwch a gwridiwch!"

*Ateb.*—Nis gwn i, ac nis gwyddoch chwithau, na neb arall, yn mha le y bedyddiwyd ceidwad y carchar a'i deulu; ac ni chlywais i fod neb o'r Bedyddwyr erioed yn sylfaenu trochiad ar yr hanes hwn, (ar yr hyn a ddywed, ac nid yr hyn *ni* ddywed y Beibl, y gorphwysant hwy,) ond yn unig oddiwrth ystyr y gair *bedyddio*, yr hyn yw trochi, fel y sylwaf etto; nid oes yma ddim arall i'n tywys i ddeall y dull; dystawrwydd hollol am hyny, fel yn yr amgylchiad blaenorol, sydd yma. Ond cyn myned yn mhellach, rhoddwch glywed pa un ai rhyfygu am y mwyaf, a dywedyd am y mwyaf o anwireddau noethlymun, neu ddywedyd y gwir, a fynwch wneuthur yn y ddadl hon?

*Taen.*—Dywedyd y gwir yn ddiryfyg, bid sicr, yw ein dyledswydd; ond pa gamddywediad sydd yn fy rhesymiad diweddaf?

*Troch.*—Pa gamddywediad! cymmerwch y Beibl etto mewn llaw, darllenwch yr adnodau uchod, a dywedwch pa adnod sydd yn dangos "yn amlwg nad aethant allan o dŷ." Ai adn. 30, "Ac (efe) a'u dug hwynt allan!" sef, allan o'r carchar, debygwn i; canys yno yr oeddynt. Pe addefwn i *Powel*, ar draul y gwirionedd, er mwyn ymresymu, bod y geiriau *yn y man* yn dynodi *lle* pennodol, ac nid amser neillduol, mi a ddywedwn hwy gawsant "eu bedyddio yn y *man*:" ond pa *fan* nid yw yr hanes yn dywedyd, ond rhyw fan yr aethant iddo, wedi myned *allan*. Dygwyd yr apostolion allan cyn y bedyddiad, ond wedi hyny y dygodd y ceidwad hwynt i'w dŷ, adn. 30—34. Eithr beth a feddyliwch am ddysgeidiaeth oruchel eich *Groegwr*, a'i addasrwydd neillduol i addysgu yr anwybodus, pan weloch mai *amser*, ac nid *lle*, a olygir wrth *yn y man!* *Parachrema* yw y Groeg, *straightway* yw y Saesneg. Nid yw *parachrema* byth yn dynodi *lle;* cyfieithir yr un gair yn Mat. xxi, 19, 20, *ebrwydd* a *disymwth*, ac yn Luc i, 64, *ebrwydd;* ac nid oes neb namyn y sawl sydd a'u gwybodaeth am Roeg yn gyffelyb i eiddo "Tyrchod Daear," a'r nas gwyddant mai ystyr y geiriau yw hyn: sef, i'r ceidwad, wedi dwyn yr apostolion allan, gwrando yr efengyl, a golchi eu briwiau, gael ei fedyddio yn *ebrwydd*, yn *ddiaros*, neu *heb oedi*. Ychydig iawn, yr wyf yn ofni, a elwodd T. P., wrth ddarllen Groeg, ac o gylch yr un faint, mae yn debyg, yr elwa y sawl a ddarllenant ei waith ef. Dywedwch etto os byddwch mor fwyn, pa adnod sydd yn "dangos mor eglur â'r haul mai eu taenellu a gawsant? A oes gair o son am y fath beth yn y Beibl? Atebwch! Rhoddwch glywed yn mha le? Pe taerai rhyw ddiffeithwr iddynt gael eu crogi, ac adfywio drachefn, yr hyn a barodd iddynt *lawenhau*, (adn. 34;) neu pe tystiai arall, mor fach ei ofal am ddywedyd y gwir ag yw awdwr diddal yr haeriadau uchod, iddynt gael eu bedyddio â'r gwaed a dynodd Paul o'u clustiau, &c., byddai yr un mor hawdd i brofi y naill haeriad â'r llall; eithr pwy bynag a haero un neu arall o honynt, sydd yn eithaf rhydd oddiwrth rwymau cydwybod, ofn Duw, a theimlad o gywilydd, i daeru un peth a farno yn fanteisiol i'w bwnc. Rhesymol yw barnu i'r ceidwad a'i deulu crediniol gael eu bedyddio yn yr un modd ag ereill, amgylchiadau bedyddiad y rhai a adroddir yn yr ysgrythyr; ac os felly, fe'u bedyddiwyd *mewn rhyw ddwfr*. Yr ydwyf fi wedi profi fod Crist, Pen yr eglwys, a lluoedd gydag ef, wedi cael eu bedyddio *mewn dwfr*. Os dywedir mai beius yw bedyddio *mewn dwfr* yn awr, yr un peth fyddai haeru y gwrthddywediad hyn, sef bod yr Hwn na wnaeth bechod erioed yn feius iawn am roddi i ni y fath esiampl. Er hyny, profwch chwi fod cymmaint ag un erioed wedi ei fedyddio heb fod mewn dwfr, bydd y ddadl ar ben. Nid gwiw pwyso ar fanau lle mae y Beibl yn ddystaw; canys byddai hyny mor wrthun â thaeru na chreodd Duw y byd, oblegid nad oes son am hyny yn 1 Cron. i, 1; ac nad yw

Crist yn Dduw, herwydd nad oes air o son am hyny yn Sal. xxxiv, 21, &c. &c. Ni feddyliodd un dyn yn ei bwyll erioed fod eisieu rhoddi darluniad llawn o bwnc yn mhob pennod.

*Taen.*—Ond beth pe medrid dangos bod pawb a fedyddiwyd wedi myned *i'r dwfr*, ni byddai hyny yn profi trochiad: canys y mae llawer yn myned i'r dwfr heb gael eu trochi dros eu penau a'u clustiau.

*Ateb.*—Gwir iawn: ond hwy a aethant i'r dwfr *i'r dyben i fedyddio;* ac os gwnaethant hyny i'r dyben o *daenellu*, hwy a wnaethant yr hyn na wna neb dynion call yn ein hoes ni. Rhoddasant siampl fel y canlynai Taenellwyr eu hol; ond nid oes mo'r Taenellwr yn ei bwyll a'u canlyna! Bernwch chwi, pa un ai Crist neu Daenellwyr yr oes hon a ddylai Cristion ddilyn.

*Baptizô.*

*Taen.*—Tybiais i chwi ddywedyd mai ystyr y gair gwreiddiol *baptizô* yw *trochi*, neu *soddi* mewn dwfr.

*Ateb.*—Na ddo; eithr haerais mai ei ystyr yw *trochi* neu *soddi*, gan nad pa un ai mewn dwfr, llaeth, neu olew, &c. y gwneir hyny; ac haeraf yn mhellach, os mynwch, mai trochi neu soddi mewn dwfr yw *baptizô en udati* yn yr ordinhad o fedydd. Awdwyr yr holl Eiriaduron Groeg, er bod yn Daenellwyr eu hunain, a ddywedant mai ystyr *baptizo* yw TROCHI: lliaws ereill o'r mwyaf dysgedig yn mysg Taenellwyr a addefant yr un peth; pob dyn dysgedig a berthyn, neu a berthynodd erioed i'r Bedyddwyr, a daera yn ddiofn gwrthwynebiad, mai hyny, a dim ond hyny, yw ei ystyr briodol; holl eglwysi Groeg hyd y dydd hwn a drochant yn yr ordinhad; ac nid oes neb yn deall Groeg, gobeithio, yn well nâ'r Groegiaid eu hunain. Nid oes mo'r gair yn y Roeg yn fwy arwyddocäol o *drochi* nag yw *baptizô;* ac os nad yw hwn yn ei arwyddo, nid oes mo'r gair yn yr iaith gyflawn a chlodfawr hòno am drochi! A fedrwch chwi gredu hyny? Y mae geiriau Groeg am dywallt a thaenellu; *rantizo* yw y gair am daenellu, eithr nid yw hwnw byth yn cael ei arfer am fedydd dwfr, am hyny rhaid bod bedyddio a thaenellu yn ddau beth llwyr wahanol; o herwydd paham, taeraf yn eofn, fod *baptizô* mewn dwfr yn berffaith yr un peth â *throchi* mewn dwfr; pob man gan hyny a sonia am fedyddio a sonia am drochi! Ac o ganlyniad, fod son am *fedyddio* drwy *daenellu* yn berffaith mor wrthun ag yw son am *drochi* trwy *daenellu*.

*Taen.*—Ymadroddion Mr. Williams, Llanwrtyd, ydynt ddigon i wrthbrofi hyn:—"Ategant ef (trochiad, medd ef) â hyn, trwy ddywedyd mai unig ystyr y gair bedydd yw trochi; ond y desgrifiad a rydd y Beibl o hono yw *tywallt;* 1 Cor. x, 2, 'A'u bedyddio hwy oll yn y cwmwl ac yn y môr;' ac Ecs. xiv, 22, 'A meibion Israel a aethant trwy ganol y môr ar dir sych;' a dywedir yn Salm lxxvii, 17, 'Y cymylau a *dywalltasant* ddwfr;' os gofynir pa bryd? atebir yn adnod 20, 'Pan dywysaist dy bobl trwy law Moses ac Aaron! Yma gwelwn iddynt gael eu bedyddio ar dir sych; os gofynir 'pa sut y gweinyddwyd ef?' y Salmydd a etyb, 'Y

cymylau a dywalltasant ddwfr.' Bellach wele yr ateg yma wedi ei symud, ac adeilad y trochiad yn siglo."

*Ateb.*—Pe buasai T. Powel yn ymrysoni (nid ymresymu) yn y modd hyn, ni buasai ryfedd genyf; ond, o ddifrif, nis gallaf lai na sỳnu bod dyn ag oeddwn i yn feddwl, wrth y son a glywais am dano, sydd yn ofni Duw yn fwy nâ llawer, yn cael rhyddid gan ei gydwybod i ryfygu trin gair yr Arglwydd mor dwyllodrus. Gŵyr pawb mai mewn ystyr gymharol y gelwir mynediad Israel trwy y môr yn *fedydd*, ac nad oedd yr ordinhad o fedydd wedi ei sefydlu cyn amser Crist; ac ni bu erioed ddim yn fwy gwrthun nâ cheisio penderfynu ystyr briodol neb geiriau wrth yr arferiad cymharol o honynt. Gwaeth nâ'r cwbl, y mae y dyn penrydd yn dywedyd anwiredd diorchudd ar y Salmydd. Trowch i'r Salm uchod, a gwelwch nad yw y Salmydd yn dywedyd i'r "cymylau dywallt dwfr *pan* oedd Duw yn tywys ei bobl;" eithr dywedir (adn. 17,) "y cymylau a dywalltasant ddwfr," ac yn adn. 20, "Tywysaist dy bobl fel defaid," &c. Eithr ni ddywedir pa bryd y bu hyn; tywysodd Duw ei bobl ddeugain mlynedd yn yr anialwch wedi eu dyfodiad trwy y môr. Gwendid dirfawr ei bwnc, a chaledrwydd echryslon ei gydwybod, a barodd i D. W. haeru fod y Beibl yn dywedyd mai *pan* y daeth Israel trwy y môr y tywalltodd y cymylau ddwfr, ac arwyddo mai ar Israel, yn hytrach nâ'r Aifftiaid, y tywalltwyd y dwfr. Pe addefid, megys y *casgla* rhai gwyr enwog, mai cyfeirio y mae y Salmydd at ddyfodiad Israel trwy y môr coch yn y geiriau dywededig, gweddusach lawer fyddai eu cymhwyso at yr Aifftiaid nag at yr Israeliaid; canys darlunio ystorm ddychrynllyd o wlaw, mellt, taranau, a daeargryn a wna y Salmydd, yn adn. 17, 18: "Y cymylau a dywalltasant ddwfr, yr wybrenau a roddasant *dwrf*, dy saethau hefyd a gerddasant. Twrf dy daran a glywyd o amgylch; mellt a oleusant y byd; cyffrodd a *chrynodd* y ddaear." Os darluniad o fedydd sydd yma, rhaid cael saethau, mellt, twrf taranau, a daeargryn cyn gellir bedyddio yn iawn! Ond os darluniad o'r ystorm a gymmerodd le ar ddyfodiad Israel trwy y môr sydd yma, ymddengys esboniad Mathew Henry (Anymddibynwr) i mi yn dra godidog: "Efe a ddinystriodd yr Aifftiaid, (adn. 17,) *y cymylau a dywalltasant ddwfr* arnynt *hwy*, (yr Aifftiaid,) tra yr oedd y golofn dân fel cysgodlen dros wersyll Israel, yn ei gysgodi rhag y gafod. *Dy saethau hefyd a gerddasant—mellt a oleusant y byd;* dyma y saethau a gerddasant trwy y rhai y maeddwyd llu yr Aifftiaid gyda y fath ddychryn."—Talfyriad o Henry ar y lle. O ganlyniad, os bedydd a ddarlunir yma, bedyddiad yr *Aifftiaid* ydyw! Prin y credaf y dichon D. W. gredu fod y fath ystorm echryslon wedi ymosod ar y gwaredigion; ac anhawddach fyth yw credu y carai efe wrth fedyddio na chymuno gwrdd â'r fath ystorm ofnadwy a dinystriol, â'r hon (os tâl ei ymresymiad ef ddim) y bedyddiwyd yr Aifftiaid.

Os nid digon y sylwadau uchod i ddangos i D. W. ei ynfydrwydd rhyfygus, gobeithiaf y tuedda yr hyn a ganlyna i agor ei lygaid. Yn ol ei

ddull erchyll ef o esbonio yr ysgrythyr, gellir profi (mewn ymddangosiad) yr athrawiaethau mwyaf gwrthun a chableddus a lyfelwyd erioed yn mhydew Belsebwb. Trwy glytio darnau anghyssylltiedig o'r ysgrythyr, neu gymmeryd un dryll-ymadrodd oddiyma, a dryll arall oddidraw, megys y gwna D. W., gellir ffugbrofi yn odiaethol mai gwlychu troed anifail mewn oleu yw bedydd yn ol y Beibl. Os gofynir a ydyw bedydd yn bwnc ysgrythyrol, trowch i Act. viii, 39, "Ac efe a'i bedyddiodd ef." Os mynwch wybod pwy a ddylid fedyddio, trowch i Job i, 3, "A'i olud oedd saith mil o *ddefaid*, &c." Os mynwch ddeall â pha elfen y dylid bedyddio, trowch i Job xxix, 6, "Tywalltai y graig i mi afonydd o *olew*." Os ydych am ddeall pa fodd y dylid gweini bedydd, trowch i Deut. xxxii, 24. "Efe a *wlych* (neu a *drocha)* ei *droed* mewn *olew!*"

Nid oes raid wrth ychwaneg cywreinrwydd i ddangos beth yw *Dafydd Llanwrtyd*, a pha beth fydd ei sefyllfa yn ol hyn. Os mynwch wybod pa beth a wnaeth *Dafydd*, trowch i 1 Sam. xviii, 21, "Fel hyn y *llefarodd* Dafydd." Os ewyllysiwch wybod pa beth a lefarodd efe, trowch i Act. v, 3, "Dywedyd *celwydd* wrth (neu ar) yr Ysbryd Glân." Os gofynir yn mha gyflwr y mae y *Dafydd* hwn, gwelwch Act. viii, 20, "Mi a'th welaf mewn bustl chwerwder, ac mewn rhwymedigaeth anwiredd." Os carech wybod beth fydd ei ddiwedd, trowch i Esay xiv, 9, 15, "Uffern odditanodd a gynhyrfodd o'th achos, i *gyfarfod â thi wrth dy ddyfodiad.* I uffern y'th ddisgynir i ystlysau y ffos." Pell oddiwrthyf fyddo ceisio denu neb i gredu bod y dyfyniadau uchod yn eu hagwedd glytiog yn profi un pwnc; ond haeraf fod fy nghlytwaith i mor amddiffynadwy ag eiddo D. W.; yr unig wahaniaeth rhyngddo ef a minnau yn hyn o orchwyl yw, ei fod ef wedi clytio ymadroddion anmherthynasol i'r pwnc, i dwyllo yr annysgedig, a minnau wedi gosod geiriau anmherthynasol ynghyd i ddidwyllo y darllenydd. Gobeithiaf na chaiff ef genad byth ond hyny gan ei gydwybod i ychwanegu at yr ysgrythyr, na galw ei esboniad cywilyddus ei hun yn *Air Duw.*

*Taen.*—"Cynnwysiad y gair *bedyddio,* (fel y dywed *Powel,)* yw cyssegru neu gyflwyno i Dduw; neillduo a rhoddi i fynu i wasanaeth Dwyfol trwy wlychu â dwfr; a hyn a ŵyr pawb yn dda ag sydd yn deall yr iaith wreiddiol." Pa beth a ddywedwch chwi am hyn?

*Ateb.*—"Cynnwysiad y geiriau *Thomas Powel, Gweinidog yr Efengyl yn Aberhonddu,* yw Prif Goleddwr Digywilydd-dra, Rhyfyg, a Chabledd!"

"A hyn a ŵyr pawb yn dda ag sydd yn deall yr iaith wreiddiol" neu gangenol. Yr wyf yn sicr fy mod yn deall ystyr y geiriau hyn bob tipyn gystal ag y dealla efe y gair *baptizô!*

*Taen.*—Arafwch, a chlywch *Powel* etto! "Os dywed y Trochwyr mai *trochi* mewn dwfr yw unig ystyr y gair bedyddio, rhaid iddynt ddywedyd, Trochi i Moses, trochi i edifeirwch, trochi i un corff, trochi â thân, &c. Gwelwch yma fôr o ynfydrwyddd ag y mae y Trochwyr yn trochi eu hunain ynddo!"

*Ateb.*—Nid oes yma gymmaint â sill yn dynodi nad trochi yw *baptizô*, neu fedyddio; os bernir fod rhywbeth yn chwythig yn y sain, nid dim ond diffyg arferiad sydd yn sylfaen i'r cyfryw farn; rhaid bod y gair *baptizô* yn arwyddo rhywbeth, pe amgen cystal fyddai bod hebddo. Os yw *ymddygiad T. Powel*, a'i frodyr y cyfryw ag y dylai fod, ystyr *baptizô* yw *taenellu*, am hyny, rhaid dywedyd "Taenellu iMoses—taenellu i edifeirwch—taenellu â thân—taenellu i'r Ysbryd Glân!"—Os gwrandawn ar y diweddar B. Evans, o'r Drewen, ystyr y gair *baptizô* yw *golchi;* yna rhaid dywedyd "Golchi i Moses—golchi i edifeirwch—golchi â thân!!!" &c. Ond os credwn ddadleuwr *dysgedicach* Aberhonddu, ystyr *babtizô* yw "gwlychu â dwfr wrth gyssegru i Dduw;" yna rhaid dywedyd "Gwlychu â dwfr wrth gyssegru *i Dduw i Moses!*—gwlychu *â dwfr* wrth gyssegru i Dduw *â than!!!*—gwlychu â dwfr wrth gyssegru i Dduw *â'r Ysbryd Glân!!!*" &c.

Digona hyn i ddangos fod y gwr hwn wedi cyssegru ei hun i gymmaint gwallgofrwydd a rhyfyg wrth wlychu â dwfr â phe buasai wedi ymdrochi mewn "moroedd fil o ynfydrwydd!"

*Taen.*—Enwyd amryw adnodau gan *Mr. Powel* ag sydd yn dangos mai dull bedydd yr Ysbryd Glân yw *tywallt* neu *daenellu;* ac am mai arwydd o fedydd yr Ysbryd yw bedydd dwfr, rhaid mai taenellu yw iawn ddull bedydd dwfr.

*Ateb.*—Y mae amryw ystyriaethau a ddangosant fod ei ymresymiad (os teilwng o'r enw) yn eithaf dichellgar a thwyllodrus.

1. Mewn ystyr gymharol, ac nid priodol, fel yr addef pawb, y gelwir neb o weithrediadau yr Ysbryd yn fedydd; eithr nis dichon un math o ymresymiad fod yn fwy gwrthun nâ phenderfynu ystyr geiriau pendant wrth yr arferiad cymharol a wneir o honynt. Gelwir Crist yn *Oen;* ond pe penderfynid oddiwrth yr enw cymharol hwn yn unig beth yw Crist, rhaid fyddai credu ei fod yn wan, hollol analluog i amddiffyn ei hun. Ni byddai o'r gwasanaeth lleiaf i grediniwr yn ei dduwdod i ddywedyd ei fod yn *hollalluog*, yn ol geiriau pendant (nid cymharol) y Beibl; canys, yn ol dull *T. Powel*, gellai ei wrthwynebwr daeru, "Och fi! nid yw y gair *hollalluog* yn arwyddo grym mawr, ond gwendid, oblegid gelwir Crist yn *Oen*, a gŵyr pawb mai creadur gwan yw oen!" Trachefn, cymherir yr undeb rhwng Crist a'i bobl i'r undeb sydd rhwng gwinwydden a'i changenau, a'r corff dynol a'i aelodau; ond, yn ol ymresymiad *T. Powel*, ni thâl i neb ddefnyddio geiriau pendant y Beibl ag sydd yn dangos mai undeb *ffydd* sydd rhwng y Gwaredwr a'i eiddo, ond rhaid ei fod fel yr undeb dywededig *heb ffydd*, a rhaid eu bod hwy yn bersonol yn cyffwrdd â'i berson ef, ac yn nglŷn wrtho, canys dyna fel y mae y winwydden a'i changenau, y corff a'i aelodau. Nid gwiw, bellach, i neb haeru mai cnawd yw defnydd calon *T. Powel*, canys gelwir calon dyn, yn *gymharol*, yn *gàreg;* am hyny, càreg yn *llythyrenol* yw ei galon ddiserch ef! Hawdd fyddai lliosogi cannoedd o enghreifftiau o'r fath; ond gobeithiaf fod hyn

yn ddigon i ddangos ynfydrwydd y dyn a wrthodo ystyr briodol geiriau o herwydd yr arferiad cymharol a wneir o honynt.

2. I ddynoethi y ddichell ryfygus yma yn mhellach, pe byddai achos, ystyriwch fod yr un personau a phethau yn cael eu cymharu i wrthddrychau tra gwahanol yn eu nhatur; gelwir Crist yn Oen, Llew, Gwinwydden, a Bara, &c. Yn awr, os geiriau cymharol sydd i sefydlu ystyr rhai priodol, da fyddai cael gwybod pa un o'r cymhariaethau uchod sydd yn rhoddi darluniad priodol o Grist, wrth yr hwn y gallwn benderfynu beth yw ystyr y geiriau pendant (digymhariaeth) a arferir am dano. Amlwg yw nas gall pob un o honynt roddi y cyfryw ddarluniad: gwrthddywediad fyddai taeru hyny. Os yw bod yr Ysbryd yn *gymharol* yn cael ei dywallt yn profi mai tywallt neu daenellu yn *llythyrenol* a ddylid mewn bedydd, onid Oen, yn llythyrenol, yn ol yr un reol, yw Crist! Ac os Oen yw efe yn llythyrenol, a ddichon efe fod yn Llew, ac yn Fara yn llythyrenol hefyd! Addefaf fod tebygoliaeth i Grist mewn rhai pethau ynddynt oll; a'r un mor rhwydd yr addefaf fod bendithion yr Ysbryd, yn eu llawnder, (nid eu prinder) yn debyg i fedydd dwfr; ond nid yw bedydd cyffelybol yr Ysbryd yn addasach i ddarlunio bedydd llythyrenol nag yw llew ac oen i roddi darluniad cyflawn a llythyrenol o Grist. Ymadroddion *priodol* yn mhob achos da sydd i derfynu ystyr rhai *cymharol;* pe amgen, nis gallem ddywedyd pa un ai llew, oen, neu fara, yw Crist. Nid wyf fi yn gwybod am un achos, ond achos taenelliad babanod, ag sydd yn gofyn i'w amddiffynwyr sefydlu ystyr ymadroddion pendant trwy yr arferiad tröellawg o honynt.

Cyn gadael y pen hwn, ceisiaf un gymmwynas fechan yn mhellach genych. Gan fod mynediad Israel trwy y môr, dyoddefaint mawrion Crist, a dylanwadau yr Ysbryd, yn cael eu galw yn fedydd, wele dri bedydd cymharol; a fyddwch chwi mor hawddgar â dangos eich awdurdod dros sefydlu dull bedydd dwfr oddiwrth fedydd cymharol yr Ysbryd, yn hytrach nag oddiwrth y ddau fedydd cyffelybol ereill? Pe taerai rhyw ddyn mai arwydd o fedydd dyoddefaint Crist yw bedydd y Beibl, ac mai trwy glwyfo ei gorff nes oedd ei waed yn llifo drosto y bedyddiwyd ef, ac am hyny, clwyfo y corff nes ei liwio â gwaed yw bedydd efangylaidd, oni byddai ganddo gystal sail i'w fedydd ag sydd genych chwithau? Pe haerai arall y dylid cael dynion celfyddgar i wneuthur rhywbeth tebyg ag a wnawd i Israel wrth ddyfod trwy y môr cyn y gellid bedyddio yn iawn, byddai ganddo gystal sylfaen ddychymmygol â chwithau. Pa fodd, gan hyny, y beiddiwch chwi sefydlu ystyr yr un bedydd llythyrenol oddiwrth y naill o'r bedyddiadau cymharol, a gwrthod y lleill!

3. Pe addefwn, er mwyn ymresymu, bod genych awdurdod i sefydlu ar ddull bedydd efangylaidd oddiwrth fedydd yr Ysbryd, yr hwn, meddwch, a gyflawnir trwy dywalltiad, byddai ddymunol genyf glywed pwy a'ch cenadodd i sefydlu ar ddull bedydd oddiwrth y gair *tywallt*, yn hytrach nag oddiwrth ryw air arall a arferir i ddynodi gwaith a doniau yr

Ysbryd? Gan fod yr Ysbryd yn *Ddyddanydd*, onid yw gwaith mam yn dyddanu ei phlentyn yn eithaf bedydd? ïe, onid yw llaeth y fron yn effeithio yn debycach i'r Ysbryd nâ dwfr ar dalcen y gwan? (yr hwn yn fynych a wna y dyddanus yn wylofus.) Ac am fod gwaith y fam a'i bron yn debycach o lawer i waith yr Ysbryd nag eiddo T. Powel a'i gwpanaid dwfr, onid hi sydd yn bedyddio gywiraf? Hi sydd yn dilyn y Dyddanydd, tra y mae Powel yn debycach i'r ysbryd gwrthwynebol yn fynych, gan beri i'r diniwed wylo. Ar ddydd y Pentecost *llanwyd* yr apostolion â'r Ysbryd Glân, Act. ii, 4. Gadawaf i'r darllenydd farnu pa un ai T. Powel â'i ddafnau ar y talcen, neu y fam dyner â'i bron, sydd yn dyfod agosaf at yr Ysbryd fel un yn *llenwi*. Gelwir gwaith yr Ysbryd yn *eneiniad*, 1 Ioan ii, 20, 27; ac onid eneinio ddylid mewn bedydd ag sydd yn arwydd o waith yr Ysbryd? ïe, onid yw enaint gwerthfawr yn fwy darluniadol o'r iechyd ysbrydol gwerthfawr a geir trwy yr Ysbryd, nag ychydig ddafnau diwerth o ddwfr? Y mae yr Ysbryd yn *sel* ac yn *ernes*, Eph i, 13, 14; onid y dull goreu o fedyddio, gan hyny, fyddai selio, a gosod dernyn o arian ag argraff berthynasol arno, yn llaw y gŵr bach, ac i ofal ei rieni, neu y tadau-bedydd; byddai hyn yn well arwydd nâ dwfr, ac, hyd y nod, nag arwydd y groes ar ei dalcen, o herwydd byddai yn fwy parhaus? Pa le, gan hyny, y cair sail i daenelliad oddiwrth fedydd yr Ysbryd!

*Taen.*—Chwi a aethoch yn rhyfygus; nid oes air o son am ddwfr yn yr adnodau a grybwyllasoch chwi; tebyg i chwi anghofio mai am fedydd dwfr yr ydym yn dadlu.

*Ateb.*—Na ddô; yr wyf yn cofio y ddadl yn burion; chwi, mae yn debyg sydd wedi ebargofi testun eich dadl; y mae son am yr un faint yn gymhwys o ddwfr yn mhob un o'r adnodau a grybwyllais i, ag sydd yn eich dyfyniad chwi yn nghylch *tywalltiad* yr Ysbryd Glân, oddigerth tybied o honoch mai dwfr yn llythyrenol yw yr Ysbryd.

*Taen.*—Ond y mae dwfr yn hanfodol i iawn weinyddiad bedydd.

*Troch.*—Pa fodd y gwyddoch chwi hyny? Nid wrth dywalltiad yr Ysbryd, a bod yn sicr.

*Taen.*—Nagê ddim; ond am fod son mewn manau ereill o'r ysgrythyr, mai â dwfr, ac nid ag olew na llaeth, yr oeddid yn bedyddio.

*Ateb.*—Purion iawn: dyna y cwbl oeddwn yn geisio; wele chwi wedi rhoddi y ddadl i fynu oddiwrth fedydd cymharol yr Ysbryd, ac yn dychwelyd, fel dyn onest, (o'i anfodd), at ddeddf a hanes bedydd yn llythyrenol, ac o ganlyniad rhaid i chwi gredu mai mewn dwfr y mae bedyddio. Aeth eich Barnwr a'i ganlynwyr *i waered i'r dwfr, ac yn y dwfr y bedyddiwyd hwy;* a haeraf o'r newydd, wedi dirymu eich gwrthddadl ddichellgar olaf, mai trochi yw unig ystyr briodol *baptizô*, neu fedyddio, ac am hyny nad yw yn bosibl *bedyddio* heb drochi.

*Taen.*—Nid ydych etto wedi dangos un man lle y dywedir i Grist a'i ganlynwyr gael eu *trochi*, yn ol y Beibl Cymreig: pe gallwn i gredu i'n

Prynwr bendigedig gael ei drochi mewn bedydd, myfi a gymmerwn fy fy nhrochi cyn machludo yr haul y dydd a ganlyn.

*Ateb.*—Dangosais yn eglur, mai y Cymraeg am y gair gwreiddiol *baptizô* yw trochi, ac am hyny bod son am drochi yn mhob man y sonir am fedyddio. Pa fodd y peidiodd y cyfieithwyr a throi *baptizô* i'r Gymraeg a'r Saesneg, nis gwn i; ond am fod eich gwrthddadl diweddaf yn dangos na wyddoch chwi fwy o Roeg nâ "Thwrch Daear," myfi a'ch cyfeiriaf at air Cymraeg ag sydd yn darluaio dull bedydd mor effeithiol â phe buasai y gair TROCHIAD ei hun yn cael ei arferyd. Cewch y geiriau hyn yn Rhuf. vi, 4, "*Claddwyd* ni gan hyny gydag EF trwy *fedydd* i farwolaeth," &c. Ac yn Col. ii, 12, gwelwch eiriau cyffelyb; "Wedi eich *cyd-gladdu* gydag EF yn y bedydd," &c. Nid oes ddyn a ddylai fod y tu allan i wallgofdŷ, a dybiai fod dyn wedi ei gladdu, pryd na byddai ond ychydig lwch neu ludw wedi diwyno ei dalcen; ac am fod dwfr a chladdu yn hanfodol i fedydd, nid diehonadwy yw bedyddio heb gladdu yr holl gorff mewn dwfr.

*Taen.*—Os felly, dylai y rhai a fedyddier gael eu dihatru yn noethion, os amgen claddu neu fedyddio eu dillad ydych chwi, ac nid y personau.

*Ateb.*—Yr ydych chwi, y mae yn debyg, yn deall ystyr geiriau yn dda, ac wedi cael eich dwyn i fynu yn mysg dynion hynod o ran gweddeidddra, a moesgarwch! Myned â chorff marw yn hollol noeth a wnewch chwi, mae yn debyg, o'r tŷ i'r fynwent, ac ni chyfrifwch fod gwr wedi ei gladdu os bydd amwisg ac arch am dano yn y bedd! Gobeithiaf fod yr awgrym yma yn ddigon i ddynoethi eich ynfydrwydd.

*Taen.*—Eithr dangosodd Mr. Williams, Llanwrtyd, yn rhagorol yn y ddalen olaf o'r ail lyfr, nad yw yr apostol yn golygu dull bedydd wrth ddywedyd, "Claddwyd ni gydag ef trwy fedydd," &c. "Os cymmerir y geiriau yma yn llythyrenol, (ac nid yn foesol), y mae ynddynt y gwrthuni mwyaf; os ystyr naturiol sydd i'r gair *claddu*, rhaid mai ystyr naturiol sydd i'r gair *marwolaeth*. Os felly, rhaid eu claddu dan y dwfr, nes y byddent wedi marw cyn yr atebont i'w gyflawn ystyr yma; ac os gwnant felly, maent yn sicr o gladdu trochiad."

*Ateb.*—Rhaid bod rhyw ddaliadau ac iaith na chlywyd erioed o'r blaen am eu bath yn *Llanwrtyd.* Dysgwyliwn glywed am Gorff o Dduwinyddiaeth yn y *Lanwrtydaeg* cyn hir! Ac os addas cymmeryd yr ymadroddion uchod yn gynllun, profir yn ddiymwad, bod *llythyrenol* a *moesol* yn llwyr wrthwynebol, ac nad yw yn bosibl i ymadroddion llythyrenol fod yn foesol; ymadrodion allegawl yn unig, mae yn debyg, sydd i'w hystyried o hyn allan yn foesol!—Profir hefyd yn odidog iawn, gredaf fi, yr hyn na feddyliodd neb erioed ei wadu, (oddigerth rhai hyddysg yn y Lanwrtydaeg), sef, bod ystyr naturiol o anghenrheidrwydd i'r gair *marwolaeth*, am fod ystyr naturiol i'r gair claddu! O! y dyfnder dirfawr y treiddia meddyliau y doethion a'r dysgedigion iddo! A'r fath ddirgelion gogoneddus, ag oeddynt guddiedig o greadigaeth y byd hyd yma, a

ddaeth i'r golwg yn awr!! Eithr yr ymadrodd "*claddu trochiad*" a ragora ar ddim a glywais erioed! Dysgwyliwn, wedi cael y datguddiad annhraethol, glywed am "drochi trochiad, taenellu taenelliad," &c. Da fyddai gwybod etto, pa un ai ystyr *lythyrenol*, *naturiol*, neu *foesol*, sydd i'r ymadrodd gogoneddus "claddu trochiad!"

*Taen.*—Meddwl *Mr. Williams* yw, "Os ystyr briodol a llythyrenol sydd i'r gair claddu, rhaid yw mai ystyr briodol a llythyrenol sydd i'r gair *marwolaeth* yn yr adnod mewn dadl; ac os yw *claddu* yn dynodi y dylid gosod y rhai a fedyddier dan y dwfr, y mae *i farwolaeth* yn dangos y dylid eu cadw dan y dwfr hyd oni threngont."

*Ateb.*—Diolch yn fawr i chwi am eich eglurhad; yr oeddwn yn dychymmygu mai hyny oedd ei feddwl: nid wrth y geiriau a ddefnyddiodd, ond am fy mod yn deall mai ei amcan oedd dilyn dadleuwyr ereill a ysgrifenasant dros daenelliad. Ond i ddychwelyd at eich gwrthddadl; rhaid i chwi addef i'r Rhufeiniaid a'r Colosiaid gael eu bedyddio, ac ar yr un dystiolaeth Ddwyfol, rhaid i chwi addef iddynt gael *eu claddu*, ac nid eu taenellu, pan gawsant eu bedyddio; ac am mai dwfr yw yr elfen â'r hon y dylid bedyddio, nid oes modd i chwi wadu mai mewn *dwfr* y claddwyd hwynt; nid oes dim yn amgylchiadau y testunau rhag-ddywededig yn galw arnom i ystyried y gair *claddu* mewn ystyr dröellawg, dim pellach nag mai mewn *dwfr*, ac nid mewn daear y claddwyd hwynt. Hefyd, megys pe buasai yr apostol yn rhagweled gwrthddadl dirmygus T. P. a D. W. efe a ddywed yn yr un adnod (Rhuf. vi, 4.) fod i'r bedyddiedig *rodio mewn newydd-deb buchedd.* Prawf eglur bod yno *gladdu* trwy fedydd *i farwolaeth*, a'r bedyddiedig byth yn fyw; ni ddysgwyliai neb i'r meirwon *rodio*, na dilyn *buchedd newydd.* Pe byddai y rhyfygwyr hyn yn caru gwirionedd yn fwy nag ymhyfrydu mewn tywyllu cyngor â geiriau heb wybodaeth, i ddallu yr anwybodus, buasai yn hawdd iddynt, dybiaf fi, i ddeall mai nid bedyddio i farwolaeth y bedyddiedig a feddylia yr apostol; yn neillduol am iddo ofalu egluro ei feddwl trwy ddywedyd yn yr adnod flaenorol, yr hon sydd mewn cyssylltiad digyfrwng â'r claddu mewn dadl, "Cynnifer o honom ag a fedyddiwyd i Grist Iesu, ein bedyddio ni *i'w farwolaeth ef*," ac nid i'n marwolaeth ein hunain. Rhodded y dysgedigion uchod yr esboniad a fynont ar *fedyddio i farwolaeth* Crist, os nid boddlon ganddynt addef fod bedydd yn arwyddo marwolaeth ac adgyfodiad Crist, a bod y bedyddiedig wrth ymostwng i'r ordinhad, yn arwyddo ei ffydd yn ei farwolaeth; *rhaid* iddynt addef mai marwolaeth Crist a olygir, canys dywedir hyny yn bendant, ac nid oes yr awgrym lleiaf yn cael ei roddi am farwolaeth neb arall; ond marw i *bechod*, croeshoelio yr *hen ddyn*, &c., yn y bennod; ac am hyny cymmerent y llwybr a fynont, y mae eu gwrthddadl gwarthus, am gladdu i farwolaeth, wedi ei lwyr ddirymu, a'i yru i fro colledigaeth dragywyddol. Yn mhellach, gan fod D. W. mor anwybodus o'i Feibl, fel y tybia nas dichon un gair fod yn allegawl, os bydd gair arall yn llythyrenol yn yr un ymadrodd, enwaf un

adnod yn awr i'w oleuo; ac os nid digon hyn, ac os na ddewisa efe i chwilio yr ysgrythyrau drosto ei hun, ymrwymaf (os caf iechyd) i enwi iddo ef ugain neu gant, os myn efe, y tro nesaf. Sal. xc, 1, "Ti, Arglwydd, fuost yn breswylfa i ni," &c. Gair cyffelybol yw *preswylfa*, ond nid oes mo'r gair arall o'r un rhywogaeth yn yr adnod. Ond a gadael bod ei dyb yn safadwy, cofied mai nid peth allegawl yw bedydd dwfr, ac mai nid peth allegawl 'chwaith yw marwolaeth Crist. Wele y gwrthddadl gwrachiaidd hwn wedi myned i'w le ei hun.

*Taen.*—Dangosodd Powel yn odiaethol, nad oedd yr apostol yn golygu dull bedydd wrth ddywedyd, "Claddwyd ni gan hyny gydag ef trwy fedydd," &c., yn Rhuf. vi, 4, "Oblegid bod amryw eiriau yn cael eu harferyd ynghyd yn y fan hon o'r ysgrythyr mewn perthynas i fedydd, sef ein *cydblanu* â Christ, ein *croeshoelio* gyda Christ, *marw* gyda Christ, a'n *claddu* gyda Christ. Gan fod y pedwar gair hyn yn cael eu harfer am fedydd, os oes un o honynt yn dangos y *dull* o fedyddio, y mae y tri arall yn dangos yr un peth; ac os yw y pedwar yn dangos y dull o fedyddio, ni fedrwn yn fy myw ddeall pa fath ddull ydyw; neu os dywedwch fod y pedwar gair yn dangos pedwar dull gwahanol, wrth hyn, un dull o fedyddio yw *planu*, arall yw *croeshoelio*, arall yw *marw*, a'r olaf yw *claddu!*" Llyfr cyntaf Powel, tu-dal. 37.

*Ateb.*—Pe medrwn ddeall bod T. P., a'i gydweithiwr, yn trin gair Duw mewn modd dyladwy, mi a gredwn nad oes mo'r llyfr mor hyblyg ag y gallwn wneuthur mor ëofn arno, a newid ystyr ei eiriau, yn ddiofn cerydd, ag yw y llyfr a'm barna yn y dydd diweddaf; yn ol eu dull hwy gallwn dynu *bedydd* allan o'r lle y mae, a'i osod lle nad yw; gallwn wadu unrhyw bwnc, neu brofi y pwnc a fynwn o'r Beibl. Trowch etto i Rhuf. vi, 4, a gwelwch nad oes air o son am *blanu* na *chroeshoelio* yn yr adnod hon, er bod Powel yn dywedyd, "eu bod yn cael eu harfer yn nghyd yn y fan hon."—2. Er bod son am danynt yn yr adnodau a ganlyn, nid oes air o son eu bod yn ddarluniadol o fedydd; pe dywedasai yr apostol, "*Planwyd* ni gydag ef trwy fedydd," neu "*Croeshoeliwyd* ni gydag ef trwy fedydd," &c., buasai rhyw rym yn ymresymiad y dyn hwn; eithr am nad oes air o sôn am y fath beth, *claddu* trwy fedydd yw yr unig air darluniadol o'i ddull yn y bennod hon.

Tybiaf bod hyn yn ddigon i yru y gwrthddadl hwn at ei geraint, i wlad dystryw; eithr hawdd fyddai enwi llawer o'r enwocaf yn mysg Taenellwyr babanod eu hunain, a rhai a dystiant mai cyfeirio at y dull apostolaidd o fedyddio trwy drochi y mae yr apostol, pan ddywed, "Claddwyd ni gydag ef trwy fedydd." Megys y tra dysgedig Ddoctoriaid Doddridge a Hamond ar y lle; Esgob Hoadley, *Plain Account*, *p.* 150; Dr. Powerson, *Sacrament of Baptism*, *pt.* iii, *p.* 51; Dr. Wels ar y lle; Archesgob Cranmer, &c., &c.

Hyderaf fod yr ystyriaethau blaenorol yn ddigon i'ch llwyr argyhoeddi, nas dichon bedydd efangylaidd fod yn ddim arall ond trochiad o'r holl

gorff mewn dwfr; clywsoch mai bedyddio y person, sef y corff i gyd, ac nid y talcen, nac un *rhan* arall, a orchymynir gan Grist yn y commisiwn —*yn* afon yr Iorddonen, ac *yn* Ainon *am fod dyfroedd lawer yno*, yr oedd Ioan yn bedyddio; daeth ein Prynwr a'n Barnwr, yr hwn a roddes i ni siampl fel y canlynem ei ol; o Galilea *i'r Iorddonen*, at Ioan, i'r dyben i gael ei fedyddio, ac *yn* yr afon hòno y bedyddiwyd ef; aeth Phylip a'r efnuch i wared ill dau *i'r dwfr*, AT yr hwn y daethent o'r blaen, ac wedi bedyddio yr olaf, daethant i fynu ill dau *o'r dwfr;* gwelsoch yn amlwg fod yn rhaid newid y Beibl, neu ymddygiad Taenellwyr, cyn gellir cael y cydfod lleiaf rhyngddynt; profais mai ystyr y gair gwreiddiol *baptizô* yw trochi, ac am hyny nad yw yn bosibl bedyddio heb drochi; a bod taenelliad mor wahanol i fedyddiad ag ydyw i drochiad; dangosais fod bedydd yn y modd egluraf, yn cael ei alw yn *gladdiad;* a gwyddoch nad yw yn bosibl cyfrif dim llai nâ gorchuddiad y corff yn gladdiad. Os nad yw yr holl ystyriaethau hyn yn ddigon i ddangos i chwi eich bod wedi treulio eich oes hyd yma heb ufyddhau i'ch Harglwydd mewn bedydd, prin y meddyliaf y canfyddech eich dyledswydd pe cyfodai un oddiwrth y meirw i'ch hyfforddi; nis gallai hwnw lefaru yn eglurach nag a wnaeth ysgrifenwyr ysbrydoledig y Beibl.

*Taen.*—Rhaid i mi addef, oni oleua *T. Powel* fi etto, mai bedyddio mewn dwfr sydd ysgrythyrol, ac mai *claddu* y corff mewn dwfr yw bedydd y Beibl; pa fodd, gan hyny, y dywedir cymmaint yn ei erbyn?

*Ateb.*—Nid ar gyfrif aneglurder yn neddf ac hanes bedydd; ond o herwydd rhagfarn, arfer gwlad, neu annhueddgarwch i ufyddhau i Dduw, mewn ordinhad a gyfrifir yn warthus gan y byd. Mynych yr ymladda Rhagfarn â'r Beibl wrth borth y bedd. Gofynir yn aml, "Beth yw eich sail am drochi?" Digon o atebiad i ddyn diragfarn fyddai dywedyd, fod y cyn-Gristionogion yn myned *i afonydd* i waered *i'r dwfr*, i'r *dyben* i fedyddio, ac nad oes ddyn yn ei bwyll a wnelai hyny i daenellu, ac nad oes Daenellwr yn y byd a'i gwna y dydd heddyw; ond ni thâl hyn ddim i Ragfarn —"Pa le mae son am *drochi?*" meddai yr hen arglwyddes. Yn mhob man meddwn innau, lle y mae son am fedyddio; oblegid y Cymraeg am *baptizo* yw trochi. "Och fi! (meddai Rhagfarn) nid wyf fi yn deall Groeg, ond y mae Tomos fy mab yn ei ddeall; ac efe a ddywed fod *baptizô* weithiau (mewn ystyr gymharol) yn cael ei arferyd am ryw beth arall." Felly, eb finnau, y mae pob gair yn mhob iaith yn y byd, pan ddefnyddir ef yn anmhriodol. Nid oes air yn y Groeg am drochi, os nad yw *baptizô* yn ei ddynodi; ond y mae *rantizo* am daenellu; eithr nid yw *rantizo* byth yn cael ei arfer am fedydd; am hyny, y mae yn anmhosibl i daenelliad fod yn fedydd. Hefyd, y mae *claddu* trwy fedydd yn dynodi y dull yn berffaith mor gywir â'r gair trochi ei hun; ond gwrthddadleuir i hwnw megys i ereill; Ie, nid oes air a fedrodd Ysbryd Duw ei lunio a'r nas gwrthodir gan ragfarn, neu galon anufydd dyn anghydwybodol. Pe byddai y gair *baptizô* wedi ei gyfieithu yn mhob man yn ein Beibl ni, modd y gallem

weled *trochi* yn mhob lle ag y mae *bedyddio* yn awr, ac i'r dysgedigion yn gyffredin addef fod y cyfieithiad yn gywir, fe ddadleuai lluoedd Rhagfarn gymmaint yn erbyn bedyddio trwy drochi ag y gwnant yn awr.

*Taen.*—Prin y meddyliaf hyny; canys eisiau cael y gair *trochi* lle sonir am fedydd yw y gwrthddadl a glywaf yn fwyaf cyffredin; er bod yn rhaid i mi addef fod *claddu*, ynghyd â'r amgylchiadau ereill a enwasoch, yn gwneuthur y pwnc mor berffaith oleu ag y mae yn bosibl i *drochi* ei wneuthur.

*Ateb.*—Hawdd iawn yw symud eich amheuaeth. Gwyddoch chwi, a phob dyn diragfarn a chydwybodol, bod y rhesymau a grybwyllasoch dros gymundeb yr un ag eiddo taenellwyr dros eu bedyddiad; er hyny, cewch weled na wna Rhagfarn ond eich gwawdio. Yn mhellach, yn yr Allmanaeg a'r Is-Allmanaeg (y *German* a'r *Dutch*,) yn Mat. iii, &c., cyfieithir *baptizo* yn *drochi*, ac *Ioan y Trochwr* yw Ioan Fedyddiwr yn eu Testamentau hwy; ac felly y cyfieithir *baptizo* yn drochi yn Holwyddoreg Llychlyn (*Denmark;*) etto y mae y Taenellwyr yn y gwledydd hyn with *daenellu* yn dywedyd, "Yr wyf yn dy *drochi* di yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân!!!"—Peidiwch tasgu, y dyn! nac anghredu; deuaf yn nes adref. Gwyddoch bod Offeiriaid Eglwys Sefydledig ein gwlad ni yn rhwym i arwyddo eu cymmeradwyaeth trwyadl o Lyfr y Weddi Gyffredin; gwyddoch hefyd fod y llyfr hwnw, yn ngwasanaeth bedydd cyhoedd plant bychain, yn peri i'r Offeiriaid, os hysbysir iddynt y gall y plant ddyoddef hyny yn dda, eu "*trochi yn y dwfr* yn ddiesgeulus ac yn ddarbodus," a gŵyr pob dyn yn ein gwlad fod taenelliad mor gyffredin yn yr eglwys uchod trwy y deyrnas a phe na byddai son am drochiad yn ei rheolau! Ni chlywais am neb yn cael eu trochi oddiar y ganwyd fi, ond tri yn Eglwys Gadeiriol Esgob Tyddewi, y naill yn 1816, y llall yn 1818, a'r olaf yn 1821, ar daer ddeisyfiad y tad, ond o led anfodd yr offeiriad, yr hwn oedd anewyllysgar i wlychu ei fraich. Wrth hyn gellid meddwl na anwyd ond tri phlentyn iachus yn Mhrydain, perthynol i Eglwys Loegr, er ys blynyddau lawer, neu mai ystyr y gair *trochi* yw *taenellu* neu dywallt! Dengys hyn hefyd nad yw rheolau eglur o un gwasanaeth pan fyddo dynion a'u tueddiadau yn groes iddynt, a chydwybod yn dawel.

*Taen.*—Ond wedi y cwbl, nid yw llawer o ddwfr yn hanfodol i iechydwriaeth; y mae dynion da yn perthyn i bob enw; gallaf fyned i'r nefoedd heb fy nhrochi; pe gwypwn nas gallwn fod yn gadwedig heb hyny, myfi a gymmerwn fy nhrochi yn ddioed.

*Ateb.*—Dyma noddfa olaf amddiffynwyr cyfeiliornad bob amser; ond gyda yr un cymhwysder y gallech esgusodi eich hun am beidio arfer dim dwfr, ac am beidio cymuno; ac yn wir am beidio cadw neb o'r gorchymynion a roddes Duw i ni. Os rhoddwyd gorchymynion i'w cadw, pa fodd y deallasoch fod y gorchymyn am fedyddio *mewn dwfr* wedi ei roddi i'r dyben i chwi ei ddiystyru? Os yw *cadw* gorchymynion Duw yn dynodi dyn da, pwy ond satan a allasai ddywedyd wrthych fod *esgeuluso*

y gorchymyn hwn yn nod o ddyn da! Er nas gallwn deilyngu nefoedd wrth ymdrechu cadw yr holl eirchion Dwyfol, etto y mae esgeuluso un gorchymyn yn wirfoddol yn brawf o gyflwr diailanedig; nid oes ddyn da yn perthyn i neb enwau ar nad yw yn ymdrechu ateb cydwybod dda tuag at Dduw yn mhob gosodiad Dwyfol. Nid yn unig y mae credadyn yn gydwybodol yn yr hyn y mae yn wneuthur, eithr y mae efe yn ei wneuthur yn bwnc o gydwybod i chwilio y gair i wybod meddwl ei Arglwydd. Llais yr anian newydd yw "Arglwydd, pa beth a fŷn di i mi wneuthur?" ac iaith dyn anianol yw "Pa gan leied raid i mi wneuthur, a chael nefoedd yn y diwedd?" Wrth eich lleferydd chwi, barnaf eich bod yn gymmaint Phariseaid â neb a fu erioed yn Iudea; os cewch y nefoedd am eich ufydd-dod, chwi a gymmerwch eich trochi; ond os cewch nefoedd heb hyny, chwi a beidiwch! Paham na ddywedech yr un peth am gymundeb, cadw y Sabboth, &c.? Os dyma yr egwyddor oddiar ba un yr ydych yn ufydd mewn pethau ereill, gellwch fod yn sicr nad ydych hyd yma wedi teithio cam tua'r nefoedd; yr ydych chwi, er eich swn am grefydd, yn prysuro yn gyflym tuag uffern. Parch a chariad at Dduw yw y prif ddefnyddiau mewn ufydd-dod, ac nid hunan-les; lle y byddo y rhai hyn yn eisieu, gwrthryfelgarwch a ffieidd-dra a eilw Duw ar yr hyn a elwch chwi yn ufydd-dod; ac od oes genych barch i Dduw, yr wyf yn sicr yr ymdrechwch i gadw pob gorchymyn yn ddiwahaniaeth. Unwaith mewn oes sydd eisieu ufyddhau mewn bedydd, am hyny y mae anufydddod yn hyn yn llawer mwy anesgusodol nâ diffyg yn yr hyn sydd rwymedig arnom bob awr o'n hoes. Ceisiwch lawer o ras i wadu eich hun, a charu Duw yn fwy, fel na byddo cywilydd arnoch ddilyn Mab Duw yn ei holl osodiadau Dwyfol; na phrisiwch ychydig waradwydd—fe sychir hwnw ymaith yn fuan gan y Gwr a fedyddiwyd gan Ioan yn yr Iorddonen, ac a ddaw cyn hir i farnu byw a meirw. Bid i chwi ddilyn yr Oen i ba le bynag yr elo, a chael derbyniad groesawus ganddo yn y diwedd.—Amen.

# PREGETH

AR Y

## PECHOD ANFADDEUOL, NEU'R CABLEDD YN ERBYN YR YSBRYD GLAN;

**A draddodwyd i Gymmanfa Hanner-blynyddol y Bedyddwyr, yr hon a gynnaliwyd yn Aberystwyth, Hydref y 15fed a'r 16eg, 1811.**

***A gyhoeddwyd gyntaf ar ddymuniad llawer o'r rhai a'i clywsant.***

## AT Y DARLLENYDD.

UN o dri pheth a gyfiawnha'r ymddygiad o roddi annogaeth i argraffu un bregeth neillduol a draddodwyd mewn cymmanfa, lle, yn gyffredin y pregethir amryw o bregethau buddiol heblaw yr hon a gyhoeddir o'r wasg; naill ai dylai y pwnc a drinir i gael ei osod allan mewn modd mwy ardderchog nâ chyffredin—neu bod rhyw amgylchiad, neu amgylchiadau yn galw am ystyriaeth mwy dwys o'r pwnc a gyhoeddir, nâ'r materion ereill ag yr helaethir arnynt yn y cyfryw leoedd—neu ynte, fod yr hyn a gynnygir i ystyriaeth yn bwnc o gryn bwys, ac yn anarferol o gael ei drin yn y weinidogaeth gyhoeddus. Yr olaf o'r tri hyn a'm hannogodd i sylwi ar y testun canlynol mor gyhoeddus, a'r un ystyriaeth a barodd i amryw o'm brodyr (cymmeradwyaeth y rhai ni fedraf gymmeryd yn ddiystyr) i'm cymhell i wneuthur fy sylwadau yn fwy cyhoeddus etto trwy'r argraff-wasg. Yr ydwyf fi yn ystyried y pwnc a drinir yma yn lled bwysig; ac er na ddygwyddodd i mi weled na chlywed neb yn ei wneuthur yn destun pregeth, yr ydwyf yn ei gyfrif yn dra theilwng o sylw holl grefyddwyr ein gwlad; yn neillduol, y rhai sydd yn llaesu, ac yn ymddangos fel rhai a fyddai yn tŷnu 'nol mewn crefydd; ac yr ydwyf yn ymbil ar wrthgilwyr yn gyffredin i ddal manwl sylw ar yr hyn a osodir yma ger eu bronau.

Fe welir yn y bregeth hon ymestyniad llesg at y ddau beth a gyfrifir genyf fi yn hanfodol i bregethu, sef hyfforddi deall a chyffroi'r serchiadau —hanner pregeth ar y goreu yw hòno, lle na byddo dim yn cael ei amcanu ond cyffroi'r serchiadau, tra byddo'r deall yn cael ei adael yn wrandawr segur, megys pe byddai yn annheilwng o gael ei anerch—ac o'r tu arall, nid fawr, os dim, gwell yw'r araeth a fyddo yn cymhell y cwbl ar y deall, tra byddo'r serchiadau yn cael eu gadael i newynu yn ymyl digon; canys y mae yn amlwg y dichon tân dyeithr i gael ei ennyn yn y serch, heb fod un llaw gan y deall yn ennyniad y fflam; ac fe ddichon goleu oer i gael ei drosglwyddo i'r deall, ag a fyddo yn gadael y dyn mor ddiawydd i weithio er gogoniant Duw, â phe buasai heb glywed dim.—Ond y mae yn rhaid cyfaddef, er ei bod yn ddyledswydd ar weinidogion

i ddefnyddio y moddion mwyaf tebygol i lwyddo wrth anerch eu cyd-deithwyr tua byd arall, na ddichon un ymdrechiad o'r eiddom ni i wneuthur sylweddol les i un enaid heb fendith y Duw byw, gan hyny, cyflwynaf hyn o waith i'w ddwylaw ef; gan erfyn bod yr Ysbryd Glân yn ei arddel er ei ogoniant ei hun, ac er lles i grefyddwyr marwaidd yn neillduol, yw dymuniad cyfaill diffuant y darllenydd, J. HARRIS.

---

## PREGETH, &c.

MAT. 12, 31, 32,—"Am hyny y dywedaf wrthych chwi, Pob pechod a chabledd a faddeuir i ddynion; ond cabledd *yn erbyn* yr Ysbryd *Glân* ni faddeuir i ddynion. A phwy bynag a ddywedo air yn erbyn Mab y dyn, fe a faddeuir iddo; ond pwy bynag a ddywedo yn erbyn yr Ysbryd Glân, nis maddeuir iddo, nac yn y byd hwn, nac yn y byd a ddaw.

Y MAE llyfrau natur, rhagluniaeth, a'r Dwyfol ddatguddiad, yn eglur ddangos i ni fod rhyw annhrefn a drygioni wedi cael ffordd i ymweled â'r byd ag ydym ni yn byw ynddo. Byddai yn hawdd i ni benderfynu, pe buasem heb weled Beibl erioed, fod rhyw ffrae wedi cymmeryd lle rhwng nefoedd a daear, canys ni buasai y Duw cyfiawn, galluog, doeth, a daionus, yr hwn a bregethir gan lyfr natur, yn goddef i'w greaduriaid fod mewn blinderau, poenau, a thrallodion aneirif, oni buasai fod rhyw beth heb fod yn iawn rhwng y ddwy wlad. Ond er fod ymddygiadau Jehofa yn ei ragluniaeth yn dangos yn y modd amlycaf fod rhyw ymryson ac anghymmod yn bod rhyngddo ef a'i greaduriaid, nid ydym yn cael dim amlygiad yma o achos yr ymryson, na dim gwybyddiaeth sicr o ganlyniadau echryslawn y ddadl anghymhwys, na pha fodd y mae dyfod i gymmod â'n Lluniwr. Pe troem ein wynebau at holl Ladmeryddion natur, a gofyn iddynt, "A pha beth y deuwn gerbron y goruchel Dduw, mewn trefn i gael cymmod ag ef?" Ni chaem ond dystawrwydd brawychus yn lle ateb, neu ateb anmherthynasol, ac anaddas i'r fath ofyniad pwysig. Gan hyny ni a drown ein golwg, gyda diolchgarwch calon, a symledd meddwl at y datguddiad Dwyfol, yr hwn sydd yn hysbysu i ni, nid yn unig yr achos o bob trafferth a gwasgfa yn y byd, sef bod dyn yn chwennych bod yn arglwydd arno ei hun, er lleied ei gymhwysder, a pheidio cydnabod ei rwymedigaethau i gadw y rheolau ardderchog a gafodd gan ei Greawdwr; eithr y mae yn amlygu i'r eithaf y modd i gael heddwch â'n Lluniwr, sef bod "Duw yn Nghrist yn cymmodi y byd ag ef ei hun, heb gyfrif iddynt eu pechodau." Swm gweinidogaeth yr efengyl yw, "fod Duw yn barod i faddeu, er mwyn aberth y groes, i'r pechadur duaf, a ddyneso ato ef."

Ond gan fod dynion wedi myned mor llygredig, a chymmeryd achlysur oddiwrth y peth *goreu* yn Nuw i bechu mwy yn ei erbyn, y mae Tad y trugareddau wedi gweled yn addas i osod terfyn i'w drugaredd faddeuol,

gan ddywedyd, mewn effaith, "hyd yma yr âi, a dim pellach." Pan wyf yn dywedyd, *y peth goreu yn Nuw*, na thybiwch, fy mrodyr, fy mod yn golygu fod un o berffeithiadau Jehofa ynddi ei hun yn rhagori ar y lleill; ond wrth sylwi ar ein sefyllfa resynol ni fel troseddwyr, trugaredd faddeuol yw'r peth ardderchocaf ynddo i loni ein hysbrydoedd llesg ni; oblegid fe allasai fod yn santaidd, yn gyfiawn, yn ddoeth, ac yn hollalluog fyth, heb ein codi ni o ddyfnderoedd gresynoldeb, eithr nis dichon fod yn Dduw parod i faddeu heb wneuthur lles i bob pechadur crediniol. Etto y mae lluoedd yn cymmeryd mantais oddiar barodrwydd Duw i faddeu, i fod yn barod i bechu yn fwy rhyfygus yn ei erbyn; gan ddywedyd, "gan fod Duw mor drugarog, yr ydym yn gobeithio yn gadarn y cawn ni nefoedd yn y diwedd, er treulio ein dyddiau mewn gwrthryfel yn ei erbyn." Och! ddyfnder trueni dyn anrasol! Beth, a wyt ti yn ymroddi i fod yn ddrwg, o herwydd fod Duw yn dda! A ydwyt yn ymegnio i bechu hyd yr eithaf —oblegid fod Crist yn medru achub hyd yr eithaf! A oes chwant arnat i weled pa un a fedri di bechu fwy nag y fedro Duw i faddeu! Gochel, yr adyn rhyfygus, rhag iddo adael i ti gael yr oruchafiaeth yn hyny, a'th ollwng i fyned yn mhellach yn dy ryfyg, nag y byddo efe yn dewis i fyned ar dy ol â'i drugaredd achubol! Gwrandawed dy glustiau esgeulus, ac ystyried dy galon gableddus, y geiriau dychrynllyd a ddarllenasom yn destun; a bydded i'r ystyriaeth o honynt i roddi attalfa ebrwydd ar dy ymddygiadau peryglus a niweidiol. Cofia fod yr hwn a ddaeth i'r byd yn unswydd *i achub pechaduriaid*, yn haeru fod y fath beth â phechu mor arswydus fel nad oes *maddeuant am dano fyth!* Ni faddeuir cabledd yn erbyn yr Ysbryd Glân, nac yn y byd hwn, nac yn y byd a ddaw!

Yn awr, fy mrodyr, gan fod awdwr y gwirionedd wedi gweled yn addas i roddi nod cyn ddued ar un pechod neillduol, â dywedyd ei fod yn *anfaddeuol*, gobeithio na fydd neb o honoch yn meddwl y byddwn yn treulio ein hamser yn ofer, tra fyddwyf yn ymofyn—Beth yw y pechod dychrynllyd yma—Beth yw y rheswm na's maddeuir ef fyth--Ac, a ydyw yn debygol y gall rhai fod yn euog o honaw yn ein hamser ni, neu wedi'r oes wyrthiol apostolaidd?

1. Ymdrechwn ddangos pa beth yw y pechod a'r cabledd a gyhoeddir yma yn anfaddeuol. A thra byddwyf yn helaethu ar hyn, gobeithio y caf fy nghadw gan Dduw rhag taflu y credadyn gwan i lawr, a rhag goddef i'r balch rhyfygus gael llonydd ar ei uchel-fanau peryglus. Cyn dywedyd o honof yn bendant, beth yw y pechod anfaddeuol, yr wyf yn golygu mai buddiol fyddai enwi rhai pethau yn nacäol, o herwydd fod cymmaint o ddywedyd wedi bod yn ei gylch—ac os gallaf brofi nad llawer o bethau a gyfrifir gan y werinos yn anfaddeuol, sydd yn bod felly, bydd hyn yn foddion i barotoi meddyliau gweinion credinwyr crynedig i dderbyn y gwir yn ei ddulliau mwyaf arswydus.

1. Nid oes un pechod ynddo ei hun, gynta pa mor fawr a fyddo, heb ystyried yr amgylchiadau yn mha rai y cyflawnwyd ef, yn dyfod o dan y

darluniad o fod yn anfaddeuol. Er prawf o hyn caf gyfeirio eich meddyliau at yr hyn a ddywedir gan Paul yn 1 Cor. vi, 9—11, "*Oni wyddoch chwi na chaiff y rhai anghyfiawn etifeddu teyrnas Dduw? Na thwyller chwi, ni chaiff na godinebwyr, nac eilun-addolwyr, na thorwyr priodas, na masweddwyr, na gwrryw-gydwyr, na lladron, na chybyddion, na meddwon, na difenwyr, na chrib-ddeilwyr etifeddu teyrnas Dduw.*" Nid meddwl yr apostol yma yw, na fydd neb gadwedig a fu yn euog o'r cyfryw bechodau, neu fod y beiau rhag-grybwylledig ynddynt eu hunain yn anfaddeuol; ond yr ystyr yw, na chaiff neb a fyddo byw a marw o dan lywodraeth y fath ddrygau, etifeddu teyrnas Dduw: canys dywedir yn yr adnod nesaf, *A hyn fu rhai o honoch chwi; eithr chwi a olchwyd; eithr chwi a santeiddiwyd; eithr chwi a gyfiawnhawyd, yn enw yr Arglwydd Iesu, a thrwy Ysbryd ein Duw ni.* Yr oedd rhai o'r Corinthiaid hyn, mae'n debyg, wedi bod yn *odinebwyr*, neu yn euog o aflendid gyda phersonau sengl—a rhai wedi bod yn *eilun-addolwyr*, neu addoli delwau, yn lle y gwir Dduw—a rhai wedi bod yn *dorwyr priodas*, neu yn euog o aflendid yn y cyflwr priodasol; a rhai yn *fasweddwyr*, neu hunan-halogwyr, yn debyg i Onan; a rhai yn *wrryw-gydwyr*, sef pechod annaturiol y Sodomiaid; a rhai yn *lladron*, wedi cymmeryd meddiant ereill trwy dwyll, neu trwy drais; a rhai yn *gybyddion*, wedi ymroddi i elw bydol, heb ddefnyddio pethau'r bywyd hwn i ddybenion addas; a rhai yn *feddwon*, yn gryfion i yfed diod gadarn, yn ymbleseru mewn anhwylo eu cyrff, a boddi eu synwyrau—a rhai yn *ddifenwyr*, yn dwyn ymaith enwau da eu cymmydogion, a'u llwytho â gwaradwydd yn lle hyny—a rhai yn *grib-ddeilwyr*, yn cyfoethogi eu hunain trwy elw anghyfreithlon.

Gwelwn yma gofres o'r pechodau mwyaf ffiaidd ac atgas ag allai fod; a phe ychwanegem at y gofres hon, ymddygiad y lleidr a achubwyd ar y groes, yr hwn hefyd oedd yn *llofrudd*, byddai genym grynodeb o'r holl bechodau a gyfrifir yn fawr ac erchyll gan ddynion yn gyffredin; eithr fe fedrodd gras maddeuol fyned yr ochr draw i'r rhai hyn oll; canys, medd yr apostol wrth y Corinthiaid aflan, *Chwi a olchwyd, chwi a santeiddiwyd, chwi a gyfiawnhawyd;* chwi a wellhawyd o'ch holl afiechyd, ac a gliriwyd oddiwrth eich holl fudreddi. Ac medd Crist wrth y lleidr a'r llofrudd, *Heddyw y byddi gyda mi yn mharadwys*—Gan hyny nid yw y gweithredoedd mwyaf pechadurus ac aflan, yn dyfod dan yr enw *anfaddeuol*, heb ystyried yr amgylchiadau yn mha rai y cyflawnwyd hwynt.

2. Nid un pechod a gyflawnir mewn anwybodaeth, er bod yn feddiannol ar foddion gwybodaeth, gynta pa mor fawr a fyddo, a chynta beth oedd yr amgylchiadau *ereill* yn mha rai y cafodd ei wneuthur, sydd i'w ystyried yn anfaddeuol. Y mae dwy adnod o'r ysgrythyr yn ddigon i brofi'r haeriad uchod; y cyntaf o'r rhai hyn sydd yn Luc xxiii, 34, ac a gynnwys weddi'r Gwaredwr dros ei lofruddion gwaedlyd, "A'r Iesu a ddywedodd, O Dad, *maddeu iddynt;* canys *ni wyddant* pa beth y maent yn ei wneuthur." Y mae yn deilwng o'n sylw yma, mai'r pechod mwyaf

ynddo ei hun, heb ystyried yr amgylchiadau yn y rhai y cafodd ei wneuthur, a wnawd erioed, oedd croeshoelio Arglwydd y bywyd, a gosod Tywysog iechydwriaeth i farwolaeth; gallaf haeru yn ëon, heb ddysgwyl cael fy ngwrthwynebú gan neb o honoch, na wnawd un weithred mor ofnadwy o ysgeler ac annuwiol oddiar creaduriaeth y byd o'r blaen, ac nad yw yn bosibl i'r fath bechod dychrynllyd i gael ei gyflawni byth ond hyny—y man uchaf y gwelwyd pechod erioed oedd ar groes Crist, ac ni's gwelir ef byth mwy mor uchel ei ben ag y bu y pryd hyny—ni bu un amser erioed, ac ni bydd un byth, mor gyflawn yn meddiant gweision pechod ag amser dyoddefaint y Messia, fe'i gelwir yn neillduol eu *hawr* hwy a *gallu'r tywyllwch*. Ond er mawr galondid i ni, frodyr hoff, fe ennillodd maddeuol ras y fuddugoliaeth ar bechod ar y tir uchaf ag y medrodd sefyll arno erioed! *O Dad*, ebe'r Iesu, *maddeu iddynt*, er mor erchyll yw eu gwaith! Nid oes raid i ni dreulio amser i brofi na phechodd y rhai a groeshoeliasant Grist, mewn anwybodaeth yn anfaddeuol; o herwydd y mae'n amlwg na fuasai efe yn dymuno maddeuant i bersonau a wyddai efe oedd wedi pechu yn anfaddeuol. Ac wrth sylwi ar y gorchymyn a roddodd efe i'w ddysgyblion i bregethu yr efengyl yn gyntaf *yn Jerusalem*, gellir meddwl ei fod yn bwriadu achub rhai o'r bobl ag oedd wedi bod yn euog o'i farwolaeth; ac wrth ddarllen am lwyddiant pregeth Pedr, yn y lle uchod, ar ddydd y *Pentecost*, y mae'n ymddangos yn dra thebygol i amryw o honynt gael eu dychwelyd at yr hwn a wrthodasant gynt, a chael eu hachub ganddo. O, anchwiliadwy olud gras!

Y mae yr hyn a ddywed Paul yn profi yr un peth, 1 Tim. i, 13, "Yr hwn oeddwn o'r blaen yn *gablwr*, ac yn *erlidiwr*, ac yn *drahaus;* eithr mi a gefais drugaredd, am i mi yn *ddiarwybod* ei wneuthur mewn anghrediniaeth." Yr oedd Paul cyn ei ddychweliad wedi ymroddi i gablu Crist ac erlid ei ganlynwyr—y mae'n anhawdd cael geiriau digon cryfion i osod allan fawredd y pechod o gablu yr unig Iachawdwr, ac erlid y bobl mwyaf diniwed yn y byd hyd farwolaeth, am ddim yn y byd ond am addoli Duw wrth ei fodd! ond mwy anhawdd yw cael ymadrodd digon uchel i osod allan fawredd y gras yr hwn a'i hachubodd; canys efe a *gafodd drugaredd*, trwy iddo droseddu felly mewn *anwybodaeth;* ïe, er fod moddion gwybodaeth ganddo.

Pell oddiwrthym fyddo meddwl fod anwybodaeth y rhai sydd â moddion gwybodaeth o hyd eyrhaedd iddynt, yn esgus digonol am eu pechodau; o herwydd fel na fuasai Crist yn gweddio am faddeuant i drosedd ag oedd ynddo ei hun yn anfaddeuol, felly ni buasai yn deisyf i'r Tad roddi maddeuant am weithred nad oedd yn *bechadurus;* canys y mae son am faddeu i ddyn na phechodd, yn wrthun ac yn wrthddywediad—ond etto, y mae anwybodaeth yn lleihau y pechod, oblegid fe ddichon drygau mawr gael eu cyflawni gyda bwriad i *wneuthur gwasanaeth i Dduw*, yr hyn, yn sicr, nid yw mor annuwiol ac mor ddieflig â phe byddai i'r un drygau gael eu gwneuthur mewn gwybodaeth; gan hyny, y gwas *ni wybu* feddwl

ei Arglwydd ac ni's gwnaeth, a gurir ag *ychydig o ffonodiau;* eithr y gwas *ă wybu* ewyllys ei Arglwydd ac ni's gwnaeth, a gurir â *llawer o ffonodiau.*

3. Nid pob pechod *mawr* a gyflawnir mewn *gwybodaeth* sy'n anfaddeuol. Nid yw yn bosibl i amryw o'r pechodau a enwasom dan y pen cyntaf i gael eu cyflawni mewn anwybodaeth, yn y gwledydd mwyaf tywyll ac anwybodus, yn neillduol *lledrad* â *llofruddiaeth;* ond er bod y cyfryw bechodau yn dra erchyll, ac yn ddamniol yn eu nhatur, ac er na's gellir bod yn euog o honynt heb wybod eu bod yn ffiaidd ac yn ysgeler dros ben, etto, y mae trugaredd Duw'r gras wedi buddugoliaethu arnynt, yn y maddeuant o honynt, megys y profwyd eisioes!—Pe ychwanegem yma y trosedd o syrthio i bechod gwaradwyddus yn ol bod yn gyfranog o swper yr Arglwydd, yr hyn a dybiwyd gan rai i fod yn anfaddeuol, cawn weled fod maddeuant rhad wedi gorchfygu yma etto, canys fe syrthiodd Pedr, apostol selog Crist, yn ddwfn ac yn waradwyddus iawn, yn dra ebrwydd ar ol bod yn eistedd gyda'i Arglwydd wrth y bwrdd—fe haerodd *gelwydd* noeth—fe *safodd* at ei gelwydd—fe *dyngodd* ac a *regodd*—fe dyngodd ac a regodd i *gadarnhau* ei gelwydd—fe dyngodd ac fe regodd y celwydd mwyaf *aethus* a *dychrynllyd,* sef, nad oedd ef yn *adnabod Arglwydd y bywyd*—fe fu yn euog o hyn oll pan oedd *reitaf iddo arddel ei feistr,* sef, pan oedd pawb yn cefnu arno—fe wnaeth hyn oll *yn nghlyw* ei Arglwydd—ac ar ol yr *haeriadau cryfaf,* na wadai ef byth mo honaw, er gorfod rhoddi ei einioes i lawr yn yr achos! Rhyfedd ddyfnder y pydew i'r hwn y syrthiodd!—ond mwy rhyfedd y gras a'i cododd i'r lan, ac a faddeuodd iddo yr holl anwiredd!

Yn awr deuaf i ddangos yn mha beth y mae y pechod aethus hwn yn gynnwysedig. Ac wedi i mi sylwi yn fanwl ar yr ysgrythyrau canlynol, yr ydwyf yn meddwl yn gryf yr ymddengys yn eglur, nad yw'r pechod anfaddeuol na mwy na llai nâ GWRTHWYNEBIAD LLIDIOG I ACHOS DUW, A'R HOLL GALON AC A'R HOLL NERTH, WEDI I'R CYDWYBOD GAEL EI GOLEUO A'I LLWYR FODDLONI MAI ACHOS DUW YDYW. Ac felly fe ddengys y testunau ag ydwyf ar fedr eu crybwyll yn awr mai NID UN WEITHRED NEILLDUOL, ond *gwahanol droseddau* o dan gynhyrfiad calon a fyddo yn y cyflwr uchod, sydd yn dyfod dan yr enw o bechod anfaddeuol; o herwydd paham yr wyf yn golygu fod yr ysgrythyrau, wrth drin y pechod hwn, yn cyfeirio at *ansawdd* neu *gyflwr* y galon, yn hytrach nag at un weithred neillduol.

1. Y son cyntaf sydd yn y Beibl am y pechod hwn a gawn yn adnodau y testun: ond fe ymddengys yn lled debyg fod rhai wedi bod yn euog o honaw cyn dyfodiad Crist, megys *Cain* a *Saul,* brenin Israel, y rhai a brofasant yn y byd hwn ran o'r caledrwydd calon a'r euogrwydd cydwybod hyny ag sydd yn poeni'r damniaid yn uffern. Yr achos paham y dywedodd ein Hiachawdwr y geiriau dychrynllyd sydd yn ein testun oedd gwrthwynebiad yr Iuddewon i'w weinidogaeth a'i athrawiaeth ef wrth

sefydla Cristionogaeth: y mae Marc, wedi iddo son am y cabledd yn erbyn yr Ysbryd, mewn modd lled gyffelyb ag y mae yma, yn rhoddi hyn fel rheswm am eiriau Crist ar yr achos, "Am iddynt ddywedyd, y mae ysbryd aflan ganddo," Marc iii, 28—30. Yr oedd gweinidogaeth ein Harglwydd yn cael ei chadarnhau gan y gwyrthiau mwyaf rhyfedd a goruchel, o flaen eu llygaid, yn y modd mwyaf amlwg, fel yr oedd yn hawdd i ddynion ag oedd yn dal sylw mor fanwl ar ymddygiadau Crist, ag oedd blaenoriaid yr Iuddewon, i weled ei bod yn anmhosibl i un gallu heblaw gallu Dwyfol i'w cyflawni—ond er hyn, y fath oedd llid a malais eu calonau ato, fel yr haerasant mai *trwy Belsebub* yr oedd efe yn eu cyflawni! Yr oedd swynwyr yr Aifft yn ddynion onest mewn cyferbyniad i'r rhai hyn; canys pan fethasant hwy i ddynwared gwyrthiau Moses yn mhellach, dywedasant yn rhwydd, "Bys Duw yw hyn," Ecs. viii, 19; eithr yr oedd yr Iuddewon mor dloted o egwyddor i roddi cyfiawnder i Grist, ac mor gyfoethog mewn llid tuag ato ef, ac at burdeb ei athrawiaeth, fel, yn lle addef, fel swynion Pharao, y rhai oeddynt genedlaeth o ddynion lled ganolig, "Bys Duw yw hyn," dywedasant, "Y mae cythraul ganddo," ac am hyny y mae efe mor llwyddiannus! Buasai gystal iddynt ddywedyd mai cythraul a wnaeth y bydoedd oll; canys os gallasai diafol roddi bywyd i ddyn marw, efe a allasai wneuthur cynnifer a fynasai o ddynion byw; ac os gallasai wneuthur dynion, peth hawdd fuasai iddo wneuthur bydoedd i'w derbyn a'u cynnal. Gwelwn pa mor belled y dichon y dynion callaf i fyned ar ol ffolineb ac ynfydrwydd, yn gystal â chreulondeb pan fyddo llid a digofaint yn blaenori yn y galon! Yn y cyfryw amgylchiadau nid oes fwy o arwyddion am reswm a synwyr yn y doethaf nâ phe buasent wedi eu halltudio o'r enaid.

2. Y mae'r apostol Paul, yn y geiriau a grybwyllwyd eisioes, yn cyfeirio at yr un pechod, debygaf, 1 Tim. i, 13. "Yr hwn oeddwn o'r blaen yn *gablwr*, ac yn *erlidiwr*, ac yn drahaus. Eithr mi a gefais drugaredd, am i mi yn *ddiarwybod* ei wnethur mewn anghrediniaeth." Y mae efe yn gystal â dywedyd yma, pe buasai efe yn euog o'r un cabledd, ac wedi cyflawni yr un gweithredoedd erlidigaethus mewn gwybodaeth, ac er gwaethaf tystiolaeth a rhybyddion ei gydwybod i'r gwrthwyneb, y buasai efe wedi pechu yn anfaddeuol; ond o herwydd nad oedd efe yn wybodus o fawredd Crist yr hwn a gablai, nac o ardderchogrwydd a duwioldeb ei ganlynwyr, y rhai a erlidiai, efe a *gafodd drugaredd*. Yr oedd amryw o bethau yn ei amgylchiadau ef yr un peth ag eiddo y Phariseaid ac ereill o'r rhai a bechasant yn anfaddeuol—yr oedd efe yn erlid, yn carcharu, ac yn chwythu celanedd yn erbyn dysgyblion y gwir Fessia; ac fel hwythau, yr oedd ganddo oleuni allanol yn dysgleirio o'i amgylch. Ond yr oedd hyn o wahaniaeth rhyngddynt, yr oedd efe yn gweithredu oddiar y dyb ei fod "yn gwneuthur gwasanaeth i Dduw," megys y rhag-ddywedodd Crist y buasai rhai yn erlid ei ddysgyblion—ac yr oedd efe fel y dorf anwybodus, ynghyd â rhai o flaenoriaid a phendefigion yr Iuddewon,

wedi bod yn euog o'r fath waith erchyll o erlid Crist a'i bobl trwy *anwybod*, Act. iii, 17. Eithr yr oedd y rhai a bechasant yn anfaddeuol wedi ymddwyn mor greulon tuag at y Gwaredwr, a hwy yn gwybod pwy ydoedd, canys yr oeddynt yn gweithredu oddiar yr egwyddor hyn, "Hwn yw'r etifedd, deuwch, lladdwn ef," Mat. xxi, 38. Yn gyfatebol pan ddychwelodd Judas â'r arian a gafodd am fradychu Crist, gan ddywedyd, "Pechais, gan fradychu gwaed gwirion," hwy a atebasant, fel pobl ag oeddynt wedi penderfynu ei osod i farwolaeth, "Beth yw hyny i ni, edrych di." Nid wyf yn golygu fod yr hyn a ddywedir yn 1 Cor. ii, 8, "Pe adwaenasent, ni chroeshoeliasent Arglwydd y gogoniant," yn milwrio dim yn erbyn y sylwadau blaenorol, o herwydd y mae'r gair ADWAEN, neu ADNABOD, yn cael ei arferyd yn yr ysgrythyr mewn ystyr ag sydd yn cynnwys *cymmeradwyaeth*, mor fynyched, fe allai, ag mewn un ystyr arall. Gwaith hawdd fyddai nodi lluaws o destunau, lle mae'r gair yn cael ei ddefnyddio felly; eithr ni wnaf ond gosod ar lawr ychydig o lawer; Ruth ii, 19; Amos iii, 2; Zec. xiv, 7; 1 Ioan ii, 13; 2 Ioan 1. Pe buasai llofruddion y Messia yn ei adnabod mewn modd cymmeradwyol, fel yr oedd y rhai ag oedd yn ei adnabod i fywyd, buasent yn ei barchu yn lle ei groeshoelio—ond y fath oedd cynddaredd eu hysbryd, a'u gelyniaeth diachos tuag ato, fel mai pa fwyaf yr adwaenent o'i fawredd, ei burdeb, a'i lwyddiant, mwyaf cynddeiriog yr oeddynt yn ei erbyn! Pa fwyaf dysglaer y tywynai ardderchogrwydd a rhinwedd Haul y cyfiawnder, mwyaf i gyd oedd eu calonau ffiaidd hwy, megys tomenau drewedig, yn fwrw allan o arogl anmhur, a chwerwedd bustlaidd! Y peth mwyaf anhawdd i'w wella o bob peth yw cenfigen, canys pa fwyaf rhinweddol a llwyddiannus a fyddo gwrthddrych malais, mwyaf i gyd yw poen meddwl perchenog cenfigen! Pe buasai Crist yn *ddyn gloth*, ac mewn *cyngrair* â chythreuliaid, yn lle bod yn *Oen difeus* ac yn Addurnwr ar y gyfraith, buasai hyny yn boddio ei elynion i raddau anfynegol! Gwareded Duw ni, frodyr tirion, rhag y fath dymher ddieflig a gelynol.

3. Ymddengys fod yr awdwr at yr *Hebreaid* yn golygu y pechod hwn, pan y dywed, Pen. vi, 4—6. "*Canys anmhosibl yw i'r rhai a oleuwyd unwaith, ac a brofasant y rhodd nefol, ac a wnaethpwyd yn gyfranogion o'r Ysbryd Glân, ac a brofasant ddaionus air Duw, a nerthoedd y byd a ddaw, ac a syrthiant ymaith, ymadnewyddu drachefn i edifeirwch.*" Cyn y sylwyf yn neillduol ar feddwl yr awdwr yma, yr ydwyf yn tybied mai addas fyddai symud dau esboniad gwyrgam a roddir i'r geiriau hyn, oddiar ein ffordd, fel y gallom fyned rhagom yn rhwyddach. Tybia rhai, mai meddwl yr apostol yma yw, ei bod yn *anmhosibl i'r rhai a oleuwyd unwaith*, ac felly yn y blaen, i *syrthio ymaith*, ac felly na fydd rhaid na phosiblrwydd, i'w *hadnewyddu* drachefn i edifeirwch, &c. Yr ydwyf fi yn ystyried yr esboniad hwn yn drais mor eglur ar feddwl yr apostol, fel y mae islaw dirmyg, ac na byddem ond treulio ein hamser yn hollol am ddim, pe byddai i ni fyned i'w wrth-brofi; canys pe gwir fyddai, nid yw

yn bosibl i ni ddeall un ysgrifenydd wrth ei eiriau, ac ni byddai iaith o un defnydd i ni fyth. Nid mwy cytunol â meddwl yr apostol yw yr hyn a hônir gan ereill, sef, "fod yma brawf o syrthiad oddiwrth ras cadwedigol i boenau tragywyddol, oddiwrth fwynhad sylweddol o gariad Duw i ddyoddef ei lid a'i soriant byth!" Yr ydwyf fi yn golygu y fath esboniad, nid yn unig yn groes i berffeithiadau Duw, yn taflu dirmyg ar gyfryngdod Crist, yn bychanu gwaith yr Ysbryd, ac yn groes i luaws o destunau o'r ysgrythyr, ond yn hollol wrthwyneb i ystyr lythyrenol y geiriau hyn, fel y mae'n hawdd gweled, os darllenwn yn mlaen hyd y 9fed adnod. "Eithr yr ydym ni yn coelio am danoch chwi, anwylyd, *bethau gwell;*" er fod yr apostol yn dangos peryglus gyflwr y bobl uchod, yr oedd yn gobeithio pethau gwell am yr Hebreaid proffesedig. A rhag i neb dybied mai *coelio* oedd ef na *syrthient hwy* ymaith, ac nid meddwl eu bod hwy o ran *cyflwr yn well* nâ'r rhai a grybwyllodd o'r blaen; y mae efe yn ychwanegu, "a phethau *yn nglŷn* wrth iechydwriaeth," sef eu bod mewn meddiant o'r hyn ag oedd mewn cyssylltiad annattodol ag iechydwriaeth, pethau anwahanol oddiwrth iechydwriaeth. Y mae hyn yr un peth â dywedyd y gallasai dynion gael eu *goleuo unwaith*, a phrofi yr holl bethau a enwir yma, ac etto fod mor belled oddiwrth fod mewn cyflwr cadwedigol, fel nad oeddynt yn meddu dim oedd yn *nglŷn*, yn ngafael, neu mewn cyssylltiad ag iechydwriaeth. Gwrthuni o'r mwyaf fyddai dywedyd fod yr apostol yn *coelio* fod y rhai a *oleuwyd unwaith* mewn cyflwr cadwedigol, ac etto ei fod yn *coelio pethau gwell* am yr Hebreaid hyn—ei fod yn *coelio* fod y rhai a *brofasant y rhodd nefol, &c.*, yn feddiannol ar bethau yn *nglŷn wrth iechydwriaeth*, ond ei fod yn *coelio pethau gwell* nâ hyny, am ei ddarllenwyr hyn, a *phethau yn nglŷn wrth iechydwriaeth!* Gan hyny, gynta pha beth a feddylir wrth *oleuo* unwaith, &c., y mae'n amlwg i mi ei fod yn fŷr o, ac yn llai nâ gras cadwedigol.

Yr wyf fi yn ystyried yr ymadroddion uchod yn ddarluniad o bersonau ag sydd mor debyg i wir gredinwyr ag sydd yn bosibl, ac heb fod yn saint eu hunain—*Goleuwyd hwy unwaith*, mor belled ysgatfydd, a gweled rhagoriaeth crefydd yr efengyl ar bob crefydd arall—i fedru amddiffyn ei hathrawiaethau—i ganfod mawr ddrwg pechod yn ei effeithiau, yn hytrach nag yn ei natur—i sylwi ar y daloni sydd yn dyfod trwy Grist, yn hytrach nâ'r gogoniant sydd yn Nghrist, &c.

*Ac a brofasant y rhodd nefol;* naill ai yr Ysbryd Glân yn ei gyfraniadau nefol, wrth sefydlu Cristionogaeth, fel y tybia'r Dr. Owen; neu *Iesu Grist*, rhodd fawr y nefoedd i ddynion gresynol y ddaear, yn ol meddwl y Dr. Gill; gwnaethant *dreial* o grefydd Crist, yr hon a gadarnhawyd gan yr Ysbryd; ond gwedi ei *threio*, neu ei phrofi, nid oeddynt yn hoffi glynu wrthi—y mae y credinwyr wedi *profi* fod yr Arglwydd yn dirion, ac am hyny *yn dyfod ato:* eithr gwedi i'r rhai hyn ei brofi, y maent yn cefnu arno—ni chawsant gymmaint o bleser ynddo ag a'u rhwymodd i aros gydag ef. Y mae y gair *profi*, neu *archwaethu* yn arwyddo rhyw

beth llai nâ'r gair bwyta; felly tra y mae credinwyr yn *bwyta* cnawd Mab y dyn, ni wnaeth y rhai hyn ond ei *brofi*, neu ei *archwaethu*, neu gwnaethant gynnyg i fod yn grefyddol, ac wedi hyny nid oeddynt yn caru crefydd Crist, nid oedd yn ymborth wrth eu bodd.

*Ac a wnaethpwyd yn gyfranogion o'r Ysbryd Glân.* Y mae dau beth i ni ddeall wrth dderbyn; neu fod yn gyfranog o'r Ysbryd Glân; naill ai ei ddoniau grasol a chadwedigol, neu ei ddoniau gwyrthiol—nid y cyntaf a feddylir yma, o herwydd lle byddo yr Ysbryd yn gweithredu gyda bwriad i achub, nid dynion na diafliaid na dim arall a ddichon ei rwystro i ddwyn ei waith i ben.* Eithr fe fu llawer yn gyfranog o'r Ysbryd Glân yn ei ddoniau gwyrthiol, tra yr oeddynt heb ras yn eu calonau i ogoneddu Duw; yr oedd Judas ar ddim a wyddom ni, yn medru bwrw allan gythreuliaid

* Y mae rhai amddiffynwyr ewyllys rydd yn addef nad yw dyn wrth natur, neu, o hono ei hun, mor dueddol i garu ffyrdd Duw ag y mae i hoffi llwybrau pechod, pe amgen y buasai yn myned ar ol santeiddrwydd, yr hwn sydd fyrdd rhagorach nâ phechod ynddo ei hun—ond mewn trefn i wneuthur y golled hyn i fynu, dywedant fod yr Ysbryd yn gweithio yn gyffredin ar bawb, fel na b'o esgus gan neb i fyw mewn pechod. Eithr myfi a chwennychwn wybod, os yw'r Ysbryd yn gweithredu felly ar bawb, a ydyw efe yn gwneuthur pawb yn ewyllysgar i dderbyn Crist? Os nad yw, pa faint gwell yw dynion wedi gwaith yr Ysbryd nag oeddynt o'r blaen, cyn iddo weithredu arnynt oll? Os y cryf-arfog oedd yn cadw meddiant o'r galon gynt, ac yn aros mewn meddiant o'r orsedd yno etto! os na wnaiff yr Ysbryd Glân fuddugoliaethu ar yr ysbryd aflan, a'i fwrw allan; os medr y gelyn i gadw ei neuadd er yn waethaf i waith yr Ysbryd, nid yw'r pechadur ronyn gwell ar gyfrif ei waith! Nid yw'r Ysbryd wedi gwneuthur dim o'i ol yn ei galon, neu, o leiaf nid yw wedi gweithio dim i bwrpas yno! Ni chymmerodd Duw un gwaith arall erioed i'w law, heb fedru gwneuthur ol ei law arno—gwaith rhy anhawdd i mi gredu yw, na fedr yr hwn sydd â chalonau breninoedd yn ei law, i adael ei ol ar galonau y dynion duaf, er caleted ydynt. Os gwrthddadleuir i hyn, gan ddywedyd, 'ar y dyn mae'r bai eisieu na byddai ef yn cydweithio â'r Ysbryd, neu yn ochru gyda'i gynhyrfiadau ef!' Yr ydwyf yn ateb, mai pell oddiwrthyf fi fyddo meddwl gosod y bai ar neb ond ar y dyn am wrthod iechydwriaeth rhâd; ond etto nid yw hyn yn gwella yr achos, ar y dyn oedd y bai o'r blaen, cyn dyfodiad yr Ysbryd, o eisieu derbyn y cymmod, mae'r un bai yn aros etto, er gwaith yr Ysbryd—os dywedir, y dichon dyn ddyfod at Grist trwy waith cyffredinol yr Ysbryd os myn; felly y gallasai heb hyny pe mynai, neu pe ewyllysiai yn ddiragrith, pwy a allasai ei rwystro? Os haerir fod y dyn yn ddiesgus yn awr, felly yr oedd o'r blaen, nid oedd un rhwyman ar Dduw i'w achub, ac nid oedd dim yn rhwystr iddo ddyfod at Geidwad ond drygioni ei galon ei hun. Yn mhellach, os hônir fod yr Ysbryd wrth weithio peth yn yr enaid, yn gwneuthur y gwaith o droi at Grist yn hawddach, nâ phe buasai heb wneuthur dim yno. Nag ydyw un gronyn, canys os nad oes tuedd yn yr enaid ei hun i ffoi at Geidwad trwy ffydd, ac os nad yw'r Ysbryd yn gweithio mor gryf ag i'w wneuthur yn ewyllysgar i hyny, y mae efe yn hollol yn yr un man! Nid oedd wahaniaeth pa un ai cant milldir neu gant o latheidiau a fuasai'r llofrudd gynt oddiwrth y ddinas noddfa, os na buasai efe yn ewyllysio ffoi iddi—Ac os bydd y glorian yn ewyllys dyn heb droi o blaid derbyn Crist, nid oes dim gwahaniaeth pa un ai *owns* neu bwysau'r ddaear fyddo'n ddiffygiol, tra na byddo'r enaid ei hun yn meddu'r *owns* na phwysau'r ddaear, a thra byddo'r Ysbryd, yr hwn sydd yn meddu y naill a'r llall, yn penderfynu eu cadw rhagddo, y mae efe mewn cyflwr colledig tra fyddo y peth lleiaf rhyngddo a chredu yn Nghrist.

yn gystal â'r dysgyblion ereill—ac yr ydwyf fi yn credu mai dywedyd y gwir y mae'r bobl, yn Mat, vii, 22, eu bod wedi *proffwydo, bwrw allan gythreuliaid*, a gwneuthur *gwyrthiau lawer*, yn *enw Crist*, o herwydd nid yw efe yn eu ambeu, pa fodd bynag, ni *adnabu* efe hwy erioed, fel pobl iddo ef—ac yr wyf fi yn gryf o'r farn y dichon dynion gael doniau a llwyddiant gan yr Ysbryd wrth bregethu, yn ein dyddiau ni, ond etto, *gwedi pregethu i ereill*, yn llwyddiannus, y byddant hwy eu hunain *yn anghymmeradwy*, 1 Cor. ix, 27. Y mae cymmaint o angen i ni, fy mrodyr hynaws yn y weinidogaeth, ïe'r mwyaf llwyddiannus o honom i fod wrth y gorchwyl o hunan-ymholiad, â neb ereill.

*Ac a brofasant ddaionus air Duw.* Ymbleseru dros ychydig yn yr efengyl, fel Herod yr hwn a wrandawai Ioan gyda phleser; neu'r personau a olygir wrth yr had ar y graig, Mat. xiii, 20, y rhai a dderbynient y gair yn ebrwydd trwy lawenydd, ond etto yr oedd gwahaniaeth hanfodol rhyngddynt hwy â'r rhai a ddarlunir wrth y *tir da*, yn y dechreu, nid oedd had y gair wedi cael *dyfnder daear*, na lle i *wreiddio* ar y cyntaf, ac o herwydd hyny, ni's gallesid dysgwyl dim ond darfodedigaeth yn y canlyniad—nid peth dyeithr i ni hyd heddyw yw gweled dynion, yn neillduol ar amser tra llwyddiannus ar grefydd, yn ymddangos yn hynod o flodeuog mewn proffes, ond yn ebrwydd, o ddiffyg *gwreiddyn y mater*, yn darfod yn llwyr â hi—llefwn lawer, wrandawyr hoff, am undeb â Christ mewn crefydd.

*A nerthoedd y byd a ddaw.* Peth cyffredin gan yr Iuddewon gynt oedd galw yr oruchwyliaeth efengylaidd neu amser y Messia, wrth yr enw *byd a ddaw;* y mae'r apostol yma yn anerch Iuddewon yn eu hiaith eu hunain, amryw o'r rhai *a brofasant nerthoedd*, neu weithredoedd nerthol, a'r gwyrthiau rhyfeddol oedd yn cydfyned â sefydliad teyrnas Crist, yr hon a elwid gynt *y byd a ddaw*, ond heb fod erioed â'u calonau o blaid y Brenin nefol, er cymmaint a wnaethant o wyrthiau yn ei enw. Neu os wrth *y byd a ddaw* y chwennychech ddeall y byd tragywyddol, y mae yn eglur i fod llawer gwedi dychrynu wrth deimlo, neu sylwi ar *nerthoedd*, neu ryfeddodau dydd y farn, &c., ond etto fel y ddaear, yr hon sydd anghymmeradwy yn dwyn allan *ddrain a mieri*, yn lle llysiau cymhwys i'r rhai y llafurir hi ganddynt, adn. 7, 8. Gweddiwn lawer, garedigion hawddgar, am nerth i ddwyn ffrwyth i Dduw hyd ein beddau. Pan syrthio y bobl uchod ymaith, nid yw yn bosibl eu hadnewyddu i edifeirwch, o'r fath ag oedd ganddynt o'r blaen; canys pan roddo Duw ddyn i fynu i amryfusedd cadarn, caletach galetach yr aiff, nes byddo yn uffern.

4. Cawn gyfeiriad lled eglur at y pechod hwn, yn Heb. x, 26—29, "*Canys os o'n gwirfodd y pechwn, ar ol derbyn gwybodaeth y gwirionedd, nid oes aberth dros bechodau wedi ei adael mwyach; eithr rhyw ddysgwyl ofnadwy am farnedigaeth, ac angerdd tân, yr hwn a ddifa y gwrthwynebwyr, &c.* Y mae rhyw anhawsdra yn y geiriau, *Os o'n gwirfodd y pechwn*, megys pe byddem yn pechu weithiau o'n hanfodd; ac y mae rhai dynion

o feddyliau Antinomaidd, gwedi cymmeryd y fantais oddiyma, ac oddiwrth rai manau ereill o'r ysgrythyr, i ymesgusodi eu hunain am eu pechodau, o herwydd nas gallant beidio, meddant; eithr y mae yn sicr mai o'n *bodd* yr ydym yn pechu yn wastadol; canys nid yw Duw yn peri i neb i bechu—ac ni ddichon y diafol, er cyhyd ei gadwyn, i ŷru dyn i bechu yn erbyn ei ewyllys—temtio dyn a'i berswadio i bechu yw'r cwbl a ddichon efe wneuthur—o herwydd paham y dywedir, "Gwrthwynebwch ddiafol, ac *efe a ffŷ* oddiwrthych," ac nid efe a'ch gorchfyga. Hefyd, os o aufodd ei galon y mae dyn yn pechu, y mae ganddo ffordd newyddach nâ'r *ffordd newydd a bywiol*, trwy Grist, i ddianc rhag cospedigaeth pechod; a math o ffordd gefn i fyned i'r nefoedd, heblaw yr *hen brif ffordd*, trwy Gyfryngwr—y mae efe yn lân odiaeth heb ei olchi yn y *ffynnon a agorwyd i bechod ac i aflendid!* Canys nid efe, yn sicr, fydd yn atebol am ei droseddau, ond yr hwn a barodd iddo droseddu—pe byddai i bump neu chwech o lofruddion i osod arf angeuol mewn llaw dyn diniwed trwy drais, a'i rwymo yno, ac yna i ddefnyddio y cyfryw arf, o anfodd calon y gwr fyddai â'i law am dano, i dywallt gwaed gwirion, nid efe, ond hwy a gaent eu crogi yn gyfiawn, ac yntef a ryddheid mor gyfiawn â ni sydd yma heddyw, y rhai na fuom yn y cyfryw amgylchiad erioed. Y mae yn amlwg iawn mai dyn a fydd yn atebol am ei droseddau ei hun, gan hyny, y mae yn canlyn mai o'i fodd y mae efe yn pechu. Cadwed yr Hollalluog ni rhag myned i *glirio* ein hunain, trwy dybied a dywedyd mai yn erbyn ein hewyllys yr ydym yn pechu.*

* Nid wyf fi yn ystyried y geiriau yn Rhuf. vii, 15—21, yn groes i'r sylwadau uchod, pan ystyriom nad yw y goreu o ddynion wedi eu santeiddio ond mewn rhan, ac felly yn *ewyllysio* bod yn santaidd ond mewn *rhan;* pe byddai dynion crediniol yn ewyllysio yn *berffaith* i wneuthur daioni, a hyny heb fethiant *bob amser*, nid ydwyf yn gallu dirnad, pwy a'u rhwystrau i wneuthur felly, yn ol eu chwennychiad, yn gyfatebol i'r wybodaeth a fyddai gandlynt am ffordd Duw. Y mae'r apostol, debygid, yn adrodd ei brofiad, yn debyg i'r modd ag y mae credinwyr ereill wedi gwneuthur ar ei ol ef, y rhai ydynt yn *ewyllysio* yn gryf, ac yn penderfynu yn gadarn i fyw yn fwy santaidd, a defnyddiol, ond pan elont i osod eu penderfyniadau mewn ymarferiad, *cwblhau yr hyn sydd dda nid ydynt yn medru arno.* Y mae'r *ewyllysio* yn gwanhau, fel pethau ereill, ac yna anhawdd yw cyflawni yr hyn a fwriadwyd, gydag ewyllys gref, o'r blaen —yr ydym wedi profi yn fynych, frodyr, mai *nid y peth yr ydym yn ewyllysio* yn y boreu, *yr ydym yn wneuthur yn y prydnawn—y peth* drwg *yr ydym yn ei wneuthur sydd gas genym*, y mae yn llenwi ein hysbryd â gofid yn fynych o'i herwydd—ac er fod pob drwg a wnelom yn groes i'n hewyllys cyn y gallo'r diafol lwyddo ganddi hi i ganiatâu ei ddeisyfiad, etto, gweddus yw i ni gofio na's gall y cyhuddwr wneuthur dim heb ganiatâd yr ewyllys. Gan fod yr adnod ganlynol o hymn yn perthyn mor agos i'r pwnc hwn, gosodaf hi ar lawr:—

Addunedais yn y boreu
Byddwn blentyn ffyddlon iawn,
Torais f' addunedau wedi'n
'N hir cyn machlud haul brydnawn;
O na byddai, &c.
I'm haddunedau gael y dydd.

Eithr prinder yr iaith Gymraeg ar eiriau, yn y fan hon, yw'r achos o'r anhawsdra yn y geiriau hyn; pe buasai yn cyfateb i'r *Saesneg* yn hyn buasai yn hawddach deall meddwl yr awdwr. Nid oes genym ni ond yr un gair hwn, *gwirfodd*, neu o *fodd*, am y ddau air canlynol yn Saesneg, *willingly* a *wilfully*; yr olaf o ddau a arferir yma yn y Beibl Saesneg, fel yn cynnwys meddwl yr apostol yn llawnach nâ'r llall, er fod yr un gair Groeg *ekousiôs*, yn cael ei droi mewn manau ereill *willingly*—Y mae'r gair yn arwyddo mwy nâ chydsyniad yr ewyllys i bechu, sef, ymroddiad, penderfyniad, a bwriad cryf, diysgog i bechu, a bŷw mewn pechod, er yn waethaf i'r goleu oedd yn y gydwybod; ac heb un achos ond cariad cryf at bleserau gwaharddedig; ac nid syrthio i'r brofedigaeth danllyd, a phechu trwy ofn disymwth, fel *Pedr* yn y llŷs! Yr oedd pechod *Pedr* ynddo ei hun, yn agos mor fawr ag eiddo *Judas*, eithr yr oedd yr olaf wedi bwriadu, penderfynu, ac *astudio*, i wneuthur y weithred ddychrynllyd, ond yr oedd Pedr wedi ymroddi ac addunedu i beidio, er iddo gwympo yn ddwfn, trwy ymddiried gormod i'w sel a'i gariad cyfnewidiol ef ei hun. Gochelwn, wrandawyr hawddgar, i astudio, ac i ymbleseru mewn bwriad i bechu—gresynol yw cyflwr y dyn ag sydd â'i ben a'i galon, neu ei ddeall a'i serch yn ngafael â phechod—gwae fydd i'r dynion *medrus* mewn drygioni! Yr oedd cyflwr y pechaduriaid *gwirfoddol* uchod mor resynol, fel y dywedir yn bendant, *nad oedd aberth dros bechodau, wedi ei adael mwyach* iddynt. Gwyliwn rhag bod yn debyg iddynt.

5. Yr un pechod, debygid, sydd yn ngolwg Ioan, yn ei epistol cyntaf, pen. v, 16—18; yr hwn a eilw efe *y pechod i farwolaeth.* Mae pob pechod yn *haeddu* marwolaeth, a hòno yn un dragywyddol; eithr nid yw pob pechod *i* farwolaeth, neu yn terfynu mewn damnedigaeth, o herwydd y mae maddeuant yn sefyll rhwng y pechadur a'r farwolaeth hon; ond y mae y cabledd anfaddeuol *i farwolaeth*, oblegid gan nad oes maddeuant am dano, nid oes dim i sefyll rhwng y rhai a'i cyflawno a marwolaeth diderfyn; y mae'r ffordd yn rhydd heb un rhwystr ynddi oddiwrth y pechod hwn i uffern; ac nid yw yn bosibl i attal y rhai a fu yn euog o hwn yn eu rhedegfa nes byddont yn ngafael yr ail farwolaeth! Pa fodd bynnag, fe dystia yr apostol, *nad yw y neb a anwyd o Dduw yn pechu.* Nid ei feddwl yn hyn yw, nad yw yr ail-anedigion yn pechu oll, canys y mae'r un gwr yn dywedyd mewn man arall, *Os dywedwn nad oes ynom bechod, yr ydym yn ein twyllo ein hunain, a'r gwirionedd nid yw ynom.* Nid yw y bobl sydd yn ffugio eu bod yn berffaith ddibechod yn y byd hwn, yn berffeithiach mewn dim, nag mewn anwybodaeth o'u cyflyrau eu hunain. Nid y meddwl hyn ychwaith sydd i'r geiriau yn y man hyn, sef, *nad yw y neb a anwyd o Dduw yn hoffi byw mewn pechod,* a gwneuthur crefft o honaw; er fe debygid mai hyny yn benaf a olygir yn pen. iii, 9. Mwy anmherthynasol a gwrthun etto yw yr esboniad canlynol, sef nad yw'r *egwyddor* neu'r *anian* a anwyd *o Dduw yn pechu,* ond yn aros yn lân yn nghanol holl aflendid eu calonau; pe byddai rhyw synwyr i wneuthur o'r fath

ddywediad, nid yw fwy i'r pwrpas, nâphe dywedid, nid yw'r glân yn aflan, nid du yw gwŷn, nid nos yw dydd, neu nid drwg yw y da sydd mewn dyn? Pa newydd yw hyny. Y mae'r apostol yn egluro ei feddwl yn niwedd yr adnod, "Mae'r hwn a anwyd o Dduw yn ei gadw ei hun, a'r DRWG HWNW nid yw yn cyffwrdd ag ef." Er fod y credadyn yn syrthio i lawer o byllau a phrofedigaethau, etto, diolch i Dduw, nid yw y *drwg hwnw*, y pechod i farwolaeth, neu y trosedd anfaddeuol, yn cyffwrdd ag ef; gynta faint a fyddo ei beryglon, ei wendidau a'i ofnau, fe fydd mewn diogelwch tragywyddol oddiwrth y *drwg hwnw:* er cymmaint ei lesgedd a'i wendid, fe gaiff ei alluogi i *gadw ei hun*, fel na byddo i'r *drwg hwnw gyffwrdd ag ef* byth. Y mae hyn yn cadarnhau yr esboniad a roddwyd o'r blaen ar y chweched o'r Hebreaid, sef mai nid dynion ail-anedig a feddylir wrth y *rhai a oleuwyd unwaith*, *&c.*, pe amgen ni fuasent fyth yn syrthio ymaith i wlad y pechod anfaddeuol, oblegid nid *yw y drwg hwnw yn cyffwrdd* â neb o'r rhai a anwyd o Dduw.

Fel hyn, frodyr, yr ydwyf gwedi nodi y manau mwyaf neillduol, os nid yr unig ranau o'r ysgrythyr ag sydd yn cyfeirio yn union-gyrchol at y trosedd dychrynllyd a grybwyllir yn y testun,* Ac oddiwrth y cyfan fe ymddengys yn amlwg i mi, mai cefnu ar, a gwrthwynebu achos Duw, neu ei efengyl, yr hon a arddelir gan yr Ysbryd Glân, a hyny yn fwriadol, yn faleisus, ac yn genfigenus, er yn waethaf i oleuni ac argyhoeddiadau y gydwybod, sydd yn gwneuthur i fynu y pechod arswydus hwn. Brysiaf bellach i ddangos,

II. Paham na faddeuir y pechod hwn yn gystal â throseddau ereill? A phaham y mae'r cabledd yn erbyn yr YSBRYD yn anfaddeuol, gan y maddeuir cabledd yn erbyn MAB Y DYN?

1. Yr ateb mwyaf cyflawn a boddlonol, ysgatfydd, i'r gofyniad hwn, yn gystal â lluoedd o rai ereill, yw, ewyllys ben-arglwyddiaethol Duw, yr hwn sydd yn maddeu, nid yn ol golygiadau dynol, ond yn ol *cyngor ei ewyllys ei hun*. Nid oes un rheswm arall i'w roddi paham y mae efe yn galw un pechadur yn effeithiol i gael maddeuant, ac yn gadael un arall i ddilyn ei dueddiadau pechadurus ei hun—paham y galwodd *Zacheus*, a *Saul o Tarsis*, ac yr agorodd galon *Lydia*, tra y gadawodd y dynion oedd gyda'r personau hyn yn yr un cyflwr ag oeddynt, ar ddim a wyddom ni yn amgen—paham y mae yn maddeu i ddynion ac yn myned heibio i

* Tybia rhai fod Pedr yn ofni fod *Simon Magus* yn euog o'r drwg hwn, gan ei fod yn ei anerch mewn modd mor amheus, Act. viii, 22, *Gweddia Dduw, a faddeuir i ti feddylfryd dy galon;*" neu "fe allai," neu "os ysgatfydd" y maddeuir i ti feddyliau ffiaidd dy galon resynol. Megys pe dywedasai, "Nid wyf yn sicr i ti bechu yn anfaddeuol, ond yr wyf yn petruso yn nghylch dy gyflwr; y mae arnaf ofn dy fod wedi myned yn agos iawn at y trosedd anfaddeuol, os nad wyt wedi ei gyflawni; y ffordd oreu, gan hyny, i benderfynu hyn yw myned at orsedd gras, ac os cai galon i weddio Duw, meddyliaf fod dy gyflwr yn obeithiol; os amgen, rhaid dy roddi di i fynu i gaalyniadau erchyll pechu heb faddeuant!"

gythreuliaid? felly *rhyngodd bodd iddo ef.* Felly y mae y pechod hwn yn anfaddeuol yn ol bwriad ac ewyllys Duw. Nid oes i ni dybied fod y pechod yma, fel y dywedodd Cain am ei bechod ef, yn fwy nag y gallai Duw ei faddeu, neu yn fwy nag y gallai gwaed Crist ei lanhau, pe byddai hyny yn unol â meddwl y drindod fendigaid:—ac nid diffyg gallu i achub dïafliaid sydd yn y Duwdod, gallai ef drefnu ffordd i'w dwyn hwy i ogoniant, yn gystal â dynion pe ewyllysiai; eithr y mae efe yn gweled yn addas i roddi terfyn i'w drugaredd faddeuol, ac yn gadael y pechadur iddo ei hun, yr hwn yn ebrwydd a *galeda* ei war, ac a dòrir ymaith yn ei bechod. Dylai hyn ein boddloni ar y pen hwn, pe na byddai genym ddim yn ychwaneg i ddywedyd yn ei gylch, gan wybod na wnaiff y Duw cyfiawn a doeth, ddim yn anghyfiawn nac yn annoeth. Pa fodd bynag, ni a sylwn ar rai rhesymau ereill.

2. Cawn y rheswm canlynol yn Heb. vi, 6; a x, 29, paham na achubir y bobl ag sydd yn euog o'r pechod hwn, *Gan,* neu o herwydd, *eu bod yn ail-groeshoelio iddynt eu hunain Fab Duw, ac yn ei osod yn watwor—ac yn ei fathru,* (katapatêsas) ei sathru o dan draed, ei drin gyda'r dirmyg a'r anmharch mwyaf, er ei fod yn deilwng o'r parch mwyaf goruchel, ar gyfrif urddas a mawredd ei berson, a phurdeb ei fywyd a'i athrawiaeth, yr hon oedd yn amlygu bywyd i ddynion o dan ddedryd marwolaeth. Wrth wadu y grefydd a sefydlodd Crist, yr oeddynt mewn effaith, yn ymorfoleddu arno, megys pe buasent wedi cael buddugoliaeth arno, yn eu llid a'u cenfigen—yr oeddynt hyd ag y gallent yn gwadu ei awdurdod fel Brenin Sïon—yn ei osod allan fel drwg weithredwr—a thrwy eu hymddygiad yn canmol y rhai a'i croeshoeliasent—ac felly, mewn rhyw ystyr, yn ei *ail-groeshoelio*—yn ei wawdio o'r newydd—ac yn dangos eu parodrwydd i'w *groeshoelio* drachefn pe caent gyfle—Ond ni oddefir i'r Mab gael y fath driniaeth yn ddigosp ond hyny—yr oedd unwaith yn ddigon i'w groeshoelio i ateb holl fwriadau'r nefoedd—y mae ei *ail-groeshoelio* yn waeth nâ'i groeshoeliad cyntaf—cafodd rhai o'r bobl a fu â'u dwylaw yn ei waed gynt faddeuant; ond ni faddeuir i neb a fyddo yn euog o'i *ail-groeshoelio*—fe'i rhoddwyd i farwolaeth gynt trwy anwybodaeth, ond ni's gellir ei ail-groeshoelio ond trwy wybodaeth. Bydded i ni gyd-wladwyr teilwng, lefain am gymhorth i beidio tebygoli y bobl hyn mewn dirmyg ar y Gwaredwr grasol.

3. Y mae'r dirmyg eithaf ag y mae y bobl ag sydd yn euog o'r pechod hwn yn ei daflu ar aberth Crist, yn cael ei ystyried fel rheswm paham na's maddeuir iddynt, Heb. x, 29. Wedi i'r apostol ddangos fod dirmygwyr cyfraith Moses i gael marw heb drugaredd, y mae efe yn gofyn, "Pa faint mwy cospedigaeth (debygwch chwi) y bernir haeddu o'r hwn a fathrodd Fab Duw, *ac a farnodd yn aflan waed y cyfammod, trwy yr hwn y santeiddiwyd ef.*" Gwaed Crist oedd yr amlygiad ardderchocaf o ras a chariad Duw ag a roddwyd erioed, a'r hyn sydd yn agor y ffordd i bob daioni sylweddol i ddyfod i ddynion—ei werthfawr waed ef yw enaid, neu swm a sylwedd yr efengyl—trwy hwn y seliwyd ac y cadarnâwyd y

*cyfammod* gwell—a thrwy yr hwn y *santeiddiwyd ef*, sef Crist, oblegid nid y dyn a *fathrodd Fab Duw*, &c., a *santeiddiwyd*, ond y Mab ei hun, canys *Mab Duw*, ac nid *yr hwn*, yw y rhagflaenor, *antecedent*, i'r gair *santeiddiwyd*, a'r nesaf ato, ac y mae tuedd ymadrodd yr apostol yn y bennod yn dangos hyn, oblegid Crist, yn ei swydd gyfryngol, ac nid *yr hwn* a bechodd yn anfaddeuol, a *santeiddiwyd*, neu a *neillduwyd*, (yr hyn yw ystyr y gair *santeiddiwyd)* ac a gyflwynwyd i fod yn arch-offeiriad rhinweddol, a hyny trwy *ei waed*. Ond yr oedd y gwrthgilwyr rhag-grybwylledig, yn *barnu y gwaed* gwerthfawr hwn yn *aflan*, yn ansantaidd, neu *koinon*, yn *beth cyffredin*, fel gwaed drwgweithredwyr, yr hwn a dywalltid o herwydd eu gweithredoedd drwg; yn waelach nâ gwaed yr aberthau, a gwaed y merthyron. Yn awr, gan eu bod yn diystyru ac yn dibrisio gyda'r dirmyg mwyaf yr unig foddion i gael maddeuant, gwaed Crist, trwy dywalltiad yr hwn y gwnawd ef yn *berffaith* Dywysog iechydwriaeth, nid oedd un llwybr arall i gael maddeuant, *Nid oes aberth dros bechodau wedi ei adael mwyach*, y maent wedi cefnu ar yr unig aberth ag a fedrai foddio'r nefoedd, ac am nad oedd hwnw yn eu boddio hwy, nid oedd modd i gymmod gymmeryd lle rhyngddynt â Duw, o herwydd na allai efe hoffi eu ffyrdd hwy. Yr oedd *godineb* yn y cyflwr priodasol, *llofruddiaeth* a *chabledd*, yn bechodau anfaddeuol mewn llys gwladol dan yr hen oruchwyliaeth, nid oedd un aberth wedi ei drefnu drostynt; mewn llawer o bechodau ereill yr oedd y troseddwr yn cael myned yn rhydd gan y barnwyr gwladol ond dyfod ag aberth i ddyoddef yn ei le, eithr pan gyflawnent un o'r beiau rhagddywededig, nid oedd dim lle gael trugaredd ar un ammodau, ond rhyw *ddysgwyl ofnadwy am farnedigaeth;* felly o dan yr oruchwyliaeth hon nid oes dim i ganlyn, yn ol *barnu yn aflan waed y cyfammod*, ond rhyw *ddysgwyl ofnadwy am farnedigaeth, ac angerdd tân, yr hwn a ddifa y gwrthwynebwyr*. O, wrandawyr gwerthfawr, ceisiwn gyfarwyddyd o'r uchelder i ymfoddloni yn y man ag y mae Duw yn foddlon i gyfrinachu â'n bathau ni. Cofiwn yn wastadol, os na fyddwn ni boddlon i gael ein hachub trwy'r ffordd a drefnodd Duw, ei fod ef wedi penderfynu, yn gyfiawn, na chawn ni achubiaeth fyth! Meddyliwch yn sobr am y canlyniad arswydus o fod heb achubiaeth.

4. Rheswm arall paham na faddeuir y pechod rhag-grybwylledig, sydd yn cyfodi oddiwrth y gwrthwynebiad sydd ynddo i'r Ysbryd Glân. Gwedi i'r apostol sylwi ar waith y gŵr sydd yn euog o'r drwg hwn, yn *barnu yn aflan waed y cyfammod*—y mae yn ychwanegu, *Ac a ddifenwodd Ysbryd y gras;* neu a *ddirmygodd*, (neu *enubrisas*,) gwneuthur dirdrais enllibus a gwarthus ag Ysbryd y gras. Ni's gellir anmharchu person, nac aberth Crist heb daflu'r dirmyg mwyaf ar yr Ysbryd Glân; o herwydd yr oedd efe wedi dwyn tystiolaeth gadarn o blaid athrawiaeth ac aberth y Messia, trwy y doniau gwyrthiol a gyfranodd efe i'r apostolion wrth sefydlu Cristionogaeth; ac yr oedd y gwyrthiau rhyfeddol a nerthol a wnaeth efe trwy offerynaeth yr apostolion wedi cau safnau y miloedd ag oedd o'r blaen yn

erlid amddelwyr yr efengyl; ond yr oedd gwaith y dynion hyn wrth *becku o'u gwirfodd*, trwy dŷnu yn ol oddiwrth y broffes a wnaethant o'r efengyl, nid yn unig yn niweidio eu heneidiau eu hunain, ond yn agor safnau erlidgar gelynion y groes, a thrwy hyn yn *difenwi* yr Ysbryd tragywyddol, trwy hòni eu hunain, neu trwy roddi lle i ereill i haeru, mai ysbryd twyllodrus oedd yr hwn ag oedd yn yr apostolion, ac mai ar dwyll y sefydlwyd Cristionogaeth—yr oeddynt yn ei *ddirmygu* i'r eithaf, wrth sefyll i fynu mewn gwrthwynebiad iddo, ac eistedd fel beirniaid ar ei waith, a pheidio ymostwng i'r rheolau addas a gadarnhaodd ef trwy weithredoedd nerthol. Darfu iddynt wneuthur y *trais mwyaf enllibus a gwarthus* arno, wrth wneuthur a allent i gadw y clod dyledus iddo, am arddel gweinidogaeth raslawn yr efengyl oddiwrtho, trwy amheu gwirionedd ei dystiolaeth; ac ymdrechu dangos mai gwaith ofer oedd yr holl wyrthiau a wnaeth—a pheth sydd yn mwyhau y bai etto yw, eu bod yn ei ddirmygu yn yr hyn ag yr ymddangosodd fwyaf erioed yn Ysbryd y GRAS, nid *Ysbryd Duw yn ymsymud ar wyneb y dyfroedd*, yn y greaduriaeth gyntaf—nid yr Ysbryd yn ei waith yn *addurno y nefoedd* a sêr, ac *yn llunio y sarff dorchog*—ac nid yr Ysbryd yn llenwi pob man, fel nac oes modd i ddianc *o'i wydd;* ond yr Ysbryd yn ei waith yn cadarnha athrawiaeth y cymmod *a'r gras*, ac fel *Pneuma tês charitos*, Ysbryd gras, yn cymmeryd o eiddo Crist a'i fynegu i'w ganlynwyr! Buasai llai pechod o'r hanner iddynt ei *ddirmygu* dan bob enw a gymmerodd erioed, nac o dan yr enw *Ysbryd y gras!* Nid rhyfedd, os bydd y bobl â hyn, y rhai sydd hyd eithaf eu gallu yn difrio a gwaradwy[illegible] fath amlygiadau o anfeidrol ras, i gael myned i'r byd tragywyddol i haddasu gan *Ysbryd y gras*. Os lladdwyd *Ananias* a *Saphira* a[illegible] wedyd *celwydd wrth yr Ysbryd Glân*, pa fodd y dianc y rhai [illegible] ceisio gwneuthur yr *Ysbryd Glân yn gelwyddwr*, rhag poenau [illegible] Ystyriwch, gyfeillion tawel, y mawr ddrwg o wrthwynebu yr Ysb[illegible] mewn dim, yn neillduol fel Ysbryd y gras.

5. Y rheswm paham na faddeuir y cabledd yn erbyn yr *Ys*[illegible] pan y mae yr hyn a ddywedir yn erbyn *Mab y dyn* yn fadd[illegible] ydwyf fi yn golygu, sydd fel y canlyn. Nid oes i ni gas[illegible] hyn i fod yr Ysbryd yn fwy nâ'r Mab, gan ei fod ef *uwch*[illegible] *Dduw bendigedig yn oes oesoedd*, ac nid oes bosibl i fod yn [illegible] Ond fe allasai gwrthwynebiad yr Iuddewon i Grist i fod y[illegible] bodaeth o urddas ei berson, megys yr oedd mewn llawer [illegible] oedd efe yn ei ystâd o ddarostyngiad, fel y sylwyd hyglod ac urddasol oedd efe yma mewn twyll-wisg, a' wedi ei orchuddio â llen o gnawd; ond yr oedd yr Ys[illegible] y priodolir gwyrthiau y Messia, (Mat. xii, 28,) yn ym[illegible] arferol trwy ei weithredoedd nerthol; yr oedd gwrt[illegible] addef eu bod yn canfod Ysbryd Duw yn y gweithred[illegible] a'r proffwydi; ac am hyny yr oedd yn rhaid i'w [illegible]

ei weled yn ngweithredoedd nerthol Crist, gan ei fod yn ymddangos yn awr yr un modd â chynt, neu yn hytrach yn amlygu mwy o'i fawredd a'i ogoniant trwy *Fab y dyn*, nag a wnaeth trwy Foesen; ac ar y cyfrif hyny yn hawddach i'w weled. Yn awr, pe na buasai gweithredoedd nerthol Crist trwy yr Ysbryd yn dangos pwy ydoedd efe, gallasai yr Iuddewon gael maddeuant, er mor greulon oedd eu triniaeth o hono.

Gallai yr hanes fèr ganlynol wasanaethu i daflu ychydig o oleu ar y pwnc. Yr ydwyf fi gwedi clywed amryw weithiau, fod Tywysog Cymru, wedi ymweled ag amryw o borthladdoedd y deyrnas hon, mewn dillad morwr cyffredin, fel y gallai gael cyfle'gwell i wybod pa fodd yr oedd ein llongwyr glewion yn cael eu trin gan y ddir-gnud *(pres-gang)*; ac iddo ef ei hun gael ei gymmeryd fwy nag unwaith ganddynt trwy drais, ac o herwydd iddo gynnyg rhedeg, iddynt ei osod mewn cadwynau, a'i anmharchu i raddau pell; ond o herwydd ei fod ef mewn gwisg morwr cyffredin, nid oedd hyn yn deyrn-fradwriaeth; er mai mab hynaf y brenin oedd yn cael yr anmharch, etto nid oedd awdurdod y brenin yn cael ei ddirmygu, o herwydd fod y tywysog wedi cuddio ei *seren* a'i holl fawredd breninol â thrwsiad llongwr anghyhoedd; ond pe buasent hwy yn ei drin felly yn ol iddo ef ddangos ei *seren dywysogaidd*, gallasai golud lawer fod yn rhy fach i'w cadw rhag marwolaeth. Felly, daeth y Messia i'r byd hwn yn ngwisg ei frodyr cyffredin—cymmerodd gnawd o'u cnawd—ymddangosodd yn dra gwael ei ddrych—yr oedd yn myned dan yr enw *Mab y saer*—yr oedd mor dlawd â bod yn fynych *heb le i roddi ei ben i lawr;* ac felly, gyda golwg ar hyny nid oedd mwy o ddrwg gweledig i beidio ei wasanaethu ef, nâ dirmygu rhyw ddyn tlawd, gwael, ac anenwog arall, yr hwn a allasai fod yn gamsyniol—ond yr oedd gweithredoedd gwyrthiol yr Ysbryd yn amlygu pwy ydoedd—yn dangos ei *seren freninol*—yn profi fod Duwdod yn y dyn—ac yn gosod sel fawr y nefoedd wrth bob rhan o'i athrawiaeth—Eithr yr Iuddewon a'i hanmharchasant wedi gweled ei seren urddasol—ac a'i lladdasant, yn ol cael prawf mai *Etifedd* a Thywysog y bywyd ydoedd! Ac felly dim ond llid gwreiddiedig a allasai eu cynhyrfu i gyflawni y fath weithredoedd dychrynllyd ag a wnaethant; o herwydd paham, pechasant yn anfaddeuol.

Er mai triniaeth yr Iuddewon o'r Mab oedd y pechod, neu yn hytrach, effaith o'r pechod anfaddeuol, etto i'r Ysbryd, yr hwn a ddygodd holl selau y nefoedd i brofi pwy ydoedd, yr oedd y dirmyg mwyaf yn cael ei gynnyg. Pan y dywedir mai'r Ysbryd Glân oedd yn cyflawni y gwyrthiau trwy Grist, gweddus fyddai i ni sylwi, nad yw hyny yn profi nad oedd un llaw gan y Mab ynddynt, canys wrth ddarllen yr Efengylwyr a'r Actau ni a welwn fod y gweithredoedd nerthol hyny yn cael eu priodoli weithiau i'r Tad—weithiau i'r Mab—ac weithiau i'r Ysbryd Glân; yr hyn a brawf fod llaw gan bob un o'r Personau Dwyfawl ynddynt, neu eu bod yn cyd-weithio ynddynt; ac yna y meddwl yw, mai buasai pechodau a geiriau dirmygus gelynion Crist yn ei erbyn ef fel *Mab y dyn* yn faddeuol,

oni buasai fod ôl Duwdod yn amlwg ar ei weithredoedd; ac ar y cyfrif hyny yr oeddynt yn gwrthwynebu Duw yn fwriadol—Gyda dyben i gymhell y pwnc pwysfawr hwn yn fwy i'ch ystyriaeth, a chyda gobaith y bydd iddo adael priodol effaith ar bob calon, Ymofynwn,

III. A ydyw yn debygol y dichon rhai fod yn euog o'r pechod hwn yn ein dyddiau ni, neu wedi'r oes apostolaidd? Yr wyf yn cyfaddef mai dyma'r tir mwyaf llithrig a dramwyasom hyd yn hyn—dyma borth cyfyng ag sydd yn gofyn gwrolder a medrusrwydd i fyned trwyddo—yma y mae'r perygl mwyaf i siglo ac aflonyddu'r meddwl gwan—pa fodd bynag, rhaid i mi draddodi fy nghenadwri yn ffyddlon, yn y modd goreu ag a allwyf.

Nid y gofyniad yw, pa un a yw ein sefyllfa a'n hamgylchiadau ni yn mhob ystyriaeth, yn gwneuthur dynion mor agored i'r perygl hwn ag oeddynt gynt; ac nid yr holiad yw, a oes cynnifer yn syrthio i'r pydew erchyll hwnw yn awr ag oedd yn yr oes apostolaidd—ac nid ydym ychwaith yn ymofyn yn bendant pwy yw'r bobl ag allai fod yn awr yn euog o'r drwg ag sydd heb faddeuant ar ei gyfer yn y Beibl—Eithr ein gofyniad yw, *A ydyw yn debygol y dichon rhai dynion fod yn euog o honaw yn ein dyddiau ni?* Mewn trefn i ateb yr holiad hwn, caf ofyn un arall; "A ydyw yn bosibl ac yn debygol y dichon dynion yr oes hon i wrthwynebu achos Duw, a'i erlid hyd ag y gallont, ac ymgaledu yn ei erbyn, er fod eu cydwybodau gwedi tystiolaethu yn ddigonol iddynt mai achos Duw ydyw?" Nid wyf yn dysgwyl un atebiad i hwn ond un cadarnhaol. Yna os dichon dynion i wrthwynebu y gwirionedd fel y mae efe yn yr Iesu, o herwydd mawredd eu cariad, a chryfder eu serch at bleserau aflan a phechadurus, er yn waethaf i dystiolaeth eu cydwybodau, ni welaf fi un lle i feddwl nad yw yn bosibl i, a bod llawer *yn* euog o honaw gwedi amser Crist a'i apostolion.

Pe darllenem hanesyddiaeth eglwysig gyda ychydig o fanylwch, a phe sylwem ar amgylchiadau a chyflyrau rhai personau yn ein hardaloedd ein hunain, odid na chaem achos i ofni eu bod wedi myned dros derfynau tir maddeuant! Y mae yn ymddangos yn lled eglur i mi fod *Francis Spira*, *Julian* yr Ymerawdwr, ynghyd â gwrthgilwyr gwirfoddol ereill, wedi pechu yn anfaddeuol. Darfu i *Spira* o gariad at bethau y bywyd hyn, i wadu y grefydd Brotestanaidd gerbron cenadwr y Pab, er fod ei gydwybod gwedi ei rybuddio yn wresog i sefyll dros achos Crist, gan ei annog i sefyll yn gadarn yn y ffydd; megys pe dywedasai, "Ystyria Spira—gochel Spira, i wadu'r Ceidwad!—O Spira! paid a gwaradwyddo achos y Messia!" Ond er hyn oll efe a aeth i *Venice*, ac a gyffesodd â'i enau, ac a ysgrifenodd â'i law, ei fod yn llwyr-ymwrthod â'r grefydd a wyddai efe ei bod o Dduw; ac a ddywedodd fod yn ddrwg gan ei galon iddo ef erioed broffesu gwrando ar lais Crist yn yr ysgrythyr yn hytrach nag ar lais y Pab!—Cafodd ei daro gan ei gydwybod ar y ffordd adref, tebyg'sai iddo glywed llais yn gofyn iddo, "Spira! beth a wnai di yma?

—A roddaist ti dy law-ysgrifen i'r cenadwr?—Gwel na wnelot selio hyn yn dy wlad dy hun!" Er hyn oll, ac er na chafodd fynyd o orphwys trwy y nos, efe a aeth yn foreu dranoeth ac a wnaeth yr un peth gartref gerbron agos dwy fil o bobl! Ond arswydus oedd y canlyniad, tybiodd iddo glywed llais yn ei anerch, "Ti adyn drygionus, ti a'm gwedaist i—dwg gyda thi ddedryd dy dragywyddol ddamnedigaeth!" Llanwyd ei fynwes â dychryn—daeth uffern ato ef, cyn iddo ef fyned i uffern! "Mae fy mhechod," eb efe, "yn fwy nâ thrugaredd Duw—dyn gwrthodedig ydwyf fel Cain neu Judas—peidiwch darllen mwy i mi am ddyoddefaint Crist—y mae lleng gyfan o ddiafliaid yn fy meddiannu, fel eiddo iddynt, a hyny yn gyfiawn, canys myfi a wedais Grist—yr ydwyf yn crynu wrth feddwl am uffern, etto, y peth mwyaf wyf yn ewyllysio yw cael myned yno, fel y byddwyf yn sicr o deimlo'r gwaethaf—pechais yn erbyn yr Ysbryd Glân." Pan geisiwyd ganddo weddio, fe adroddodd rai o'r deisyfiadau a elwir gweddi'r Arglwydd, ar ol yr esgob Fergerius—ond yn ebrwydd wedi'n yn addef na's gallasai weddio, a bod yn well ganddo fod yn mhlith y damniaid nâ byw yn y modd yr oedd yn y corff—fel hyn y treuliodd weddill ei amser—er dangos rhyw ddymuniad i gael calon i weddio, etto yr oedd yn well ganddo i gael ei ddamnio, nâ cheisio trugaredd—A thuedd ynddo i ymgystadlu â Duw yn hytrach nâ phlygu iddo; "O na byddwn i yn fwy nâ Duw," eb efe, "canys myfi a wn na thrugarha efe wrthyf!"* Gwyliwn, gwyliwn, fy mrodyr anwyl, rhag edrych yn fach ar achos y Gwaredwr bendigedig.

Nid gwell oedd cyflwr yr ymerawdwr Julian, yr hwn a ddygwyd i fynu yn y grefydd Gristionogol, ond wedi hyny a wrthgiliodd, ac a lynodd wrth bleserau Paganiaeth, ac a ymdrechodd lawer i ddiwreiddio Cristionogaeth o'r byd; eithr ni lwyddodd mewn neb o'i fwriadau yn ol troi yn erlidiwr i achos Crist. Mewn brwydr â'r Persiaid, pan gafodd glwyf marwol gan saeth, derbyniodd y gwaed ag oedd yn llifo allan o'r clwyf ar dor ei law; ac yn nghyflawnder ei falais anobeithiol at Grist, efe a'i taflodd i fynu tua'r nefoedd, gan ddywedyd, *Vicisti tandem Galilee!* † 'Aethost yn rhy galed i mi o'r diwedd, O'r Galilead!' Dyna'r enw a arferai efe i alw ar Grist mewn dirmyg. Yn wir, frodyr, fe aiff ein Galilead bendigedig yn drech nâ'i holl wrthwynebwyr ryw bryd. O, gorchfyged bawb o honom â'i ras a'i gariad, fel na byddo raid i ni lidio wrtho, nac ofni ei soriant ychwaith pan roddo angeu ei saethau marwol i lynu yn ein calonau.

Rhaid i mi beidio ychwanegu yn y dull hyn, brysiaf bellach i enwi rhai o'r pechodau ag sydd yn dyfod yn agos at y pechod anfaddeuol; ac nid y drygau a gyfrifir yn fwyaf gan y byd yn gyffredin, na chan grefyddwyr ychwaith ydynt, ond y beiau a fernir gan y lluaws eu bod yn dra bychain

* See, A Relation of the fearful state of Francis Spira, and others.

† Ibid.

yw y rhai a osodir gan Dduw, megys y drws nesaf at y trosedd difeddyginiaeth.

1. Dylai y rhai sydd yn peidio cynnyddu mewn *gras a gwybodaeth o'n Harglwydd Iesu Grist,* ac mewn rhanau hanfodol gwir grefydd, i fod ar eu gwyliadwriaeth; o herwydd y mae'r apostol yn ystyried y cyfryw bobl yn nesâu at y drwg *hwnw.* Yn Heb. vi, 1—4, fe enwir y pechod hwn, fel annogaeth i'r proffeswyr Hebreaidd i beidio aros yn yr un man, ond myned rhagddynt at berffeithrwydd, "Gan roddi heibio ymadrodd dechreuad egwyddorion Crist, awn rhagom at berffeithrwydd;" megys pe dywedasai, 'yr ydych wedi gosod i lawr sylfaen eich adeiladaeth ysbrydol a chrefyddol, neu o leiaf yr ydych wedi proffesu hyny, ac yn awr, frodyr, cydunwch â mi i fyned yn mlaen â'r adeiladaeth: pa les a wnaiff sylfaen heb oruwch-adeiladaeth?' Neu, 'yr ydych wedi dysgu *egwyddorion,* neu, A, B, C, iaith y Ganaan well; gan hyny, frodyr, awn rhagom at berffeithrwydd yn yr iaith;' oblegid nid yw y gwr a fedro lythyrenau iaith, ac heb fedru eu gosod ynghyd, eu hyspelian, a'u darllen, fawr gwell nâ'r hwn a fyddo yn anwybodus o bob llythyren. Er fod llawer o grefyddwyr yn ymfoddloni ar ddechreuadau crefydd, heb nac ymroddiad nac hiraeth am gynnyddu mewn gwybodaeth, ffydd, cariad, gostyngeiddrwydd, nac un rinwedd arall; ac o herwydd claiarineb eu hysbrydoedd eu hunain, yn barod i amheu posiblrwydd cynnydd gras yn mhawb; ond gynta pheth a dybio, neu a ddywedo dynion o'r fath hyn, cofiwch fy nghyfeillion parchus, mai perffeithrwydd yw y *nod* a osodir o flaen pob Cristion, ac at y nod yma y mae efe yn cyrchu, yn rhedeg, gan ymdrechu ei gyrhaeddyd; ac er nad yw efe gwedi dyfod ato, etto ni bydd efe yn iawn wrth ei fodd nes cael meddiant o honaw; ond y mae y rhai sydd yn aros yr un man mewn perygl mawr, canys gwedi i'r apostol, adn. 3, ddangos ei fwriad ei hun a'i frodyr i fyned rhagddynt trwy genad Duw, y mae'n taro'n union ar y pechod anfaddeuol, *anmhosibl,* yw *adferu y rhai a oleuwyd unwaith, &c., os syrthiant ymaith.* Megys pe dywedasai, fod peidio cynnyddu yn arwydd drwg o iechyd—yn fath o ddechreu cwympo ymaith—yn gogwyddo y ffordd hyny—ac felly yn galw am ystyriaeth ebrwydd—ac er bod yr apostol yn gobeithio pethau gwell am yr Hebreaid hyn—yr oedd yn chwennych eu rhybuddio o'r perygl o fod yn esmwyth, canys dyna'r modd y dechreuodd llawer o'r rhai a syrthiasant yn ddifeddyginiaeth. Cadwed yr Arglwydd ni, frodyr hawddgar, yn mhell oddiwrth derfynau tir y pechod anfaddeuol am byth.

2. Y mae y rhai sydd arferol o *esgeuluso moddion gras mewn perygl.* Er fod y rhan amlaf o broffeswyr crefydd yn edrych ar hyn ond rhyw beth bychan iawn; ïe, mor lleied, fel o'r braidd y goddefant i'r rhai sydd ag achos Duw yn gwasgu yn agos at eu meddyliau, i ddywedyd wrthynt fod fawr o niwed ynddo: ond pa fodd bynag, y mae yn cael ei ystyried gan ŵr ag oedd o dan ysbrydoliaeth fel porth, neu fynedfa i wrthgiliad diwelliant, ac i gyflwr anobeithiol; canys yn ddiattreg, gwedi rhoddi y

cyngor hwn, *Heb esgeuluso ein cyd-gynnulliad ein hunain, megys y mae arfer rhai, &c.*, y mae yn ychwanegu, *Canys os o'n gwirfodd y pechwn ar ol derbyn gwybodaeth y gwirionedd, nid oes aberth dros bechodau wedi ei adael mwyach, &c.* Heb. x, 25, 26. Llawer o esgusodion a wneir dros yr arfer ddrygionus, niweidol, a pheryglus o *esgeuluso eu cyd-gynnulliad* gan ddynion ar enw crefydd—y mae ofn anfoddlonrwydd rhyw berthynas ar un—y mae ofn gwg ei gymmydogion ar y llall—y mae y trydydd ddim yn iach iawn, ar y Sabboth yn neillduol—a'r pedwarydd, yn fwy dychrynllyd etto, gwedi myned i ymweled â'i berthynasau, neu hwy gwedi dyfod i dreulio y Sabboth gydag ef!—a'r pummed, yn ffieiddiach ei ddrych fyth, a chanddo ryw neges yn nghylch masnach fydol, ni allasai efe ddim dyfod! Yr ydwyf fi yn adnabod rhai ag a allasent aros gartref, neu newid eu crefydd er mwyn boddio eu perthynasau.—Cofied y cyfryw, fod yr *ofnog*, y rhai sy'n ofni dyn gymmaint â gadael, neu newid eu crefydd rhag ofn yn cael eu cauad o'r *Jerusalem newydd*—a pha ryfeddod yw? oblegid os na fedr eu crefydd i sefyll ei thir yn ngwyneb llid dyn, pwy, ond ynfydion, a all ddysgwyl iddi sefyll yn ngwyneb tân dydd y farn, ac o flaen Barnwr pawb! A gweddus fyddai i'r bobl sydd yn ddarostyngedig i'r clefyd a gaf ei enwi yn awr, yn *glefyd Sabbothol*, neu *glefyd dydd Sul*, fel na allant dreulio awr a hanner neu ddwy awr, ddwy neu dair gwaith ar y Sabboth, pan fyddo cyfle ganddynt, er medru treulio 15 o oriau dros chwe diwrnod yn nghylch pethau bydol, a ydyw yn rhesymol i feddwl eu bod hwy yn debyg o fod mor iach ag y gallent dreulio *tragywyddol Sabboth* gyda'r Oen! Y mae esgusodion yr holl esgeuluswyr yn rhy aml i'w hateb, nid gwiw ymresymu â hwy—y maent wedi buddugoliaethu ar y Cristionogion glewaf mewn geiriau—ie, y maent wedi dystewi eu cydwybodau eu hunain—nid oes ond un gwrthwynebwr etto iddynt i wynebu arno, sef *Duw*—os medrant ei orchfygu ef, byddant mewn diogelwch! Ond rhag ofn nas gellir ei ddystewi ef, er gosod taw ar ddynion a chydwybod, elent yn awr â'u holl esgusodion o flaen Duw, a gofynent iddynt eu hunain, wedi codi oddiar eu gliniau, pa fodd y llwyddasant!—O frodyr proffesedig, cofiwch, pan fyddoch yn *esgeuluso moddion gras*, a'ch lle yn nhŷ Dduw, fod y pechod anfaddeuol wrth y drws! Pob odfa a golloch, yn wirfoddol, neu o achos pethau anghyfreithlon, yr ydych yn wynebu ar dir y pechod anfaddeuol! Wrth ddechreu esgeuluso fel hyn, yr ymgaledodd llawer crefyddwr, nes aeth i gyflwr difeddyginiaeth! O, esgeuluswr, yr ydwyt yn yml terfynau, ac ar bwys cyffiniau gwlad y trosedd nas maddeuir! Gochel, gochel, rhag myned dros y terfyn i'r wlad anobeithiol, neu i gyflwr ag y mae Duw wedi penderfynu na chaiff maddeuant ddyfod ar dy ol!

3. Y mae cyfeiliorni yn nghylch pethau pwysfawr crefydd, ac ymroddi i sefydlu athrawiaethau cyfeiliornus mewn pethau o'r canlyniad mwyaf, yn dyfod yn agos iawn at y pechod anfaddeuol; ac y mae yn debyg fod hyn yn un dull o'i gyflawni; o leiaf y mae yn sicr ei fod yn cael ei ystyried

yn yr olwg hyny gynt, gan ysgrifenwyr y Bibl, a da yw'r modd, os yw amgylchiadau yn peri nad yw yn bod felly yn awr, 2 Thes. ii, 10—12. *Am na dderbyniasent gariad y gwirionedd—y denfyn Duw iddynt hwy amryfusedd cadarn, fel y credont gelwydd: fel y barner,* (neu fel y *damnier) yr holl rai nid oeddynt yn credu i'r gwirionedd.* Am gyffelyb ddynion y mae Pedr yn llefaru,—*Bydd gau athrawon yn eich plith—y rhai yn ddirgel a ddygant i mewn heresiau dinystriol,* neu *ddamniol, a chan wadu yr Arglwydd yr hwn a'u prynodd* hwynt, ydynt yn tynu arnynt eu hunain ddinystr buan.* Y mae achos i ofni fod llawer o herwydd diffyg cariad at y gwirionedd, gwedi perswadio eu hunain i newid yn eu barn, fel y byddo hyny yn ddiogelwch iddynt rhag ceryddon eu hen gyfeillion. Od oes yma Ddeistiaid, dymunaf arnynt ystyried yn ddifrifol, pa un ai cael allan well crefydd nâ'r un ysgrythyrol, neu gariad cryf at bechod, yr hwn a waherddir yn y Bibl, a'u cymhellodd hwy i wadu y llyfr gwerthfawr hwn—ac yr wyf yn galw o brysur ar ddirmygwyr yr *Iawn trwy aberth Crist* i ail-ystyried eu credo gyda chrynodeb, rhag eu bod yn euog o farnu yn *aflan,* neu yn beth *cyffredin, waed y cyfammod*—a bydded i'r bobl sy'n priodoli i ddyn y cyfnewidiad grasol yn yr enaid yn ei ddychweliad at Dduw, i ochelyd rhag eu bod, o leiaf yn tristâu Glân Ysbryd Duw, trwy briodoli i ewyllys rydd, yr hyn a ddylai gael ei gyfrif iddo ef. A bydded i ni oll i ochelyd credu a chyhoeddi un athrawiaeth a fyddo yn ymddifad o sylfaen yn yr ysgrythyr. Cofiwn, er fod rhai yn gwneuthur dim ond gwawd o'r geiriau *heresi,* a *hereticiaid,* fod y fath beth yn bod â *heresiau dinystriol,* neu *ddamniol;* gwyliwn rhag gwawdio peth o gymmaint canlyniad.

4. Y mae gwrthgiliad oddiwrth grefydd y Messia, ar ol mwynhau breintiau mawrion, a theimlo argyhoeddiadau llymion yn y gydwybod, yn dyfod yn agos at y trosedd anfaddeuol; ac wrth gymharu ymddygiadau llawer o wrthgilwyr â'r hyn a ddywedwyd wrth esbonio amryw destunau o dan y pen cyffredinol cyntaf o'r bregeth hon, y mae achos i ofni eu bod wedi rhedeg, yn eu hawydd am bleserau gwaharddedig, dros y terfyn i wlad y pechod anfaddeuol—y maent yn ymroddi i bleserau aflan gyda diwydrwydd dwbl, megys pe byddent am wneuthur i fynu y golled a

* Nid yw y gair uchod yn profi y damnir y rhai y bu Crist farw drostynt; oblegid nid y *Mab* ond y *Tad* a feddylir, wrth yr *Arglwydd yr hwn a'u prynodd; Despotês,* ac nid *Kairos,* yw y gair Groeg, a arferir yma; yr hwn air, medd y *Dr. Clarke, a Dr. Gill,* nid yw byth yn cael ei arfer am y Mab, yn yr ysgrythyr—ac er i mi weled gwaith awdwr enwog a dysgedig yn ceisio gwrth-brofi yr haeriad uchod, yr ydwyf yn golygu i'r dywediad sefyll ei dir yn y storom. Mae'r gair *prynu* yn arwyddo *gwaredu,* yn fynych, megys, Deut. xxxii, 6. Yr oedd Pedr yn ysgrifenu at Iuddewon, y rhai a *brynwyd,* neu a *waredwyd* gan Dduw o gyfyngderau aml; ond yr oedd gau athrawon yn codi yn eu plith, y rhai trwy yr heresiau a ddygent, a wadent, mewn effaith, nid yn unig y Mab yn yr efengyl, ond y Tad yr hwn a'u prynodd, neu a'u gwaredodd fel cenedl o gynnifer o amgylchiadau cyfyng, yr hyn oedd yn mwyhau eu bai.

gawsant, yr ychydig amser y buont yn byw gyda chrefydd, neu ar enw crefyddwyr—y maent wedi caledu mewn drwg yn saith mwy nâ dynion na fuont yn proffesu crefydd erioed—y maent wedi dysgu diystyru cyngorion a rhybuddion—y maent wedi myned cyn ddoethed, fel nad oes neb a fedr eu dysgu—y mae yn amlwg nad ydynt yn prisio am na rheswm nac ysgrythyr, nac am Dduw na dyn! Y maent am fyw uwchlaw pawb—mewn gair bŷr, erlidiant grefydd a chrefyddwyr, a hwy yw'r erlidwyr mwyaf ffyrnig a chiaidd yn gyffredin! Nid wyf fi yn cofio i mi weled un erioed o'r fath yma yn cael ei adnewyddu i edifeirwch; o bosibl fod rhai o honoch, fy hen frodyr a thadau, wedi gweled ambell un o'r fath yn dychwelyd; ond o'm rhan fy hun, ni welais gymmaint ag un—a phe amlygwn fy meddwl yn gyflawn, mi a ddywedwn, nad wyf yn dysgwyl gweled nemawr, neu neb, o'r gwrthgilwyr ag sydd wedi myned i raddau mor bell â throi yn erlidwyr ffyrnig a llidus ar grefydd, yn dychwelyd byth!—Cofiwch, nid wyf fi yn dywedyd na ddaw *rhai* o honynt yn ol; ond ei bod yn lled annhebyg, a chyda golwg ar *lawer* yn *anmhosibl*—Yr ydwyf fi wedi canu yn iach iddynt am byth yn fy meddwl--gan ystyried eu bod wedi myned dros y terfyn i gyflwr diwelliant! Os caf weled rhai o'r fath yn dychwelyd, cyn myned i fy medd, mi a gaf siomedigaeth hyfryd. Dyma'r bobl, ag *y dygwyddodd iddynt yn ol y wir ddiareb, y ci a ymchwelodd at ei chwydiad ei hun; a'r hwch wedi ei golchi i'w hymdreiglfa yn y dom—aeth diwedd y rhai hyny yn waeth nâ'u dechreuad*, &c., 2 Pedr, ii, 20—22. Ac ynddynt hwy y gwirir geiriau'n Hiachawdwr, Luc xi, 24—26. Y mae'r ysbryd aflan yn myned *allan o honynt*, neu yn caniatâu iddynt i ddiwygio ychydig yn allanol, a myned yn lled grefyddol, gan ymddangos megys pe buasai'r diafol wedi eu gadael yn lân, eithr yn y màn y mae efe yn *dychwelyd* â saith o ysbrydion aflan, *gwaeth*, neu gyfrwysach nag ef ei hunan, a diwedd y dynion hyny fydd waeth nâ'u dechreuad! y maent yn byw yn saith mwy dieflig nag oeddynt o'r blaen, yr hyn debygaf yw ystyr y geiriau. Gwareded Duw holl grefyddwyr y byd rhag cellwair â chrefydd Mab Duw.

5. Y mae nod mwy du na chyffredin wedi cael ei osod gan Grist ar ddynion o ysbryd anfaddeugar. Er fod y drwg o beidio maddeu i'n cydgreaduriaid yn gwahaniaethu yn hanfodol yn ei natur oddiwrth y pechod a ddarluniwyd genym eisioes; ond etto gan i'n Hiachawdwr amlygu cymmaint o anfoddlonrwydd y nefoedd ato, fel y dywedodd, "Oni faddeuwch i ddynion eu camweddau, ni faddeu eich Tad eich camweddau chwithau," Mat. vi. 15, bernais mai nid anghymhwys a fuasai ei grybwyll yn y lle hwn. Pa fodd y dichon dynion ag sydd yn byw o dan lywodraeth y fath ysbryd tywyll—du—cynfigenus—a gelynol, i weddio Duw am faddeuant, tra na byddo parodrwydd i faddeu i ereill yn eu mynwesau? Pa fodd y gallant ddywedyd, *Maddeu i ni ein dyledion, fel y maddeuwn ninnau i'n dyledwyr!*—Y mae y dynion hyn yn euog o bechod ysgeler yn erbyn Duw—y maent, mewn effaith, yn ymgystadlu

â Duw, neu yn hytrach yn ymddyrchafu yn eu meddyliau yn uwch nâ Duw! canys y maent yn foddlon iawn, ac yn dymuno i'r Jehofa i faddeu pob pechod yn ei erbyn ef—Ie, ni byddent yn groes iddo ef i faddeu *y cabledd yn erbyn yr Ysbryd Glân,* ond y mae rhyw drosedd bychan yn eu herbyn hwy yn fwy nas gellir ei faddeu! Nid ydynt yn ystyried fod mwy o ddrwg mewn pechod yn erbyn Duw nas gellir ei faddeu yn rhwydd; ond meddyliant fod cymmaint o ddrwg mewn trosedd yn erbyn eu mawrhydi eu hunain, fel y mae yn afresymol dysgwyl iddynt faddeu! Meddylied y cyfryw fod Duw digelwyddog yn dywedyd nas maddeuir iddynt hwythau byth, tra byddont yn y fath dymher. Y mae y bobl hyn, wrth alw eu hunain yn *Gristionogion*, yn tramgwyddo rheswm—yn dirmygu synwyr cyffredin—ac yn gwrth-ddywedyd y Duw byw! Beth, *Cristion anfadddeugar!* y mae'r geiriau mor wrthun ac anghysson, â phe dywedem, *Cristion cythreulig—credadyn dieflig*—neu, *saint uffernol!* O'r tu arall, gwylied y bobl sydd yn barod i dramgwyddo eu brodyr yn barhaus, ac yna yn hòni y dylent faddeu iddynt, a bod mor gyfeillgar â hwy ag erioed, &c. rhag eu bod hwythau mewn cymmaint perygl—Gobeithio y cawn i ysbryd i faddeu i ddyn a fyddai gwedi cynnyg fy lladd; ond pe byddai fy mywyd mewn perygl parhaus, nid fy nyledswydd fyddai aros o hyd ei gyllell lofruddiog ef yn barhaus.—Frodyr, gwyliwn i beidio rhoddi tramgwydd, a byddwn barod i faddeu y tramgwydd a roddir i ni, fel y byddom debyg i Gristionogion.

Oddiwrth y cyfan, y mae y sylwadau byrion canlynol yn ymgynnyg i'n hystyriaeth:—

1. Er mai un peth sydd yn cael ei ystyried yn ei natur ei hun yn anfaddeuol, etto, mae byw a marw o dan lywodraeth unrhyw bechod yn ddinystriol i'r enaid; gan hyny ffown rhag pob rhith drygioni.

2. Os yw gwrthodiad gwirfoddol a hollol o'r efengyl yn ddrwg mor fawr, fel y mae yn sicr o ddwyn soriant y Duw Hollalluog ar y rhai a fyddo yn euog o hyny, gwybyddwn i fod pob peth ag a fyddo yn tueddu at hyny yn beryglus, a bod pob ymollyngiad mewn crefydd yn meddu gradd o'r drwg hwnw—gweddiwn lawer am nerth i gadw yn mhell oddiwrth bob peth ag sydd yn nesâu at y pechod hwnw—cynnyddwn mewn gras a gwybodaeth o Grist—gofalwn i beidio esgeuluso ein cydgynnulliad ein hunain—gan fod yr esgeulusdra hyn yn cael ei osod megys wrth ddrws y pechod anfaddeuol—*Os tyn neb yn ol, nid yw fy enaid yn ymfoddloni ynddo*, Heb. x, 38.

3. Gan nad oes ond un pechod yn anfaddeuol, gochelwn, trwy ysbryd anfaddeugar i wneuthur dau; sef yr un yn erbyn yr Ysbryd Glân, a'r un fyddo yn ein herbyn ein hunain; rhag i ni wrth beidio maddeu i'n brodyr, i gael bod yn amddifaid o faddeuant Duw.

3. Rhag bod un credadyn gwan wedi cael ei glwyfo gan yr hyn a ddywedwyd, byddai yn weddus i ni ychwanegu, nad oes dim yn yr athrawiaeth a draddodwyd i wangaloni yr hwn a fyddo yn ceisio Duw—y mae'r

gair melus canlynol yn ei rym yn ngwyneb pob athrawiaeth yn y Bibl; "Yr hwn a ddel ataf fi, nis bwriaf ef allan ddim."—Y mae y bobl a bechasant yn anfaddeuol mor belled oddiwrth geisio maddeuant, ag y maent oddiwrth ei gael—Yr oedd yr anmhosiblrwydd o achubiaeth y personau a grybwyllir yn y chweched o'r Hebreaid, yn gynnwysedig yn yr anmhosiblrwydd o'u hadnewyddu drachefn i edifeirwch. Y mae yn bleser gan fy meddwl, ac y mae fy enaid yn mawrhau yr Arglwydd, am fod genyf awdurdod, ar ol pregethu y pwnc mwyaf dychrynllyd yn ngair Duw, i wahodd y pechadur duaf, ïe'r adyn gresynolaf i wynebu ar Dduw parod i faddeu, heb achos ofni y caiff wrthodiad—diolch i Dduw byth am hyny. Yr ydwyf yn medru diweddu y bregeth gyda mwy o sirioldeb meddwl nag y dechreuais, o herwydd bod genyf yr olew hwn i dywallt i glwyfau'r pechadur dolurus, "Ceisiwch, a chwi a gewch; curwch, ac fe agorir i chwi."

---

## RHUFEINIAID VIII, 32:

"Yr hwn nid arbedodd ei briod Fab, ond a'i traddododd ef trosom ni oll; pa wedd gydag ef hefyd na ddyry efe i ni bob peth?"

Mawr iawn a gwerthfawr yw yr addewidion a roddes Duw i'w bobl, a'r rhai hyn oll yn ffrwythau anfeidrol gariad a gras, ond o herwydd anmherffeithrwydd credinwyr gweinion, y mae amheuon weithiau yn defnyddio yr amlygiadau ardderchocaf o raslonrwydd Duw i beri iddynt betruso yn nghylch eu diogelwch mewn ystyr grefyddol;—pe buasai Duw yn addaw pethau llai eu gwerth, hawddach fuasai i'r gwan yn y ffydd, o dan deimlad o'i fawr annheilyngdod, i gredu y byddai iddo ef yn yr amser terfynedig i fwynhau y bendithion addawedig—pa fodd bynag y mae Awdwr iechydwriaeth wedi addasu ei addewidion grasol yn y fath fodd fel na raid i'r llesgaf yn holl lwythau Sïon ofni, eithr gallant gredu yn ddiysgog y bydd i bawb a ddysgwyliant, oddiar egwyddorion efengylaidd, wrth yr Arglwydd, i gael pob bendith angenrheidiol i berffeithio eu gras, ac i ddiogelu a gogoneddu eu personau yn y diwedd. I'r perwyl hwn y llefara'r apostol yn y geiriau o'n blaen, gan dystio fod yr amlygiadau a gafwyd o ddaioni Duw yn cynnwys rheswm digonol i ddysgwyl am bob bendith angenrheidiol oddiwrtho rhagllaw, *Yr hwn nid arbedodd ei briod Fab, &c.*

Oddiwrth y geiriau sylwn ar yr eglurhad a gawsom o ddaioni Duw—y daioni a allwn yn rhesymol ddysgwyl gael ganddo rhagllaw, a'r cyssylltiad annatodol rhwng y daioni a gafwyd â'r hwn a geffir.

I. Sylwn gyda syndod calon ar yr amlygiad a gafwyd o gariad a daioni Duw tuag at ddynion pechadurus; *Yr hwn nid arbedodd ei briod Fab, ond a'i traddododd ef drosom ni oll.* Yn hytrach nag arfer gormodd

manylwch, gwnawn ychydig sylwadau cyffredin i egluro ystyr y rhan hyn o'r testun.

1. Arwyddir yma fod cyflwr dyn syrthiedig mor ddiobaith fel nad oedd alluedig iddo ddyfod i gymmod a hedd â'i Wneuthurwr o hono ei hun, a bod yn gadwedig. Ni ellai bwriadau daionus wneuthur iawn am y troseddau erchyll a wnawd ar ddeddf y nefoedd—ac ni ellai ufydd-dod presennol, a gadael ei fod yn berffaith, roddi boddlonrwydd am y cam-ymddygiad a aeth heibio, er fod llawer dan enw Cristionogion yn ymorphwys llawer ar hyn. Nid gwiw i leidr a llofrudd dan ddedfryd marwolaeth i ddywedyd, "Er i mi yspeilio cryn lawer, a lladd ambell un o'm cymmydogion pan wrthwynebent fy amcanion, yr wyf yn ymroddi byw yn onest o hyn allan, ni ledrataf ac ni laddaf o hyn allan byth, ac am hyny ni ddylid fy nghospi â marwolaeth." I hyn byddai y Swyddog Gwladol yn barod i ateb, "Ni byddai eich gwaith yn peidio yspeilio a lladd o hyn allan ond cyflawniad o'ch dyledswydd, a dim dros ben, a dylasech wneuthur eich dyledswydd o'r blaen, trwy adael llonydd i feddiannau a bywydau eich cymmydogion;" felly eglur yw, na wna ufydd-dod perffaith i gyfraith Dduw iawn am hen droseddau; pa ynfydrwydd gan hyny yw tybied yr atebir y dyben hwn trwy gyflawniadau anmherffaith.

Pe buasai rhyw gyflawniad dynol, neu aberth trudfawr, neu ymorchestiad o eiddo rhâd drugaredd yn ddigonol feddyginiaeth i'r erchyll blâ a ddygodd dyn arno ei hun, buasai i Fab Duw gael ei arbed; hefyd, ni buasai cariad Duw yn cael ei amlygu yn anfoniad ei Fab, pe gallesid caffael iechydwriaeth trwy ryw ffordd arall; o herwydd os nad oedd traddodiad y Mab i farwolaeth yn anhebgorol i gymmod â'r nefodd, gallem ddywedyd, nid 'felly y *carodd Duw y byd*, fel y rhoddodd efe ei unig-anedig Fab, fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef;' ond dylem ddarllen, 'felly y *casäodd Duw ei Fab*, fel y rhoddodd efe ef dros y byd, er y gallasai achub y byd heb hyny yn ddiorchest.'

2. Fr fod cyflwr dynion mor ddigymmorth, y fath oedd tosturi a chariad Duw, tuag atynt, fel nad arbedodd ei Fab, ond a'i traddododd drostynt i ddwylaw ei elynion chwerwaf, i dlodi a gwarth, ac i farwolaeth, ïe, angeu poenus a chywilyddus y groes. Efe a ddanfonasai amryw o'r blaen i hyfforddi ei bobl, y rhai, os traddodent eu cenadwri yn ffyddlon, a gyfrifid yn 'weision da a ffyddlon,' ond rhaid oedd i Fab Duw farw, gwneuthur iawn am bechod, boddhau Dwyfol gyfiawnder, a maeddu lluoedd tywysog y tywyllwch, trwy ei waed, cyn cael ei gyfrif yn berffaith Dywysog iechydwriaeth, neu yn Waredwr da a ffyddlon, a digonol.

Nid arbedwyd ef trwy leihau y gradd lleiaf ar y ddyled, eithr talodd yr hatling eithaf a fedrai deddf a chyfiawnder ofyn—dyoddefodd lymdostedd barn yn ddigymmysg a thrugaredd—cynhyrfodd Dwyfol lid i'r eithaf yn ei erbyn—yfodd waelodion y cwpan angeuol, ac 'efe a'n *llwyr* brynodd oddiwrth felldith y ddeddf.'

3. Fel y cyffroer ein calonau yn mhellach trwy ystyriaeth o gariad Duw,

ystyriwn pwy oedd y person a draddodwyd ac a drinwyd yn y modd hyn, nid creadur, nid estron, ac nid gwas, ond ei *Fab ei hun!* Pan alwyd ar Abraham i aberthu ei fab Isaac, er fod ufydd-dod i Dduw yn fwy nag Isaac yn ei olwg, etto mwy boddlonol ganddo fil o weithiau fuasai cael gorchymyn i offrymu ei holl anifeiliaid a'i feddiant mewn un pech-aberth mawr nâ thraddodi ei anwyl Isaac. Pa ddyn o honoch a oddefai yn dawel i elyn guro, briwio, a lladd ei blentyn gerbron ei lygaid, heb ei achub o'i law os medrai? Onid gwell genych fyddai myned i'r perygl o gael eich dryllio a'ch darnio yn ddrylliau mân, na goddef hyn? A fedrech chwi gilio draw ac attal eich cynnorthwy, pe clywech eich anwyl Fab yn llefain o dan ddwylaw ei leiddiaid, "Fy nhad! fy nhad!, paham i'm gadewaist!" Etto hyn oll, a llawer mwy, a wnaeth Tad y trugareddau er mwyn syrthiedig ddyn.

Nid rhyfeddod mawr fyddai clywed am dad creulon yn cospi mab diniwed, neu dad cyfiawn yn peidio arbed Mab cyndyn ac anufydd, ond yma gwelwn Dad cyfiawn a serchiadol yn peidio arbed Mab ufydd a pherffaith yn ei gariad at ogoniant ei Dad.

Pan gollo tad llawer o feibion un o honynt, y mae ganddo ereill i'w harbed os dichon, eithr Duw a draddododd ei *Briod Fab*, ei unig Fab, Mab a'r nad oedd ganddo arall yn yr holl fydoedd yn dwyn y berthynas hono iddo yn yr un ystyr ag oedd hwn, er mwyn i ni gael byw.

Gweddus hefyd fyddai i ni gadw mewn cof, ei fod yn *Anwyl Fab;* nyni a wyddom ychydig am gariad tadol at ein plant, ond megys y mae Duw yn rhagori yn anfeidrol arnom yn mhob peth, ac yn berffaith yn y cwbl, felly ei gariad at ei Fab sydd berffaith, yn rhagori fyrdd o weithiau ar yr eiddom ni at ein plant, er hyny o anrhaethol gariad at bechadur, efe a beidiodd ei arbed!—Ein syndod a gynnydda fwy etto pan ystyriom, yn

4. Dros bwy y traddododd efe ef, sef, *trosom ni.* Pwy ydym *ni?* Pa rinweddau, pa haeddiant, a pha ragoriaeth a berthyn i *ni?*—Yr ateb cywir a'n gorchuddia ni â gwarth, eithr a ddyrchafa ogoniant ei ras ef yn fawr. Nid ydym ond creaduriaid o'r radd iselaf mewn ystyr foesol, yn llawn llygredd, aflendid moesol, a gresynoldeb, heb fod dim yn amgylchiadau ein cyflwr truenus i gyffroi tosturi, oddieithr bod gelyniaeth, gwrthryfelgarwch ac eithaf casineb at Dduw, a phob daioni sylweddol, yn galw am dosturi. Meibion a merched cyndyn ac anniolchgar ydym. Gelynion a gwrthryfelwyr yn erbyn Duw oedd ein rhieni, gwrthryfelwyr yw ein brodyr a'n holl geraint, a gwrthryfelwyr ydym ninnau, er hyn oll traddodwyd y Mab *trosom ni!*—Cawn olwg mwy manteisiol fyth ar ras Duw yn y gorchwyl hwn, pan ymofynom, yn—

5. Dros pa gynnifer o *honom ni*, neu o greaduriaid cyndyn a drwg o'r fath hyn y traddodwyd y Mab? Ai dros ychydig o'r mwyaf uchel-freiniog, ambell un o'r mwyaf haelfrydig o'r teulu gelynol hwn, un yma a'r llall draw o'r mwyaf rhinweddol yn mysg y lluoedd digymmorth?—Nagê, clod i'r Gwaredwr, ond trosom *ni oll!* Dros bawb o honom ag ydym

gredinwyr yn Nghrist, ac a 'ffoisom i gymmeryd gafael yn y gobaith a osodwyd o'n blaen,' ac i'r rhai y rhoddir y *pob peth* crybwylledig yn rhan olaf y testun; ac felly ni raid i neb a dueddwyd i fyned at Grist ofni y gwrthodir ef; bydd y dyrfa waredigol yn amlach nag y dichon neb eu rhifo!—Buasai maddeu yn ddiachos i fil o wrthryfelwyr cyndyn yn amlygiad o hynawsedd mawr; ond maddeu i, a thraddodi ei Fab dros fwy nâ rhif y ser o'r mwyaf gelynol a drwg, sydd weithred briodol i Dduw, yn hyn ni welir dim ond Duw, ac yma y gwelir ef yn ei ogoniant mwyaf.

Yr ystyriaethau hyn a dueddant i feithrin cariad a diolchgarwch i Dduw yn ein mynwesau; a rhag i ni dybied fod rhad drugaredd wedi darfod cyfranu, na ryfeddwch os dywedaf wrthych fod ychwaneg i ddyfod, 'er maint a ddaeth, mae etto a ddel,' yr hyn a gafwyd sydd wystl am hyn.—Eithr hyn a'm tywys yn—

II. I sylwi ar y daioni a allwn yn gyfreithlon ei ddysgwyl oddiwrtho yn yr amser a ddaw, "Pa wedd gydag ef hefyd, na ddyry efe i ni *bob peth !*" Rhaid deall hyn mewn ystyr derfynol, canys nid yw Duw mewn un man wedi addaw y caiff ei holl bobl feddiannu gorseddfeydd a choronau daearol, golud ac anrhydedd bydol, neu bob peth a allent hwy ei chwennych, ond—

1. Efe a rydd iddynt bob peth anghenrheidiol ar eu taith; o herwydd byrdra eu deall, ac anmherffeithrwydd eu cyflwr, gallant ewyllysio cael yr hyn a fyddai yn niweidiol iddynt. Ymhoffai Absalom wallt llaes, eithr trodd allan yn achlysur o'i farwolaeth; chwennychai Sampson yn fawr i gael un o ferched y Philistiaid yn wraig iddo, ond buasai gwell iddo mewn un ystyr pe buasai erioed heb ei gweled—fel plant yr ydym ry dueddol i deganau a bwyd afiach, gan hyny dylem adael llywodraethiad y pethau hyn yn llaw ein Tad nefol; digon i ni yw y caiff 'pob peth gydweithio er daioni,' ac felly cawn bob peth ag sydd o werth i'w gael.

2. Efe a rydd bob peth ag sydd eisieu i berffeithio y gwaith ag y traddododd efe ei Fab o'i herwydd. Rhoddwyd y Mab i fod yn geidwad, i achub ei bobl trwy farw drostynt, o ganlyniad efe a ddyry bob peth anghenrheidiol i'w dwyn i ogoniant, megys, cyfarwyddiadau yr Ysbryd Glân—cysuron anghenrheidiol yr ysgrythyrau—nerth yn ol eu dydd—buddugoliaeth ar bob gelyn—a mynediad helaeth a buddugol i'r nefoedd yn y diwedd. Dyma swm y *pob peth* a roddi'r gyda'r Mab i bawb o'r dynion dedwydd ag sydd â'r Mab ganddynt.

3. Y mae'r dull o gyfranu y bendithion hyn yn dra chysurol, sef mewn ffordd o roddion; 'pa wedd na *ddyry* efe i ni bob peth?' neu 'na ddyry efe i ni bob peth *yn rhad?* yn ol y Saesneg. Nid, os ydym yn haeddu ychydig, efe a ddyry lawer; neu nyni gawn bob peth am ein taerineb yn eu ceisio; ond yn hytrach fe'n cynhyrfwyd ni i geisio herwydd fod Duw yn ewyllysio rhoddi; ac nid oes neb â chystal groesaw iddo yma â'r sawl a wyr nad oes ganddo ddim i dalu.

Gan fod maes y *pob peth* yma mor helaeth, y tywyseni mor aml, neu yn

hytrach yr ysgubau cyfain mor lliosog ar hyd-ddo, fel mai anhawdd yw i'r gwanaf ei olwg mewn ffydd fyned heibio heb eu gweled, ac am fy mod yn chwennych gochelyd meithdra diraid, brysiaf i ddangos yr hyn sydd fwy anhawdd i'r pŵl ei olwg ei ganfod, sef bod i'r hwn a gafodd y Mab roesaw calon i gymmeryd yr holl bethau llesiol a welo mewn un cŵr neu'r llall o'r maes, a myned ag ef ganddo, canys ei eiddo ef ydyw, efe a'i piau, ni chyhuddir ef byth o ledrad am fyned â chymmaint ag a fyno gydag ef, oddieithr i hen gyhuddwr y brodyr a'i dylwyth ei wneuthur.

III. Dangoswn y cyssylltiad annattodol sydd rhwng y daioni a gafwyd â'r hwn a geir rhagllaw; neu fod traddodiad y Mab trosom yn reswm anwrthwynebol dros yr haeriad y dyry efe i ni *bob peth*; 'pa wedd *gydag ef hefyd* na ddyry efe i ni bob peth?'

1. Ymresyma yr apostol oddiwrth y mwyaf at y lleiaf; yr oedd traddodi y Mab trosom yn llawer mwy o orchwyl nâ chyfranu'r rhoddion angenrheidiol ereill i ogoneddu credinwyr; gan hyny os rhoddwyd bendith y bendithion attelir dim o'r bendithion ereill ag ydynt fychan mewn cymhariaeth i hwn—talwyd swm anfeidrol am y defaid, nid gormod, gan hyny, fydd y gwaith o'u cyrchu adref—aeth y Llafurwr mawr i draul anrhaethol i brynu'r maes santaidd, gallwn hyderu y bydd iddo ei amddiffyn rhag goresgyniad chwyn a bwystfilod dinystriol—cyflawnwyd y rhan mwyaf anhawdd o'r gwaith, gan rad ras heb ddiffygio na gwanychu dim, o ganlyniad ni adewir y rhan hawddaf heb ei dwyn i ben—yn rhoddiad y Mab gwelwyd natur raslawn calon y Rhoddwr, a gallwn fod yn sicr na wel Cyfranwr mor haelionus ddim yn ormod i roddi i'w bobl.

2. Trwy roddi y Mab agorwyd drws ëang i bob bendith angenrheidiol i ddyfod o'r nefoedd i'r ddaear. O achos pechod cauwyd i fynu yr hen dramwyfa rhwng Duw a dyn, â drain a mieri, bygythion a melldithion, fel na allasai neb bendithion buddiol i gysuro a diogelu troseddwyr ddyfod o fro dedwyddwch i ardal gresynoldeb a gwae; ond tòrodd y Mab trwy bob rhwystrau—y drain a'r mieri a losgwyd gan angerdd tân ei gariad—talodd ddyled y pechadur yn llawn, a maeddodd y gelynion ag oeddynt wedi cymmeryd traws-feddiant o hono; ac wedi agor y ffordd yn y modd hyn, daeth trugaredd, heddwch, maddeuant, ac iechydwriaeth ynghyd â'i holl fendithion cydfynedol, fel dylif gorchuddiol o'r nef, gan ffrwythloni parthau y ddaear o'r dwyrain i'r gorllewin—agorwyd dwfr-ddorau trugaredd, ac nid gwiw i satan geisio attal y llifeiriant bendithfawr—y mae wedi darfod ar achos tywysog y fagddu fawr, canys os na allasai rwystro rhoddiad y Mab, ni ddichon attal dim angenrheidiol i'r credadyn gwanaf.

3. Wrth draddodi y Mab trosom, gosododd Duw ei hun o dan y fath angenrheidrwydd grasol i roddi pob bendith angenrheidiol arall, i'r sawl a gawsant y Mab; os ei ddyben yn traddodi ei Fab oedd achub gresynolion, rhaid iddynt gael cynnifer bendith ag s'u hachubo, neu i amcanion a bwriadau Duw fod yn ddieffaith, yr hyn a fyddai yn warth i

orseddfainc y nef. Os gwrthddrych teilwng o wawd yw'r hwn a sylfaeno dŷ cyn bwrw'r draul, ac felly methu gorphen yr adeilad, pa beth a ddywedwn am y ddysgeidiaeth a fynai i ni gredu fod Duw Israel wedi gosod sylfaen Sïon i lawr ar draul bywyd ei Fab, ac etto y bydd Sïon heb ei hadeiladu; neu o leiaf, y bydd yr adeilad lawer culach a byrach nâ'r sylfaen!—efe a draddododd ei Fab dros liaws o'r rhai a gyfrgollir yn y diwedd!—"Pa beth (meddai Moses ar achos llai o bwys) a wnaí i'th Enw mawr—pa beth a ddywed yr Aifftiaid," &c.,—pa beth a ddywed uffernolion yn y diwedd, os gwelir yn eu mysg luoedd o'r rhai ag y traddodwyd y Mab drostynt; ond rhyw beth tebyg i hyn, "er i Dduw draddodi ei Fab dros y rhai yma gyda bwriad i'w hachub, wele hwynt gyda ni,—aeth ein dyfais a'n hymdrech ni yn drech nâ grym bwriadau Duw a rhinwedd gwaed y groes," &c.—cywilyddied rhyfyg, a gwridied digywilydd-dra ei hun, wrth osod i lawr egwyddorion mor annheilwng o Dduw.

4. Pan roddodd Duw ei Fab, efe a'i gwnaeth yn hollol wrthwyneb i haeddiant; er fod amgylchiadau gresynol y pechadur yn galw yn uchel am dosturi, yr oedd *haeddiant* yn ddystaw, neu yn hytrach yn gwaeddu yn groch am ei ddinystrio; os rhoddwyd y Mab, gan hyny, mewn gwrthwynebiad trwyadl i haeddiant, pa wedd gydag ef hefyd na ddyry Duw bob bendith achubol i'r pechadur, pan y mae holl lafaryddion haeddiant trwy'r groes yn dadleu o'i du?—Y mae'r holl nefoedd, cyfiawnder, gwirionedd, a santeiddrwydd, yn gystal â thrugaredd a heddwch, trwy'r cymmod yn ngwaed y groes, o du cyfranu yr holl fendithion anghenrheidiol iddo; ac os yw yr holl berffeithiadau Dwyfol drosto, 'pwy a all fod yn ei erbyn?'

5. Gallwn ystyried fod y Mab wedi ei draddodi dros, a'i roddi i'r pechadur modd y gallai fyned â'r rhodd fawr hon, yn hyderus, i drigleoedd y rhoddion anghenrheidiol ereill; ei enw ef, yn meddiant ffydd, sydd gyffelyb i agoriad neu allwedd yr hon a egyr holl drysorfeydd trugaredd achubol, 'pa bethau bynag a ofynech i'r Tad yn fy enw, efe a'u rhydd i chwi,' Ioan xvi, 23.

6. Yn olaf, ymresymwn yn y modd hyn; os bu Duw mor rasol â rhoddi ei Fab, y penaf o holl drysorau y nef, i'w *elynion*, pa wedd gydag ef hefyd, na ddyry efe ras i barhau, a phob bendith anghenrheidiol arall, y rhai ydynt roddion llai o lawer, i'w *gyfeillion*, y rhai a heddychwyd ag ef trwy ffydd? A draddododd efe ei Fab dros y rhai nad oeddynt yn *dysgwyl* nac yn *ceisio* y fath rodd arbenig ganddo, pa wedd gydag ef hefyd na deyry efe yr holl fendithion llai i'r sawl ag ydynt yn 'galw arno ddydd a nos?'

Dengys hyn oll y gallwn fod yn hyderus y rhydd Duw bob bendith gadwedigol i'r sawl a gawsant y Mab; y mae'r casgliad hwn mor amlwg, mor naturiol, ac mor anwrthwynebol, fel yr appelia yr appostol at reswm ei holl ddarllenwyr i farnu ar yr achos, gan arwyddo mai perffeithrwydd gwrthuni fyddai cynnyg gwneuthur casgliad gwrthwynebol; nid oedd yn

ymddangos iddo ef pa fodd y gallasai Duw ymddwyn yn groes i hyn—"Pa wedd (neu pa fodd) na ddyry efe i ni bob peth?"

Dysgwn oddiwrth yr athrawiaeth hon:—

1. I feithrin meddyliau parchus ac amgyffredion goruchel am fawredd person Iesu Grist; gan fod y fath bwys yn cael ei osod ar y rhoddiad o hono ef, rhaid ei fod ef yn un mawr ei hun; canys buasai ymresymiad o'r fath hyn yn hollol ddirym. 'Os traddododd Duw *un creadur* i ddyoddef poen dros *ychydig amser*, pa wedd na wareda efe *fyrddiynau dirif o greaduriaid* rhag dyoddef poenau *tragywyddol?* 'Os rhoddodd efe un *creadur* yr hwn oedd *anfeidrol is* nag ef ei hun, i ddyoddef loesion byrion, pa wedd gydag ef hefyd na ddyry efe *ei Hun*, yr hwn sydd *anfeidrol fwy* nâ'r holl greaduriaid i ni?'—Gwrthuni o'r mwyaf!—nid yw y Mab gan hyny amgen nâ Chyfaill, neu gyd-radd Jehofa y lluoedd. Ni ddywedir mewn un man fod rhoddiad Moses, y proffwydi, neu un o'r apostolion i ni, neu trosom ni yn reswm i hyderu y rhoddai Duw i ni bob peth.

2. I wneuthur defnydd gostyngedig a diolchus o'r annogaeth a roddir i ni yma i geisio yr holl fendithion ag sydd arnom eu heisieu; gan fod yn sicr y diwellir ein holl anghenion; canys rhoddodd Duw ei Fab fel y byddai i ni gael pob peth. "Ceisiwch a chwi a gewch," ni wel Duw ddim yn rhy fawr i'w roddi.

3. I ymwrthod â'r athrawiaeth sydd yn haeru fod Crist wedi cael ei draddodi dros ddeiliaid damnedigaeth; canys os cyfrgollir neb ag y traddodwyd y Mab drostynt, ni's gellir gwneuthur ond ffolineb ar y goreu o ymresymiad yr apostol yn y testun, a dylasai y geiriau redeg yn y modd hyn, "Er i Dduw beidio arbed ei Fab, ond ei draddodi trosom ni oll, etto (na phwyswch lawer ar hyn) efe a ddichon attal doniau ei Ysbryd a phob peth cadwedigol arall, fel y damnir ni oll wedi'r cwbl!" Eithr ni ddichon dim fod yn fwy gwrthwynebol i feddwl yr apostol nâ hyn; ac nid llai gwrthun yw haeru mai pethau daearol a feddylir wrth y *pob peth* yn y testun, oblegid breintiau ysbrydol a diogelwch tragywyddol y saint yw yr hyn a drinir yn y cyd-destun, ac nid diogelu pethau tymhorol oedd dyben danfoniad y Mab; ac eglur yw fod y sawl sydd â'r Mab ganddynt mor amddifaid o'r pethau hyn os nid yn fwy felly, na'r rhai sydd yn elynion iddo.

4. I fod yn fwy ein hymgais am adnabod ein bod yn Nghrist nag am un fendith ddaearol neu ysbrydol, o herwydd os cawsom Grist, ni gawsom bob peth angenrheidiol, neu deitl iddynt, ond bod hebddo ef yw bod heb y cwbl. Os nad yw ein cysuron bydol ac ysbrydol yn gyfryw ag y dymunem eu bod, na lwfrhawn, os yw Crist yn eiddo i ni, oblegid gallwn fod yn sicr na chadwai yr Hwn a roddodd ei Fab i ni, y pethau hyn rhagom, oni byddai ei fod yn gweled hyny yn fuddiol.

# EZECIEL IX, 1—4:

"Llefodd hefyd â llef uchel lle y clywais, gan ddywedyd, Gwnewch i swyddogion y ddinas nesâu, a phob un â'i arf dinystr yn ei law. Ac wele chwech o wŷr yn dyfod o ffordd y porth uchaf, yr hwn sy yn edrych tua y gogledd, a phob un â'i arf dinystr yn ei law; ac yr oedd un gŵr yn eu mysg hwynt wedi ei wisgo â lliain, a chorn du ysgrifenydd wrth ei glin; a hwy a aethant i mewn, ac a safasant wrth yr allor bres. A gogoniant Duw Israel a gyfododd oddiar y cherub yr oedd efe arno, hyd riniog y tŷ. Ac efe a lefodd ar y gwr oedd wedi ei wisgo â lliain, yr hwn yr ydoedd corn du ysgrifenydd wrth ei glin: A'r Arglwydd a ddywedodd wrtho, Dos trwy ganol y ddinas, trwy ganol Jerusalem, a noda nod ar dalcenau y dynion sydd yn ucheneidio ac yn gwaeddi am y ffieidd-dra oll a wneir yn ei chanol hi."

DAN oruchwyliaeth yr Hen Destament, yr oedd y nifer amlaf o ddygwyddiadau rhagluniaethol pwysig i'r Iuddewon, yn cael eu rhagddangos gan Dduw, i un neu arall o'r proffwydi, a hyny yn fynych mewn gweledigaethau, modd y byddai iddynt hwythau i'w mhynegu mewn ffordd rybuddiol i'r bobl.

Mewn gweledigaeth grybwylledig yn y bennod flaenorol, dangoswyd i'r proffwyd y ffieidd-dra erchyll oedd yn cael ei oddef, ei wneuthur, a'i goleddu, yn y ddinas uchelfreiniog, ïe, yn Jerusalem; ac am fod barn mewn rhyw ddull yn sicr o ganlyn pechod, darlunir dinystr echrydus y ddinas bechadurus hòno, mewn gweledigaeth arall i'r proffwyd, yn y geiriau uchod. Os cas genym gospedigaeth, dylem ffieiddio pechod, ni wna barn y niwed lleiaf i neb yn y byd hwn na'r hwn a ddaw, ond i goleddwyr anwiredd; eithr ni ddylem achwyn ein bod wedi cael ein brathu, os gosodasom neidr yn wirfoddol yn ein mynwesau; nac ar gaethiwed, os ymwerthasom yn rhad i'r gelynion.

Yn y geiriau hyn cawn ddarluniad o ddinystrwyr Jerusalem, ymadawiad y gogoniant o'r deml, a chyfryngiad grasol Duw o du ei wir addolwyr.

I. Eglurwn y darluniad a roddir o ddinystrwyr Jerusalem, yn y testun,

1. *Yr enw a roddir arnynt*, "Swyddogion y ddinas," neu y rhai y rhoddwyd cadwraeth y ddinas i'w gofal. Myn rhai, mai prif-swyddogion byddin Nebuchodonozor a feddylir, am fod Duw yn nghylch eu gosod hwy i flaenori yn y ddinas, a gwneuthur â hi yn ol eu hewyllys, yn neillduol am fod rhifedi y prif-swyddogion hyny, sef chwech, yn cyfateb i rifedi y dinystrwyr yma; megys y gwelir yn Jer. xxxix, 3, lle ceir eu henwau fel y canlyna; "Nergal-sarezer, Sambarnego, Sarsechim, Rabsaris, Nergal-sarezer, (arall), a Rabmag;" y rhai hyn a'u lluoedd oeddynt yr offerynau a ddefnyddiwyd i ddistrywio prif ddinas Israel, am bechod ei thrigolion.

Pe meddyliem, gyda rhai dysgedigion, mai prif swyddogion Israel a feddylir wrth y dinystrwyr hyn; yr ystyr yw bod eu llywodraeth ddryg-

ionus, a'r siamplau cywilyddus a roddent i'r bobl iselradd, yn achos cynhyrfiol o'r dinystr a ganlynodd, ac am hyny, hwy oeddynt y *gwir ddinystrwyr*, nid oedd y Caldeaid ond offerynau. Bendithion i wlad yw swyddogion da; ond pan ymwrthodo blaenoriaid â Duw, a chael eu dilyn gan y werinos, ebrwydd y troir y bendithion hyn yn felldithion, a gwelir y dinystrwyr yn mhersonau yr ymgeleddwyr gynt.

Yn hytrach, angelion Duw a feddylir, y rhai ydynt "ysbrydion gwasanaethgar," ac a gastellant oddiamgylch y sawl a ofnant Dduw, Sal. xxxiv, 7. Hwy oedd y muriau cadarnaf a gylch Ierusalem; ond am i'r trigolion wneuthur Duw yn elyn iddynt, trodd yr angelion i'w herbyn hefyd; wele yr amddiffynwyr yn ddifrodwyr! colli amgeledd Duw yw colli nawdd pawb a phob peth a fedro lesâu.

2. *Eu rhifedi* "*chwech;*" gan gyfeirio, ysgatfydd, at y 6 prif borth oedd i ddinas Jerusalem; dinystriwr am bob porth, i arwyddo nad oes modd i ddianc rhag barn Duw; er iddynt ddyfod ynghyd, hawdd fuasai iddynt ymledu a chadw pob o borth, fel na buasai le i'r euog gael un bwlch i ddianc, dinystriwr rhyngddynt â phob diangfa. Sylwyd eisoes mai o dan *chwech* o brif swyddogion y daeth y Caldeaid i ddinystrio Jerusalem. Gallai y rhif hefyd arwyddo trymder y farn. Yr oedd dau angel yn ddigon i gospi Sodom a Gomorra, un yn ddigon i ddinystrio cyntafanedigion yr holl Aifft, ac un yn ddigon galluog i ddinystrio gwersyll cadarn y Syriaid; ond rhaid cael chwech i gospi Israel. Rhaid i'r sawl a wrthwynebo Dduw yn y mwynhad o freintiau mawrion, ddysgwyl am gospedigaeth daublyg, neu chwe' plyg! Esmwythach ar Sodom, &c.

3, *Y gorchymyn a gawsant*, "Gwnewch i swyddogion y ddinas nesâu:" rhaid oedd i'r proffwyd a'i gydweithwyr eu galw at eu gwaith: llawer pryd y galwasant ar y bobl ddyfod at Dduw, at drugaredd, at fywyd, ond yn ofer; yn awr rhaid galw ar y dinystrwyr ddyfod atynt hwy. Rhaid i weinidogion y gair, er mor boenus y swydd, gyhoeddi dinystr i'r sawl a wrthodant efengyl; "y neb ni chredo a ddamnir." Bydd dinystr yn sicr o ddyfod at bawb na ddeuant at Grist; a rhaid i'r cyfiawn ddywedyd, "Ië, Arglwydd Dduw, Hollalluog, cywir a chyfiawn yw dy farnau di," Dat. xvi, 7.

Y dull y galwyd arnynt, "Llefodd hefyd â *Llef uchel*, lle y clywais," &c. Dynodai y llef uchel danbeidrwydd digllonedd yr hwn a'i galwai, sef y *gogoniant* a welsai y proffwyd yn y deml, neu yn hytrach y Duw anfeidrol, gogoniant yr hwn a ymddangosai yno. Tueddol yw cyffroad mawr i beri i'r llais gael ei godi; yn awr y mae Duw wedi cael ei gyffroi gymmaint, fel nad oes modd i attal y gosp. Cryned y difraw, fe ddaw tro pob anystyriol i glywed y llef uchel yn galw am y dinystrydd; pawb a wrthodant wrando ar "lais *dystaw main*" trugaredd, heddwch a maddeuant, a raid wrando ar *lef uchel* barn a dinystr. Arwyddai y llef uchel hefyd, bod y proffwyd yn lled anmharod i gyflawni ei swydd i alw am ddinystr; clywed yn go drymaidd oedd efe â'r glust nesaf i farn, ond yr oedd

yn hynod o glust-denau pan fyddai trugaredd yn galw. Anhyfryd gan genadon heddwch gyhoeddi melldith, diarddelu o'r eglwys, neu gredu y cwbl a fo gwir a ddywedir yn erbyn aelod cyhuddedig: ond rhaid cyflawni eu holl swydd; rhaid gwrando, y mae y llef yn uchel; gair Duw, ac nid ein teimladau, yw rheol ein hymddygiad.

4. *Yr ufydd-dod a roisant.* Hwy ddaethant pan oedd Duw yn galw, heb oedi dim; y peth cyntaf a ddenodd sylw y proffwyd, wedi clywed y llef uchel oedd eu hymddangosiad: "Wele chwech o wŷr," yw y geiriau nesaf, ar ol son am y llef a'u galwodd. Daethant yn y *modd* yr oedd Duw yn ceisio ganddynt; "pob un â'i arf dinystr yn ei law;" yr oedd cleddyf, gwaewffon, bwa, neu ryw arf angeuol arall, gan bob un o honynt, yn ol y gorchymyn. Gwnaethant yr hyn a orchymynasid iddynt wedi eu dyfodiad, heb arbed hen nac ieuainc, ond hebrwng dinystr hyd eithaf terfynau y gorchymyn. Nid fel Saul, yr hwn a arbedodd Agag, a'r goreuon o'r anifeiliaid. Gallasent ffurfio cant o esgusodion dros *oedi* dyfod *heb arfau dinystr;* a thros beidio eu defnyddio, yn neillduol mewn modd mor *gyffredinol;* eithr gwyddent mai Duw, ac nid hwy, oedd addas i farnu yn yr holl bethau hyn. Cofied y pechadur, sydd yn caru *oedi* ei ddychweliad tuhwnt i dilerau y gwahoddiad; y proffeswr, sydd yn tybied y gwna y peth nad yw Duw yn ei geisio y tro gystal, mewn crefydd, â'r hyn y mae yn orchymyn; a'r troseddwr, sydd yn meddwl nad oes perygl i adael rhai o'i bechodau bradwrus i fyw, mai nid felly y gwna dinystr; ond yn ol y gorchymyn Dwyfol; ac arswyded y cyfryw rhag eu bod yn byw o fewn y terfynau a berthynant i'r dinystrydd!

5. *Y ffordd ar hyd yr hon y daethant;* "Ffordd y porth uchaf, yr hwn sydd yn edrych tua y gogledd." Rhag-ddywediad eglur iawn o'r ffordd y byddai i'r gelynion ddyfod i ymosod ar Jerusalem; canys yr oedd Babilon o du y gogledd, neu y dwyrain-ogledd i Judea, ac oddiyno y daeth y Caldeaid, difrodwyr Israel, Jer. 1, 13, 14. "Mi a welaf grochan berwedig a'i wyneb tua'r Gogledd. O'r gogledd y tŷr drwg allan ar holl drigolion y tir." Gwel hefyd Jer iv, 6. Ond, yn benaf, "drws y porth nesaf i mewn, yr hwn sydd yn edrych tua y *gogledd*," oedd eisteddfa *delw yr eiddigedd*, pen. viii, 3, sef, delw Baal, neu ddelw y llwyn, neu ryw eilun arall a osodwyd yno gan Manasse, (2 Bren. 21, 7,) ac a adferwyd, fel yr ymddengys yma, gan ryw un, wedi amser Josia y diwygiwr, i'r hon y rhoddid y gogoniant dyledus i Dduw, hyd y nod yn ei deml ei hun, yr hyn a gynhyrfodd ei eiddigedd yn erbyn y bobl. Delw yr eiddigedd, gan hyny, mewn effaith, a agorodd y porth i'r dinystrwyr ddyfod i mewn. Llefwn am ras i ymwrthod â phob delw o'r fath, i ochelyd caru dim yn fwy nâ Duw, na gwneuthur *delw yr eiddigedd* o un gwrthddrych dan haul, ac yna byddwn ddiogel byth rhag y dinystrwyr.

6. *Yr orsaf a gymmerasant:* "A hwy a aethant i mewn, ac a safasant wrth yr allor bres," lle yr arferid aberthu a gwneuthur cymmod. Safasant yma i ddynodi nad oedd ffordd mwyach i droseddwyr ddyfod at yr aberthle

—yr oedd y dinystrwyr yn awr rhyngddynt a'r cymmodle o bob parth; O, y fath gyfnewidiad arswydus! Dinystrwyr yn meddiannu lle yr offeiriad cymmodlawn! Dim gobaith am heddwch, pob dyfodfa at yr allor fendithlawn wedi eu cau i fynu gan y dinystrwyr! Fe gauir y ffordd at orsedd gras, ryw bryd. yn erbyn pob pechadur anedifeiriol, gan soriant annhraethol cyfiawnder cospawl; yn iach byth, wedi hyny i bob meddwl am gymmod â Duw. Hefyd, wrth yr allor yr oedd delw yr eiddigedd (pen. viii, 5.) Cofiwn nad oes man dan y nefoedd a'n diogela lle byddo y ddelw mewn bri. Dinystr bia y cwbl a berthyn i'r ddelw. Yn mhellach, wrth yr allor yr oeddynt i dderbyn eu hawdurdod i fyned allan a dinystrio; y "farn i ddechreu ar dŷ Duw." Gorsaf bendith oedd yr allor, ond parchu y ddelw a'i gwnaeth yn orsaf melldith. Tuedd pechod yw troi pob bendith yn felldith. Daeth Crist i'r byd i'w fendithio, ond yr un person a gyhoedda felldith diddarfod ar ei wrthodwyr o herwydd pechod, yn y diwedd, "Ewch oddiwrthyf rai melldigedig," &c. Ac am fod y ddelw a'r dinystrwyr yn y deml, nid rhyfedd clywed, yn—

II. "A gogoniant Duw Israel a gyfododd oddiar y cherub yr ydoedd efe arno, hyd riniog y tŷ."

Meddylia rhai, mai rhyw ymddangosiad anarferol o'r gogoniant Dwyfol, perthynol i'r amgylchiad presennol, a welodd y proffwyd yn ymadael o'r deml yn awr; ond mwy naturiol yw meddwl mai y dysgleirdeb ardderchog, arferol o aros rhwng y cerubiaid ar y drugareddfa, yn y santeiddiolaf, a ddiflanodd y pryd hwn, gan ymadael dros byth, o herwydd nid oes air o son iddo ddychwelyd wedi y dychweliad o'r caethiwed ac adgodiad y deml a'r cyssegr. Ac yr oedd ei ymadawiad yn arwyddo bod Duw yn nghylch cilio oddiwrth Israel, a gadael rhyngddynt hwy a'r dinystrwyr—O'r golled! Gwasanaethed y sylwadau a ganlyn ar y rhan hon o'r testun:—

1. Ciliodd y gogoniant o'r cyssegr hyd riniog y tŷ, neu y trothwy.—Och! y fath gyfnewidiad arswydus a barodd pechod yma. Arferai y gogoniant Dwyfol i lenwi y tŷ ar ddyddiau y cymmod, ond yn awr ar ddydd dial llenwir ei le gan y dinystrwyr; dim lle i nesâu at yr allor herwydd gweision barn! A phe dichonadwy fuasai i ryw bechadur dewr ymladd ei ffordd trwy y dinystrwyr at yr allor, ofer fuasai y goncwest, yr oedd y gogoniant wedi ymadael; nid oedd Duw yno i roddi cymmod! Trwm, a chaled fydd ar lawer, dan lwyth o euogrwydd, yn angeu a'r farn, yn ceisio Duw pryd nas gellir ei gael.

2. Yn *raddol* y mae Duw, yn gyffredin, yn gadael dynion drwg, a'u rhoddi i fynu i farn; nid aeth y gogoniant ar y cyntaf ddim pellach nâ rhiniog y tŷ; rhybuddiwyd yr Aifftiaid yn ddwys a mynych, trwy wahanol farnau, cyn eu dymchweliad yn y Môr Coch. Trigolion yr hen fyd a gawsant 120 mlynedd o rybudd; mynych rybuddion a roddir etto i bob troseddwr, trwy y gair, clefydau, a marwolaethau dynion ereill, i fod yn barod: dengys holl oruchwyliaethau Duw, mai hwyrfrydig i ddig yw efe; rhaid i'r colledigion addef nad oedd brys arno ef i'w damnio.

3. Ymddengys Duw wrth farnu megys pe byddai yn anhawdd ganddo ymadael â phobl euog, a'u rhoddi i fynu i farn. Gallasai y gogoniant ymadael o'r golwg yn llwyr ar unwaith; eithr nid aeth yn mhellach nâ'r trothwy; ac er iddo fyned yn mhellach wedi hyny, gwelwn, yn y bennod nesaf ei fod yn rhoddi tro yn ol drachefn, i roddi cyfle newydd iddynt i ddeisyfu ei arosiad, ac megys pe buasai yn ymbil arnynt i'w wahodd i drigo gyda hwy:—"Pa fodd i'th roddaf i fynu?" Eithr pechaduriaid cyndyn a diedifeiriol a bechant ymaith eu holl freintiau a'u manteision.

4. Er bod y lliaws yn llwyr anystyriol, heb sylwi ar, na phrisio am ymadawiad y gogoniant,—sylwodd y proffwyd ar ei ysgogiad lleiaf; gwyddai y buasai Jerusalem yn ddiymgeledd, ac yn ysglyfaeth parod i'r dinystrwyr wedi i'r gogoniant ymadael. Llawer yn ein cynnulleidfaoedd ydynt yn hollol ddifater pa un a bod y nef yn llewyrchu ar y moddion ai peidio; ond, trwy druguredd, y mae rhai â'u llygaid yn agored i ganfod na thâl y weddi, y bregeth, mawl ac ordinhadau, ddim er amgeleddu enaid, oni bydd y gogoniant arnynt, eu llef yw, "Ogoniant, aros!" Ni bydd eu llef yn ofer; canys er ymadael â'r gynnulleidfa, yr ardal, neu y wlad anystyriol, a'u rhoddi i farn, gofelir am nawdd iddynt hwy: tywysa hyn fi i sylwi, yn—

III. Ar gyfryngiad grasol Duw o blaid ei addolwyr yn nghanol y drygfyd mwyaf. Ymddangosodd UN yn mysg y chwech dinystriwr ar neges o drugaredd. Sylwn ar y darluniad a roddir o hono ef a'i waith.

1. *Yr oedd wedi ei wisgo â lliain.* Dyma fel y gwisgid yr offeiriaid gynt, swydd y rhai oedd gwneuthur cymmod a bendithio; cysgodau o Grist ein gwir Arch-offeiriad, yr hwn a ddaeth i gymmodi, bendithio, ac achub; ei wen-wisg liain a ddynodai ei fod wedi ei wisgo â phurdeb santeiddrwydd; nad oedd achub yn diwyno ei wisg neu ei gymmeriad; bod cyfiawnder heb ei lychwino wrth gadw yr annheilwng; ond mor lân a dysglaer wrth achub addolwyr anmherffaith, ag wrth ddystrywio anghredinwyr gelynol.

2. *Yr oedd efe yn arfog, megys yr oedd y lleill.* Eithr nid ag arfau dinystr, megys hwy yr ymwregysodd, ond â *chorn du ysgrifenydd*, y fath a ddygid gynt gan gyfreithwyr a'u hysgrifenwyr, fel y byddent barod i goflyfru pob peth anghenrheidiol yn ddiaros. Fel y dadleuwr mawr dros Sïon, y mae gan Grist ei lyfr, a elwir "Llyfr bywyd yr Oen;" a'i eiddo ef yw llyfr deddf ac efengyl, yn cynnwys bygythion, addewidion, gwahoddiadau, rheolau, ac annogaethau. Beth yw y Beibl ond "Datguddiad Iesu Grist?" Ei ymddangosiad yn y weledigaeth i'r proffwyd â'r corn du, neu y *corn inc* ganddo, oedd i ddangos ei fod yn barod bob amser i ysgrifenu neu wneuthur yr hyn y byddai angen ei bobl yn galw am dano.

3. Efe a ymddangosodd yn nghanol y dinystrwyr *o hono ei hun.* Ni ddaeth y dinystrwyr heb orchymyn; ond nid oedd raid i'r proffwyd, na neb arall, yru i'w hol ef. Gwaith unol â'i anian ef oedd achub, am hyny daeth heb ei gymhell, a daeth yn *brydlawn* cyn i'r dinystrwyr gael taro ergyd. Nis gall mo'r dinystriwr gychwyn cam heb fod ei lygad ef arno. Yr oedd yn ddigon cynnar yn ffwrn Dura, a ffau y llewod, ac felly bydd yn angeu, i gwrdd a chynnorthwyo pob credadyn fyddo yn ymddiried ynddo ef.

4. Ei waith pennodawl yn awr oedd *nodi addolwyr Duw.* Arwyddai y nôd gymmeradwyaeth Duw o'u personau a'u cyflawniadau; ac yr oedd y nôd yn dra chysurlawn iddynt hwy yn nghanol y fath helbul, o herwydd ei fod yn amlygu iddynt eu bod yn gymmeradwy gan eu Harglwydd, er bod yn wrthddrychau gwawd a dirmyg i'w cymmydogion. Ond dyben mawr y nôd yn awr oedd i fod yn arwydd i'r dinystrwyr fyned heibio iddynt, a pheidio cwrdd â hwynt pan fyddont yn lladd rhag eu blaen; megys yr oedd y gwaed ar gapan y drws yn yr Aifft yn arwydd i'r angel dinystriol fyned heibio, nid cyfreithlon lladd neb ag oeddynt dan y *nôd,* neu yr arwydd. Ni fedrai yr angylion barnol, yn Dat. vii, ddrygu y ddaear, nes oedd yr angel ag oedd â sel Duw ganddo wedi selio ei wasanaethwyr ef. Gras a chariad Duw yn y galon sydd nôd mor rhinweddol, fel na chyffwrdd dinystrydd ysbrydol byth â neb sydd yn ei ddwyn.

5. Ei ddyledswydd a'i hyfrydwch yw nodi yr addolwyr *bob un.* "Dos trwy ganol y ddinas," i chwilio am danynt oll, can nad pa mor wasgaredig ydynt; ni chaiff y gwaelaf, a'r mwyaf amheüus fod yn golledig.

6. Cymmeriad gwahaniaethol gwrthddrychau ei ofal oeddynt *y dynion sydd yn ucheneidio, ac yn gwaeddi am y ffieidd-dra oll a wneir yn ei chanol hi,* (Jerusalem). Gwnaethant eu goreu trwy eu cynghorion a'u siamplau da, i ddiwygio y drygionus; pan fethodd hyny a llwyddo, ucheneidiasant mewn trymder, a gwaeddasant ar Dduw am ei Ysbryd. Nid digon i Gristion gael crefydd iddo ei hun, i beidio bod yn achos i ereill bechu, a chadw o gyfeillach yr annuwiol; eithr efe a alara am gyflwr y diras, a weddia drosto, a wna ei oreu i'w ddwyn at Grist; a thrwy hyny dengys ei fod yn casâu pechod fel pechod, yn golygu gogoniant Duw yn benaf yn ei grefydd, ac yn caru ei gymmydog fel efe ei hun, &c. Dysgwn oddiyma,—

1. Rhaid i bechaduriaid gael eu dychwelyd neu eu dinystrio, eu cymmodi â Duw, neu deimlo pwys ei ddialedd angherddol mewn cospedigaeth dragywyddol.

2. Y rhai a lynant wrth Dduw yn amser llwyddiant cyffredin anwiredd, a gânt weled y glyna Duw wrthynt hwythau, yn amser llwyddiant cyffredin drygfyd.

3. Bydd crefydd bur yn sicr o dalu
thrachefn, fyrdd o weithiau; mor dde
mewn amser dinystr cyffredin! mor ddedw
ac mor ddedwydd yn ngolwg y rhai a d
hwy gynt! Chwiliwch yn fanwl am y 
yw eich braint; os nad yw genych, yr yd
esgeuluswch y breintiau sydd genych; cofi
â'r corn du etto wrth ei glin, heb ei fwrw
ei nôd tragywyddol arnoch chwi.

---

# 1 BREN. XVII, 6:

"A'r cigfrain a ddygent iddo fara a chig y boreu, a bara a chig brydnawn; ac efe a yfai o'r afon."

Y SON cyntaf a gawn am y proffwyd hynod hwn, sef Elias, sydd yn y bennod hon, Dechreua ei hanes yn fwy disymwth nag eiddo y proffwydi yn gyffredin. Crybwyllir tadogaeth proffwydi ereill, megys "Esay, fab Amos;" "Jeremia, fab Hilcia;" ac "Ezeciel, fab Busi," &c. Yn y modd hyn anrhydeddir y tadau a'r meibion, am fod dysgleirdeb y naill mewn perthynas mor agos, yn adlewyrchu ar y lleill. Eithr nid oes goffa am hwn, nes adroddir ei anerchiad i'r brenin Ahab, (ad. 1,) mwy nâ phe buasai wedi tarddu i fynu o'r ddaear, neu wedi syrthio o'r cymylau, neu ei fod megys ail Felchisedec, heb dad, mam, nac achau. Efallai ei fod o dadogaeth tlawd, yr hwn a gelir, er peidio codi rhagfarn yn mynwesau pendefigion yn ei erbyn; ond nid yw gwaeledd gwaedoliaeth yn un rhwystr yn ffordd Duw i godi dyn i'r swyddau mwyaf ardderchog; nis gwaeth mab i bwy fo'r hwn a gaffo ras i wasanaethu yr Arglwydd. Bugail defaid oedd Dafydd, ac nid oedd gan Arglwydd Dafydd le i ddodi ei ben i lawr; a physgodwyr tlodion oedd y rhan amlaf o'r apostolion, y rhai a ddarostyngasant fyd rhagfarnllyd ac erlidgar, trwy rym eu hyawdledd nefol. Y prif bwnc yw adnabod bod Duw yn Dad i ni, mewn ystyr grefyddol. Pa fodd bynag, gan fod pob peth darluniadol o broffwyd mor danllyd yn bwnc o bwys, sylwn,—

I. Ar y darluniad b**ŷ**r ysgrythyrol a gawn o Elias.

1. Ei *enw*—Elias, "Fy Nuw Jehofa yw efe," a gynnwysai gerydd i'w wladwyr eilun-addolwyr; sain ei enw yn unig a arwyddai mai yr Arglwydd, a neb arall, a ddylai gael ei addoli; ei fod ef yn ei wasanaethu ac yn ei addoli; a bod ganddo hawl ynddo; ac mai ei ffordd, mewn rhan, o'i wasanaethu, oedd galw Israel yn ol at y Graig a wrthodasent. Dynion heb *wir* grefydd yw y sawl a ymfoddlonant ar grefydd iddynt eu *hunain*, heb wneuthur a fedront i ddwyn ereill i adnabyddiaeth o'r gwirionedd; canys nid oes ond *hunan-lesdd* yn ngolwg y cyfryw, ac nis dichon dynion hunanol fod yn *wir* grefyddol.

2. Ei wlad, "y Thesbiad, un o breswylwyr Gilead." Perthynai Gilead i'r Rubeniaid a'r Gadiaid, a hanner llwyth Manasse, y tu hwnt i'r Iorddonen. Tybir mai dinas yn Israel a elwid *Toshah*, neu *Tisbe*, (Tobit i, 2), lle y buasai y proffwyd yn trigo ryw amser, a achlysurodd yr enw *Thesbiad*. Pa fodd bynag, dyma brawf eglur o gyfeiliornad yr Iuddewon, sef, "na chododd proffwyd o Galilea," (Gilead), Ioan vii, 52. *Galileud* oedd y mwyaf tanllyd o'r proffwydi, er bod yr enw wedi ei gymhwyso mewn ffordd o enllib ar Grist, megys pe na allasai dim daioni

ddyfod o Galilea. Mynych yr eglura Duw ei ogoniant, ac y cyflawna ei fwriadau, trwy y moddion mwyaf annhebygol, gwlad Gilead a ddwg allan geryddwr ffyddlon, tra yr oedd y taleithau nesaf at yr orsedd yn gadael llonydd i'w fawrhydi efo ei eilunod. Os esgeulusa y rhai agos eu dyledswydd, Duw a "ddwg ei feibion o bell" i wneuthur ei waith. Cafwyd ffydd gref yn y wraig o Ganaan, tra yr oedd lluaws uchel-freiniog yr Iuddewon yn amddifad o honi, &c.

3. Mewn manau ereill gosodir Elias yn mysg y saint mwyaf enwog; cyssylltir ei enw ef ag eiddo Moses ar fryn y gweddnewidiad, Mat. xvii, 3. Rhoddwyd y gyfraith gan y naill, ac adferwyd ei hanrhydedd iddi, i raddau helaeth, gan y llall. Pan lefodd Crist ar y groes, *Eli, Eli, &c.*, dywedodd rhai o'r Iuddewon, "Y mae hwn yn galw am Elias;" ac ereill "Edrychwch a ddaw Elias i'w waredu ef," Mat. xxvii, 46—49. Dangosai hyn bod Elias yn ŵr mawr yn eu golwg yn awr, ond pan oedd yn fyw yr oedd yn cael ei gasâu gan eu tadau, megys yr oedd ei Arglwydd ganddynt hwy yn awr. O herwydd i Ioan Fedyddiwr ddyfod yn "ysbryd a nerth Elias," fe'i gelwir ef wrth yr enw hwn; "Anfonaf i chwi Elias y proffwyd," Mal. iv, 5. "Efe (sef Ioan) yw Elias yr hwn oedd ar ddyfod," Mat. xi, 14. Yr oeddynt yn dra thebyg i'w gilydd, y ddau yn lled neilldduedig oddiwrth y byd; y ddau yn ddibris o ymborth moethus; a'r ddau yn ceryddu *breninoedd* pechadurus, yn gystal â'r bobl, heb ofni y canlyniad: costiodd yr ymddygiad didderbyn wyneb hyn ei ben i Ioan; ac oni buasai cyfryngiad Rhagluniaeth, cawsai Elias hefyd roddi ei einioes yn aberth am ei grefydd.

4. Dyn wedi ei gymhwyso yn hynod at yr amseroedd ag oedd yn byw ynddynt oedd Elias. Codwyd y proffwyd mwyaf tanllyd erbyn yr oes mwyaf llygredig. Byth oddiar y gwrthgiliad yn amser Jeroboam, "yr hwn a wnaeth i Israel bechu," yr oedd breninoedd Israel yn myned waethwaeth, ac Ahab oedd y gwaethaf oll, 1 Bren. xvi, 33. Wele y proffwyd mwyaf diarswyd ac anturiol yn myned i gyfarfod â'r brenin mwyaf annuwiol! Duw a gymhwysa ei bobl at eu gwaith. Cafodd Moses lareiddi-dra, am ei fod i dywys pobl weinion a gwrthnysig; a nerth i wneyd gwyrthiau, am ei fod i ddarostwng yr Aifftiaid, &c. Amynedd i amgylchiadau Job, ond sel fel fflamiau anorfod i eiddo Elias.

II. Rhag-ddywediad Elias o'r newyn blin a ganlynodd ei ymddangosiad i Ahab. "Fel mai byw Arglwydd Dduw Israel, yr hwn yr ydwyf yn sefyll ger ei fron, ni bydd y blynyddoedd hyn na gwlith na gwlaw, ond yn ol fy ngair i," adnod 1taf.—Cynnwysa hyn,—

1. Mai Jehofa yw Duw Israel; bod y brenin yn dra phechadurus am ddewis duw arall: ei fod ef trwy hyn yn euog o wrthryfel erchyll; o anniolchgarwch anesgusodol i'r hwn a waredodd y tadau mewn modd gwyrthiol, gyru y Canaaneaid allan, a rhoddi y wlad iddynt hwy, a chynnal eu hiliogaeth annheilwng mewn meddiant o honi hyd yn awr: ac o dòri y rhwymedigaethau mwyaf pwysig i addoli Duw. Bydded i ninnau gofio ein rhwymau, ac ystyried ein hymddygiadau yn eu hwyneb.

2. Mai Duw *byw* yw Duw Israel: "Fel mai byw Arglwydd," &c., yr hwn sydd â'i lygaid ar ei bobl, ei glustiau yn agored i'w griddfanau, a'i fraich yn estyngedig i'w hachub; y fath hurtrwydd ac ynfydrwydd, gan hyny a'u taeddai i addoli eilunod meirwon, na wnaethant ddaioni erioed, ac ni allent na gweled, clywed, nac achub. Yr un ynfydrwydd a lywodraetha bawb hyd heddyw, ag ydynt yn parchu rhyw beth yn fwy nâ'r Duw byw, can nad pa un ai golud, dyn, neu angel fyddo.

3. Mai gwas a chenadwr y Duw byw oedd y proffwyd: "Yr hwn ydwyf yn sefyll ger ei fron," i'w wasanaethu, i'w gynddrychioli, ac i'th anerch di yn ei enw—nid o honof fy hun, nac ar fy nghyfrif fy hun; y geiriau ydynt eiddo Duw; "Y neb sydd yn eich gwrando chwi sydd yn fy ngwrando i, a'r neb sydd yn eich dirmygu chwi sydd yn fy nirmygu i," &c., Luc x, 16. "Am hyny, yr ydym ni yn genadon dros Grist, &c., 2 Cor. v, 20.

4. Y byddai i'r Duw byw a ddiystyrasent hwy eu rhoddi i fynu i farn arswydus, i attal ei wlith a'i wlaw ffrwythlongar; troi y nefoedd fel pres, a'r ddaear fel haiarn, dros flynyddau, sef tair blynedd a chwe' mis, Iago v, 17; y maesydd yn fwy anffrwythlon nâ'r anialwch; plant yn trengu, a dynion yn llewygu, o eisieu bara; ni fedrai y delwau roddi mo'r fendith. Er bod trugareddau yn eu cylchynu yn awr, nid oedd hyny yn wystl o'u parhad, ond yn brawf nad yw Duw yn gweini barn cyn ymarfer â thrugaredd; byth yn taro cyn rhybuddio; eithr can wired a'i fod yn rhybuddio, can wired â hyny efe a dery, oni pheidir a diystyru trugaredd, Diar. I, 24—27. Cadarnheir hyn yn y modd mwyaf difrifol: "Fel mai byw yr Arglwydd." Rhaid i bechod gael ei gosp.

5. Bod Duw yn medru rhoddi awdurdod mawr i ddynion; ni bydd gwlaw, meddai y proffwyd, "ond yn ol fy ngair i;" er nad wyf ond gwas i'r Duw byw, na ddysgwyliwch am ddafn nes clywed oddiwrthyf fi etto. Efe a weddiodd i attal gwlaw, ac am wlaw, Iago v, 17, 18, ac a lwyddodd, megys pe rhoddasai Duw fenthyg allweddau y nefoedd iddo dros amser, i gloi a datgloi y cymmylau wrth ei ewyllys—mor effeithiol yw taer weddi y cyfiawn! ac er bod oesau y gwyrthiau wedi myned heibio, ac nas dichon gweinidogion y gair hollti y môr fel Moses, cyfarwyddo yr haul fel Joshua, codi taranau fel Samuel, cloi y cymmylau, fel Elias, na chodi y meirw fel Pedr, etto, gyda bendith, gallant, yn offerynol, hollti moroedd trallod, dwyn pelydr haul y Cyfiawnder ar enaid tywyll, taranu barn ar bechod, dyfrhau y galon â dyfroedd iechydwriaeth, a galw meirwon ysbrydol i fywyd grasol.

III. Y modd yr achubwyd ef ei hun, pan gyflawnwyd ei ragddywediad dychrynllyd. Gorfu arno ffoi o ŵydd y brenin am ei einioes; a dengys y testun mai cigfrain a'i porthodd dros dalm â bara a chig. Geilw yr amgylchiad hwn am y nodiadau canlynol:—

1. Gofala Duw am ymgeledd i'w blant yma, nes gorphenont eu gwaith, a bod yn addfed i orphwysfa. Os na wna moddion cyffredin a thebygol

y tro, efe a ddefnyddia rai anghyffredin ac annhebygol. Os na wna Ahab a Jesebel, na neb o'u deiliaid, borthi y proffwyd, awdurdodir cigfrain i'w wneuthur. Os na fedr mam Moses ei fagu ef, caiff merch Pharao ei wneuthur, &c.

2. Er gofal Duw am ei blant, eu dyledswydd hwy yw bod mor weithgar dros eu diogelwch tymmorol ac ysbrydol (yn unol â'r gwirionedd) a phe ymddibynai llwyddiant ar eu hymdrechiadau eu hunain. Wele Elias yn *ffoi* am ei einioes i *ymguddio* wrth afon Cherith. A oedd raid i'r hwn ag oedd y fath lywodraeth ganddo ar y nefoedd ffoi rhag dyn! A allasai ddim o'r gweddiau ag oeddynt yn rheoli y cymmylau i attal cynddaredd benyw, sef Jesebel! A raid i wr ag oedd â'i galon mor wrol, ei sel mor anghreifftiol, a'i ffydd mor orchfygol, ymddiried i'w draed am waredigaeth! Oni buasai mor hawdd i Dduw y gwyrthiau ei borthi wrth fwrdd Ahab ag oedd o bigau cigfrain! Gwir iawn: eithr rhaid i wyrthiau, yn neillduol rhai o'r un natur, fod yn anaml, rhag i ni eu cymmeryd fel pethau naturiol; a rhaid i bawb ddefnyddio moddion cyffredin er diogelwch, oni bydd Duw yn cyfarwyddo at ereill.

3. Gallasai bod mwy nâ diogelwch y proffwyd yn cael ei olygu yn ei fföedigaeth: sef, barn ar Ahab a'i bobl. Pe buasai Elias yn aros yn gyhoeddus yn Israel, gallasai fod yn fendith iddynt trwy ei hyfforddiadau; a gallasai gweled eu gresynoldeb o dan effaith y newyn dychrynllyd, a chlywed eu llefau, ei gynhyrfu i weddio drostynt, megys y gwnaeth Moses dros Pharao, ar fod i ddyddiau y blinfyd gael eu byrhau; eithr penderfynasai Duw y byddai iddynt barhau dair blynedd a hanner; ac fel na byddai i erfyniadau y dŷn da hwn ei aflonyddu, rhaid iddo ymguddio wrth yr afon, yn ddigon pell oddiwrth yr olygfa resynol, heb glywed oerleisiau ei wladwyr, fel na byddai i'w lygaid na'i glustiau gyffroi ei dosturi, a'i gynhyrfu i weddio am yr hyn na roddai Duw; dygai y cigfrain ei fwyd iddo, ond ni fedrent hwy ddwyn chwedlau, na dywedyd pa sawl plentyn a welent yn trengu bob dydd o eisieu ymborth. Pan fyddo Duw yn ymroddi cospi pobl hyd adref, efe a ofala symud neu ddystewi y sawl a safant yn yr adwy. Arwydd tost i bob cenedl yw bod Duw yn gyru dynion da a phroffwydi i ymguddio.

4. Gweithreda Duw yn ben-arglwyddiaethol yn yr hyn oll a wna; eithr ni wna gam â gŵr yn ei fater. Gellir codi gwrthddadleuon i'r dull hyn o borthi y proffwyd; megys—(1.) "Oni allasai Duw ei ddiogelu a'i borthi yn ddigyfrwng, heb ddefnyddio neb creaduriaid?" Gwir: ac felly gallai roddi bwyd i bawb heb iddynt weithio; neu eu cynnal yn eithaf iach heb fwyta dim; ond ei lwybr cyffredin yw cyflawni ei fwriadau trwy gyfrwng moddion.—(2.) "Onid ysbrydion gwasanaethgar yw yr angylion? a phorthwyd Elias wedi hyn gan angel: paham na buasent hwy yn ei borthi yn awr?"—*Ateb.* Dichon Arglwydd pob peth wneuthur y creadur a fyno yn wasanaethgar: Duw yr angylion yw Duw y cigfrain; dichon gyfeirio aden cigfran yn gystal ag aden angel; gan fod ganddo gynnifer o weision

ufydd, dichon ddewis gwasanaeth y sawl a fyno; a pha achos achwynsydd! yn neillduol os gwnant eu gwaith yn *iawn*, megys y gwnaeth y cigfrain! nid yw Elias yn grwgnach dim.—(3.) "Pa fodd na buasai Obadia, yr hwn a borthodd gant o weision Duw mewn ogof, (1 Bren. xviii, 4,) neu rai o'r saith mil na phlygasent eu gliniau i Baal, yn gofalu am Elias?" *Ateb.* Odid na buasai gan y rhai hyn ddysglaid barod i'r proffwyd ar draul eu cylla eu hunain; ond lled debyg fod ganddynt ddigon ar eu dwylaw: ac er cynnyddu ein hymddiried yn Nuw, a dangos ei fawredd, y mae yn dewis defnyddio eu holl greaduriaid yn eu tro.—(4.) "Creaduriaid aflan oedd cigfrain, anghymhwys i aberth ac ymborth."—Gwir: ond nid oedd y proffwyd yn eu bwyta na'u haberthu. Dichon *ceffyl* (aflan) gludo ymborth glân gystal ag eidion glân, os nid gwell. Yr oedd y dynion y bwriodd Judas gythreuliaid o honynt gystal â'r rhai a iachawyd gan Pedr.

5. Datguddir gallu rhyfeddol Duw yn eglur iawn yn yr hanes hwn.—(1.) Porthwyd y proffwyd yn ddigonol heb weithio, heb arian, heb gyfaill elusengar, na bwyd yn agos iddo, fel y wraig yn yr anialwch, Dat. xii, 6, 14. (2.) Gan gigfran, y creaduriaid mwyaf gwancus, y rhai a fuasent debycach i ledrata ei fwyd, a thynu ei lygaid allan, Diar. xxx, 17, na rhoddi tamaid iddo. Dad-ddychymmygwyd dychymmyg Samson, "O'r bwytäwr y daeth bwyd." Rhaid gofalu am y proffwyd yn awr, er gorfod goddef chwant bwyd eu hunain, ac,efallai, cario y cig heibio nythod y rhai bach, dan grewcan, "Nid i chwi mae hwn." Rhaid i natur roddi ffordd i Dduw natur; aeth y ddwy fuwch flithion â'r arch adref, er bod y lloi yn brefu ar eu hol.—(3.) Ar haelioni Rhagluniaeth y mae y cigfrain eu hunain yn byw; dim hau na medi, dim yn ystor erbyn y foru, etto, rhaid helpu y proffwyd, yr hwn sydd yn awr yn yr un cyflwr â hwythau, neu yn is radd, yn gymmaint â bod cyfle gyda hwy i fyned oddiamgylch, a helpu eu hunain yn gyntaf. (4.) Yr oedd ei luniaeth yn gyflawn ac yn gysson, bob boreu a phrydnawn; ni esgeulusodd y cigyddion duon ddwyn gymmaint â phryd yn rhy fach iddo.—(5) Yr oedd ei ymborth ef yn fwy danteithiol nâ phroffwydi Obadia yn yr ogof; bara a dwfr oedd eu bwyd hwy; ond bara a chig, a dwfr o'r afon, oedd ei luniaeth ef. Y sawl a fyddo byw fwyaf trwy ffydd, a gaiff yn y diwedd, y fywiolaeth frasaf.

Dysgwn, 1. I gydnabod gallu a phen-arglwyddiaeth Duw yn y cwbl a wna. 2. I ymddiried ynddo yn y cyfyngderau mwyaf; nid oes fwystfil, ymlusgiad, nac aderyn, a wrthyd eich cynnorthwyo ar gais Duw.—3. Os ydych yn ymddiried eich enaid iddo, oni ddichon efe ofalu am eich corff a'ch teulu? 4. Gan i Dduw anfon ei Fab, er cael ymborth i enaid, nid y rhyfeddod mwyaf yw ei fod yn anfon cigfrain, ie, ac angylion, i fod yn ymgeleddwyr i'n cyrff. 5. Gwylied pawb ag ydynt yn y swydd o ddwyn lluniaeth meddwl i ereill rhag bod yn debyg i'r cigfrain hyn, sef, ymborthi ar furgunod eu hunain, tra y maent yn dwyn bwyd glân ac iachus i ereill.

Cyn darfod, buddiol, yn nghyfrif rhai, fyddai, sylwadau byrion ar y gofyniadau canlynol:—(1.) Yn mha le y cafodd y cigfrain y bara a'r cig?

*Ateb.* Nid yw y Beibl yn dywedyd, am hyny nid oes neb yn gwybod; y mae mor debyg iddynt eu cael o gegin neu fwrdd Jesebel ag unrhyw le arall. Gallasai yr adar ddywedyd pe gofynasid iddynt, yn gywirach nà Jacob, Gen. xxvii, 20, "Am i'r Arglwydd Dduw beri iddo ddygwyddo o'm blaen."—(2.) Pa le y cafodd y cig ei ferwi neu ei rostio?—*Ateb.* Lle mynodd Duw. Cafodd y cigfrain ef mewn ansawdd addas i'w fwyta, neu yr oedd gan y proffwyd gyfleusdra i'w drin wrth ei fodd ei hun. Sonia y Beibl am y pethau pwysig perthynol i'r gwyrth; ond y mae yn ddystaw am bethau bychain amgylchiadol.—(3.) A ellir meddwl i'r cigfrain ddyfod o hyd i'r bara a'r cig mewn ffordd onest?—Gellir bod yn sicr o hyny; canys "eiddo'r Arglwydd yw y ddaear a'i chyflawnder," a pherchen pob peth a'u gosododd ar waith.—(4.) Pa sawl cigfran oedd ar waith?—Cynnifer a fynai Duw—rhifedi digonol i ddiwallu Elias. Gwnaed y cwbl yn wyrthiol—ni ddylid ei gymharu â'r hyn sydd gyffredin, na cheisio bod yn ddoeth uchlaw yr hyn a ysgrifenwyd.

GOMER.

## GWALLAU.

Tu-dal. 230, llinell 12fed o'r gwaelod, darllen "dorai" yn lle "adawai."

Tu-dal. 248, dywedir yn mhen y tu-dal, "Nid oes briodas gyfreithlon yn ein gwlad heblaw y rhai a wneir yn Llan y plwyf, neu gan Iuddewon, Pabyddion, neu Gyfeillion." Dylasid ychwanegu *Nôd* yma, yn mynegu, er fod hyn yn wir pan ysgrifenodd Mr. Harris, *nid yw yn wir mwyach*—gall pob Ymneilldnwr yn awr briodi naill ai yn swyddfa y Coflyfrydd, neu yn ei Addoldy ei hun, fel y dewiso.

Tu-dal. 355, llinell olaf, yn lle "llwydd," darllen "*aflwydd* i amcan Brutus."

Yn tu-dal. iv. o Gofiant Mr. Harris, sonir am Dr. Carey, fel *yn awr* yn un o "benieithyddion y byd;" dealled y darllenydd fod hyn wedi ei ysgrifio pan oedd yr hybarch Ddoctor yn fyw.

5. Y BUMME

PRIS SW

O

# WEITHIAU

Y DIWEDD

# BARCH. JOSEF

(*Gomer*,

ABERTA

GYDA

## CHOFIAINT YR AWI

A

**Nodiadau Eglu**

---

**GAN D. AB RHY**

---

AMMOD.

1. Cynnwysir yr holl waith mewn Deg, o lei Swllt yr un.
2. Cyhoeddir Rhan bob Mis, os na chyfyd rh
3. Cynnwysa y Rhan ddiweddaf Ddarlun Cer

---

LLANEL

ARGRAFFWYD GAN REES A THOMAS,

1839.

# AT Y DERBYNWYR.

CYHOEDDIR y rhelyw o'r Gwaith hwn, ar unwaith, yn RHAN DDEUSWLLT, yn cynnwys Cofiant, Enwau Tanysgrifwyr, Darlun hardd o Mr. HARRIS, &c. Gellir ei dysgwyl allan yn mhen dau fis—yn gorphen y llyfr mewn Deg o Ranau, Swllt yr un. Gofynol i'r sawl a fwriado brynu y Gwaith yn Rhanau, roddi eu henwau yn uniongyrchol, gan nad yw y Cyhoeddwr yn bwriadu ei gadw ar werth yn y dull hwnw ond am ychydig o fisoedd yn unig; eithr rhwymir yr hyn a erys ar law er gwerthiad ar unwaith.

RHANAU NAW A DEG,

PRIS DAU SWLLT,

O

# WEITHIAU AWDUROL

Y DIWEDDAR

## BARCH. JOSEPH HARRIS,

*(Gomer,)*

ABERTAWY;

GYDA

## CHOFIAINT YR AWDWR A'I DEULU,

A

**Nodiadau Eglurhaol, &c.**

---

**GAN D. AB RHYS STEPHEN.**

---

LLANELLI:

ARGRAFFWYD GAN REES A THOMAS, YN SWYDDFA'R DIWYGIWR.

1839.

PREPARING FOR THE PRESS,

AND SHORTLY WILL BE PUBLISHED, BY SUBSCRIPTION,

PRICE SIX SHILLINGS,

# MEMOIRS OF THE LIFE AND CHARACTER,

INCLUDING

SELECT LITERARY REMAINS,

OF THE LATE

# REV. CHRISTMAS EVANS,

OF NORTH WALES.

BY DAVID RHYS STEPHEN.

*With a Portrait.*

---

## CONTENTS.



---

*Rees and Thomas, Printers, Llanelly.*